# Y TADAU METHODISTAIDD:

## Eu Llafur a'u Llwyddiant gyda Gwaith yr Efengyl

*YN NGHYMRU, TREFYDD LLOEGR, AMERICA, AC AWSTRALIA.*

YNGHYD A

NIFER MAWR O DDARLUNIAU O BERSONAU A LLEOEDD NODEDIG.

GAN

Y PARCH. JOHN MORGAN JONES, CAERDYDD,

A

MR. WILLIAM MORGAN, U.H., PANT, DOWLAIS.

---

CYFROL II.

---

*CYHOEDDEDIG GAN YR AWDWYR.*

---

ABERTAWE:

ARGRAFFWYD GAN LEWIS EVANS, 13, CASTLE STREET.

1897.

# RHAGYMADRODD I'R AIL GYFROL.

DA genym allu cyflwyno i'n darllenwyr yr Ail Gyfrol o'r *Tadau Methodistaidd*. Credwn nad ydyw yn ol mewn un modd i'r un flaenorol o ran cywirder hanesyddol, llawnder desgrifiad, nac ychwaith o ran dyddordeb y darluniau a geir ynddi o'r Tadau, ac o'r lleoedd a enwogwyd trwy eu cysylltiad â hwy. Nis gall ei chynwys fod lawn mor newydd, gan ein bod yn dyfod i lawr at gyfnod mwy diweddar; ond yr ydym wedi casglu yn nghyd yn ofalus yr holl friwsion oedd o fewn ein cyrhaedd, a gwel y cyfarwydd fod ynddi lawer o fater na bu o'r blaen mewn argraff. Nid ydym wedi agos gwblhau ein cynllun, ac yr ydym yn ceisio gobeithio, os yr Arglwydd a'i myn, y galluogir ni rywbryd i ddwyn allan gyfrol arall. Ond am y presenol, hyd nes y cawn ychwaneg o gefnogaeth, rhaid i ni orphwys ar ein rhwyfau. Yr ydym yn hyderu nad â ein llafur yn ofer, ond y bydd darllen am y Tadau, ac am y gwaith mawr a wnaeth yr Arglwydd trwyddynt, yn enyn awydd cyffredinol am gyfranogi o'u hyspryd.

JOHN MORGAN JONES, CAERDYDD.
WILLIAM MORGAN, PANT.

*Medi 22, 1897.*

# CYNWYSIAD

PEN. TUDAL.



LLE GENEDIGAETH Y PARCH. E. RICHARD, YN NHREFIN.



EGLWYS A MYNWENT TREGARON—LLE EI GLADDEDIGAETH.



EI GARTREF YN NHREGARON.



EI GOF-ADAIL.

# PENOD XXI.

——:o:——

## CYCHWYNIAD METHODISTIAETH YN NGWAHANOL RANAU GWYNEDD.

*ith gyntaf Howell Harris i Sir Drefaldwyn—Llythyr pigog offeiriad Llandinam—Trefaldwyn yn cael yr un breintiau a'r Deheudir—Erlid yn y sir—Rhwystro John Elias i bregethu yn Llanidloes—Y seiat Fethodistaidd gyntaf yn Meirionydd—Lowri Williams yn y ...vdlu yn Mhandy-y-ddwyryd, ac yn dwyn yr efengyl i'r wlad—Tystiolaeth Lowri Williams, Benar Isaf, am yr amseroedd—Erlid enbyd yn Nolgellau—Y Methodistiaid yn ennill yn Sesswn y Bala—Dechreuad Methodistiaeth yn Lleyn—David Jenkins yn Lleyn—Seiat Brynengan—Erlid y Methodistiaid yn Lleyn—Pressio Morgan Griffith—Cychwyniad Methodistiaeth yn Arfon—William Harry yn Llanberis—Yr achos yn cychwyn yn Siroedd Dinbych a Fflint—Pregethu yn Adwy'r Clawdd—Syr W. W. Wynne yn erlid—Methiant yr erlidwyr yn Nhrefriw—Capel Tanyfron—Edward Parry—Beddargraff Hugh Hughes, Coed-y-brain—Methodistiaeth yn gafaelu yn araf yn Môn—Richard William Dafydd yn cael ei amddiffyn gan ddau foneddwr—Richard Thomas, cynghorwr Methodistaidd cyntaf Môn—Erlid yn Môn, a'r amaethwyr yn cael eu troi o'u tyddynod oblegyd eu crefydd—Eto yr achos yn llwyddo.*

MOR bell ag y gellir casglu, y bregeth gyntaf a draddodwyd gan neb o'r Methodistiaid yn Ngogledd Cymru, ydoedd gan Howell Harris, Chwefror 8, 1740, mewn lle o'r enw *Lodge*, yn mhlwyf Llandinam. Prin y geill amheuaeth fodoli parthed y dyddiad; profa dydd-lyfr Howell Harris, yn nghyd a'r llythyrau a ysgrifenwyd ganddo pan ar ei daith, y rhai sydd eto ar gael, mai yn 1740 y cymerodd y daith hon le, ac nid yn 1739, fel y dywedir yn *Methodistiaeth Cymru*. Ymgymerodd Howell Harris a'r daith yn benaf ar gymhelliad y Parch. Lewis Rees, yr hwn ar y pryd oedd yn weinidog gyda'r Ymneillduwyr yn Llanbrynmair. Wrth wynebu ar y Gogledd am y tro cyntaf, gwyddai y Diwygiwr ei fod yn mentro i ganol peryglon. Yr oedd boneddwyr Sir Drefaldwyn yn elynol i'r efengyl, ac wedi ymdynghedu i garcharu y Methodist cyntaf a osodai ei droed ar derfynau eu gwlad. Eithr nid oedd yr Efengylydd o Drefecca yn un i'w atal â bygythion; yn hytrach, teimlai bleser pur mewn wynebu peryglon dros Grist. Derbyniasai y flwyddyn flaenorol hefyd, yn y rhagolwg ar ei ymweliad â Threfaldwyn, lythyr trahaus oddiwrth offeiriad Llandinam, un John Tilsbury, yn ei rybuddio i gadw i ffwrdd, ac yn cyffelybu ei ymddygiad pan yn pregethu i'r bobl heb urddau esgobol i eiddo Nadab ac Abihu yn defnyddio tân dyeithr wrth aberthu. Gellir casglu oddiwrth y llythyr fod nifer o gymydogaeth Llandinam, ac efallai o gwmpas Llanidloes, wedi croesi y mynyddoedd i wrando ar Harris pan y pregethai yn ngwahanol ranau Maesyfed, a'u bod wedi cael eu hargyhoeddi trwyddo. Meddai yr offeiriad: "Buaswn yn eich gadael am byth i fwynhau eich hoff opiniwn am danoch eich hunan, oni bai fod y cyfrifoldeb sydd arnaf am fudd tragywyddol eneidiau fy mhlwyfolion yn fy ngorfodi i ddymuno arnoch, mewn modd heddychol, i beidio swnio eich udgorn mewn dull mor anwarantedig, a chroes i ddeddfau Duw a dynion, yn fy mhlwyf i o hyn allan. Yr wyf yn eich sicrhau fod eich dull llym o gynghori, ac o dywallt allan phiolau digofaint Duw ar y gwrandawyr anwybodus yn eich anerchiadau difyfyr, nid yn unig wedi llithio amryw yn fy mhlwyf i a'r plwyfydd cymydogaethol i fyw mewn sism, ac i orphen eu dyddiau dan y cyfryw euogrwydd, fel y mae lle i ofni; ond yn mhellach, yr hyn nas gallaf ei grybwyll heb arswyd, yr ydych wedi gadael amryw mewn ystad o anobaith, neu gydag ychydig ddisgwyliad am drugaredd; ac os byddant farw yn y cyflwr hwn, i ba raddau y byddwch chwi yn gyfrifol am eu

dinystr tragywyddol, yr wyf yn gadael Duw i farnu."

Diau fod llythyr John Tilsbury yn nodweddiadol o ansawdd meddwl personiaid yr Eglwys Sefydledig yn Ngogledd Cymru, hyd yn nod y dosbarth goreu a mwyaf tangnefeddus o honynt. Arswydent rhag i leygwr ymgymeryd a'r gwaith o gynghori dynion gyda golwg ar bethau crefydd, ac edrychent ar argyhoeddiad dwfn fel gwallgofrwydd, ac yn arwain i ddinystr. Awgryma y difyniad uchod amryw bethau o ddyddordeb dwfn. (1) Naill ai fod Howell Harris yn flaenorol, yn ystod rhai o'i ymweliadau â Sir Faesyfed, wedi croesi y llinell i Drefaldwyn, ac wedi pregethu o fewn terfynau plwyf Llandinam; neu ynte, fod nifer pur fawr o bobl Trefaldwyn, oeddynt yn preswylio yn gyfagos i'r ffin, wedi myned i Faesyfed i wrando arno. Braidd nad y cyntaf yw y mwyaf tebygol oddiwrth rediad y llythyr. (2) Fod gweinidogaeth Howell Harris wedi profi yn effeithiol er argyhoeddi amryw, a bod argyhoeddiad rhai mor ddwfn, fel yr oeddynt wedi cael eu gwasgu i ymylon anobaith. (3) Naill ai fod y rhai a brofasent nerth yr efengyl wedi dechreu cydymgynull ar eu pen eu hunain mewn seiadau, a chyfarfodydd gweddi; neu, o leiaf, eu bod wedi troi eu cefnau yn llwyr ar yr Eglwys.

Ond fel y nodwyd, yn Chwefror, 1740, y gwnaeth Howell Harris ei daith gyntaf i'r Gogledd. Odfa ogoneddus a gafodd yn Llandinam; yr oedd yn waeddi mawr yno; ymddyrchafai ocheneidiau i'r nefoedd, a llifai y dagrau dros ganoedd o wynebau. Dywed ei fod fel pe byddai yn cael ei gario allan o hono ei hun. Nid oes genym restr gyflawn o'r lleoedd â pha rai yr ymwelodd, ond y mae yn debyg iddo bregethu yn Llanidloes, Trefeglwys, Llanbrynmair, Cemmes, Machynlleth, ac efallai rai lleoedd eraill. Cafodd rai odfaeon anarferol, ac achubwyd amryw a fuont gwedi hyn yn flaenllaw gyda chrefydd. Yn ol pob tebyg, dyma y pryd yr argyhoeddwyd yr hynod Lewis Evan, Llanllugan. Cadwodd boneddwyr Sir Drefaldwyn eu bygythiad gyda golwg ar erlid y Methodistiaid. Yn Cemmes, cymerwyd Howell Harris yn garcharor drwy awdurdod amryw o ustusiaid, y penaf o ba rai ydoedd un Mr. Wynne, a thrwy roddi mechniafon i ymddangos yn mrawdlys Trefaldwyn, y cafodd ei waredu rhag myned i garchar. Yn Machynlleth, wrth ddychwelyd o'r Bala, ar yr un daith, bu bron darfod am ei hoedl, o herwydd llid y werinos, yn cael eu cyffroi gan glerigwyr yr Eglwys Sefydledig. Y mae yn bur debyg iddo sefydlu amryw seiadau yn ystod y daith hon, ond pa nifer, a pheth oedd rhif yr aelodau, nis gwyddom. Y mae yn sicr i Howell Harris hefyd ymweled âg amryw leoedd yn Sir Drefaldwyn ar ei ail daith i'r Bala yn y flwyddyn 1741; nis gallai fyned i Sir Feirionydd heb groesi rhanau o Drefaldwyn.

Digon tebyg yr ymwelai Daniel Rowland weithiau â rhanau o Drefaldwyn. Nid oedd yr adran fwyaf ddèheuol o'r sir yn rhyw bell iawn o Langeitho, ac yr oedd yn dra chyfleus iddo pan y teithiai i ranau eraill o'r Gogledd. Gellir casglu hefyd y deuai Williams, Pantycelyn, i'r sir yn awr ac yn y man, yn arbenig pan oedd yn guwrad yn Llanwrtyd. Ond wedi y cwbl, i Howell Harris y perthyn yr anrhydedd i fod y prif offeryn i efengyleiddio y sir. Gan y ffiniai â Siroedd Maesyfed a Brycheiniog, meusydd cyntaf gweinidogaeth Harris, ac â pha rai yr ymwelai amlaf trwy holl ystod ei gysylltiad a'r Methodistiaid, yr oedd Trefaldwyn yn cael rhan arbenig o'i lafur. Anaml y byddai mis yn y flwyddyn yn pasio heb ei fod ar daith trwy ranau o honi. Yn ol ei ddaearyddiaeth ef, nid oedd Maldwyn yn perthyn i'r Gogledd. Pan y trefna weithiau i fyned ar daith i'r Gogledd, ac yr achwyna dro arall fod y Gogledd i raddau mawr yn nghau rhag yr efengyl, nid yw yn cynwys Sir Drefaldwyn. Iddo ef, nid oedd y Gogledd yn dechreu nes croesi dros y terfynau i Sir Feirionydd. Felly, cafodd Trefaldwyn yr un manteision crefyddol, yn nechreuad Methodistiaeth, a'r Deheudir, ac yr oedd ynddi nifer lliosog o seiadau llewyrchus cyn fod seiat wedi ei sefydlu, o leiaf o ddim lliosogrwydd, yn unrhyw ran arall o Wynedd. Cynorthwyid Harris yn ei lafur yn Maldwyn gan amryw gynghorwyr, yr hynotaf o ba rai yn ddiau oeddynt Richard Tibbot, a Lewis Evan, Llanllugan. Y mae genym enwau amryw gynghorwyr eraill, megys Evan Jenkins, Llanidloes, crydd wrth ei alwedigaeth; Evan Morgan, Glyngywydd; Reynallt Cleaton; John Thomas, yr hwn oedd ysgolfeistr; a Benjamin Cadman. Bu cryn helynt gyda y diweddaf, gan y methai benderfynu pa un ai gyda yr Ymneillduwyr ynte y Methodistiaid y gwnai fwrw ei goelbren; bu trafodaeth ar ei achos mewn

amryw Gymdeithasfaoedd; ac yn y diwedd at yr Ymneillduwyr yr aeth.

Teimlodd Sir Drefaldwyn yn ddwfn yn yr anghydfod rhwng Harris a'r Methodistiaid. Wrth Harris y glynai Richard Tibbot a Lewis Evan ar y cyntaf; Harris, hefyd, fel y gwelsom, a fuasai yn offerynol i blanu y nifer amlaf o'r seiadau; ac felly, y mae yn dra thebyg mai gydag ef a'i blaid y darfu iddynt oll aros. Ond gwedi iddo ef gilio i Drefecca, ac i Richard Tibbot a Lewis Evan ail ymuno â phobl Rowland, y tebygolrwydd yw i'r nifer amlaf o'r seiadau ddilyn eu hesiampl. Eithr yr oedd gwedd lwydaidd iawn ar yr achos. A darfu i un Thomas Meredith, cynghorwr, ymuno â Thomas Seen, o Lanfair-muallt, a chwedi methu byw tan ddysgyblaeth teulu Trefecca, ceisiasant ffurfio plaid o'i heiddynt eu hunain. Gyda golwg ar eu golygiadau athrawiaethol, dywedir yn *Nrych yr Amseroedd:* "Benthycasant gryn lawer o waith Mr. Cudworth, ac amryw o'r pethau anhawddaf eu deall o waith Mr. Morgan Llwyd, a William Erbury; a thuag at wneyd eu proffes yn ddigon ysprydol, rhoisant gryn swm o surdoes y Crynwyr am ben eu defnyddiau eraill. Gwedi dodi yr holl gymysg hyn yn nghyd, yr oedd y grefydd yma fel gwisg glytiog cardotyn, yn anhawdd dirnad pa beth oedd ei dechreuad. Nid oedd ganddynt ystyr lythyrenol ar un rhan o'r Ysgrythyrau, ond golygent y cyfan yn ysprydol. Er esiampl, nid y ddaear yr ydym yn byw arni a losgir, ond y ddaear sydd mewn dyn. Yr haul yn tywyllu yw haul rheswm. Dwy fydd yn malu mewn melin yw y ddwy anian. Nid oedd ganddynt un parch i'r Sabbath, nac i un o ordinhadau yr efengyl." Yn syn iawn, cafodd y grefydd ryfedd yma ganlynwyr mewn pump o siroedd Cymru, ond yn Sir Drefaldwyn yr oedd gryfaf. Ond, modd bynag, diflanodd yn raddol; eithr bu ei dylanwad yn dra niweidiol i'r eglwysi. Isel y parhaodd pethau hyd y flwyddyn 1762, pan y darfu i'r diwygiad mawr a dorodd allan, ac a ymledodd trwy Gymru, trwy offerynoliaeth hymnau Williams, Pantycelyn, gyrhaedd Trefaldwyn. Cofiodd Duw ei gyfamod, a thywynodd Haul y cyfiawnder ar ganoedd oeddynt yn eistedd yn mro a chysgod angau. Cawsom y golygai Howell Harris y diwygiad hwn yn fwy ysprydol, ac yn fwy rhydd oddiwrth gnawd, na'r un oedd yn cydfyned a'i weinidogaeth gyntaf ef. Cyfeiria yr Hybarch Robert Jones, Rhoslan, yn *Nrych yr Amseroedd* hefyd at y gwahaniaeth rhwng y ddau ddiwygiad. Am y cyffro oedd yn cydfyned â dyfodiad cyntaf Howell Harris, dywedir: "Yr oedd hwnw o ran dull ei weithrediadau yn llym ac yn daranllyd iawn; ond hwn (diwygiad 1762), megys gynt yn nhŷ Cornelius, tyrfaoedd lliosog yn mawrygu Duw heb allu ymatal, ond weithiau yn llamu o orfoledd, fel Dafydd gynt o flaen yr arch. Treulid weithiau nosweithiau cyfain mewn sain cân a moliant, fel tyrfa yn cadw gwyl." Ymunodd canoedd a'r seiadau yr adeg hon, a chyfododd Methodistiaeth i fri a pharchusrwydd yn y wlad.

Ni fu mwy o erlid ar yr efengyl mewn unrhyw sir yn Nghymru nag yn Nhrefaldwyn; yr oedd boneddwyr y sir yn arbenig yn hynodi eu hunain am eu gelyniaeth a'u traha. Yr ydym wedi cyfeirio yn barod at yr ymosodiad enbyd a wnaed ar James Beaumont, a William Evans, y cynghorwr gwresog ei yspryd o Nantmel, yn Llanidloes, a'r Drefnewydd, yn y flwyddyn 1744. Cawsom hefyd ddarfod i nifer o Fethodistiaid y sir gael eu gwysio i'r Sessiwn yn Mangor ddechreu yr un flwyddyn, ac iddynt gyflogi cyfreithiwr i amddiffyn eu hunain. Nid yw hanes y prawf ar gael, fel y mae y gwaethaf, ond y mae yn sicr i'r Arglwydd ofalu am ei eiddo, y rhai a ymddiriedent ynddo, ac iddynt fuddugoliaethu ar eu herlidwyr. Fel y bu yr erlid yn Nhrefaldwyn braidd yn fwy ffyrnig, ymddengys iddo barhau yn hwy nag yn un sir arall yn Nghymru. * Dangoswyd gwrthwynebiad i bregethiad yr efengyl yn Llanidloes mor ddiweddar a'r flwyddyn 1819. Ar ddydd gwyl Mabsant y flwyddyn hono pregethai John Elias ar yr heol, gyferbyn a gwesty y Lion, allan o bedrolfen. I hyn, cawsid caniatad gŵr y tŷ. Yr oedd enwogrwydd y gŵr parchedig a lefarai wedi peri i gynulleidfa anferth ymgasglu; tybir fod agos i bum' mil o bobl yn bresenol. Gwedi i Humphrey Gwalchmai ddechreu, ac i emyn gael ei chanu, cymerodd Mr. Elias yn destun, Ioan xii. 32: "A minau, os dyrchefir fi oddiar y ddaear, a dynaf bawb ataf fy hun." Cafodd lonydd i fyned yn y blaen am tua haner awr, ac yr oedd y gynulleidfa fel arfer wedi ei hoelio wrth ei wefusau. Yna daeth ustus heddwch i'r lle, a chwedi ymwthio trwy y dorf, daeth

* *Methodistiaeth Cymru.*

at y fan, a galwodd ar Mr. Hugh Jones, blaenor o enwogrwydd dirfawr gyda y Methodistiaid yn y dref, i fyned ato. Ei genadwri oedd gorchymyn i'r pregethwr ddystewi. Crefai Mr. Jones ac eraill am i Mr. Elias gael myned yn y blaen am ychydig yn hwy, a llwyddasant i dawelu y gŵr am ryw ugain mynyd. O'r diwedd pallodd ei amynedd, dringodd i ben y bedrolfen, aeth yn unionsyth at y pregethwr, a chan roddi ei law ar ei ysgwydd, gorchymynodd iddo roddi heibio. Cyffrodd y dyrfa yn aruthr; dychrynid rhai gan fraw, ond am y nifer amlaf, llenwid hwy â digofaint at y boneddwr a feiddiai aflonyddu ar genad Crist. Ond trodd y gweinidog ato yn dirion, a gofynodd ganiatad i ollwng y bobl ymaith trwy weddi, yr hyn ganiatad a gafodd. Dywedir i'r odfa, er iddi gael ei thori ar ei chanol, fod yn effeithiol i roddi y Gwylmabsant i lawr yn hollol. Aeth Mr. Elias oddiyno i'r capel, a chynghorodd y bobl i beidio dangos unrhyw ddigter at y boneddwr, gan ei fod yn amlwg mai ei ddirgymhell gan eraill a gawsai. Mor bell ag y gwyddom, dyma yr ymgais olaf yn Nghymru i rwystro y Methodistiaid i bregethu.

Fel yr ydym wedi nodi yn barod, ymwelodd Howell Harris â rhai lleoedd yn Sir Feirionydd, yn arbenig Llanuwchllyn, a'r Bala, yn y flwyddyn 1740, sef yr un flwyddyn ag y daeth gyntaf i Drefaldwyn. Bu yn y Bala hefyd y flwyddyn ganlynol, 1741, a phrin y dihangodd a'i fywyd yn ysglyfaeth. Y mae yn bur sicr hefyd i Daniel Rowland ymweled â rhanau o Feirionydd yn 1740, a chai ef lonydd, gan ei fod yn offeiriad urddedig, ac mai yn yr eglwysydd y pregethai. Eithr er, yn ol pob tebyg, i amryw gael eu dychwelyd trwy weinidogaeth y ddau ŵr enwog hyn, nid yw yn ymddangos i seiat Fethodistaidd gael ei sefydlu o fewn terfynau Meirionydd hyd y flwyddyn 1745, pan yr ymunodd tuag wyth o frodyr a chwiorydd a'u gilydd yn gymdeithas yn y Bala. Yn flaenorol, ymunent a'r ychydig Ymneillduwyr oeddynt yn cydgyfarfod yn nhŷ Edward Williams, y gwehydd. Yn mysg yr aelodau a ffurfient y seiat gyntaf, yr oedd John Evans, y Bala, a'i briod; ond nid oedd John Evans y pryd hwn wedi dechreu pregethu. Yr oedd yspryd erlidgar yn fflamio yn y Bala o hyd; ac ni feiddiai y crefyddwyr gyfarfod a'u gilydd ond yn llechwraidd, a hyny cyn toriad y dydd. Er mwyn bod yn sicr o ddeffro, byddai pob un yn cylymu llinyn wrth ryw aelod o'i gorph wrth fyned i'r gwely, y noson flaenorol i'r seiat, ac yn gadael y pen arall i'r llinyn i grogi allan trwy y ffenestr; yna, byddai rhywun yn myned o gwmpas i'r tai yn brydlon, ac yn roddi plwc i'r llinyn. Dywedir mai y mwyaf gofalus gyda hyn oedd Evan Moses, y gôf, yr hwn oedd ŵr o'r Deheudir. Er mwyn cryfhau yr achosion gweiniaid yn y Gogledd, penododd y Gymdeithasfa ar bedwar o frodyr o'r Dê i aros yn Ngwynedd am chwarter blwyddyn bob un, ac i lafurio yn y dalaeth hyd eithaf eu gallu. Enwau y brodyr hyn oeddynt, Dafydd William Dafydd, John Belcher, Benjamin Thomas, a Dafydd William Rhys, ac ymddengys mai yn y Bala y gwnelent eu cartref. Y mae yn bur sicr na sefydlwyd yr un seiat Fethodistaidd arall o fewn terfynau Meirionydd, o leiaf hyd gwedi 1750; oblegyd yn Tachwedd y flwyddyn hon, bu Howell Harris ar daith trwy yr holl o Wynedd, yn ceisio perswadio y seiadau i ymuno a'i blaid ef, a'r unig le, yn ol ei ddydd-lyfr, y bu iddo ymweled ag ef yn Meirionydd oedd y Bala. Nid yw yn sicr pa ddylanwad a gafodd ar y gymdeithas; nid yw yn debyg iddo fod yn llwyddianus, oblegyd dywed mai llefaru yn llym wrth y credinwyr a wnaeth, er iddo gael rhyddid dirfawr wrth bregethu. Y tebygolrwydd yw fod John Evans yn rhy anhyblyg i gymeryd ei berswadio, a bod ei ddylanwad yn ddigonol i gadw yr aelodau eraill rhag myned trosodd.

Tebygol mai yn Mhandy-y-ddwyryd, yn mhlwyf Maentwrog, y sefydlwyd yr ail seiat yn Sir Feirionydd, a hyny tua'r flwyddyn 1755. Gwnaed hyn trwy ddylanwad gwraig, o'r enw Lowri Williams. Un o Sir Gaernarfon ydoedd, ac arferai berthyn i'r seiat yn Mrynengan; ond gan na wnai hi a'i phriod ymwrthod a'r Methodistiaid, cawsant eu troi o'i tyddyn, sef Pandy-chwilog, er nad oedd y gŵr yn proffesu. Yn Mhandy-y-ddwyryd, y lle y gwnaethant eu cartref yn nesaf, yr oedd ganddynt bymtheg milltir i'w teithio i Frynengan, a deunaw i'r Bala, ac nid oedd pregethu o'r fath a garai Lowri Williams i'w gael mewn un man oedd nes. Nid oedd neb ychwaith yn yr ardal o gyffelyb feddwl iddi, ac yn teimlo dyddordeb yn mhethau crefydd. Yn ngwyneb hyn, penderfynodd gael pregethu i'w thŷ. Yn raddol, ffurfiwyd yno seiat, wyth mewn rhifedi, ac oblegyd mai wyth enaid a'

cyfansoddai, gelwid hi "Teulu arch Noah." Heb fod yn hir ychwanegwyd pump arall at yr wyth. Ymddengys fod yr aelodau yma yn dra gwasgaredig, yn preswylio filltiroedd lawer oddiwrth eu gilydd, un yn Harlech, un yn Ffestiniog, arall yn Nhrawsfynydd, ac un arall drachefn yn mhlwyf Llanfrothen. Trodd y rhai hyn allan yn ganwyllau, i oleuo eu gwahanol ardaloedd, a than fendith Duw buont yn foddion i ddwyn yr efengyl i'r cymydogaethau yn mha rai y preswylient.

Nid ymfoddlonai Lowri Williams ar fynu pregethu i'r ardal; torai at bawb y caffai gyfleusdra i ymddiddan â hwynt i ddweyd rhywbeth am grefydd, ac yna gollyngai uchenaid i'r nef am fendith ar y gair a ddyferasai dros ei gwefus. Un gŵr, a ddaeth wedi hyny yn nodedig o ddefnyddiol gydag achos yr efengyl, y bu geiriau Lowri Williams yn foddion i'w ddwyn i ystyriaeth o'i gyflwr, oedd Griffith Ellis, Penyrallt, ger Harlech. Rhyw Sul cyfeiriai ei gamrau, ac efe eto yn llanc, tua Mabsant a gynhelid yn nghymydogaeth Ffestiniog. Ar ei ffordd daeth heibio Pandy-y-ddwyryd, a chan fod afon rhyngddo a'r lle yr oedd am fyned iddo, ac yntau yn anwybodus o'r lle goreu i'w chroesi, troes i dŷ Lowri Williams, i ofyn ganddi ei gyfarwyddo at y sarn. Hithau a aeth i ddangos y lle iddo, gyda phob parodrwydd; ac wrth fyned hi a dorodd ato:—

"Wel, fy machgen i, a fyddi di ddim yn ymofyn am y ffordd i'r bywyd ar y Sul?"

"Na fydda i," meddai yntau, "nac yn gofalu am ddim o'r fath beth."

"Tyr'd yma y pryd a'r pryd,' meddai hithau yn ol, "fe fydd yma ŵr yn dangos y ffordd i'r nefoedd;" ac yn nglyn â hyn hi a ddyrchafodd saeth weddi i'r nef ar ei ran.

"Na ddeuaf fi, yn wir," ebai y llanc gwamal, ac i ffwrdd ag ef, heb ddim ond oferedd yn ei fryd. Ond yr oedd y saeth oddiar fwa Lowri Williams wedi cyrhaedd ei gydwybod. Swniai y gofyniad, "A fyddi di ddim yn ymofyn am y ffordd i'r bywyd?" yn ei glustiau yn barhaus, ac er pob ymdrech nis gallai gael llonydd ganddo. Holai ei hun, beth oedd y bywyd? A pha ffordd oedd y ffordd iddo? Ac yr oedd y saeth weddi fel picell yn ei wanu, fel nas gallai gael llonydd na dydd na nos. Er ei fod wedi penderfynu a dweyd nad elai i'r cyfarfod, nis gallai ymatal rhag myned; teimlai ryw reidrwydd arno i fynu gwybod beth oedd gan y gŵr i'w ddweyd am y ffordd i'r bywyd. Yno yr aeth, ac nid ofer a fu ei fynediad. Goleuwyd ef am ei gyflwr euog, ac am drefn Duw i gadw y colledig, nes iddo benderfynu gadael yr hen arferion a'r cwmni llygredig, ac ymroddi i wasanaethu yr Iesu tra y byddai byw. A gwas ffyddlawn yn yr holl dŷ a fu. Bu o fendith fawr yn ei ardal ei hun, ac yn yr ardaloedd cymydogaethol, a pherarogla ei goffadwriaeth hyd y dydd hwn. Dywedir fod ei dduwioldeb mor amlwg, a'i ymadroddion mor hallt, fel y byddai offeiriad annuwiol y plwyf yn dychrynu rhag ei gyfarfod ar yr heol; a chymaint oedd ei ofal am yr achos fel y cawn ef pan yn aredig yn gollwng y wedd ganol dydd, ac yn cerdded ugain milltir ar ei draed, i geisio pregethwr i Harlech erbyn y Sul canlynol. Dywed yr hen John Evans, y Bala, yr arferai ef, cyn iddo ddechreu pregethu, a dau frawd arall o'r Bala, fyned ar draed i gadw cyfarfod gweddi mewn lle o'r enw Blaenlliw, am naw o'r gloch boreu dydd Sul, ac yna i Bandy-y-ddwyryd erbyn dau, a dychwelyd yn ol adref y noswaith hono. Rhwng myned a dyfod yr oedd y daith tua phymtheg-milltir-ar-hugain. Dywedai yr hen batriarch, wrth adrodd yr hanes, y buasent yn mawr hoffi cael tamaid o fara a chaws yn Nhrawsfynydd wrth ddychwelyd, ond fod rhaid iddynt gadw yn mhell o'r pentref hwnw o herwydd yr erlidwyr.

* Darfu i'r Parch. Richard Humphreys, y Dyffryn, bortreadu mewn amryw ysgrifau gyflwr Meirionydd, yn arbenig y rhan hono o honi a elwir Ardudwy, cyn i Fethodistiaeth godi, gan ei gymharu a'i chyflwr gwedi hyny. Cofnoda ymddiddan a gymerodd le rhyngddo â Lowri Williams, o'r Benar Isaf, yr hon oedd yn nodedig am ei synwyr a'i haddfedrwydd barn, ac oedd yn cofio yn dda ddigwyddiadau a hanes ei gwlad enedigol mor bell yn ol a'r flwyddyn 1750. "Beth dybygwch chwi am y byd, modryb Lowri?" gofynai Mr. Humphreys; "byddai yn dda genyf gael eich barn am dano, oblegyd yr ydych chwi yn cofio llawer am ei arferion er ys pedwar-ugain-a-deg o flynyddoedd. Y mae rhai yn taeru yn wyneb uchel ei fod yn myned yn waeth o hyd, er yr holl bregethu, a chadw ysgolion Sabbothol, a phob moddion a ddefnyddir i'w wella. Beth dybyg-

* *Hanes Methodistiaeth Gorllewin Meirionydd.*

wch chwi am hyn, canys yr ydych yn dyst llygad o'r hyn sydd, ac o'r hyn a fu."

"Nis gwn yn iawn pa fodd i'ch ateb," ebe hithau; "ond os da yr wyf yn cofio, drwg iawn oedd y byd y pryd hwnw, sef pan oeddwn i yn enethig. Nosweithiau llawen, canu efo'r tanau,

"Yr interliwd aelodog
A'r cardiau dau wynebog,"

y twmpath chwareu, a chwareu *tennis* tô; dyna fel y treuliai yr ieuenctyd eu hamser, a'r hen yn eistedd i edrych arnynt. Diwrnod canu a dawnsio oedd y Sul, pan gyntaf wyf fi yn ei gofio. Ac heblaw hyn, yr oedd pawb yr un fath. . Nid oedd un cyfiawn i ragori ar ei gymydog."

"Ond, modryb Lowri," meddai Mr. Humphreys drachefn, "beth am stâd bresenol y byd; pa un ai gwell ynte gwaeth ydyw na chynt?"

"Yn siwr," atebai modryb Lowri, "rhaid cyfaddef fod llawer o wylltineb ac afreolaeth ynddo eto, yn nghyd â rhagfarn, a llid, a chenfigen; ond y mae rhyw ddau fath o bobl yn ymddangos i mi yn bresenol, ac y mae rhai yn ymdrechu i wellhau y byd, ac i gadw ei ddrwg arferion i lawr. Y mae yrwan dda a drwg i'w gweled. *Nid oedd pan oeddwn i yn ieuanc ond drwg a gwaeth.* Y mae bechgyn a genethod yn cael llawer o fanteision y dyddiau hyn, rhagor a geid gynt yn moreu fy oes i. Nid oedd nemawr ddim y pryd hwnw i atal llygredigaeth ond tlodi, cospi lladron, a chrogi llofruddion." Diau ddarfod i modryb Lowri yn gywir ddarlunio y cyfnewidiad a effeithiwyd gan Fethodistiaeth mewn canoedd o ardaloedd yn Nghymru, heblaw Ardudwy. Yr oedd dynion drwg i'w cael wedi i'r Methodistiaid godi, a phersonau yn cyflawni troseddau, ac yn pechu yn rhyfygus; ond yr oedd dynion eraill i'w cael yn ogystal, y rhai, fel halen y ddaear, a ymdrechent wrthweithio drygioni y byd, ac a geisient ei ddwyn i'w ddysgu at y Gwaredwr. Hyn nid oedd yn bod yn flaenorol; y pryd hwnw nid oedd ond drwg a gwaeth.

Yn ol yr hen John Evans, o'r Bala, tua'r flwyddyn 1766 y dechreuodd yr achos yn Nolgellau. Tua'r adeg hono daeth gwraig grefyddol, o'r enw Jane Griffith, i'r dref i gadw ysgol. * Yr oedd wedi ei geni a'i magu mewn lle o'r enw Erwbach, yn Nolbenmaen, Sir Gaernarfon; ac felly, y mae yn dra thebyg yr arferai gyrchu i Brynengan, lle yr oedd achos cryf gan y Methodistiaid. Byddai y wraig dda hon yn ymddiddan yn aml a'r sawl a wrandawent arni am ddrwg pechod, a thruenus gyflwr dyn trwy y cwymp. Ymwasgodd ychydig o dlodion, trwy hyn, i ymgyfeillachu â hi. Cyn pen hir, ymadawodd Jane Griffith o'r lle; ond ni fedrai y rhai oedd ar ol fod yn llonydd yn hwy heb air y bywyd; ac yn fuan, daeth llefarwyr o Sir Gaernarfon, ac o'r Bala, i weinidogaethu iddynt. Ond yr oedd mawr berygl iddynt am eu heinioes; yr oedd y dref, a'r holl wlad o gwmpas, yn gynddeiriog yn erbyn y ffordd newydd o gynghori dynion mewn tai cyffredin, ac ar y prif-ffyrdd; ac yn bleidiol i'r chwareuon a'r arferion llygredig. Cymerodd y brodyr yn y Bala dŷ, o'r enw Pant-y-cra, tua milltir o dref Dolgellau, ar brydles, er mwyn cynal pregethu yno. Un Sabbath, yr oedd Mr. T. Foulkes, o'r Bala, wedi addaw dyfod yno i gynghori; aeth y swn ar led fel tân gwyllt, a chyffrodd y terfysgwyr yn erwin. Tyrodd pobl y wlad a'r dref yno erbyn yr awr appwyntiedig, a bygythient, os mai yno y deuai y cynghorwr, y dienyddient ef, ac y claddent ef mewn pwll mawnog oedd gerllaw. Pan ddeallodd y brodyr benderfyniad mileinig y dorf, aethant i gyfarfod Mr. Foulkes, ac ataliasant ef rhag myned yno. Yna yr erlidwyr, wedi cael eu siomi, a ruthrasant ar y tŷ, gan dynu darn o hono i lawr. Ond yn mhen ychydig, wedi i'r teimladau oeri, a deall ddarfod iddynt droseddu y gyfraith, adgyweiriasant y tŷ drachefn. Mentrwyd cynghori ynddo eilwaith; ac o fesur ychydig ac ychydig anturiwyd pregethu yn y dref.

Nid oedd yr erledigaeth, modd bynag, wedi ei darostwng yn hollol. Un diwrnod, yr oedd cyhoeddiad tri gŵr o'r Deheudir yno. Cynhyrfodd hyn y werinos yn enbyd, a phenderfynasant na chaffai y llefarwyr fyned i ffwrdd heb eu baeddu, os nad eu lladd. I'r pwrpas hwn, cadwent wyliadwriaeth fanwl ar y ddwy bont yn nau ben y dref. Eithr darfu i'r cyfeillion crefyddol yn Nolgellau gymeryd y ceffylau, gan fyned o'r blaen; y lleill o'r brodyr a ddygasant y pregethwyr ar eu traed trwy yr afon uwchlaw y bont, ac felly y dihangasant. Ond cafodd un o'r crefyddwyr ddyrnod ar ei ben â chareg, nes y syrthiodd i lawr, ac ar hyny ffodd yr erlidwyr, gan dybio eu bod wedi ei ladd. Dro arall, daeth un o ganlynwyr Howell Harris yno,

* *Y Drysorfa Ysprydol.*

ac a ryfygodd bregethu ar gyhoedd y farchnad; ond bu dda ganddo gipio ei geffyl a ffoi gyda phrysurdeb. Cododd yr holl erlidwyr, a mynent, gan gymaint eu llid a'u cynddaredd, ei ddryllio yn dipiau; daeth un gŵr a thryfer yn ei law, ar fedr ei redeg ef â hono. Yr oedd llidiart o flaen y cynghorwr, a daeth gwraig y gŵr a'r dryfer ac a'i hagorodd iddo, ac felly, trwy drugaredd Duw, y dihangodd a'i fywyd yn ysglyfaeth. Bu crefyddwyr cyntaf Dolgellau, yn ol pob hanes, dan erledigaeth am faith flynyddoedd. Nid yn unig yr oedd yr erlid yn boethach, ond parhaodd yn hwy nag odid fan.

Meddai Robert Jones, Rhoslan: * "Rhy faith, pe gellid cofio, fyddai adrodd am lawer o'r helyntion a'r erledigaethau a ddyoddefodd llawer yno (yn Nolgellau) o hen bererinion cywir; pa rai, gan mwyaf, sydd yn awr (1820) yn gorphwys yn dawel oddiwrth eu llafur. Gorfu iddynt tros rai blynyddoedd fyned yn ddystaw iawn i'r dref yn y nos, a chadw yr odfaeon cyn dydd, a myned ymaith ar doriad y wawr, cyn i'r llewod godi o'u gorweddfaoedd. Byddai un yn aros i fynu trwy y nos i fyned o amgylch i ddeffro pawb oedd yn caru gwrando, i ddyfod yn nghyd at yr amser. Llwyddodd Duw ei waith yn rhyfedd yno, yn ngwyneb pob stormydd." Un tro, pregethai Peter Williams yn yr Esgeiriau, tyddyn bychan tua chwarter milltir o'r dref, yr hwn sydd yn gyfagos i geunant dwfn, a elwir Ceunant *Stuckley*. Eithr rhuthrodd yr erlidwyr i'r tŷ, diffoddasant y canwyllau, torasant y dodrefn, a bwriasant hwy i lawr i'r ceunant, a bu raid i'r crefyddwyr ddianc am eu bywyd. Boreu dranoeth, cafwyd y dodrefn drylliedig, a'r llestri llaeth, yn ngwaelod y ceunant.

Nis gallwn ymatal rhag cofnodi yr hanes am Catherine Owen, yn sefyll yn y ffenestr rhwng y pregethwr a'r erlidwyr, yr hon weithred a brofa fod y wraig hono yn meddu calon arwraidd, yn gystal â duwioldeb dwfn. "Fel hyn y bu," ebai Robert Jones, Rhoslan.† "Yr oedd y cyfeillion yn Nolgellau wedi cael eu herlid yn echryslon y nos Sul o'r blaen, ac un wedi cael ei daro â chareg, fel y bu yn hir mewn llewyg, er nad oedd yno y tro hwnw neb yn pregethu. Y nos Sabbath dilynol, daeth yno ddau i bregethu, a chwi allech feddwl na allai natur lai nag ofni. Pa fodd bynag, wedi ymgasglu o'r gwrandawyr i'r tŷ, eisteddodd y wraig, sef Catherine Owen, yn y ffenestr oedd ar gyfer y pregethwr, gan ddywedyd yn siriol iawn: '*Ni chant eich taro, oni tharawant chwi trwyddof fi!*' Bu hyn yn rym i feddwl y pregethwr, wrth ei gweled mor ddisigl yn ei hymddiried yn yr Arglwydd. Cafwyd llonyddwch y tro hwn heb ei ddysgwyl." Dywedir fod rhai o hiliogaeth y wraig ddewr hon a'u hysgwyddau dan yr arch yn bresenol, ac yn sicr, y mae bod yn ddisgynyddion iddi yn fwy o anrhydedd iddynt na phe baent yn medru rhifo pendefigion yn mysg eu henafiaid.

A ganlyn yw y modd y gorchfygwyd yr erlid yn Nolgellau. ‡ Pregethid yn nhŷ David Owen, gwydrwr; a gwraig iddo ef oedd y ddynes a safai yn y ffenestr. Nid oedd David Owen ei hun yn grefyddol; ond yr oedd ganddo barch diderfyn i grefydd; a phan y byddai seiat yn cael ei chynal yn y parlwr, eisteddai efe ar ei ben ei hun yn y gegin. Wedi blino yn cael ei gamdrin, cynghorwyd ef i roddi y rhai blaenaf o'r terfysgwyr yn ngafael y gyfraith. A hyn cytunodd yntau, a dygwyd yr achos i brawf yn Sessiwn y Bala. Gwnaed parotoadau mawrion ar gyfer y treial; yr oedd holl foneddwyr y wlad, a'r cyfreithwyr, yn bleidiol i'r terfysgwyr; ond nid yw yn ymddangos fod gan y Methodistiaid na chyfreithiwr nac arall; dibynent yn gyfangwbl ar wirionedd eu hachos. Dygwyd y mater gerbron yr uchel reithwyr; ymddygai y rhai hyny at y crefyddwyr druain yn y modd mwyaf dirmygus, gan ofyn iddynt yn wawdlyd: "Pa mor aml y byddwch yn myned i'r weddi dywyll? Pa bryd y byddwch yn arfer diffodd y canwyllau yn y cyfarfodydd?" a chwestiynau disynwyr cyffelyb. A dychwelasant reithfarn o *No true bill*, gan farnu yr achos yn anheilwng o unrhyw sylw pellach. Erbyn hyn, yr oedd cyflwr Methodistiaid Dolgellau yn waeth nag o'r blaen. Troisant oddiwrth y neuadd gyda chalon drom, a chan wylo yn dost aethant at John Evans, y Bala, i ddweyd eu cwyn, ac i ofyn am gyfarwyddyd. Ofnent fyned adref, rhag y byddai yr erlidwyr yn eu dysgwyl, y rhai, wedi deall na wnelai y gyfraith amddiffyn y Pengryniaid, a fyddent yn hyfach ac yn ffyrnicach nag erioed. "Peidiwch wylo,"

* *Drych yr Amseroedd.*
† *Methodistiaeth Cymru.*

‡ *Drych yr Amseroedd.*

ebai John Evans, "a pheidiwch myned adref ychwaith; aroswch yn y dref hyd y boreu, ac ni a edrychwn ai nid oes modd eich amddiffyn." Eithr torodd gwawr ar eu hachos o ganol tywyllwch. Ac fel hyn y bu. Yr oedd boneddwr yn aros yn Mhlasyndre, perthynas i Mrs. Lloyd, mam y Parch. Simon Lloyd. Un o Boweniaid y Tyddyn, yn Sir Drefaldwyn, ydoedd felly. Dylanwadwyd ar y boneddwr hwn i gymeryd achos y crefyddwyr o Ddolgellau i fynu. Wedi gweled fod cam wedi cael ei wneyd, aeth y boneddwr i'r llys, a rywfodd llwyddodd i ail agor y mater, a rhoddodd wers lem i'r uchel reithwyr am ymddwyn fel y gwnaethent, yn groes i'w llw. Trodd y byrddau, a dychwelwyd rheithfarn o blaid y gorthrymedig. Erbyn hyn, yr oedd y crefyddwyr wedi cael llwyr oruchafiaeth. Cerddodd y newydd yn gyflym i Ddolgellau, a dihangodd amryw o'r prif erlidwyr i ffwrdd. Gyrwyd gweision y sirydd gyda'r Methodistiaid i'r dref, ac anfonwyd y *crier* allan, yn hysbysu fod amddiffyniad y gyfraith drostynt, ac y cospid pwy bynag a feiddiai ymosod arnynt drachefn. O hyn allan cafodd y Methodistiaid lonydd i addoli Duw yn ol eu cydwybod.

Y mae yn bur sicr i adfywiad 1762 gyrhaedd Meirionydd, a chynyrchu yspryd newydd yn y seiadau, gan fod yn foddion i liosogi rhif y crefyddwyr yn ddirfawr. Fel y darfu i ni sylwi, hymnau Williams, Pantycelyn, oedd y prif foddion a fendithiwyd i'w gynyrchu; ac mewn yspryd moliant a chân yr ymddangosai yn benaf. Tua diwedd y flwyddyn 1768, dywedai y Parch. Benjamin Thomas wrth Howell Harris fod Methodistiaeth wedi cynyddu yn ddirfawr yn Ngwynedd, fod yno gynifer a phedwar-ar-hugain o gynghorwyr, a'u bod yn cyfarfod a'u gilydd yn fisol ac yn gwarterol. Ychwanegai Mr. Thomas fod saith ugain o aelodau crefyddol yn y Bala yn unig. Eithr diau fod seiat y Bala y pryd hwnw yn cael ei gwneyd i fynu o bersonau a breswylient mewn ardaloedd pell o'r dref. Yn mhen tua blwyddyn a haner gwedi, sef Chwefror, 1770, yr oedd y Bala yn teimlo yn ddigon cryf i gynal Cymdeithasfa, ac yr ydym yn cael John Evans, a Humphrey Edward, y cynghorwr, wedi teithio i Abergwaun, yn Sir Benfro, i ofyn am dani, ac er fod Howell Harris yn eu gwahodd i Drefecca, hwy a orfu. Er nad yw hanes y Gymdeithasfa hon genym, y mae yn ddiamheuol iddi gael ei chynal. Y mae mor sicr a hyny mai dyma y Gymdeithasfa reolaidd gyntaf a gynhaliwyd yn y Bala, ac, yn wir, yn Ngogledd Cymru, a gadael allan Trefaldwyn.

Gellir olrhain cychwyniad Methodistiaeth yn Sir Gaernarfon yn ol i ymweliad Howell Harris â Lleyn yn y flwyddyn 1741. Yr ydym wedi rhoddi hanes yr oll a wyddis am ei daith yn barod. Y lleoedd y pregethodd ynddynt oedd Glasfryn Fawr, ger Pwllheli; Tŷ'n Llanfihangel, gerllaw Rhyd-y-clafdy; Tywyn, nid yn nepell o Tydweiliog, lle y cafodd odfa rymus, ac yr argyhoeddwyd amryw; Rhydolion, ger Llanengan; a Phorthdy'nllaen. A sefydlodd ef rai seiadau y pryd hwn, sydd ansicr; y tebygolrwydd yw na wnaeth. Eithr cynyrchodd ei ddyfodiad gyffro dirfawr trwy yr holl wlad, daeth crefydd yn destun sylw cyffredinol, a deffrodd erledigaeth o'r fath boethaf. Y mae yn bur debyg i Daniel Rowland hefyd ymweled â rhanau o Leyn, naill ai yn y flwyddyn 1742, neu 1743. Yn Interliwd Morgan y Gogrwr, clochydd Llannor, yr hon a gyhoeddwyd yn y flwyddyn 1745, gwneir cyfeiriad pendant at ymadroddion a ddefnyddiwyd gan Rowland pan yn pregethu yn Mhorthdy'nllaen. Felly rhaid iddo fod trwy y wlad cyn y flwyddyn hono. Bu hefyd ar daith yn Lleyn, ac yn Sir Fôn, yn y flwyddyn 1747, ac wrth borth y fynwent yn Llanmellteyrn, ar ol gwrthod yr eglwys iddo, cafodd odfa i'w chofio byth. Torodd allan yn orfoledd cyffredinol, a diamheu i lawer gael eu hachub i fywyd tragywyddol. Nid oedd gwahaniaeth pendant rhwng y Methodistiaid a'r Ymneillduwyr yn Lleyn ar y cychwyn; derbyniai William Pritchard, Glasfryn Fawr, y Methodistiaid i'w dŷ i bregethu yr un fath a gweinidogion yr Annibynwyr; yr oedd Jenkin Morgan, yr ysgolfeistr a gadwai ysgol yn ei dŷ, ac a elai o gwmpas i gynghori, yn cydymdeimlo yn ddwfn a'r symudiad Methodistaidd, fel yr oedd yn naturiol i un o ysgolfeistri Griffith Jones, a safai wrth ochr Howell Harris pan yr ymosodwyd arno mor enbyd yn y Bala, yn y flwyddyn 1741. Felly, a'r Ymneillduwyr yn Mhwllheli yr ymunai y Methodistiaid ar y cychwyn, ac yno y cymunent. Ond pan ddaeth Howell Harris i'r wlad drachefn ceryddodd hwy am eu hymddygiad; dywedai nad iawn hel yr halen oll i'r un cŵd, ac y dylai y diwygiad gael ei ledaenu trós yr oll o Leyn. Yr hyn a olygai yn ddiau ydoedd, nad iawn gwneyd

Pwllheli yn gydgasgliad o grefydd y wlad, ac y dylid sefydlu mân seiadau draw ac yma. Er fod Howell Harris yn parchu yr Ymneillduwyr, ac yn cydweithio yn galonog â hwy, nid oedd yn foddlon i'r rhai a argyhoeddid trwy y Methodistiaid ymaelodi yn eu cynulleidfaoedd. Yn hytrach, dymunai iddynt lynu wrth yr Eglwys, yn y gobaith y byddai i'r Sefydliad gael ei lefeinio yn y man gan y diwygiad. Ar arch y Diwygiwr o Drefecca ymwahanodd y Methodistiaid oddiwrth Annibynwyr Pwllheli, ac yr oedd yn hawddach ganddynt wneyd, am nad oedd y gweinidog newydd a ddaethai yno, sef un Richard Thomas, yn llanw ei le fel ei ragflaenydd, nac yn cael ei ystyried yn hollol bur mewn athrawiaeth. Gweddus hysbysu i'r ymwahaniad gael ei ddwyn oddiamgylch heb na digter na dadl, ond gyda y teimladau goreu o bob tu.

Yn gynar yn hanes Methodistiaeth Lleyn daeth gŵr ieuanc o'r Deheudir yno, yr hwn oedd yn offeiriad, ac yn bregethwr tra rhagorol. Ei enw oedd David Jenkins; yr oedd brawd iddo, sef Daniel Jenkins, yr hwn yntau oedd yn bregethwr, yn fab-yn-nghyfraith i Daniel Rowland. Nid ydym yn deall fod ganddo guwradiaeth yn y wlad; yn hytrach cawsai ei anfon gan Rowland i fod yn gyfnerth i'r diwygiad, a dysgwylid, gan ei fod mewn urddau Eglwysig, na chawsai deimlo cymaint oddiwrth yr erledigaeth. Addawodd person Tydweiliog y caffai bregethu yn yr eglwys yno; ond pan ddaeth yr amser appwyntiedig ofnodd ddwyn arno ei hun lid y personiaid o gwmpas, a thynodd ei air yn ol. Mewn canlyniad, ymroddodd Mr. Jenkins i bregethu yn y mynwentydd, yn y caeau, ar y prif-ffyrdd, a pha le bynag y caffai wrandawyr. Pan y gwrthodwyd llan Tydweiliog iddo pregethai oddiar gareg fedd, a chafodd odfa anarferol, lawn mor nerthol, dywedir, ag un a fu yn y wlad erioed, a dychwelwyd llawer trwyddi. Byr iawn a fu gweinidogaeth David Jenkins yn Sir Gaernarfon, ond yn ystod y tymhor byr hwnw, bu ei weinidogaeth yn dra bendithiol. Seren ddysglaer ydoedd, ond machludodd yn gynar; pumpar-hugain mlwydd oed ydoedd pan fu farw. Pan glybu Daniel Rowland am ei ymadawiad, dywedodd, gyda dwysder a galar: "Torwyd ymaith fy mraich ddehau."

Mor bell ag y gwyddis, mewn lleoedd o'r enw Brynygadfa, yn mhlwyf Llanaelhaiarn, a Moelderwin, yn ardal Bwlchderwin, y ffurfiwyd y seiadau cyntaf yn Lleyn ac Eifionydd. Cyn i'r seiadau hyn gael eu sefydlu, ymwasgai y Methodistiaid at yr Ymneillduwyr yn Mhwllheli, neu Capel Helyg. Y mae yn bur sicr fod seiadau yn Mrynygadfa a Moelderwin yn flaenorol i'r flwyddyn 1747. * Tybir fod cyfeiriad at y ddau le mewn llythyr o eiddo yr hen gynghorwr, William Richard, yr hwn a ysgrifenwyd Mehefin 20, 1747. Fel hyn y dywed efe: "Dydd Gwener, ar fy nychweliad o Leyn, yr oedd genyf gyhoeddiad mewn lle rhwng Caernarfon a Phwllheli. Mi a bregethais yno i nifer o eneidiau tlodion ac anwybodus, a chefais odfa felus iawn. Hyderaf fod yr Arglwydd wedi agor drws yn y lle hwn." Tybir yn sicr mai Brynygadfa, neu ynte yr Helygirion oedd y lle y cyfeirir ato. Ychwanega William Richard: "Gofynodd un o'r brodyr am le arall i bregethu ynddo rhwng y lle yma a Phenmorfa, ond gomeddwyd ef. Ond cawsom le mewn bwthyn bychan yn agos i'r tŷ hwnw. Pregethais yno (sef Foelderwin) i tua dwsin o bobl, a chawsom odfa hapus iawn. Felly, dychwelais drachefn i'r Bala, ac arosais yno hyd dydd Llun, ac yr oedd yn ogoneddus iawn yno." Darfod a wnaeth y seiadau yn y ddau le hyn, am nad adeiladwyd yno gapelau, ac am i seiat Brynengan lyncu iddi ei hun y mân seiadau a ffurfiwyd o gwmpas. Pa bryd y ffurfiwyd seiat Brynengan, nid oes sicrwydd. Yr oedd yma, modd bynag, seiat gref yn flaenorol i'r flwyddyn 1755, oblegyd yn y flwyddyn hon yr aeth Lowri Williams o honi, ac y cludodd y tân sanctaidd i Sir Feirionydd. Yr ydym yn tueddu i feddwl fod yma seiat yn 1750, ac mai â Brynengan yr ymwelodd Howell Harris Tachwedd y flwyddyn hono, pan y ceisiai gael gan seiadau y Gogledd ymuno a'i blaid ef.

Y modd y cludwyd crefydd i ardal Brynengan oedd fel y canlyn. Daeth teulu i'r gymydogaeth i breswylio o Maesllech. Yn fuan, cymerwyd un o'r bechgyn, John Morris wrth ei enw, yn sâl o glefyd trwm. Tua'r un pryd, symudasai hen ferch o gymydogaeth Moelderwin i'r ardal, yr hon oedd yn dra chrefyddol. Ei henw oedd Catrin Rhisiart. Pan y clywodd am selni John Morris, cododd awydd arni am ymweled ag ef, er ei rybuddio o'r perygl o farw yn annuwiol.

---

* *Robert Dafydd, Brynengan*, gan y Parch. Henry Hughes, Brynkir.

Gwellhaodd y llanc, ond ni fedrodd ysgwyd i ffwrdd rybudd yr hen Gatrin, a gwnaed ef yn flaenffrwyth Methodistiaeth Brynengan. Daeth y teulu oll yn grefyddol mewn canlyniad, a bu Rhisiart Morris, brawd John Morris, yn flaenor y seiat am flynyddoedd. Cynyddodd seiat Brynengan yn gyflym, a daeth yn fuan yn Jerusalem Sir Gaernarfon. Y rheswm a roddir am ei chynydd ydyw, na fu nemawr dim erlid yma erioed. Yr oedd perchenog y tir, sef Mr. Henry Jones, er nad oedd yn aelod ei hun, yn ffafriol i'r crefyddwyr. Heblaw hyn, yr oedd y lle yn ddiarffordd a neillduedig i raddau, ac felly yn fwy o gyrhaedd yr erlidwyr. Tra y bu erlid enbyd, fel y cawn ddangos eto, mewn rhanau helaeth o Leyn ac Eifionydd, cai y ddeadell fechan yn Mrynengan lonyddwch i addoli heb fod neb yn tori ar ei heddwch. Yn mhen peth amser sefydlwyd seiat yn Tymawr, lle yn nghanolbarth Lleyn; a bu y lle hwn a Brynengan yn daith Sabbothol am flynyddoedd, er fod tua deunaw milltir o ffordd rhyngddynt. Cychwynai yr hen grefyddwyr yn fynych o wahanol ranau Lleyn ac Eifionydd, i un o'r ddau le hyn foreu Sabbath, yn mhell cyn toriad y wawr; a byddent ar fwlch yr Eifl pan fyddai yr haul yn codi, er mwyn bod yn Tymawr, neu Brynengan, erbyn y bregeth ddeg o'r gloch. Adeiladwyd capel Brynengan, capel cyntaf y Methodistiaid yn Lleyn, yn y flwyddyn 1777, a gwnaed ei waith coed gan yr Hybarch Robert Jones, Rhoslan.

Fel yr ydym wedi sylwi yn barod, bu erlid enbyd ar y crefyddwyr yn Lleyn ac Eifionydd. Er cyffroi y werinos, llunid pob math o ystoriau celwyddog am y cynghorwyr Methodistaidd. * Haerid fod yn amcan ganddynt i werthu y plant yn gaethweision, a bod cyngrhair i'r dyben hyny rhyngddynt â rhyw ddihyriaid mewn gwledydd tramor, y rhai a fwriadent anfon llong i ryw borthladd cyfagos i'w cyrchu a'u cludo ymaith. Taerai eraill ei fod yn amcan ganddynt, gwedi iddynt enill rhyw nifer o ganlynwyr, i godi gwrthryfel yn erbyn y llywodraeth, a dadymchwel pob trefn a phob sefydliad gwladol. Cafodd y Methodistiaid waethaf holl foneddwyr y rhan hono o'r wlad. Gyrid hwy ymaith o'u tyddynod; cymerid hwy i fynu er eu pressio i'r fyddin, ac anfonwyd amryw o honynt allan o'u gwlad, y rhai a fuont feirw mewn gwledydd tramor. Er esiampl o'r modd y trinid hwy, rhoddwn fyr hanes o'r modd yr ymddygwyd at gynghorwr, o'r enw Morgan Griffith, yr hwn a breswyliai mewn tyddyn o'r enw Bwlchyrhiw, yn mhlwyf y Rhiw, yn Lleyn. Cyn iddo gael crefydd, arferai ganu gyda'r tànau yn yr eglwys, a chadwai ysgol ganu i ddysgu ieuenctyd yr ardal mewn cerddoriaeth. Un tro, daeth i'w feddwl, fel yn ddigyfrwng, nad oedd y cyfryw ganu yr hyn a orchymynai Duw yn ei Air, ac felly nad oedd yn gymeradwy ganddo. Mewn canlyniad, ymroes i ddarllen y Beibl, ac i wrando pregethau pan gaffai gyfleustra, a daeth i brofi gradd o dangnefedd i'w fynwes derfysglyd trwy waed Crist. Nid hir y bu cyn dechreu cynghori a rybuddio ei gydbechaduriaid. Dechreuodd gyda hyn o leiaf tua'r flwyddyn 1744, sef yn mhen rhyw dair blynedd gwedi ymweliad cyntaf Howell Harris, ac y mae yn sicr ei fod yn un o gynghorwyr cyntaf Lleyn, os nad efe oedd y cyntaf oll. Yn mhen ychydig, pan yn dychwelyd adref o bregethu, daliwyd ef ger Sarn Myllteyrn. Dywedir mai creadur eiddil oedd yr hwn a'i daliodd, ac mai hawdd fuasai i Morgan Griffith, yr hwn oedd ddyn cryf ac esgyrnog, ei ysgwyd i ffwrdd, a dianc o'i grafangau. Ond hyn ni fynai wneyd, gan fod gan y dyn wŷs gyfreithlon i'w gymeryd. Yr oedd efe ar y pryd yn ŵr gweddw, a chanddo ddau o blant heb neb i ofalu am danynt, mewn oedran cymharol dyner. Pan yr ymddangosai gerbron yr ynadon yn Mhwllheli, dygwyd y ddau blentyn yno hefyd, gan ewythr iddo, yn y gobaith y byddai i'r olwg arnynt doddi calonau y boneddwyr. Ond y cyfryw oedd cynddaredd y rhai hyn, fel nad oedd yr olygfa yn ei tyneru mewn un modd. Rhoddasant lyfr gerbron y bachgen, yr hwn oedd tuag wyth mlwydd oed, er mwyn cael gweled a fedrai ddarllen; gwnaethant yr un modd gyda ei chwaer, yr hon oedd ddwy flwydd yn ieuangach; a chwedi cael y medrai y ddau, gwelent yn hyn drosedd ychwanegol, ac ysgelerder nas gellid ei faddeu, am yr arwyddai fod Morgan Griffith yn bwriadu dwyn ei blant i fynu yn yr un heresi ag ef ei hun.

Cafodd y cynghorwr druan ei anfon, efe a nifer o'i gydgrefyddwyr, i wasanaethu yn y llynges. Cludwyd hwy yn gyntaf i Gaernarfon, ac oddiyno i Gonwy; ac yn y lle diweddaf y carchar oedd eu llety. Yr oedd yn ddydd gwyl pan ddaethant i

* *Methodistiaeth Cymru.*

Gonwy, ac ymgasglai llu o bobl i gael golwg ar y carcharorion. Rywsut, cafodd Morgan Griffith gyfle i anerch y bobl, a chyhoeddodd iddynt ei fod ef a'i gyfeillion yno nid am ladd, na lladrata, nac unrhyw anghyfraith arall, ond am ddarllen yr Ysgrythyrau, a gweddïo, a chynghori y bobl am fater eu heneidiau. Yna, rhybuddiodd y bobl, gyda difrifwch mawr, i ystyried eu ffyrdd, a dychwelyd at yr Arglwydd. Dywedir na fu y bregeth yn ddieffaith, ond i'r saethau lynu yn nghalonau dau o ddynion ieuainc yr ardal, y rhai, ar ol hyn, a fuont yn dra defnyddiol gyda gwaith yr efengyl. Yn fuan, anfonwyd y carcharorion i fwrdd llong ryfel, yr hon oedd yn un o borthladdoedd Lloegr. Yn mhen amser, cawsant oll, a Morgan Griffith yn eu mysg, drwydded i ddychwelyd adref. Eithr nid cynt y cafodd efe ei draed ar ddaear Lleyn nag y dechreuodd ar ei hoff waith o gynghori ei gydbechaduriaid. Cymerwyd ei drwydded oddiarno yn fuan; anfonwyd ef yn ei ol i'r llynges, ac anfonwyd llythyr o'i flaen i hysbysu ei fod yn parhau yr un a chyn ei anfon o'r wlad y tro cyntaf, a'i fod yn blaenori mewn aflonyddwch a therfysg. Tybiodd cadben y llong y gallai beri iddo adael ei arferion crefyddol trwy ddychryn; hysbysodd ef y byddai raid iddo beidio gweddïo a chynghori, a bod yn Eglwyswr dystaw a llonydd, onide caffai ei osod y naill ben i'r llong, a'i saethu gan y milwyr. Dewisodd Morgan Griffith gymeryd ei saethu, gan ddweyd: "Rhaid yw ufuddhau i Dduw yn fwy nag i ddynion." Ar hyn, gosodwyd ef ar ben blaen y llong, a saethwyd tuag ato, ond nid oedd dim yn y drylliau ond pylor. Gan iddo ddangos y fath benderfyniad a gwroldeb, trodd yr amgylchiad yn fantais iddo; cenhedlodd barch iddo yn meddyliau y rhai na feddent unrhyw gydymdeimlad a'i grefydd. Eithr nid hir y bu Morgan Griffith fyw ar ol hyn; clafychodd o glefyd trwm, o'r hwn y bu farw. Adroddwyd yr hanes am dano gan ei gymdeithion, y rhai, gan nad oedd eisiau eu gwasanaeth yn y llynges, a ddychwelasant yn eu holau i'w cartrefleoedd; a thystient un ac oll mai diwedd Morgan Griffith oedd tangnefedd.

Nid yw yr hanes am y gamdriniaeth a gafodd Morgan Griffith ond engrhaifft o'r erledigaeth a ddyoddefwyd gan Fethodistiaid cyntaf Sir Gaernarfon. Meddai *Methodistiaeth Cymru*: "Y mae yr hanes uchod ar lawer cyfrif yn ymddangos yn anhygoel. Anhawdd genym ni, y rhai ydym wedi ymgynefino â rhyddid crefyddol dros ein hoes, ac wedi gweled Methodistiaeth yn ddyrchafedig yn y wlad, gredu y gallai neb ymddwyn mor greulawn tuag at eu cyd-ddynion. Clywsom, mae yn wir, am greulonderau y Pabyddion, ac nid gormod fuasai coelio y fath bethau am danynt hwy; ond fod Protestaniaid yn gallu gwneyd hyn sydd yn ymddangos yn mron yn angrhedadwy. Ond am yr amgylchiadau a goffawyd uchod, nid oes genym un lle i'w hameu, er mor erchyll. Ysgrifenir yr hanes gan y gŵr a adwaenai Hugh Thomas (un arall o'r dyoddefwyr, a chyfaill Morgan Griffith), a chafodd yr hysbysiad o'i enau ef ei hun." Y mae Robert Jones, hefyd, ar fyr eiriau, yn cyfeirio at yr un amgylchiadau.

Ymddengys mai i gymydogaeth Llanberis y daeth Methodistiaeth gyntaf i ddosparth Arfon. Y cychwyniad oedd trwy i un Hugh Thomas, brodor o Leyn, a chyfaill y Morgan Griffith yr ydym wedi cyfeirio ato, pan ar ffô o'i gartref rhag ei ddal i fod yn filwr, ddyfod am nodded i amaethdy Cwmglas. Y mae yn sicr iddo ef, er mai ymguddio yr ydoedd, wneyd rhyw gymaint er deffro pobl y gymydogaeth. Yn y flwyddyn ganlynol, y mae yn bur debyg i gynghorwr arall, o'r enw William Harry, gael ei anfon yma gan Gymdeithasfa y Deheudir. Yn nghofnodau Cymdeithasfa Llanddeusant, a gynhaliwyd Chwefror, 1743, ceir a ganlyn: "Bod i'r brawd William Harry gadw ysgol yn Sir Gaernarfon, a chynghori cymaint ag a allo, rhwng oriau yr ysgol, yn y gymydogaeth." Dywedir am William Harry ei fod yn ddyn cryf o gorph, a gwrol o feddwl; ac yr oedd yn rhaid wrth ddyn felly i wynebu ar yr anturiaeth o fyned i'r Gogledd i bregethu. Digwyddodd amgylchiad yn nglyn a'i fynediad i Lanberis a sicrhaodd ryw gymaint o barch iddo yn meddyliau pobl y gymydogaeth. Ar ei daith, cyrhaeddasai Ysbytty Ifan, a gofynodd yno i ryw ddyn am gyfarwyddyd i Lanberis. Nis gallai y dyn roddi y cyfryw gyfarwyddyd iddo, ond dywedai fod Llanberis yn gorwedd yn mhell draw, gan gyfeirio a'i law at fynyddoedd ysgythrog yr Eryri. Yr oedd ganddo tuag ugain milltir o ffordd i'w theithio, a hyny o'r fath fwyaf ddisathr a pheryglus. Prin y gellid dweyd fod yno ffordd o gwbl, ond rhyw lwybrau anhygyrch ar hyd llechweddau y creigiau, uwchben ceunentydd

dyfnion a rhaiadrau gwylltion; a phe y buasai yr ymdeithydd mewn aml i fan ond gwyro llathen oddiar y llwybr, syrthiai yn bendramwnwgl i lawr dros y clogwyni enbyd i'r ceudod islaw. Gwaeth na'r cyfan, aeth yn nos ar William Harry tua'r man mwyaf peryglus, sef Bwlch-rhiw-ychain. Ond trwy fod daionus law Duw gydag ef, cyrhaeddodd ben ei daith, sef Cwmglas, rywbryd cyn y boreu. Pan aeth y son ar led fod dyn wedi dyfod trwy y fath le, ar hyd y nos, ac heb arweinydd, parodd syndod cyffredinol. Edrychai y trigolion ar y peth fel gwyrth. Gwedi anfon hysbysiad ar led fod y cynghorwr i bregethu yn Cwmglas y nos ganlynol, penderfynodd amryw fyned yno o gywreinrwydd, i ganfod a chlywed dyn oedd wedi cyflawni gorchest mor anhygoel. Yn mysg y rhai hyn yr oedd un Pierce Williams, Gwastadnant. Dan y bregeth cafodd Pierce Williams ei argyhoeddi, a daeth yn wir ddysgybl i Fab Duw. Ac yn fuan derbyniodd bregethu i'w dŷ. Dywedir, yr un pryd, na fu ond ychydig o lwyddiant ar bregethu yr efengyl yn Llanberis am lawer o flynyddoedd.

Lle arall yn nosbarth Arfon, ag y sefydlodd y Methodistiaid achos ynddo yn bur gynar, oedd y Waunfawr. Yr oedd yma gynghorwr, o'r enw Evan Dafydd, Hafodyrhyg, yr hwn a fu farw yn y flwyddyn 1750. Ni wyddis pa bryd na pha fodd y daeth Evan Dafydd i adnabyddiaeth o'r gwirionedd; ond dywed traddodiad i Howell Harris fod yn pregethu yn Hafodyrhyg. Cychwynwyd seiadau yn foreu hefyd yn Clynog, a Llanllyfni, a dywedir ddarfod cynal math o Gymdeithasfa yn Llanllyfni yn y flwyddyn 1769. Yr oedd seiadau wedi eu sefydlu mewn llawer rhan o'r wlad o gwmpas, cyn fod gan y Methodistiaid achos yn nhref Caernarfon. Cyrhaeddodd adfywiad 1762 Arfon hefyd, a bu yn foddion i ychwanegu llawer at y crefyddwyr, ac i godi yr achos yn ngolwg y wlad.

Nid oes genym hanes sicr pa fodd y cychwynwyd Methodistiaeth yn Siroedd Dinbych a Fflint. Bu Howell Harris ar daith trwy y rhanau hyn o'r wlad tua diwedd y flwyddyn 1747; ond nid yw ei ddydd-lyfr am y tymhor hwn ar gael, felly, nis gwyddom yn hollol â pha leoedd yr ymwelodd. Ond y mae yn bur debyg fod yma Fethodistiaid cyn hyny. Dywed John Evans, y Bala, mai efe a ddygodd y marworyn cyntaf i gymydogaeth Adwy'r Clawdd. Yma y cawsai John Evans ei eni, ac nid oedd ond naw mlwydd yn ieuangach na Howell Harris; pan yn ieuanc iawn symudodd i'r Bala, a chafodd grefydd; ac y mae genym le cryf i gasglu na fu yn hir, oblegyd ei fawr bryder parthed cyflwr ei rieni, cyn gwneyd ymgais i ddwyn yr efengyl i'w cyrhaedd. Ymddengys mai yn nhŷ rhieni John Evans y cynhaliwyd yr odfa gyntaf yn nghymydogaeth Adwy'r Clawdd gan y Methodistiaid. Meddai John Evans: "Yr oedd fy nhad a'm mam wedi fy ngwrthwynebu i ddwyn pregethu yno dros enyd, gan ddweyd fod yr Eglwys Sefydledig yn ddigon. Ond wedi cael adferiad o glefyd trwm, cawsant eu hystwytho i ganiatau i mi ddyfod â phregethwr i gadw odfa yn y tŷ." Daeth llawer o'r cymydogion i wrando, ac mor anwybodus a phaganaidd oeddynt, fel y gofynent: "Ai nid gŵr wedi bod mewn *trance*, neu wedi cael gweledigaeth, oedd y pregethwr, gan ei fod yn traethu iddynt bethau mor ddyeithr?" Atebai yntau, nage, a gofynai, ai nid oeddynt wedi craffu iddo gymeryd testun allan o'r Beibl? Y mae yn ymddangos i Howell Harris fod ar daith yn y Gogledd hefyd yn Hydref, 1748; eithr gan fod y dydd-lyfr ar goll, nid yw hanes hon genym ychwaith. Fel y canlyn yr ysgrifena at un Mr. Baddington, Hydref 20, 1748: "Y mae yn awr o gwmpas naw wythnos er pan ddechreuais fy nhaith trwy Ddê a Gogledd Cymru; a'r wythnos hon daethum adref o'm taith olaf yn y Gogledd. Yn ystod yr amser yma mi a ymwelais â thair-ar-ddeg o siroedd, a chan amlaf teithiais gant a haner o filltiroedd yr wythnos, gan bregethu ddwy waith bob dydd, ac weithiau dair a phedair gwaith. Ar y daith ddiweddaf hon ni ddiosgais fy nillad am saith o nosweithiau; a thrafaelais o un boreu hyd brydnhawn dranoeth, heb ddim gorphwys, dros gan milltir; a phregethwn ganol nos, neu yn dra boreu, ar y mynyddoedd, am y rhaid i ni gyfarfod yr adeg hono i ochelyd erledigaeth. Yr wythnos cyn i mi fyned yno, gorfodwyd un dyn ger Wrexham i dalu ugain punt i Syr W. W. Wynne; amryw o'r gwrandawyr a dalasent bum' swllt, ac un dyn ddeg swllt, yr hwn oedd wedi talu o'r blaen; a dyma y drydedd waith i'r bobl druain gael eu trin fel hyn yn y gymydogaeth yma am gydymgynull. Y tro diweddaf, nid oedd ond un o'r brodyr, yr hwn a aeth i weddi gyda rhai cymydogion

yn y teulu. Ymorfoleddai Syr W. ar y bobl druain, gan ddweyd : 'Ni a geisiasom gyfraith arnynt,' ond nis gallasai eu dal. Arglwydd, ateb drosot dy hun, ac ymddangos yn dy achos dy hun! Cefais mewn lle arall, heb fod yn nepell o dref y Bala, lle y bum unwaith bron cael fy llofruddio, ergyd ar fy mhen agos digon sybyrthol i hollti fy mhenglog yn ddau; ond ni dderbyniais niwed. Ni welais erioed y fath dorfeydd yn dyfod i wrando, na'r fath ogoniant yn mysg y bobl; llawer o galonau ac o ddrysau sydd wedi cael eu hagoryd yn ddiweddar. Yr ydym yn gwybod am amryw sydd wedi cael eu deffro yn ddiweddar, ac ymddengys fel pe byddai yr Arglwydd yn troi ei wyneb at y cyfoethog; bu amryw o honynt yn fy ngwrando y daith hon, ac yr oedd amryw yn ychwaneg yn son gyda dyddordeb am ddyfod i wrando Mr. Whitefield pan y daw." Digon tebyg i'r daith hon o eiddo Howell Harris yn y Gogledd fod yn bur llwyddianus. Pan y daeth drachefn yn y flwyddyn 1750, er ceisio cymeryd gafael yn y seiadau, ymwelodd ag amryw fanau yn Siroedd Dinbych a Fflint, fel yr ydym wedi cofnodi, ac y mae yn bur debyg fod yma nifer o seiadau wedi eu sefydlu. Dywed John Evans, y Bala, mai yn Adwy'r Clawdd yr adeiladwyd y capel cyntaf gan y Methodistiaid yn Ngogledd Cymru.

Rhoddir yr hanes a ganlyn am ddechreuad Methodistiaeth yn nghymydogaeth Llanrwst a Threfriw. Yn mis Medi, yn y flwyddyn 1840, cynhelid gwyl Mabsant yn Nhrefriw. Iawn cyfaddef, yr un pryd, fod rhyw gymaint o amheuaeth parthed y dyddiad. Dydd mawr yr wyl oedd y Sabbath. Daeth gair yno fod Pengrwn wedi cael ei drefnu i bregethu mewn tŷ anedd, o'r enw Brwynog, lle yn nghanol y mynyddoedd tua dwy filltir i'r gorllewin o Drefriw. Penderfynodd chwech o ddynion ieuainc i fyned yno, gan adael y difyrwch; ond nid i wrando beth a ddywedai y gŵr dyeithr, eithr o wir fwriad i'w ladd. I'r pwrpas hwn, cymerodd pob un o honynt gydag ef bastwn cryf, a phenodasant y gŵr y tybid ei fod y cryfaf a'r dewraf o'r oll yn flaenor. Penderfynasant yn mhellach na wnaent ymosod arno yn ebrwydd, ond y gwrandawent am ychydig, gan ddysgwyl y clywent ganddo yn fuan ryw ymadroddion haerllug yn cyfiawnhau yr ymosodiad. Yno yr aethant. Can gynted, modd bynag, ag y daethant i swn y weinidogaeth, syrthiodd rhyw ddychryn disymwth arnynt, fel y cwympodd y pastynau o'u dwylaw. Dihangodd pump o honynt adref, fel rhai yn ffoi am eu bywyd, a'r blaenor yn unig a adawyd ar ol. Ymwthiodd ef yn y blaen i wrando; rhwymwyd ef megys wrth enau y pregethwr; teimlodd ei ragfarn yn diflanu fel niwl, a phrofodd argyhoeddiad dwfn. Ei enw, meddir, oedd Dafydd Thomas, Wernbwys, plwyf Llanddoget. Cyn hir amser, dychwelwyd y pump arall; bu amryw o honynt yn dra defnyddiol yn y gwahanol ardaloedd, ac ymunodd un neu ddau o honynt â "theulu Trefecca," lle yr arosasant tra y buont byw.

Mam eglwys canolbarth Sir Ddinbych yw Tanyfron, yn mhlwyf Llansanan. Ymddengys mai un Edward Parry a fu yn foddion i'w sefydlu, yr hwn sydd yn haeddu gair o sylw. Cafodd ei argyhoeddi wrth wrando pregeth gan gynghorwr o'r Deheudir, o'r enw Dafydd William Rhys, yn Henllys, plwyf Llanfair-tal-haiarn. Cytunasai ef a rhyw ddeg neu ddeuddeg o wŷr cyfrifol yn mhlwyf Llansanan i fyned yno. "Mor fuan ag yr aethum i'r tŷ," meddai ef ei hun wrth adrodd yr hanes, "ac wrth wrando, teimlwn lawr y tŷ yn crynu dan fy nhraed; tybiwn fod y dysglau yn y lle yn curo yn erbyn eu gilydd, a daethum ar unwaith i'r penderfyniad i ymlynu wrth y bobl hyn tra fyddwn byw." Yr oedd Edward Parry yn ddyn o gryn dalent a gwybodaeth; meddai ddawn prydyddu cryf, yr hyn a'i harweiniodd i fod ar delerau cyfeillgar â Twm o'r Nant; a dywedir iddo gyfansoddi cryn nifer o benillion, y rhai, erbyn hyn, sydd wedi myned ar ddifancoll. Saer coed oedd wrth ei alwedigaeth, ac ymddengys ei fod wedi priodi pan y cafodd ei argyhoeddi dan weinidogaeth Dafydd William Rhys. Tranoeth, pasiai y pregethwr dŷ Edward Parry, ar ei ffordd i Adwy'r Clawdd, y lle pregethu nesaf gan y Methodistiaid, er fod deng-milltir-ar-hugain o ffordd rhyngddynt. Methodd fagu gwroldeb digonol i siarad a'r cynghorwr; ond gadawodd ei hen gymdeithion, ac ymroddodd i fyned i wrando pregethu pa bryd bynag y caffai gyfleustra. Teimlai awydd cryf i gael pregethu i'w dŷ, a llwyddodd i gael gan Dafydd William Rhys i ddyfod yno. Daeth Cefnbyr, cartref Edward Parry, yn gyrchfa pregethwyr Dê a Gogledd mewn canlyniad. Eithr trwy hyn tynodd arno ei hun wg llawer, yn arbenig offeiriad y plwyf, a'i

feistr tir. Bygythiodd y diweddaf ef, oni roddai heibio lochesu y crwydriaid estronol a deithient y wlad, ac a gymerent arnynt bregethu, y troid ef allan o'i dyddyn. Atebai yntau yn bwyllog: " Nid yw eich tir chwi, Syr, ond dros amser, eithr y mae crefydd i barhau byth." Rhybudd i ymadael a gafodd Edward Parry. Cyn i'r tymhor ddod i ben, cafodd gyfle i ymddiddan ag un Mr. Foulkes, o'r Wenallt, yr hwn a ofynai iddo :—

" Paham yr ydych yn cael eich troi allan o'ch tyddyn ? "

" Am dderbyn pregethu i'r tŷ,' oedd yr ateb.

" Onid gwaith da yw hyny ? " ebai Mr. Foulkes. " Nid oes genyf yn awr yr un tyddyn gwag, ond gan eich bod yn saer, chwi a ellwch godi tŷ i chwi eich hun, a minau a roddaf dir i chwi gydag ef mewn gweithred."

Cytunodd Edward Parry i gymeryd y tir yn ol y cynygiad, a chododd dŷ arno mewn byr amser, yr hwn a alwyd Tany-fron. Yma y sefydlwyd y seiat gyntaf yn nghanolbarth Sir Ddinbych, ac y mae yr enw yn adnabyddus i Fethodistiaid Dinbych hyd y dydd hwn.

Yn bur fuan, dechreuodd Edward Parry gynghori. Ymddengys i hyn ddigwydd tua'r flwyddyn 1749, y flwyddyn cyn yr ymraniad rhwng Rowland a Harris. Effeithiodd yr ymraniad yn ddirfawr ar ei deimladau, fel ar deimladau llawer eraill. Tra yr oedd ei dad yn pleidio Rowland, ac yn derbyn "pobl Rowland" i'w dŷ, tueddai Edward Parry at bobl Harris, a rhoddai iddynt bob derbyniad. Ymsefydlodd un Hugh Davies, brawd-yn-nghyfraith Edward Parry, yn Nhrefecca gyda'r "teulu," ac yn mhen amser daeth trwy y wlad, gan berswadio pobl i fyned yno. Aeth nifer o gymydogaeth Llansanan, ond ni lwyddwyd i ddarbwyllo Edward Parry. Eithr suddodd i lwfrdra dirfawr; rhoes y pregethu i fynu am dymhor, ac ail ymunodd ag Eglwys Loegr. Mawr oedd llawenydd offeiriad y plwyf, ac er mwyn ei anrhydeddu gwnaeth ef yn warden. Eithr yr oedd crefydd yn llosgi yn ei galon o hyd, ac arferai fyned i'r chwareuon a'r ofergampau a gynhelid yn ngwahanol ranau y plwyf ar y Sabbath, gan gynal gosber yno, a chymhellai y bobl i gydymgasglu i'r gosber dan berygl cospedigaeth. Trwy hyn, llwyddodd i roddi terfyn ar y chwareu a'r ddawns yn mron yn gyfangwbl. Eithr un prydnawn, wrth ddarllen y gosper, ac adrodd penill i'w ganu, meddyliodd nad oedd y gynulleidfa yn deall yr emyn. Ei chynwysiad oedd dyfodiad Israel o'r Aipht i Ganaan. Parodd hyn iddo ddechreu ei hegluro. Olrheiniodd hanes Israel o alwad Abram, ei ymdeithiad yn nhir yr addewid, gorthrymder Israel yn yr Aipht, eu gwaredigaeth, a'u dyfodiad yn y diwedd i Ganaan. Tra yr oedd yn llefaru, disgynodd arno ef, ac ar y bobl oedd yn gwrando, ryw hwyl hyfryd, gwahanol i ddim a brofasent o'r blaen. Ystwythodd hyn ei yspryd; dechreuodd bregethu drachefn. Ymunodd yn fuan â "phobl Rowland," a bu ei dŷ yn gartref i'r achos hyd ei fedd.

Er prawf o ddoethineb Edward Parry, cymerer yr hanes a ganlyn. Ymunodd un Robert Roberts, Gregor-Isaf, a'r seiat, yr hwn, gwedi hyny, a ddaeth yn ŵr tra defnyddiol. Yr oedd ei wraig, modd bynag, yn hollol wrthwynebol iddo, am y credai fod y crefyddwyr, fel eu cyhuddid, yn ymgynull at eu gilydd i ddybenion bryntion a ffiaidd. Cafodd Edward Parry gyfle i ymddiddan â hi, a gofynodd iddi, ai gwir oedd ei bod yn anfoddlawn i'w gŵr ddyfod i'r odfaeon? Atebodd hithau ei fod yn wir, ac awgrymodd ei bod yn credu yr ystoriau a daenid am yr hyn a gymerai le yn y "weddi dywyll." "Os felly," meddai yntau, "deuwch yno eich hun; yr wyf yn rhoddi fy ngair i chwi y cewch ddyfod i mewn pryd y mynoch, a myned allan pryd y mynoch, heb i neb ddweyd dim wrthych, na gofyn dim i chwi, a thrwy hyny chwi a gewch wybod beth sydd yn myned yn y blaen yno." Y Sul canlynol daeth y ddynes i'r odfa. Ar y terfyn, cyhoeddodd Edward Parry seiat ar ol, a bod croesaw i bwy bynag a hoffai i aros. Arosodd y wraig yn mysg y lleill, a chafodd y fath flas fel y llwyr ddiflanodd ei rhagfarn, a bu o hyny allan bron yn fwy zêlog na'i phriod.

Yr oedd Edward Parry, fel yr ydym wedi awgrymu yn barod, yn ddyn o gryn ddiwylliant. Darllenai lawer ei hun; yr oedd yn dra chynefin mewn llenyddiaeth grefyddol Saesnig, yn gystal â Chymreig, a gwnaeth ei oreu i gael gan ei gydwladwyr i bwrcasu llyfrau a'u darllen. Bu yn offerynol i wasgar llawer o Feiblau Peter Williams yn yr ardal. Prif faes ei lafur fel cynghorwr oedd canolbarth Dinbych, ond teithiodd ryw gymaint ar hyd Siroedd Môn, Arfon, a Fflint, a bu unwaith, meddir, yn Llundain, yn gweini i ang-

henion crefyddol y Cymry. Yn mhen amser, aeth y gynulleidfa yn rhy liosog i'r tŷ, ac aeth yntau yn anesmwyth am gael adeiladu capel. A chafodd dir at gapel gan Mr. John Foulkes, ŵyr i'r boneddwr a fuasai yn garedig iddo yn flaenorol. Cafodd y tŷ cwrdd ei adeiladu yn y flwyddyn 1773, pan nad oedd ond ychydig addoldai gan y Methodistiaid yn Ngwynedd. Daeth y lle yn gyrchfa pobloedd; cynhelid yma Gymdeithasfaoedd, a Chyfarfodydd Misol.

Ar rai adegau, rhoddid prawf nad oedd yr hen yspryd erledigaethus wedi cwbl farw yn mhlwyf Llansanan. Un tro, daeth Mr. Charles, o'r Bala, yno i bregethu; ai i gyfarfod neillduol, ynte ar gyhoeddiad cyffredin, ni ddywedir; ond yr oedd y gynulleidfa yn ormod i'r capel. Mewn canlyniad, dechreuodd Mr. Charles yr odfa ar yr heol; ond yn y fan, dechreuwyd canu cloch yr eglwys i gynal gwasanaeth. Yn hytrach na dangos dim gwrthwynebiad i'r eglwys, aeth Mr. Charles i'r gwasanaeth, a'r holl gynulleidfa gydag ef, nes yr oedd y llan yn llawnach nag y gwelwyd hi o'r blaen. Ar ol dyfod allan, dechreuodd Mr. Charles eilwaith; ond aeth yr offeiriad ato, gan ddweyd ei fod yn rhy agos i fur y fynwent! Rhag rhoddi tramgwydd i'r clerigwr, symudodd yntau i le arall, tua chwarter milltir yn mhellach, a chafodd lonyddwch i orphen yr odfa. Gwedi i'r cyfarfod orphen, anfonodd yr offeiriad genadwri at Mr. Charles, ac Edward Parry, yn eu gwahodd i giniawa gydag ef tranoeth. Anhawdd gwybod pa beth a'i cymhellai. Efallai fod hynawsedd Mr. Charles wedi darostwng ei ragfarn; neu ei fod, trwy hyn, am osod ei hun yn iawn yn meddwl y plwyfolion; neu ynte, ei fod am gael cyfle i ymliw â Mr. Charles oblegyd ei ymuniad a'r Methodistiaid. Modd bynag, diolchwyd yn foesgar iddo am ei wahoddiad, ond nis gallai y ddau bregethwr ei derbyn, am fod eu cyhoeddiad dranoeth mewn lle arall.

Bu Edward Parry farw yn y flwyddyn 1784, ac efe yn 63 mlwydd oed. Daeth Mr. Charles yr holl ffordd o'r Bala i bregethu yn ei angladd; a than ei bregeth torodd y dyrfa allan mewn cymysg alar a gorfoledd, fel mai gydag anhawsder y gellid cael pethau i drefn i gychwyn tua'r gladdfa. Wrth ddynesu tua'r llan, rhoddwyd emyn allan i'w chanu, ac ni chlywyd y fath ganu yn Llansanan erioed o'r blaen. Yr oedd y dyrfa liosog yn sefyll wrth borth yr eglwys, ac yn dyblu y gân trosodd a throsodd, ac yn y diwedd aeth yn orfoledd mawr. Yr oedd yr offeiriad gweinyddol wedi colli pob amynedd, a chafwyd cryn anhawsder i gael dystawrwydd i ddarllen y gwasanaeth. Diau i ddylanwad Edward Parry fod yn gymorth dirfawr i Fethodistiaeth gymeryd gwraidd yn Sir Ddinbych.

Bu y rhan fwyaf o'r tô cyntaf o'r offeiriaid Methodistaidd, a'r prif gynghorwyr, yn pregethu yn Sir Ddinbych. Yr ydym yn flaenorol wedi crybwyll am y modd creulawn yr ymddygwyd at Peter Williams yn Nhrefriw. Cafodd y Methodistiaid eu herlid yn greulawn mewn aml i fan heblaw Trefriw; yr oedd holl fonedd y tir, a'r holl glerigwyr, yn ffyrnig yn eu herbyn. Fel prawf o deimlad gwŷr mawr y wlad at y Methodistiaid, cymerer y cyfieithiad canlynol o feddargraff oedd i'w gael ar gareg fedd yn mynwent Ysgeifiog, pan ysgrifenwyd *Methodistiaeth Cymru*, ac o ran dim a wyddom y mae i'w gael yno eto: "Yma y gorwedd gweddillion Hugh Hughes, Ysw., Coed-y-brain, mewn gobaith o adgyfodiad gwynfydedig. Cafodd yr anrhydedd o wasanaethu ei wlad yn y swydd o sirydd dros y sir hon. Fel dyn, ei arfer oedd bod yn ddyfal yn addoliad yr Eglwys Sefydledig; ardystio o galon yn erbyn sect newydd y Methodistiaid penchwiban, y rhai a fynent dynu dynion oddiwrthi; ac mewn pryd wastadhau ymrafaelion rhwng cymydogion, cyn iddynt ffyrnigo at eu gilydd. Trwy ei ymddygiadau hyn fe'i perchid yn ei fywyd, a galerid am ei golli. Bu farw Gorph. 7, 1752, yn 44 mlwydd oed, gan adael unig ferch a gweddw ar ei ol." Rhaid fod y teimlad gelynol at y Methodistiaid yn nodedig o gryf cyn y beiddiai neb yn ei synwyr osod y fath sothach ar gareg fedd. Eithr er yr erlid, a phob camddarluniadau a allai celwydd ddychymygu, llwyddodd Duw ei waith, a chynyddodd y Methodistiaid mewn rhifedi a dylanwad.

Yn araf y gafaelodd y diwygiad Methodistaidd yn Môn. Nid yw yn sicr ychwaith gan ba un o'r Methodistiaid y pregethwyd gyntaf yn yr ynys. Y mae genym seiliau cryfion dros gredu ddarfod i Daniel Rowland ymweled â Môn yn y flwyddyn 1742, ac ymddengys fod William Richards, y cynghorwr o Sir Aberteifi, yn gydymaith iddo. Pa lwyddiant a ganlynodd eu gweinidogaeth, nid yw yn hysbys. Eithr, yn ol pob tebyg, yr oedd rhai o'r

cynghorwyr o'r Deheudir, yn cael eu cyffroi gan zêl danllyd dros Grist, wedi bod yn y rhan yma o'r wlad yn barod. Adroddai hen ŵr, o'r enw Robert Williams, gôf wrth ei alwedigaeth, wrth y diweddar Barch. William Roberts, Amlwch, ei fod ef yn cofio y cynghorwr Richard William Dafydd yn pregethu yn yr ynys, a hyny mor foreu a'r flwyddyn 1740. Safai i lefaru wrth Groes Arthur, yn mhlwyf Mechell; ond ni chafodd nemawr lonyddwch. Ymgasglodd llu o erlidwyr i'r lle, ac yn eu mysg Robert Williams, yr hwn oedd yn llanc tua phymtheg mlwydd oed. Rhuthrasant ar y cynghorwr druan, gan ei faeddu yn ddidrugaredd. Gwnaeth gais i ffoi, a phan welodd nas gallai ddianc trwy gyflymdra, neidiodd i ffôs o ddwfr, gan geisio ymguddio yn nghysgod llwyn o eithin. Eithr cafodd yr erlidwyr afael arno, a churasant ef fel pe bai gi cynddeiriog. Yn y cyfamser, daeth amaethwr cyfrifol i'w mysg, yr hwn a breswyliai yn y Tŷ Mawr, Llanrhuddlad, ac wrth weled y cynghorwr yn cael ei gamdrin mor enbyd, efe a'i hamddiffynodd, a bu yn llwyddianus i'w achub o'u crafangau. Nid oes sicrwydd fod yr amaethwr yn ŵr crefyddol, ond meddai deimladau tyner, ac nid oedd yn hoffi gweled dyn diniwed yn cael ei faeddu. Heb fod yn hir bu yr amaethwr farw, ac ar ddydd ei gladdedigaeth, fel yr oedd ei gorph yn cael ei gludo i'r fynwent, disgynodd ehedydd gwyn ar un o gyrn yr elor. Tybiai y dorf wrth edrych fod hyn yn arwydd o gymeradwyaeth y nefoedd iddo am ei waith yn amddiffyn y pregethwr.

Cafodd y Parch. William Roberts ychwanegiad at yr hanes, yn gystal a chadarnhad iddo, yn Lleyn, yn Sir Gaernarfon. Pan ar daith yno, daeth hen ŵr parchus ei olwg ato, gan ofyn a wyddai efe am Llysdulais, yn Môn. Atebodd yntau y gwyddai. "Wel," meddai yr hen ŵr, "dyna y lle cyntaf yn Môn ag y cafodd Ymneillduwr amddiffyniad, ac fel hyn y bu. Tua'r flwyddyn 1740, daeth hen weinidog Ymneillduol i ymweled ag Amlwch a'i chyffiniau, yn mhob lle y rhoddid iddo dderbyniad. Dygodd hyn arno erledigaeth ffyrnig. Cyrhaeddodd y sŵn am ei helbul glustiau Mr. Lewis, Llysdulais, un o hynafiaid y pendefig presenol, Arglwydd Dinorben. Gwahoddodd y boneddwr Mr. Bulkeley, Bryndu, i Lysdulais, fel y gallent gydymgynghori, gan fod y ddau yn ynadon, pa beth i'w wneyd yn yr achos. Wedi rhyw gymaint o gydymgynghoriad, anfonwyd am y pregethwr i ymddangos o'u blaenau. Cynullwyd yr holl deulu i'r neuadd, ac archwyd i'r llefarwr bregethu fel yr arferai wneyd. Hyny a wnaeth yntau. Wedi iddo orphen, dywedodd y boneddwyr: "Os dyma ei drosedd, dylem ar bob cyfrif ei amddiffyn, a dystewi ei erlidwyr." A hyny a wnaethant, a chafodd y gŵr da lonyddwch i fyned rhagddo. Nid oes sicrwydd mai Richard William Dafydd oedd y gweinidog; yr unig beth sydd yn bleidiol i hyny ydyw fod yr amser yn cyfateb.

Tua'r flwyddyn 1742, daeth William Pritchard i breswylio i Blas Penmynydd, gerllaw Llangefni, wedi cael ei yru gan boethder yr erledigaeth o Lasfryn Fawr, yn Arfon. Yr ydym wedi cyfeirio yn barod at y gŵr hwn yn croesawu Howell Harris ar ei ymweliad cyntaf â Lleyn. Nid Methodist oedd William Pritchard; perthynai i'r Ymneillduwyr, a thra y bu yn preswylio yn Môn, elai unwaith yn y mis i gymuno i gapel yr Ymneillduwyr i Bwllheli. Ar yr un pryd, yr oedd yn llawn o yspryd y diwygiad, a chroesawai bregethwyr y Methodistiaid i'w dŷ, fel eiddo ei enwad ei hun. Nid oes un amheuaeth ddarfod i'w ddyfodiad i Fôn fod yn gefnogaeth ddirfawr i'r achos Methodistaidd yn yr ynys. Tair blynedd y cafodd William Pritchard fyw yn Mhlas Penmynydd, cyn iddo gael ei orfodi i ymadael oblegyd ei grefydd; a symudodd i Fodlew Fawr, yn mhlwyf Llanddaniel. Yn mhen pum' mlynedd bu raid iddo ymadael oddiyno oblegyd yr un achos. Yn ei gyfyngder aeth i ddweyd ei gwyn wrth William Bulkeley, Ysw., Bryndu. "Paham yr wyt yn cael dy droi allan o'th dyddyn?" gofynai y boneddwr. "Ai methu talu yr oeddet?" "Nage," ebai yntau, "ond oblegyd fy nghrefydd, ac am fy mod yn ymneillduo oddiwrth Eglwys Loegr." "Os felly," atebai Mr. Bulkeley, "cei dir genyf fi." Bu y boneddwr gystal a'i air, a gosododd Clwchdernog iddo ar brydles, ac yno y cyfaneddodd hyd ddiwedd ei oes. Dyn ardderchog oedd William Pritchard; meddai wybodaeth eang, a zêl danbaid. Dyoddefodd lawer oblegyd ei grefydd; bu mewn perygl ganwaith am ei fywyd, ond bu farw yn ogoneddus, gan bwyso ar ei Waredwr.

Yn ystod blynyddoedd cyntaf y diwygiad, ymwelai cynghorwyr y Methodistiaid yn bur fynych â Mon. Bu y Parch. Benjamin Thomas yn pregethu yma yn y

flwyddyn 1744. Yn Mhlas Penmynydd, gyda William Pritchard y lletyai, ond pregethai yn Minyffordd, capel a gawsai ei adeiladu gan William Pritchard, ac oedd wedi cael ei drwyddedu yn ol y gyfraith fel addoldy Ymneillduol. Ni chafodd Benjamin Thomas seibiant i lefaru. Daeth llu o erlidwyr yno; taflasant lestraid o ddwfr ar ben y pregethwr, a dechreuasant guro y crefyddwyr â ffyn, nes yr oedd gwaed rhai o honynt yn llifo. Yr ydym yn barod wedi cyfeirio at ymweliad Peter Williams a'r ynys yn y flwyddyn 1746.

Ond yn bur sicr, y prif offeryn a fendithiwyd i sefydlu Methodistiaeth yn Môn oedd Richard Thomas, ac efe, hefyd, oedd y cynghorwr cyntaf yma. Haedda y gŵr hwn fwy o sylw nag y mae wedi ei gael. Is-oruchwyliwr ydoedd ar ystad Plascoch; ymddengys ei fod yn hoff o rysedd, a'i fod yn byw yn uwch na'i sefyllfa. Mewn canlyniad, rhedodd i ddyled, a dihangodd rhag ei ofynwyr i Ferthyr Tydfil, yn y Deheudir. Ystyrid Merthyr y pryd hwnw yn noddfa sicr a dyogel i bob math o ddrwgweithredwyr. Yn y Dê, ymroddodd Richard Thomas i lafurio, a chasglodd gyfoeth dirfawr. Mwy na hyny, wrth glywed Howell Harris yn pregethu, cafodd ei argyhoeddi; daeth mor enwog am ei grefydd ag oedd yn flaenorol am ei annuwioldeb, a dechreuodd gynghori. Yn y flwyddyn 1746, dychwelodd yn ei ol i Fôn, a'r peth cyntaf a wnaeth oedd anfon yr arian dyledus arno i bob un o'i ofynwyr iddo i'w dŷ. Enillodd ei onestrwydd a'i gywirdeb iddo barch cyffredinol; cafodd lonydd i bregethu, a chan ei fod yn meddu cryn lawer o dalent, tyrai y bobl yn lluoedd i'w wrando. Y mae llythyr o'i eiddo, pan ar gychwyn yn ei ol i'r Gogledd, ar gael, a chan na fu yn flaenorol mewn argraff, a bod ei gynwysiad yn dra dyddorol, yr ydym yn ei osod i mewn yma agos yn gyflawn:—

"Gorph. 21, 1746. Richard Thomas, at y ffyddlon frawd yn Nghrist, Howell Harris. Fy anwyl garedigol Frawd,—Yr wyf yn gobeithio y bydd i'r ychydig eiriau hyn eich cyfarfod yn yr Arglwydd gyda bendith. Yr wyf fi, fel y'm gwelsoch, yn gystuddiol o ran y corph, a hyny gyda bendith ryfeddol i'm henaid. Trwy Grist, mi a allaf ddweyd fy mod yn gweled pob ergyd yn llawn o gariad fy Nhad Nefol. Fy anwyl Frawd, y mae yn gysur i'm henaid i feddwl am angau, barn, a thragywyddoldeb. Yr wyf yn gweled angau fel drws bach i hedeg trwyddo i mewn i ryddid cyflawn a thragywyddol o lawenydd. Yr wyf yn awr, trwy ffydd, yn gweled y nef yn agored, ond angau sydd fel ail ddrws i'm gollwng i mewn i'm tre dragywyddol. Yr wyf yn awr yn clywed megys swn telynorion ysprydol yn canu fry; ond y mae angau yn genad i'm gollwng inau yn rhydd i fyned i'w plith i ganu yn ddibaid byth. Trwy ffydd yr wyf yn gweled fy nghoron yn nheyrnas fy Nhad, a'm Brawd a'm Priod cyfamodol byth; ac y mae angau fel bâd i'm dwyn i'm hetifeddiaeth. Trwy ffydd yr wyf yn gweled rhai o'm brodyr a achubwyd mewn gogoniant, a minau sydd yn teithio yr anialwch, a'm pwys ar fy Anwylyd; ond angau yw gwas fy Nhad, i'm dwyn inau at fy mrodyr. O Frawd, dyma yr olwg sydd yn dangos i mi nad wyf ond dechreu mwynhau Duw trwy yr addewidion yn y byd hwn; canys mi a wn, os caf hwy amser ar y ddaear, y caf weled yn mhellach i gariad Duw, ac y caf fwy mwynhad o hono. Fy anwyl Frawd, yr wyf yn profi fy ffydd yn llefain mwy, mwy o hyd; mwy o olwg ar fy rhagorfreintiau yn Nghrist. Ar ol cael un olwg, medd ffydd: 'Golwg bellach eto, fy Nhad; mwy o ddoethineb i adnabod Duw; mwy o nerth, mwy o hunanymwadiad, a mwy o alar am fy mhechod i, a'm brodyr, a'r byd hefyd. Mwy o fwynhad eto,' medd ffydd; 'mwy o rinwedd eto; mwy o gydymffurfiad a'r gyfraith eto, a mwy o'r nefoedd ar y ddaear.' 'Amen; amen,' medd ffydd; ac 'amen' medd fy enaid inau yn brofiadol.

"Fy anwyl Frawd, er mor llesg ydwyf o ran y corph, yr wyf yn barod i gredu y caf genad gan Dduw i fyned i'm gwlad fy hun, i rybuddio fy nghenedl yn ol y cnawd, cyn fy symud i dŷ fy Nhad fry. Yr wyf yn bwriadu dechreu fy ffordd o bobtu pen mis; yr wyf yn diweddu fy nghydnabyddiaeth yn Cwm Camlais, Awst 28, nos Iau. Ac oddiyno af trwy Sir Faesyfed, a Sir Drefaldwyn. Y mae genyf ddynion yn Sir Ddinbych yr wyf yn rofyn eu gweled wrth fyned i dre, gerllaw Gwrexham a Dinbych, lle y mae genyf gefnder yn *danner*, os yw yn fyw. Fe allai y bydd i Dduw fy mendithio yn y manau hyn ar fy siwrnai. Amen. Yr wyf yn bwriadu bod yn Sir Fôn erbyn diwedd y cynhauaf. Y mae rhai o'r brodyr (o'r Dê) yn son am ddyfod gyda mi yno; yr wyf yn meddwl mai doethineb yw i mi fyned fy hunan

ychydig o'r blaen i blith fy nynion, a danfon (gwedi hyny) at y brodyr. Y mae pedwar neu bump, wrth glywed fy mod i yn rofyn myned, yn dweyd y deuant gyda mi; a hyny sydd yn peri i mi feddwl nad ydynt wedi ymofyn am ewyllys Duw yn eu galwad. Felly, O Frawd, mi a ddymunwn gael eich cynghor chwi yn hyn. Canys mi a ddanfonais lythyr o'm blaen at ddau ustus heddwch, yr oeddwn yn gydnabyddus â hwy. Mi a fum yn *steward* yn edrych ar ol ffermydd un o honynt, a'm tad o'm blaen. Mi a bromisiais yn fy llythyr fyned i siarad ag ef yn gyntaf cyn cynghori yn y wlad. Canys dyna y ddau a safodd am ryddid i'r *Dissenters*. Ac os gwel Duw yn dda roddi derbyniad i mi, a ffafr yn eu golwg hwy, er bendith i'w heneidiau (goreu oll); ac onide, eto, pa un bynag, yr wyf yn resolfio, trwy gymhorth Duw, i fentro fy mywyd dros Grist i bregethu yr efengyl. Yr wyf yn credu, hefyd, y caf gymhorth i dori trwy bob rhwystrau. Felly, O anwyl Frawd, gweddïwch drosof, ac ysgrifenwch eich meddwl, a'r ffordd i ni ddirectio llythyr atoch i Lundain. O Frawd, yr wyf fi er ys saith mlynedd yn derbyn rhoddion y cyfamod newydd yn effeithiol, ond mi a debygwn nad wyf ond yn dechreu gweled eu gwerthfawrogrwydd. . Pob peth sydd yn eiddo i mi trwy Grist! Bendigedig byth; Amen! Dyma yr olwg sydd yn llanw fy enaid â zêl efengylaidd; zêl yn llefain yn erbyn pechod, yn galaru am bechod, ac yn llefain yr un pryd: 'Ys truan o ddyn ydwyf fi! Pwy a'm gwared oddiwrth gorph y farwolaeth hon!' Dyma yr olwg sydd yn gweithio ynof fwy o newyn a syched am sancteiddrwydd, am fod yn fwy tebyg i Dduw, cael mwy o ddelw Duw ar fy enaid, a dwyn mwy o ogoniant i Dduw bob mynyd o'm bywyd. Amen, ac amen. Oddiar yr olwg hon, yr wyf yn gweled dull y byd hwn yn myned heibio, y gogoniant tragywyddol bron ymddangos, a'm henaid inau yn hiraethu am i Dduw brysuro yr amser i gasglu ei saint yn nghyd."

Rhydd y llythyr hwn syniad clir i ni am dduwiolfrydedd y cynghorwyr cyntaf, am wresawgrwydd eu zêl, a llwyrder eu hymroddiad. Gwelwn hefyd fod llawer o honynt, ac yn eu mysg Richard Thomas, yn berchen ar dalent naturiol gref, a'u bod yn dra Ysgrythyrol o ran eu golygiadau. Y mae yn amlwg ddarfod i'r Ysgrifenydd breswylio yn y Deheudir am gryn amser, oblegyd defnyddia, yn ei lythyr, amryw eiriau, a dulliau o ymadroddi, nad ydynt yn arferol yn y Gogledd. Ymddengys ddarfod i Richard Thomas gael ei argyhoeddi ar un o deithiau cyntaf Howell Harris i Forganwg, oblegyd dywed yn y llythyr ei fod yn profi bendithion y cyfamod newydd er ys saith mlynedd, a dyddiad y llythyr yw 1746. Un o'r ddau ustus heddwch y cyfeiria atynt oedd Mr. Bulkeley, Bryndu, un o hynafiaid Mr. Bulkeley Hughes, y diweddar aelod tros Arfon. Y llall yn ddiau oedd Mr. Lewis, Llysdulais. Ceir yma gadarnhad hollol i'r hanes blaenorol parthed y ddau foneddwr hyn yn sefyll o blaid yr Ymneillduwyr. Ychydig o hanes Richard Thomas, gwedi ei fynediad i Fôn, sydd genym. Dywed traddodiad iddo bregethu trwy yr ynys o gŵr i gŵr, ac iddo fod yn llwyddianus i droi llawer o gyfeiliorni eu ffyrdd.

Prin blwyddyn y cafodd Richard Thomas y fraint o fod yr unig gynghorwr Methodistaidd yn Môn; yn fuan, daeth un Hugh Griffith, o Leyn, ato. Cawsai y gŵr hwnw ei ddal yn Lleyn, a'i bressio i fod yn filwr; ond gan ei fod yn ddyn chwim, a chyflym ar ei droed, dihangodd o grafangau ei erlidwyr, ac er pob ymgais methwyd dod o hyd iddo drachefn. Yn Modlew Fawr, gyda William Pritchard, y cafodd noddfa. Yr oedd efe a William Pritchard yn dyfod o'r un wlad, ac wedi cael eu herlid allan o honi, ill dau, oblegyd eu crefydd. Yn mhen enyd, gwnaeth ei gartref yn Llanddaniel, ac yma yr arosodd hyd ddydd ei farwolaeth. Bu yntau yn ddiwyd yn cynghori ei gydbechaduriaid i ffoi rhag y llid a fydd; ond dywedir y buasai ei ddefnyddioldeb yn fwy oni bai fod ei dymher mor boethlyd.

Y mae yn bur sicr i Howell Harris fod yn yr ynys droiau. Cofnodir un o'i ymweliadau gan y rhigwm a adroddid yno:—

> "Howell Harris ar ei *horse*
> O Lanerchymedd i Lanygors,
> Ac oddiyno i Gareglefn."

Cyfeiria y dydd-lyfr at ymweliad o eiddo Mr. Harris â Môn, yn mis Hydref, 1747. Bu yn yr ynys, hefyd, y flwyddyn ganlynol. Drwg genym nad oes hanes manwl ar gael am yr ymweliadau yma, ac felly, nas gallwn wybod pa lwyddiant a ganlynodd ei weinidogaeth. Yr ydym yn darllen am dano, hefyd, yn talu ymweliad brysiog a'r ynys yn y flwyddyn 1750, pan y gwnelai y fath ymdrech i gael yr holl seiadau iddo ef a'i blaid. Dywed iddo fod yn pregethu yn yr Ysgubor Fawr, ac yn Llanfi-

hangel. Ei destun yn y lle blaenaf oedd: "Yn y byd gorthrymder a gewch;" a'i fater yn y lle olaf oedd, anfeidroldeb dyoddefiadau Crist. Braidd nad oes yn yr hanes awgrym mai ychydig o seiadau oedd gan y Methodistiaid yn Môn yn y flwyddyn 1750. Nid anhebyg fod y teimlad cyffredin yn mhlith y crefyddwyr yn yr ynys yr adeg yma, fel yn y rhan fwyaf o Wynedd, o blaid Harris yn hytrach na Rowland.

Llwyddo a wnaeth yr achos yn Môn er gwaethaf pob gwrthwynebiad. Bu yma lawer o erlid, a throwyd llawer allan o'u ffermydd oblegyd eu hymlyniad wrth Fethodistiaeth. Darllenwn am ddeunaw o amaethwyr bychain yn cael eu gwysio i ymddangos yn Mhlas Lleugwy, yn y flwyddyn 1768, gerbron goruchwyliwr Arglwydd Boston, ac offeiriad y plwyf, i roddi cyfrif o'u crefydd. Gofynid iddynt addaw nad aent i wrando ar y Methodistiaid drachefn; os gwnaent, y caent aros yn eu ffermydd; eithr oni wnaent, y byddai raid iddynt ymadael. Anturiodd Owen Thomas Rowlands, yr hwn oedd yn dipyn o gynghorwr, ddadleu a'r goruchwyliwr. Dywedai fod y llywodraeth wladol yn caniatau rhyddid i bawb addoli lle yr ewyllysient. Eithr unig ateb y goruchwyliwr ydoedd: "Dyna orchymyn fy meistr." Ar hyn, wrth feddwl am y fraint o gael dyoddef dros ei grefydd, dechreuodd un o'r deunaw, sef Richard Williams, Tyddyn Bach, guro ei ddwylaw, a llefain dros y lle: "Bendigedig fyddo Duw! Hosanah i Fab Dafydd!" Dychrynodd y goruchwyliwr yn enbyd, a syrthiodd y bapyrlen o'i law. Aeth y Methodistiaid allan, a gwaeddai Richard Williams: "Ffarwel, frodyr anwyl! pwy bynag a wertho deyrnas a choron am dyddyn o dir, a thalu yn ddrud am dano, ni wnaf fi hyny byth, os caf gymhorth gan y Brawd a anwyd erbyn caledi." Aeth rhai yn ol, gan ymrwymo i wneyd yr hyn a geisid ganddynt, eithr syrthiasant dan ddirmyg cyffredinol. Ond am y rhai a safasant at eu penderfyniad, derbyniasant barch gwlad, a buont fyw a marw yn hapus. Bu nifer o fân bregethwyr yn Môn yn y cyfnod cyntaf, megys Richard Jones, Niwbwrch; Richard Dafydd, Amlwch; Owen Thomas Rowlands; William Roberts, Amlwch; a Michael Thomas, Llanddaniel; ond ni chaniata ein terfynau i ni roddi eu hanes.



# PENOD XXII.

——:o:——

## JOHN EVANS, Y BALA.

*Ei rieni yn ddynion dychlynaidd, ond heb fod yn grefyddol—John Evans yn dysgu darllen yn ieuanc, ac yn cael blas ar ranau hanesiol y Beibl—Yn troi allan yn llanc gwyllt—Yn anmharod i gymeryd ei lw—Yn symud i'r Bala—Yn ymuno a'r Methodistiaid—Yn myned i Gymdeithasfa Trecastell, a bugail yn ei gyfarwyddo—Yn dechreu pregethu—Yn bregethwr syml a sylweddol—Yn mynychu Cymdeithasfaoedd Dê a Gogledd—Humphrey Edward—William Evans, Fedwarian—Evan Moses—Sion Moses—Adwaen ein gilydd yn y nefoedd—Nifer o ffraeth ddywediadau John Evans—Ei graffder yn y seiat—Cael oes hir—Yn cymeryd rhan yn yr ordeiniad cyntaf—Ei afiechyd olaf a'i farwolaeth.*

JOHN EVANS, y Bala, oedd y pregethwr Methodistaidd cyntaf a gynyrchodd Gwynedd, ag y gellir dweyd am dano ei fod yn enwog trwy holl Gymru. Ac yr oedd ei enwogrwydd yntau yn gynwysedig yn fwy mewn ymroddiad diflino, penderfyniad anhyblyg, medr i arwain mewn amgylchiadau o ddyryswch, toraeth o synwyr, a rhyw ffraethder arbenig o'i eiddo ei hun, nag mewn doniau gweinidogaethol. Cafodd ei eni yn Glanyrafon, yn agos i Wrexham, yn y flwyddyn 1723, felly, yr oedd yn hogyn tua deuddeg mlwydd oed pan gychwynodd y diwygiad Methodistaidd. Pan yr oedd tua phedair oed, symudodd ei rieni i gymydogaeth Adwy'r Clawdd, i dyddyn bychan a berchenogent hwy eu hunain. Ar y tir hwn adeilasant amryw dai. Dywed *Methodistiaeth Cymru* fod y tai yn sefyll yn y flwyddyn 1851, a bod yn mur un o honynt gareg, ar yr hon yr oedd yn gerfiedig:—W E A 1728. Y mae yn amlwg felly, er nad oedd rhieni John Evans yn gyfoethog, eu bod yn gefnog, ac yn byw yn gysurus. Nid oeddynt yn grefyddol yn ystyr gyffredin y gair. Aent i'r eglwys ar y Sul; arweinient fywyd dychlynaidd; dysgent eu mab i fyw yn foesol, gan beidio dywedyd celwydd a thyngu, peidio lladratta, a pheidio halogi y Sabbath. Ond nid oedd ganddynt unrhyw ddirnadaeth am gyflwr euog pechadur, nac am wirioneddau mawrion a neillduol trefn yr iachawdwriaeth. Buasai eglwys Ymneillduol enwog yn Ngwrexham; bu Morgan Llwyd, o Wynedd, yn weinidog arni am beth amser; ond erbyn hyn, fel y cyffredin o eglwysi Ymneillduol y wlad, yr oedd wedi syrthio i farweidddra, ac yn cael ei anrheithio gan gwerylon. Felly, nid oedd gan rieni John Evans ond yr Eglwys Wladol i ddybynu arni am hyfforddiant crefyddol, ac ychydig iawn a gaent yno.

Derbyniodd y bachgen John addysg ragorach nag a arferid roddi i blant yr adeg hon. Medrai ddarllen ei Feibl yn rhigl, a hyny yn Gymraeg ac yn Saesneg, pan yn rhyw ddeg oed. Daeth hefyd yn alluog i ysgrifenu a rhifyddu. Ymddengys iddo gael blas yn foreu ar ranau hanesiol y Beibl. Meddai hanes Noah, Abraham, Joseph, ymadawiad Israel o'r Aipht, y daith yn yr anialwch, a'r cyffelyb, swyn diderfyn iddo; nid yn unig ymgydnabyddai a'r hanesion yma ar ei ben ei hun, gan eu trysori yn ei gof, eithr elai i dai y cymydogion, ac adroddai hwynt yno. A chan anamled ydoedd Beiblau yr adeg hono, ac mor lleied oedd yn alluog i ddarllen, yr oedd y pethau a adroddid allan o'r Ysgrythyr mor ddyeithr i'r bobl o gwmpas, ag a fuasent i anwariaid Affrica. Eithr fel yr oedd yn tyfu i fynu, collodd ei hyfrydwch yn y Beibl i raddau mawr, a dechreuodd ganlyn cwmni annuwiol, gan gymeryd dyddordeb yn y chwareuyddiaethau a gynhelid ar y Sabbath. Yn ofer yr ymliwiai ei fam ag ef, yr oedd hudoliaeth y chwareu yn ormod iddo allu ei gwrthsefyll; a threuliai ddydd Duw o foreu hyd hwyr i ganlyn oferedd. Eithr dychwelai adref dan lwyth o euogrwydd cydwybod; byddai ofn marw a'r farn bron llethu ei feddwl; ac erbyn cyrhaedd y tŷ, yr oedd ei fam gyda ei cherydd, fel pe byddai yn ym-



YR HYBARCH JOHN EVANS, O'R BALA.

*[Cymerwyd y darlun hwn o hono yn 18[illegible], pan yr oedd yn [illegible] oed.]*



EGLWYS A MYNWENT LLANYCIL, AR LAN LLYN TEGID.

*[Lle claddedigaeth amryw o Enwogion Methodistaidd, megys John Evans, T. Charles, Simon Lloyd, Dr. Lewis Edwards, Dr. J. Parry, Dafydd Cadwaladr, &c. &c.]*

gorphoriad o Sinai a'i chyfraith, yn ei aros. Yn hanes ei fywyd, dywed i Dduw ei atal rhag syrthio i bechodau rhyfygus cyhoedd; cafodd ei gadw rhag godineb, meddwdod, lladrad, a rhegu; a cheisiai yn fynych wneyd plastr o'r rhinweddau hyn i'w cymhwyso at ei gydwybod friw, "heb wybod eto," meddai, "fod cyfraith Duw yn dal ar egin y pechodau hyny yn y galon." Nid oedd wedi deall fod trachwantau y galon yn bechodau gwaedd-fawr, a bod Duw yn dal dyn yn gyfrifol am feddyliau halogedig, yn gystal ac am weithredoedd drwg.

Pan rhwng deuddeg a thair-ar-ddeg oed, rhwymwyd ef yn egwyddorwas gyda gwehydd; a thyfodd yn fachgen iraidd, cryf, a thal. Nid oedd nemawr o'i gyfoedion a allai gystadlu ag ef mewn corpholaeth a chryfdwr. Wedi gorphen tymhor ei ymrwymiad, cododd chwant cryf arno i ymrestru yn filwr; a dagrau ac ymbiliau ei fam yn unig a'i hataliodd rhag gwneyd hyny. A phrin y llwyddodd hyny, oblegyd unwaith aeth mor bell a Chaerlleon, gyda'r bwriad o ymuno a chatrawd o feirchfilwyr. Eithr erbyn cyrhaedd y ddinas, yr oedd y meirchfilwyr wedi ymadael y diwrnod blaenorol. Cafodd bob anogaeth i ymrestru gyda'r gwŷr traed oedd yno, ond hyny nis gwnai. Gan mai bychan oedd y tâl am weithio fel gwehydd, gadawodd y grefft am dymhor, ac aeth i weithio i'r gwaith mŵn plwm oedd ryw gymaint o bellder o'i gartref. Yma, gan ei fod yn ymgymysgu ag oferwyr, a'i fod wedi myned i letya o dŷ ei rieni, ac felly, wedi colli rhybuddion ei fam, gwisgodd ymaith yn hollol bob difrifwch, a daeth yn un o'r llanciau gwylltaf o fewn i'r lle. Ei awydd mawr yn awr oedd myned i Loegr, er gweled y byd. Nid oedd dim pellach o'i feddwl na phreswylio yn Nghymru fynyddig. "Ond i Gymru," meddai, "y gorfu dyfod."

Yr ydym yn dyfod yn awr at amgylchiad y gellir yn briodol edrych arno fel trobwynt ei fywyd. Tuag at iddo ddyfod tan ddylanwad yr efengyl, rhaid oedd ei yru allan o'i ardal enedigol, ac yr oedd y dull a gymerodd Rhagluniaeth i ddwyn hyn oddiamgylch yn dra hynod. Meddai ef, pan yn ysgrifenu hanes ei fywyd, gwedi myned i wth o oedran: "Yr wyf hyd heddyw, wrth edrych yn ol, a chofio fel y bu, yn rhyfeddu y ffordd a gymerodd yr Arglwydd i'm gyru o'm cymydogaeth fy hun, i gymydogaeth nad oeddwn yn adnabod na dyn na dynes ynddi, sef i'r Bala, lle yr wyf yn preswylio er ys dwy-flynedd-ar-bymtheg-a-deugain." Yr oedd yr amgylchiad fel y canlyn: Cododd ymrafael chwerw rhwng y gŵr y lletyai John Evans yn ei dŷ â chymydog iddo. Mor enbyd oedd y teimlad rhyngddynt, fel y bygythiodd y cymydog, yn nghlyw John Evans, y lladdai y gŵr. Teimlodd John Evans ei bod yn ddyledswydd arno i hysbysu ei letywr, a'i osod ar ei wyliadwriaeth. Mynegwyd yr un bygythiad i'r gŵr gan eraill. Mewn canlyniad, cododd yntau warant i ddal y bygythiwr, a'i ddwyn gerbron yr ynadon, a gwysiwyd John Evans, yn mysg eraill, i fod yn dyst. "Yn awr," meddai John Evans, "y mae bys Duw i'w weled yn dechreu gweithio i ddwyn ei amcan i ben. Canys ar y ffordd wrth fyned o flaen yr ustus, daeth meddyliau dwys a difrif ataf, mai peth mawr a phwysig oedd cymeryd llw; ac mai rhaid oedd wrth gymeryd llw ddywedyd y dull y dywedodd y dyn yn gymhwys bob sillaf a llythyren, ac onide y byddai y llw yn llw drwg, a bod llw drwg yn bechod yn erbyn yr Yspryd Glân, yr hwn bechod nad oes maddeuant o hono, nac yn y byd hwn, nac yn yr hwn a ddaw. Gweithiodd yr ystyriaethau hyn mor rymus ar fy meddwl, fel y darfu i mi benderfynu na chymerwn un llw; nid am fod genyf un duedd at un o'r pleidiau mwy na'u gilydd, ond bod arnaf ofn na chofiwn y dull yn gymhwys y dywedodd y dyn. Wedi myned gerbron yr ustus, galwyd y tystion yn mlaen, a rhoddwyd eu llwon iddynt, a myfi oedd y diweddaf a alwyd. Dywedais wrth yr ustus nad oeddwn yn chwenych myned ar fy llw, o herwydd na buaswn erioed ar fy llw. Yntau a atebodd fod yn rhaid i mi fyned ar fy llw fel tyst yn yr achos. Minau a ddywedais nad awn i ddim ar fy llw. Yntau a atebodd, os nad awn, yr anfonai fi i'r carchar. Minau a ddywedais fod yn well genyf hyny, a'r dagrau yn treiglo o fy llygaid. Pan welodd yr ustus hyny, deallodd mai ofn cymeryd fy llw oedd arnaf, ac nid cyndynrwydd i roddi fy llw yn yr achos; a bu yn fwy tyner wrthyf, a dywedodd: 'Nid yw llw ond yn gofyn y gwir hyd eithaf eich gwybodaeth.' Felly y bu. Cymerais fy llw, gan ofalu dweyd y gair hwnw, 'hyd eithaf fy ngwybodaeth.' Rhwymwyd y bygythiwr am ei fygythion, ac achosion eraill a dystiwyd i'w erbyn, i'r sessiwn fawr."

Dengys yr hanes dynerwch cydwybod,

a gofal am eirwiredd, na cheir yn fynych ei gyffelyb, yn arbenig mewn llanc ieuanc digrefydd. Eithr nid oedd ei brofedigaeth trosodd eto. Er iddo ofalu, wrth gymeryd ei lw, ddywedyd mai hyd eithaf ei wybodaeth yr oedd yn tystio, llanwyd ei feddwl â dychryn drachefn rhag nad oedd wedi bod yn hollol ffyddlon i'r gwirionedd. Ofnai ei fod wedi dywedyd rhywbeth nad oedd yn hollol gywir, a'i fod felly wedi cymeryd llw drwg, ac wedi pechu yn erbyn yr Yspryd Glân. Bu yn derfysg ofnadwy yn ei feddwl; ciliodd cwsg oddiwrtho am wythnosau, "a phrin," meddai, "y dihengais a'm bywyd a'm synwyrau genyf." Eithr cafodd waredigaeth annysgwyliadwy. Yn nhŷ cymydog, daeth o hyd, yn ddamweiniol, i lyfr bychan, sef *Saith Pregeth Mr. Robert Russell.* Ymdriniai y gyntaf o'r saith a'r pechod yn erbyn yr Yspryd Glân. Darllenodd y bregeth yn awchus, a symudwyd ei ofnau yn llwyr, "mor llwyr ag y bydd yr haul yn llyncu i fynu wlith y wawr."

Eithr yr oedd y sessiwn yn agoshau, ac yn ei fyw nis gallai John Evans ymgymodi a'r syniad o gymeryd ei lw drachefn. Fel yr oedd yr adeg yn dyfod yn nes, yr oedd ei drallod yntau yn mwyhau. Y Sabbath o flaen y sessiwn penderfynodd ddianc, ac aeth ymaith o dŷ ei dad heb yngan gair wrth neb. Bwriadai, ar y cyntaf, fyned i Sir Fflint, i rai o'r gweithiau mŵn oedd yno. Ond wedi cychwyn, daeth i'w gof ddarfod iddo glywed fod gwaith mŵn plwm mawr yn Sir Aberteifi, ac mai trwy y Bala yr oedd y ffordd yno. Trodd o'r ffordd ar hyd pa un y cychwynasai, a chyfeiriodd ei gamrau tua'r Bala, gan gyrhaedd yno, wedi teithio tua dengmilltir-ar-hugain, yn hwyr y dydd. Erbyn cyrhaedd y dref, yr oedd yn flin, ac heb wybod pa le i droi am lety; nid oedd ei logell ychwaith yn rhy lawn. Meddyliodd y gallai fod yno wehyddion, ac o bosibl y caffai waith gwau, fel ag i enill ychydig arian i orphen ei daith. Wedi holi, cyfarwyddwyd ef i dŷ hynafgwr, o'r enw Edward Williams, yr hwn a'i gwahoddodd ef i mewn, ac a ddangosodd barodrwydd i roddi llety iddo. Eithr nid ymddiddanai ag ef am wau, am mai y Sabbath ydoedd.

Dyma John Evans yn y Bala, lle y trefnasai Rhagluniaeth iddo dreulio y gweddill o'i oes. Daeth yma yn y flwyddyn 1742, ac efe yn llanc deunaw mlwydd oed, sef yn mhen tua blwyddyn gwedi i Howell Harris gael ei gamdrin mor enbyd yn y lle. Nid oedd yma yr un achos eto gan y Methodistiaid; ymgynullai yr ychydig a gawsent eu hargyhoeddi trwy weinidogaeth Howell Harris gyda'r Ymneillduwyr yn nhŷ Edward Williams. Yr oedd Edward Williams yn ŵr nodedig o dduwiol; cynhaliai addoliad teuluaidd gyda chysondeb, a byddai yn teithio milltiroedd i glywed gair Duw yn cael ei bregethu. Trwy gael aros yn ei dŷ ef, syrthiodd llinynau John Evans mewn lle tra dymunol. A phrin yr oedd y gŵr ieuanc wedi cael hamdden i ymddadluddedu pan y dechreuodd y cyfeillion crefyddol ymgasglu i'r lle, a dechreuasant yn ddioed ar eu gorchwyl, sef darllen, gweddïo, a chanu mawl. Gwnaent hyn gyda'r fath fywiogrwydd, a gwresawgrwydd yspryd, nes synu y llanc; nid oedd wedi gweled na chlywed y fath beth o'r blaen; nis gwyddai beth i'w wneyd o honynt; ond meddai, "nid oeddwn yn cael dim allan o le yn yr hyn a ddywedent, na'r hyn a wnaent." Ni ddarfu i'w haddoliad ddylanwadu ar ei deimlad ef, safai megys yn y pellder, gan edrych ar y cwbl mewn yspryd beirniadol. Boreu tranoeth, gwedi darllen a gweddïo, cytunodd ag Edward Williams i aros gydag ef i wau. Dechreuodd feddwl efallai fod a fynai yr Arglwydd a threfnu iddo gael gwaith mor hawdd, mewn lle oedd yn gwbl anadnabyddus iddo. Ond nid oedd eto wedi ei gyfnewid; yn wir, nid oedd wedi ei ddifrifoli, nac wedi ei ddiddyfnu oddiwrth ei hen rysedd. Bu am agos i haner blwyddyn gwedi myned i'r Bala yn dilyn oferedd megys cynt. Trwy drafferth fawr, medrodd Edward Williams ei berswadio, un nos Sabbath, i fyned gydag ef i'r Weirglodd Gilfach, yn nghymydogaeth Llanuwchllyn, i wrando gŵr dyeithr yn pregethu. Dyna y tro cyntaf iddo glywed Ymneillduwr yn pregethu. Eithr beirniad oedd John Evans yn yr odfa; synai yn fawr weled y llefarwr yn gallu traddodi heb lyfr; eithr ni chyffyrddodd dim a'i galon. Yr holl effaith a gafodd y bregeth arno, medd efe ei hun, oedd ei ddifyru. Ond ymddengys ei fod yn cael pleser wrth wrando; os nad oedd ei galon yn cael ei hargyhoeddi, yr oedd ei ddeall yn cael ei oleuo; ac wrth arfer mynychu y cyfarfodydd, daeth i ddirnad athrawiaethau yr efengyl, ac i ddeall mai trwy ffydd yn Nghrist y cyfiawnheir pechadur. Yn raddol, gadawodd bob drwg arferion, gan arwain bywyd dychlynaidd, eithr nid oedd yn proffesu.

myned yn ddinerth. Rhedodd i'r tŷ at ei feistres, a dywedodd: 'Yr wyf yn meddwl yn siwr yr af i Lanerchymedd eto.' 'Pa fodd na fuaset yn myned gyda'th feistr?' meddai hithau; 'y mae arnaf ofn ei bod yn rhy hwyr i ti fyned erbyn hyn.' Pa fodd bynag, Wil a aeth; cerddodd a rhedodd ar hyd y llwybrau a farnai unionaf, nes cyrhaedd pen y daith. Erbyn myned at y capel, yr oedd y buarth o'i flaen yn llawn o geir a cheffylau, ac yr oedd llawer o bobl y tu allan yn methu myned i mewn i'r capel. 'Wel, yn siwr,' ebai Wil wrtho ei hun, 'mae hwn yn rhyw bregethwr rhyfedd, gan fod y fath ymdyru ar ei ol; mi fynaf gael golwg arno.' Ymwthiodd trwy y bobl oedd o ddeutu y drws, nes gallu myned i mewn i gael cipolwg ar y pregethwr; a pheth oedd annhraethol fwy, cafodd sylw ei feistr ei wirio yn brofiadol ynddo ef. Geiriau y pregethwr a lynasant yn ei galon, fel nas gallai eu hanghofio byth; a dychwelodd adref yn greadur newydd. Daeth William yn grefyddwr da; ïe, yn flaenor ffyddlawn, ac wedi bywyd defnyddiol, bu farw mewn tangnefedd.

"Nid ydym yn amheu na ewyllysiai ein darllenwyr wybod rhywbeth am y modd y byddai yn parotoi ac yn traethu ei bregethau. Ymddengys mai ychydig iawn a fyddai yn ysgrifenu o honynt; ac nid oedd ei ysgrifen, debygid, o nemawr help iddo; ni byddai ganddo ond darnau bychain o bapyr at faint llaw. Ymddengys, hefyd, na byddai ganddo ragymadrodd, neu arweiniad i mewn, maith ac amgylchiadol. Darluniai un o'i hen wrandawyr ef wrth gymeryd ei destun, a ffurfio ei sylwadau arno, yn debyg i ddyn yn dyfod i mewn i dŷ yn brysur, ac yn edrych yn fywiog a chraff ar bob peth o'i amgylch; yna, trwy graffder ei gipedrychiad prysur yn gwneyd detholiad diymdroad, a digamgymeriad o'r holl bethau mwyaf effeithiol a defnyddiol a geid ynddo at ei wasanaeth, a'i ddyben presenol, ac yna yn myned yn mlaen yn ddioedi at y gorchwyl mewn llaw. Dywedir yn ei gofiant 'nad oedd ei ddawn mewn gweddi yn gwmpasog a maith, y byddai yn uniongyrchol a'i afael yn ei neges.' Gallem farnu, hwyrach, mai mewn cyffelyb ddull y pregethai hefyd."

Y mae y darluniad hwn, gan ŵr o fedr Eben Fardd, yn dra gwerthfawr; a dengys yn glir fod Robert Roberts yn gyfryw bregethwr na welodd y byd ond ychydig o'i gyffelyb. Gwelir yr un peth yn nesgrifiad campus y Parch. Owen Thomas, D.D., o hono, o ba un nis gallwn ymatal heb ddifynu yn bur helaeth. Meddai Dr. Thomas: "Fe dynodd ei weinidogaeth, braidd ar unwaith, sylw cyffredinol, a daeth yn fuan y pregethwr mwyaf poblogaidd yn Nghymru. Yr oedd rhywbeth ynddo fel pregethwr ag y mae yn anmhosibl ei ddarlunio, a rhywbeth nas gallwn ni, sydd heb ei glywed, ffurfio prin un dychymyg am dano. Tystiolaeth pawb ar a'i clywsant yw, na chlywsant neb cyffelyb iddo. Yr oedd y fath rwyddineb yn ei ddawn, y fath angerddoldeb yn ei deimlad, y fath fywiogrwydd a nerth yn ei ddychymyg, y fath amrywiaeth yn ei lais, a'r fath allu ganddo i daflu ei hunan yn gwbl i'r mater a fyddai ganddo dan sylw, nes y byddai yr effeithiau ar y cynulleidfaoedd yn hollol drydanol. Ar adegau felly, byddai golwg ryfedd arno ef ei hunan. Byddai dan gynhyrfiadau ofnadwy. Weithiau, byddai ei lygaid yn melltenu nes ei gwneyd braidd yn anmhosibl edrych arno; weithiau, fe'u canfyddid yn sirioli, nes rhoddi gwen ar bob wyneb; ac yn amlach byddent yn ffynhonau o ddagrau, nes cynyrchu wylo cyffredinol trwy y gynulleidfa. Pa beth bynag a fyddai pwnc y bregeth, fe'i datguddiai ei hunan yn agweddau ei wynebpryd, yn ysgogiadau ei gorph, yn nhôn ei lais, yn gystal ag yn netholiad ei eiriau, a ffurfiad ei frawddegau, nes peri i'r gwrandawyr nid yn unig ei ddeall, ond ei deimlo. Yr oedd rhyw allu anghyffredin yn enwedig ganddo i bortreadu y golygfeydd a ddesgrifiai, a'u gwneyd yn ddarluniau byw gerbron ei wrandawyr. Tynai ddarlun weithiau o'r farn, nes y byddai y gwrandawyr yn tybio mai yno yr oeddent, ac yn gwaeddi allan am ei bywyd. Cyfodai yr orsedd; casglai y dyrfa fawr yn nghyd; didolai y rhai da oddiwrth y rhai drwg; cyhoeddai y ddedfryd; gyda'r olwg fwyaf gariadlawn, a chyda'r llais pereiddiaf, gwahoddai y rhai cyfiawn i mewn i'r deyrnas; nes y gwelid y pyrth gogoneddus yn ymagor, y goron yn cael ei gwisgo, y deyrnas yn cael ei hetifeddu, ac adsain caniadau euraidd y dorf waredigol yn swnio yn nghlustiau ei wrandawyr. Yna, fe dröai at dyrfa y llaw aswy. Byddai difrifwch ofnadwy, erbyn hyn, yn ei wedd; ac â rhyw rym ac awdurdod, eto y teimlad dwysaf, yn ei lais, fe gyhoeddai yr '*Ewch*,' nes y byddai y gynulleidfa yn canfod y trueiniaid annedwydd yn myned; yn clywed eu gruddfanau torcalonus, yn gweled y carchar yn ymagor; y tân tragywyddol yn

cyneu, ac anobaith diddiwedd yn cau arnynt yno am byth.

"Y mae son am dano yn pregethu unwaith yn Mryn-yr-odyn, pan y cynyrchwyd effeithiau rhyfedd ar y gynulleidfa trwy fywiogrwydd y darluniad a dynid ganddo. Yr oedd yn gosod allan gyflwr dynolryw, yn eu perygl fel pechaduriaid, trwy y gymhariaeth o ddynion yn ymddifyru ar ryw lecyn uwch ar draeth y môr, pan oedd y llanw allan, ac yn cael y fath fwyniant yn eu difyrwch, fel yr anghofiasant bob peth am y lle yr oeddent arno. Yn y cyfamser, yr oedd y llanw wedi troi, ac yn parhau i ddyfod i mewn, ac wedi dyfod i mewn gymaint nes yr oeddynt wedi eu hamgylchu braidd yn gwbl gan y môr; dim ond un lle i ddianc, a hwnw yn hytrach yn mhell oddiwrthynt, ac yn myned llai lai o hyd. O'r diwedd, dyna rywun oddiar y lan yn gweled eu perygl, ac â llais uchel, cryf, clir, yn gwaeddi arnynt i ffoi; fod y môr yn eu hamgylchu; nad oedd ond un lle iddynt ddianc; ac oni ddiangent ar frys, y byddai yn rhy ddiweddar iddynt, y byddai y môr wedi eu boddi i gyd. Yr oedd y bobl, yr holl amser hwn, wedi eu llyncu i fynu mor llwyr gan ei ddarluniad o'r amgylchiad ac o'r perygl, fel, pan y darluniai y gŵr o'r lan yn gwaeddi am iddynt ffoi, a ffoi ar unwaith, ac nad oedd un foment i'w cholli, y cydgyfodasant mewn gwylltineb, ac y ffoisant allan o'r capel, gan waeddi am eu bywyd, ac ofni fod y môr wedi eu hamgylchu. Daethant yn ol drachefn, neu ryw nifer o honynt, yn fuan; a chafodd yntau gyfleustra gogoneddus i wasgu at eu meddyliau y perygl, mwy na boddi, yr oeddynt yn agored iddo, a'r pwys o ddefnyddio, heb oedi dim, drefn yr efengyl am waredigaeth. Yr oedd y gallu portreadol hwn, pa un bynag ai o gymeriadau ai o amgylchiadau, yn nodedig ynddo.

"Clywsom Mr. John Jones (Talsarn) yn adrodd un hanesyn am dano a ddengys ei nodwedd yn y cyfeiriad hwn. Yr oedd John Jones ryw Sul yn pregethu yn Mynydd Llanllyfni, ar y geiriau: 'Efe a lwnc angau mewn buddugoliaeth,' &c. Yr wythnos ganlynol, efe a dderbyniodd lythyr oddiwrth hen ŵr oddiyno, yn rhoddi rhyw adroddiad o bregeth a glywsai gan Robert Roberts, ag yr oedd ei bregeth ef wedi ei adgofio o honi. Iesu Grist yn ymladd ag angau oedd gan Mr. John Jones, ond Iesu Grist yn ymladd a'r diafol oedd gan Robert Roberts. Yr oedd brwydr fawr, bersonol, wedi bod rhyngddynt ar ol ei fedyddio, ac yr oedd Iesu Grist wedi cael buddugoliaeth deg ar y diafol y pryd hyny. Yr oedd ei holl bregethau a'i holl wyrthiau yn ymosodiad uniongyrchol arno; ac yr oedd, yn y cwbl, yn fuddugoliaethus. Yr oedd y diafol yn gweled, os gadewid iddo fyned rhagddo felly, y byddai diwedd ar ei awdurdod ef; ac felly, fe gynlluniodd i gael brwydr benderfynol ag ef. Fe roddes ei holl ystryw ar waith, ac a gasglodd ei holl luoedd yn nghyd. Rhoddes yn nghalon un o'i ddysgyblion ei fradychu. Fe wasgwyd mor galed ar yr Iesu, nes y mae yr awdurdod wladol wedi ei gondemnio; y bobl yn ei hwtio; ei ddysgyblion wedi ffoi; y mae ar y groes dan hoelion, a holl allu y tywyllwch yn y fantais oreu erioed i gael buddugoliaeth arno. Ac ar Galfaria y mae y frwydr fawr yn cymeryd lle. Yr oedd Robert Roberts wedi cymeryd ei safle wrth odreu y bryn, yn gweled yr olygfa, ac yn ei darlunio fel yr ymddangosai iddo ef. Ond, yn mhen amser, y mae yr awyr yn pruddhau, y goleu yn cilio, a thywyllwch yn cuddio y groes a'r ymladdwyr o'r golwg. Y mae yn awr yn y pryder mwyaf, pa fodd y mae y frwydr yn myned rhagddi, gan y gŵyr fod bywyd y byd yn dibynu ar y modd y terfyna. Y mae yn awyddus i holi yr Iesu; ond y mae yn deall fod y fath bwysau ofnadwy ar ei yspryd ef, fel yn ei gariad ato, nas gall feddwl am drafferthu dim arno. Am hyny y mae yn gwaeddi ar y diafol: 'Pa fodd y mae y frwydr yn myned rhagddi, Satan?' 'Cydgodwm,' meddai yntau. 'Ah!' meddai Robert Roberts, 'y mae ein Hiesu ni yn dal ei dir, er fod y gâd uffernol i gyd yn ei erbyn. Iesu mawr, concro wnelot ti; y mae ein bywyd ni, drueiniaid, byth yn troi ar hyny.' Yna y mae yn troi at Satan drachefn, ac yn gofyn: 'Pa fodd y mae y frwydr yn dyfod yn mlaen erbyn hyn, Satan?' 'Cydgodwm eto,' meddai yntau, ond mewn llais cras, annhymerus, a Robert Roberts yn gwneyd llais yr un fath. 'Oh, y mae ein Hiesu, diolch iddo, yn dal ei dir, ac mi dybiwn i fod Satan braidd yn colli; y mae yn sicr yn colli yn ei dymher, ac y mae hyny hytrach yn arwyddo ei fod yn colli yn y frwydr.' Yna aeth rhagddo drachefn i ddarlunio pwys y frwydr, a'r pryder mawr oedd trwy yr holl nefoedd, yn meddyliau Abel, ac Enoch, a Noah, ac Abraham, a Moses, a'r prophwydi, a holl saint yr Hen Destament, yn nghylch y modd y byddai yn troi ar

Galfaria, nes yr oedd y bobl wedi eu llyncu â'r unrhyw bryder, a fel pe y buasent heb glywed erioed o'r blaen, neu ynte wedi anghofio yn gwbl *pa fodd yr oedd wedi troi.* Toc, dyna fo yn gwaeddi drachefn: 'Pa fodd y mae yn myned yn mlaen yn awr, Satan?' Ond nid oedd neb yn ateb. 'Satan, Satan, cymer lai na chwarter mynyd o hamdden i ddywedyd i mi pa fodd y mae yr ymgyrch yn myned yn mlaen.' Ond nid oedd eto na llef, na neb yn ateb. 'Beth,' meddai Robert Roberts, gan edrych yn syn ac yn ofnus: 'A ydyw y ddau gawr mawr wedi peidio lladd eu gilydd? Iesu anwyl, y mae yn ddrwg gen i dy flino di am un amrantiad, ond a wyt ti yn fyw? Os wyt, d'wed sut y mae y frwydr yn troi? Ar hyny dyna yr Iesu yn ateb, mewn llais buddugoliaethus: 'Gorphenwyd! Sethrais y gwinwryf fy hunan, ac o'r bobl nid oedd neb gyda mi.' Ar hyny, dyna y pregethwr yn gwaeddi, yn yr hwyl fawr, 'Gogoniant! Dyna ei fywyd i Robin!' a'r holl gynulleidfa, ar darawiad amrant, yn myned yn un goelcerth o hwyl gydag ef.

"Yr oedd rhyw nerthoedd rhyfedd gyda'i bregethau Clywsom hen flaenor call yn Mrynengan--Daniel Roberts, mab i'r hen bregethwr, Robert Dafydd—yn adrodd am dano unwaith yno. 'Chwi a wnaethoch i mi gofio yn y capel yna,' meddai, 'am Robert Roberts. Yr oedd o yn pregethu yma, a'r nefoedd yn tywallt ar ei ben, ac ar ben y gynulleidfa. Ond rywbryd ar y canol, dyma fo yn troi at y pared, ac yn gwaeddi: 'Atal, Arglwydd; cofia mai cnawd ydwyf. Cofia nas gallaf fi ddal gormod.' Ac yna, dyna fo yn troi atom ninau, ac yn gwaeddi allan, ar frig ucha'i lais: 'Gogoniant am obaith boreu y bydda i wedi fy nghylchio ag anfarwoldeb; y gallaf ddal fy llon'd o'r Duwdod heb gracio byth.' Mae yn amlwg y byddai rhyw lewyrchiadau anghyffredin yn tanbeidio ar ei feddwl ef ei hunan, a'r rhai hyny trwyddo yn pelydru ar ei wrandawyr. Yr oedd yr arddeliad yma, yn gysylltiedig â'r cymhwysderau eraill a berthynent iddo, yn gosod rhyw ogoniant mwy na dynol ar ei weinidogaeth.

"Yr ydym yn y 'RHAGDRAETH' i'r gyfrol o bregethau a elwir 'LAMPAU Y DEML,' wedi cyfeirio at un hanesyn am dano, a glywsom gan y diweddar Barch. Griffith Solomon, ag y tueddir ni i'w osod i fewn yma hefyd. Yr oedd Robert Roberts ar gyhoeddiad, gyda brawd arall, trwy Sir Fôn, ac ar eu taith daethant i Fryn Siencyn. Yr oedd y diweddar Barch. John Parry, Caerlleon, y pryd hwnw yn cartrefu yn y Bryn, ac yn cadw ysgol yno. Yr oedd Elias Parry, brawd i Mr. Parry, gydag ef yn y Bryn yn yr ysgol, yn fachgen ieuanc, yr hwn oedd o'i fabandod wedi cynefino â phregethu ac a phregethwyr. Yr oedd yno ryw fachgen ieuanc arall, o gymydogaeth Amlwch, yn yr ysgol, i'r hwn yr oedd pregethu a phregethwyr yn llawer dyeithrach, a Robert Roberts yn hollol ddyeithr. Aeth y ddau fachgen gyda'u gilydd i wrandaw y pregethau. Yr oedd yno dyrfa fawr wedi dyfod yn nghyd, a dysgwyliad mawr am y pregethwyr, yn enwedig am un o honynt. Yr oedd cryn deimlad yn y capel pan yr oedd y gŵr cyntaf yn pregethu. Ar ei ol cyfododd Robert Roberts. Yr oedd difrifoldeb ofnadwy ar ei wynebpryd. Darllenodd ei destun. Ymddangosai ar y cyntaf braidd yn bryderus. Siaradai yn llai manwl nag y byddai yn arfer gwneyd. Yn raddol, y mae ei ddawn yn rhwyddhau, ei lais yn clirio, a'r olwg arno yn dyfod yn fwyfwy difrifol. Y mae yn myned rhagddo, ac yn cymeryd gafael yn enaid yr holl gynulleidfa; y mae rhai yn llewygu, y lleill yn gwaeddi, ac yntau, a'i lais fel udgorn Duw, yn treiddio trwy y lle. Ar hyn, neu rywbryd yn ystod yr odfa, dyna y bachgen arall yn troi at Elias Parry, ac yn gofyn iddo, a'i wynebpryd yn welw fel corph marw: 'Dyn ydi o fachgen, ynte angel?' 'Ond angel, fachgen; wyddet ti ddim?' 'Na wyddwn i, yn wir; bobl anwyl! onid yw angel yn well pregethwr o lawer na dyn?' Y mae yn rhaid fod rhywbeth annesgrifiadwy yn y pregethwr a adawai y fath argraff ar feddwl bachgen felly.

"Ond nid ar feddwl bechgyn yn unig yr oedd ei ddoniau dysglaer yn gadael argraff. Yr oedd y rhai mwyaf craffus a meddylgar yn teimlo fod rhyw ardderchawgrwydd annarluniadwy yn ei weinidogaeth. Clywsom ein hanwyl dad-yn-nghyfraith (y diweddar Barch. William Roberts, Amlwch), yn adrodd un hanesyn a ddengys hyny yn amlwg. Y tro diweddaf iddo fod ar gyhoeddiad yn Sir Aberteifi, cyn marwolaeth Mr. Ebenezer Morris, yr oedd y diweddar Mr. John Jones, Bethania, gydag ef, fel cyfaill iddo. Yr oeddent yn myned o Benmorfa i'r Twrgwyn; ac yr oedd Mr. Ebenezer Morris wedi myned i'w cyfarfod i Benmorfa. 'Yr oeddem,' meddai Mr. Roberts, 'wrth fyned o'r naill

gapel i'r llall, yn ymddiddan am yr hen bregethwyr. Ac fel yr oeddem yn tynu at y Twrgwyn, ac wedi disgyn oddiar ein ceffylau i fyned rhyw riw go fawr sydd yno, yr oeddwn i wedi myned encyd o'i flaen ef. Ond yn fuan mi a'i clywn yn gwaeddi arnaf. 'A wyddoch chwi, William Roberts? Pe buaswn i wedi marw heb glywed Robert Roberts, o Glynog, yn pregethu, mi a fuaswn wedi marw heb y syniad sydd gen i am ogoniant gweinidogaeth yr efengyl.' Dyna dystiolaeth un o'r pregethwyr mwyaf a fagodd Cymru erioed am dano, ac un oedd wedi gwrandaw llawer ar Mr. Daniel Rowland a'r holl hen bregethwyr."

Ofer ceisio ychwanegu gair at y darlun hwn gan Dr. Thomas. Y mae yn amlwg oddiwrtho mai prif allu Robert Roberts, a gadael allan o'r cyfrif y dylanwadau goruwchnaturiol a fyddent yn cydfyned â'i bregethu, oedd yr elfen ddramayddol a nodweddai ei weinidogaeth; ei fedr, trwy osgo, a llais, a threm, a phaentio mewn geiriau, i osod gwirioneddau mawrion y Beibl megys yn fyw gerbron y cynulleidfaoedd. Perthynai yr un gallu, mewn modd arbenig, i Whitefield. Dywedir y darluniai efe unwaith, a Hume yr anffyddiwr yn sefyll yn mysg ei wrandawyr, berygl pechadur yn cael ei arwain yn anymwybodol gan ei lygredigaeth i ddinystr, trwy y gyffelybiaeth o ddyn dall yn cael ei arwain gan gi i ymyl dibyn. Mor fyw oedd yr arlun, fel y tybiai y gynulleidfa ei bod yn gweled ymyl y graig serth, y dyfnder ofnadwy islaw, a'r dall yn anymwybodol yn dilyn y ci, nes yr oedd ar syrthio trosodd, a dyna Hume, wedi colli arno ei hun yn hollol, yn gwaeddi allan: "Y nefoedd fawr! dyna ef wedi syrthio!" Efallai nad oes yr un gallu yn fwy effeithiol i ddylanwadu yn gyffelyb ar y coeth a'r anghoeth, ac y mae yn glir y meddai Robert Roberts ef mewn cyflawnder. Adrodda Dr. Griffith Parry hanesyn, yn profi yr hyn a ddywedwn yn mhellach, a gafodd gan Mr. David Davies, Llanrhaiadr, Dyffryn Clwyd. Cynhelid cyfarfod pregethu yn Llannefydd, ychydig filltiroedd o Henllan, ar ddydd Nadolig, ac yr oedd Robert Roberts i fod yno. Fel yn mhob man, yr oedd dysgwyliad mawr am dano, a chyrchu rhyfeddol o bob parth i wrando arno. Cafodd yntau odfa ryfeddol. Yn ei bregeth cyffelybai dragywyddoldeb i gloc wedi sefyll—yn y nefoedd ar haner dydd, ac yn uffern ar haner nos! Wrth ddesgrifio gwlad colledigaeth, dychymygai fod rhywun o breswylwyr y ddaear yn cael caniatad i ofyn ambell gwestiwn i'r damnedigion. Gofynai i Cain, yn fuan wedi iddo fyned yno: "Beth ydyw hi o'r gloch yna, Cain?" Gostyngai ei ben dros astell y pwlpud wrth ofyn. Yna newidiai ei lais, edrychai i fynu, a dywedai mewn tôn hir, lusgedig, wylofus, ac mewn llais annaearol, megys o'r beddrod: "*Haner nos!*" Gofyn drachefn, yn mhen mil o flynyddoedd: "Beth ydyw hi o'r gloch yna erbyn hyn, Cain?" Ac yna, deuai yr un ateb, yn yr un llais anobeithiol: "*Haner nos!*" Gofyn drachefn i un arall: "Beth ydyw hi o'r gloch yna, Judas?" Yr un ateb, yn yr un ddolef o anobaith: "*Haner nos!*" Ac felly amryw weithiau. Dywedai David Davies fod yr effaith yn annesgrifiadwy. Yr ydoedd fel pe buasai dychrynfeydd y farn a thragywyddoldeb wedi ymaflyd yn mhob enaid oedd yn gwrando. Bu adsain y bregeth megys yn llon'd yr ardaloedd am amser ar ol hyn. Effeithiodd gymaint ar David Davies ei hun fel nas gallai na bwyta na chysgu y noswaith hono, a bu yr effaith ar ei iechyd am rai wythnosau.

Yn goron ar y gallu dramayddol, meddai Roberts, Clynog, ryw allu ysprydol, nas gellir ei ddeffinio, yn cyfodi o gymundeb agos â Duw, ac o ymwybodolrwydd a sylweddolrwydd gwrthddrychau tragywyddoldeb. Fel Iesu Grist ei hun, treuliai y nos yn aml, hyd wawr y boreu, yn ymdrechu â Duw mewn gweddi. Galwodd y Parch. John Williams, Dolyddelen, heibio iddo unwaith, i edrych am dano. Yr oedd y ddau yn gyfeillgar iawn, ac yn dra hyf ar eu gilydd. "Robert, bach," meddai John Williams, "dywedwch yn mha le y byddwch yn cael y pregethau ofnadwy yma sydd genych?" Gafaelodd Robert Roberts yn ei fraich, cymerodd ef gam neu ddau gydag ef, a chan agor cil drws yr ystafell ddirgel, pwyntiai i mewn â'i fys, gan ddywedyd: "*Yna, yna*, mewn gweddïau taerion, ac ymdrech gyda Duw y byddaf yn eu cael!"

Byddai y fath ddylanwad yn aml yn cydfyned â'i weinidogaeth fel na feiddiai y mwyaf seraphaidd ei ddawn bregethu ar ei ol. Yr ydym yn barod wedi adrodd am Jones, Llangan, ei dad yn Nghrist, yn cael odfa nodedig o drymaidd ar ei ol, ac yn achwyn yn nghyfarfod y pregethwyr dranoeth, ddarfod i hunan agos ei ladd y noson hono wrth weled Robin bach o'r *North* wedi myned gymaint o'i flaen. Adroddir am Robert Roberts ac Ebenezer

Morris yn cydbregethu yn Nghymdeithasfa Dolgellau, o flaen gwesty a elwir yn awr yr *Angel*. Dechreuasai Roberts, Clynog, bregethu flwyddyn o flaen Eben Morris, ond er mwyn parchu y gŵr dyeithr enwog o'r Deheudir, mynai efe fyned yn flaenaf. Yr oedd llewyrch rhyfedd yn yr odfa; dylanwadai y bregeth yn angerddol ar y gwrandawyr, ac nid yn ddwysach ar neb nag ar y pregethwr oedd i ganlyn. Wedi iddo orphen, cyfododd Mr. Morris, a dywedodd: "Nid âf i ddiffodd nac i oeri yr argyhoeddiadau mawr a wnaed trwy bregeth fy anwyl frawd; gweddïwn," a chyda hyny terfynodd y cyfarfod.

Prin yr ydym wedi pwysleisio yn ddyladwy ar un arall o ragoriaethau Robert Roberts fel pregethwr, er ddarfod i ni gyfeirio ato fwy nag unwaith, sef arbenigrwydd ei lais. Yn ol a glywsom, llais yn tueddu at fod yn fain ydoedd; cyffelybai un ef i lais y diweddar William Charles, Gwalchmai. Yr oedd yn nodedig o dreiddgar; cyrhaeddai gyrau pellaf cynulleidfa fawr ar y maes yn gwbl ddidrafferth. Yr oedd yn dra phur, yn gwbl dan reolaeth y pregethwr; a gallai ei droi yn ol ei ewyllys, naill ai i ddigter y daran, neu ynte i fiwsig melus. Diau fod y llais nodedig hwn yn elfen bwysig yn effeithiolrwydd ei weinidogaeth.

Y mae nifer o'i bregethau wedi eu cyhoeddi; ychydig yn gymharol lawn gan bersonau a'u gwrandawsent, ond y nifer fwyaf yn fyr, ac heb gynwys dim ond amlinelliad, wedi eu hysgrifenu gan y pregethwr ei hun. Ceir yn rhai o honynt ddarnau sydd yn dangos athrylith Robert Roberts yn amlwg. Difynwn ychydig allan o lawer:—

* "Y mae amodau lawer yn perthyn i'r cyfamod gras, ac ni thorir un o honynt byth. Yr oedd amodau y cyfamod gweithredoedd ar ysgwydd briddlyd Adda, a thorwyd hwy i gyd; ond y mae pob amod o'r cyfamod gras ar ysgwydd Duwdod. 'Gwnaethum amod a'm hetholedig; gosodais gymhorth ar un cadarn.' Yr oedd y cyfamod gweithredoedd fel pont ag un pen iddi ar y graig, a'r llall ar bridd; syrthiodd y pridd, a daeth y bont i lawr; ond y mae y cyfamod gras fel pont sydd a chraig dan bob pen iddi. Y mae Duw yma yn dal y cwbl. Aeth Crist o'r groth i Galfaria gyda'r ddeddf foesol, mewn cydymddiddan difrifol, ac efe a gafodd y gair diweddaf. 'Crist yw diwedd y ddeddf.' Aeth yn ddiwedd glân iddi, yn ei gofynion a'i melldithion. Bu y ddeddf seremoniol yn cario Crist yn ei bru yn hir; yn yr anialwch, yn y babell, yn nheml Solomon, yn nheml Zorobabel; ac wrth esgor arno hi a fu farw; aeth y sylwedd yn ddiwedd i'w fam gysgodol, ac yr wyf yn meddwl fod ei bedd o dan y groes."

† Dywedai rywbeth cyffelyb wrth bregethu ar Dat. iii. 14: "Y pethau y mae Amen yn eu dywedyd." Cyfeiriai at y ddeddf foesol fel un oedd yn wirionedd i gyd, ond heb ddim gras; ac at y ddeddf seremoniol fel un oedd yn ras i gyd, ond heb ddim gwirionedd. Cysgod daionus bethau oedd hi. Dywedai fod yr Arglwydd yn siarad a'r ddeddf foesol, gan ei hysbysu fod yn rhaid ei chau i fynu mewn arch, onide y lladdai hi ei bobl ef. "Ti a gai fod yno, ddeddf anwyl, a thi gai drugareddfa euraidd uwch dy ben." Yna darluniai y ddeddf seremoniol yn myned yno, unwaith bob blwyddyn i edrych am dani, a *phresent* o waed ganddi. "Beth sydd genyt?" meddai y ddeddf foesol. "Gwaed," meddai y ddeddf seremoniol. "Tri math o waed: gwaed bustach dros y bobl, gwaed hwrdd dros yr offeiriaid, a gwaed bwch dros Dduw." "Ond yr wyf fi yn gofyn cyrn gyddfau y bobl," meddai y ddeddf foesol. "Y mae hyny yn ddigon gwir, ond yr wyf fi yn cario y gwaed yma i ddangos mai peth o'r lliw hwn a dâl dy ofynion di yn llawn ryw ddiwrnod." A phan ddaeth cyflawnder yr amser, fe gyfarfu gras a gwirionedd: "Y gyfraith a roddwyd trwy Moses, ond y gras a'r gwirionedd a ddaeth trwy Iesu Grist." "Cariodd y ddeddf seremoniol Iesu Grist yn ei bru am ganoedd o flynyddoedd, a chafodd lawer mwy o boen efo ei Mab nag a gafodd Mair erioed. 'Fe gafodd Mair boen wrth esgor arno, meddai rhywun. Naddo, ddim erioed; cyn clafychu y rhyddhawyd hi ar Fab. 'O! Seion oedd hono.' Nage, pan *glafychodd* Seion, y rhyddhawyd hi ar ei meibion. Do, hi gariodd Grist yn ei bru am ganoedd o flynyddoedd, ac wrth esgor hi a fu farw. Do, do; hi a fu farw ar enedigaeth ei Mab. 'Crist yw diwedd y ddeddf.' Yn mha le y claddwyd hi? Dan bren y groes."

Wrth bregethu yn y Bala, yn ffenestr y capel, nos y Gymdeithasfa, dywedai: "Bu amser arnaf, y buasai yn dda genyf fod yn

* *Y Drysorfa*, 1850.

† Allan o *Oleuad Cymru*.

rhyw fath o greadur yn lle bod yn ddyn. Buasai yn well genyf fod gyda y cigfrain ar hyd y coedydd a'r creigiau yn gwneyd fy nyth; neu gyda y llyffaint yn y corsydd a'r ffosydd; neu gyda'r abwydyn gwaelaf yn llwch y ddaear, na bod yn ddyn; wrth ystyried pan ddarfyddant hwy a byw, eu bod yn darfod am danynt; ond y fi yn greadur truenus, yn debyg o fod dan ddigofaint Duw byth. Ond yr wyf wedi cyfnewid fy meddwl cyn heddyw; ni newidiwn fy sefyllfa â'r archangel uchaf yn y nefoedd; o herwydd natur ddynol fel finau sydd gan y Cyfryngwr bendigedig, a'r holl awdurdodau yn plygu iddo. Pa berthynas bynag sydd rhwng Crist a'r angelion, y mae yn frawd i ni ddynion. Y dyn a'r Duwdod ynddo yn trigo ydyw." Yna cododd ei lef mewn llais gorfoleddus: "Haleliwia am byth, oddiyma i'r drydedd nef, am gael bod yn ddyn." Ysgrifenwyd yr ychydig sylwadau uchod i'r *Methodist*, gan Gwilym Tryweryn, o enau un Hugh Thomas, hen bererin o Waun y Bala, oedd yn gwrando.

Wrth bregethu ar Exodus xxix. 45: "A mi a breswyliaf yn mysg meibion Israel, ac a fyddaf yn Dduw iddynt," dywedai: "Wele addewid heb amod; Duw heb edrych arnat ti, ond arno ei hun; megys yn cau ei lygaid, ac heb edrych ar ddim ond arno ei hun. Meddai yr Anfeidrol: 'Mi edrychaf nid ar yr hyn a fyddant hwy i mi, ond ar yr hyn a fyddaf fi iddynt hwy.' Y geiriau hyn oedd sylfaen Moses wrth bledio am gael wyneb Duw gyda hwy. Marwor tanbaid, a gwreichion tân, fydd yn nghydwybodau dynion os gweddïant heb un addewid o'u tŷ. Medd Duw wrth Moses: 'Fy wyneb a gaiff fyned gyda thi, a rhoddaf orphwysdra it'.' 'Arglwydd, pa fodd y gildiaist i Moses?' 'O! fy addewid oedd gan Moses!' 'Mae Moses yn *bold* iawn; tafl ef ymaith.' 'O! na; y mae fy addewid ganddo.' Dywedwn ninau: 'Nid awn oddiyma i bregethu, gwrando, na gweddïo, oni ddaw dy wyneb gyda ni.' Yntau a waedda: 'Fy wyneb a â gyda chwi.' Paham? Y mae ei addewid gyda ni.

"Yn flaenorol yr oedd y bobl wedi bod yn ymolchi ac yn ymsancteiddio; yna y dywedodd yr Arglwydd: 'Mi a breswyliaf yn eich mysg.' Llawer o ymolchi oedd gan Israel. Paham? Am fod Duw wedi gorchymyn: 'Byddwch sanctaidd, canys sanctaidd ydwyf fi.' Nid oedd Israel yn lanach wrth natur na chenhedloedd eraill, ond gwneuthur mwy o ddefnydd o'r dwfr y maent. Duw oedd yn preswylio yn mysg Israel. Eglwysi! os ydych yn dewis i Dduw eich gadael, byddwch fyw yn halogedig; ond os ydych am gael Duw gyda chwi, ymsancteiddiwch; defnyddiwch y dwfr yn aml. Y mae y Brenin gyda chwi. Yr oedd mor amlwg fod Duw gyda ni y dyddiau diweddaf yn Nghymanfa Dinbych, a'i fod yn Greawdwr. Y mae Duw gyda ni! Medd Duw wrth Israel: 'Peidiwch a bod yn aflan.' Yr oedd rhai o bysgod y môr, yr anifeiliaid, ac adar y nefoedd, yn waharddedig iddynt i'w bwyta. O! Arglwydd, y mae genyt ofal mawr am Israel; ond paham? 'O! yr ydwyf am fyw gyda hwynt, ac am gael eu hanadl yn *sweet*.' Tithau, gredadyn, tro dy wyneb i'r man y mynot, y mae perygl i ti gael dy aflanhau. Wel, y mae Duw am eich cael yn lân. .

"Preswylfod Duw yw yr eglwys. Efallai fod yma gyfeiriad at y tabernacl: 'Byddaf byw gydag Israel yn y babell.' Tywyllwch du oedd ar Sinai i Israel, ond yr oedd dysgleirdeb ger ei fron ef. Enfys wyf yn feddwl; bwa y cyfamod, mae yn debyg. Y cenllysg a'r marwor tanllyd a aethant heibio, am fod dysgleirdeb ger ei fron ef. Cenfigenodd rhai wrth gyflwr cwn, gwyddau, &c.; meddyliasom mai y cwmwl a ai a ni i dragywyddol golledigaeth! Ond yr oedd dysgleirdeb ger ei fron ef. Wedi hyny 'gwna allor,' ac yna 'gwna gysegr,' fel y byddo i mi breswylio gyda hwy. 'Bydded iddynt hwy ddyfod i fynu i'r mynydd, i'r tân a'r taranau?' 'Na, ni feiddiant; ond mi a ddeuaf atynt hwy. Gwna di dabernacl, neu gysegr, wedi hyny byddaf byw yn eu canol.' Y babell oedd yn gysgod o Grist. Y rhyfeddod mwyaf a welais i erioed, oedd gweled, er lleied oedd y babell, iddi lyncu Sinai fawr, danllyd, i'w chrombil. Haleliwia!

"Tywyllwch dyfroedd oedd ar Sinai i wneyd taranau; ond erbyn cael y babell yr oedd y dwfr yn y noe, i olchi *spotiau*. Tân mawr, dychrynllyd, oedd ar y mynydd; ond erbyn dyfod i'r babell, tân bob amser i losgi yr aberthau, i oleuo y canwyllbren, i wel'd yr allor aur, a'r bara gosod. Y deg gorchymyn oedd yn taranu yn ofnadwy ar Sinai; ond y maent yn cysgu yn esmwyth ar obenydd o bren yn yr arch. Bendigedig fyddo Duw am ein Crist! Y babell wedi llyncu Sinai danllyd! Y babell yn myned gyda hwy trwy yr anialwch â Sinai yn ei bol! Peth rhyfedd

gweled Duw yn dyfod o'r nefoedd i fyw yn y cnawd, yn ymuno â'r natur ddynol—yr uchaf yn ymuno â'r isaf, annherfynoldeb â therfynoldeb, y cyfoeth mwyaf a'r tlodi mwyaf wedi dyfod â'u bys i'r fodrwy. Fe briododd y tân â'r sofl! haul â thywarchen! Os bydd dim a fynoch â Duw, deuwch i Babell y Cyfarfod. Yno mae dwfr i olchi, aberth i glirio, tân i oleuo, crochan aur yn llawn o fanna; Crist yn bob peth. Haleliwia! Amen."

Er fod y difyniadau hyn â llawer o ddolenau ynddynt yn eisiau, yn ddiau, ac nad yw y pregethwr ei hun genym i anadlu anadl einioes ynddynt, eto teimlir "yspryd y peth byw" yn berwi ynddynt. Temtir ni i ddifynu ychydig eto o'i bregeth ar lwyddiant gweddi, er fod rhai o'r ymadroddion wedi eu cofnodi yn barod yn y desgrifiad gan Eben Fardd. "Wrth geisio nesu at Dduw, edrychwch bob amser, fy mrodyr, ar fod enw y Mab yn eich gweddïau. Yr ydym ni fel dynion ar y môr mewn ystorm, yn ceisio ysgrifenu llythyrau at ein Tad; ysgrifenu darn o *line* yma, yna meddyliau gwibiog, fel ysgydwad llong, yn ein rhwystro i fyned yn mlaen; ac yna darn o *line* acw, a'r cyfan yn ddigon dilun. Ond er mwyn y llythyr perffaith a ysgrifenodd ein Brawd hynaf, y weddi bur a weddïodd y Mab, y mae ein llythyrau bach, carpiog ninau yn cael eu derbyn yn groesawus gartref. Dacw Jonah wedi ei fwrw i'r dyfnder i ganol y môr, a'r hesg wedi ymgylymu am ei ben. Ond fe weddïodd o fol y morfil, yr hyn oedd iddo ef yn fol uffern. 'Mi a edrychaf eto,' meddai, 'tua'th deml sanctaidd.' Dacw y morfil yn rhedeg fel *mail coach* fawr, a'r môr yn berwi fel crochan o'i ffroenau, a'r holl bysgod yn cilio o'r neilldu, fel pe buasai yr hen gerbyd yn gwaeddi, 'Cliriwch y ffordd.' Beth yw y mater, forfil? 'Gŵr Duw sydd genyf i fyned ag ef i'w le adref.' Y mae yr hen Jonah yn gwaeddi o'i fol: 'Teml! Teml! Teml!' Beth, Jonah, teml oddiyma? 'Ië, mi a edrychaf tua'r deml oddiyma; yno y mae yr allor, yno y mae'r arch a'r drugareddfa.' Felly ninau, frodyr, gweddïwn o bob man: 'Teml! Teml! y Mab! y Mab!' Efe yw ein gwir dabernacl. Os anfoni dy lythyrau bach, gristion, oddiyma ac acw, yn nghanol yr ystormydd, cofia rhoddi enw y Mab yn rhyw gornel. Os gwaeddi, 'Achub, Arglwydd;' cofia ddywedyd er mwyn y Mab! 'Maddeu i ni, er mwyn y Mab! Nerth i sefyll, er mwyn y Mab.' Aed ein holl erfyniadau i fynu yn yr enw hwn."

Yn yr un bregeth ceir a ganlyn ar ddifrifwch mewn gweddi: "Trof fy wyneb i'r man a fynwyf o'r Gair, yr wyf yn gweled mai peth effro yw gwir weddïo. Beth ydyw? Cwynfan, tuchan, edrych i fynu, curo, ceisio, &c., megys gŵr a fyddo dan bangfeydd ofnadwy y pigyn neu y *colic*. Hynod y tuchan y mae. Ond feallai y gofynir am ambell un, 'Sut y mae wedi peidio tuchan?' Wel, rhaid ei fod wedi cael esmwythdra i gysgu. O! llawer enaid a welwyd ac a glywyd yn tuchan am ei gyflwr colledig, ac amledd a maint ei bechodau, cyflwr yr ardaloedd, ac am i Dduw arddel ei genhadon; ond daeth y cythraul digywilydd i eglwysi ein gwlad, gyda'i *opium* melldigedig, ac a roes gymaint o hono i lawer, nes y maent yn cysgu yn ddigon diduchan! Peth effro a sobr yw gweddi. Nid pob agwedd, a geiriau gweddi, yw gweddïo ar Dduw. Yr oedd Saul o Tarsus yn weddïwr o'i ieuenctyd. Yr oedd yn un o'r Phariseaid glân, y rhai oeddent yn nodedig am eu hir-weddïau. Ond, meddai Duw, wedi i'r llais ddyfod ato ar y ffordd: 'Wele, y mae efe yn gweddïo!' Beth, Arglwydd mawr, a oes dim sôn am yr holl weddïau braf o'r blaen? 'Na, cleddwch hwy i gyd,' meddai Duw; 'na fydded son am danynt; yn awr y mae yn gweddïo o ddifrif.'"

Tueddwn i feddwl fod yn anhawdd i'r darllenydd gael gormod o Robert Roberts, a chofnodwn eto ychydig o'i ddywediadau byrion, tarawiadol: "Hynod oedd ymddygiad yr Iesu at y wraig o Ganaan. 'A'r Iesu nid atebodd iddi air.' Fel pe y dywedasai: 'Dyma un yn wynebu arnaf am drugaredd, er fod y cythraul wedi meddianu ei merch. Ni chlywais erioed y fath *dune* yn y nefoedd; dos drosti eilwaith. Y mae wrth fy modd yn hynod.' Ond o'r diwedd fe ddywedodd: 'Bydded i ti fel yr wyt yn ewyllysio.'"

"Nid perswadio y Duwdod a ddarfu i Grist i ddyfod trosodd i'n tir ni; ond aeth ef i dir Duw i roddi iawn, fel y gallai Duw yn gyfreithlon ddyfod i'n tir ni gyda maddeuant. Ac wrth fod Crist yn myned, y mae yn dywedyd wrth ei ddysgyblion eiddil: 'Lle yr wyf fi yn myned, ni ellwch chwi ddyfod; y mae môr garw iawn rhyngof a'm Tad; ond mi drof ben fy llestr i wyneb y tonau nes y byddont yn dangnefeddus.' Haleliwia! Tua'r chweched awr yr oedd hi yn dywyll iawn ar y groes;

y seithfed, go debyg; ond ar y nawfed, dacw y ffordd wedi ei hagor: GORPHENWYD! Yn awr, y mae rhyddid i ninau i fyned ar ei ol; ac os collasom y frwydr yn Mharadwys, cawsom hi yn Lle y Benglog!"

"Mi fum i, am ysbaid o amser, yn clywed y gair 'iachawdwriaeth' fel rhyw rigwm gan y Methodistiaid. Ond daethum i amgylchiadau o ran fy mhrofiad gwedi hyny, ac y mae 'iachawdwriaeth rad' i mi y gair melusaf a glywais erioed. Iachawdwriaeth rad! Diolch yn dragywydd am dani."

Y mae amryw lythyrau o'i eiddo ar gael, a gwelir ynddynt yr un athrylith fyw ag sydd yn ei bregethau. Buasai yn hyfryd genym eu croniclo oll, ond rhaid ymfoddloni ar un, sef y llythyr a ysgrifenwyd ganddo, flwyddyn cyn ei farw, at Mr. Charles, o'r Bala. Yr oedd Robert Roberts ei hun ar y pryd mewn gwaeledd dirfawr, a Mr. Charles newydd fod dan law y meddyg, yn cael ei fawd i ffwrdd.

"Clynog, Chwef. 14, 1801.

"Anwyl frawd,—Pan dderbyniais y llythyr a ysgrifenodd eich anwyl briod ataf, yn rhoddi i mi ychydig hanes am danoch newydd fod dan law y meddyg, ac am ddaioni Duw tuag atoch yn y cyfamser cyfyng, meddyliais yn sicr y buaswn wedi dyfod i ymweled a chwi cyn hyn. Ond nid eiddo dyn ei ffordd; nid ar law gŵr a rodia y mae llywodraethu ei gerddediad. Oddiwrth yr Arglwydd y mae cerddediad gŵr. Yn lle dyfod i'r Bala, i ymweled a'm hanwyl gyfaill, fe'm trowyd i ysgol cystudd, lle yr ydwyf bellach er ys chwech wythnos. Gwnaeth yr athraw chwerw yr ydwyf dano yn bresenol i mi fyned dros lawer o'm hen wersi, megys credu, edifarhau, hunanymwadu, caru Duw, a'i anwyl bobl, &c. Wrth edrych ar y gwersi hyn o bell, yr oeddwn yn barod i feddwl fy mod yn ddigon o feistr arnynt oll; ond erbyn dynesu atynt, a dyfod i afael â hwynt, yr wyf yn cael fy hun yn greadur tlawd i'w ryfeddu; yn methu credu ond yn wan iawn, fy nghariad yn oerllyd, a'm calon yn galed, ac yn methu ymwadu â mi fy hun yn aml fel y gweddai i mi.

"Yn ngwyneb yr holl falldod hyn ag ydwyf yn weled ynof fy hun, yr ydwyf yn cywilyddio, yn ffieiddio fy hun, ac yn ymofidio uwchben fy nghyflwr tlawd. Ni welaf un lle i mi, waeledd annheilwng, ymgysuro, ond yn unig yn y Cyfryngwr mawr. Gan fod lle i bechadur ddyfod yn mlaen yn ngwyneb Cyfryngwr digonol, yr ydwyf finau yn cael bywyd yn y ffordd fendigedig hon. O! mor felus yw y gair 'ddyfod Crist Iesu i'r byd i gadw pechaduriaid.' Pan y byddwyf yn cael ychydig o gymhorth i ymdreiglo yma, yn ngwyneb fy methiant yn y cwbl, yr ydwyf yn gweled pob peth yn dyfod i'w le. Rhywbeth rhyfedd a gafwyd o du pechadur gwael yw'r Cyfryngwr mawr! Efe yw unig hyder fy enaid am fywyd tragywyddol. Y mae yn fwy cadernid i mi am achubiaeth fy enaid, fod Iesu Grist yn derbyn pechaduriaid, na phe clywn angelion a dynion yn cydfloeddio am ddyogelwch fy nghyflwr. Hwynthwy oll a allent gamfarnu; nid ydynt yn gymhwys farnwyr am fy nghyflwr; ni osodwyd mo honynt yn y swydd oruchel hon. Ond gan fod Iesu yn derbyn pechaduriaid, y mae yn anmhosibl i mi gamsynied, na chael fy siomi wrth fyned yn bechadur ato. Wrth guddio fy mhen euog dan aden yr Iesu anwyl—diolch byth am dano!—yr wyf yn adnabod triniaeth Yspryd Duw ar fy enaid, yn fy nghymodi fwyfwy a threfn fawr yr iachawdwriaeth, ac a holl drefniadau Rhagluniaethol Duw tuag ataf.

"Ni bum i, o ran fy amgylchiadau, hyd yma, ond pererin trafferthus yn y byd gofidus hwn. Os cawn addoli ychydig, ac ymhyfrydu yn yr Arglwydd, megys a'm pwys ar ben fy ffon, yn ebrwydd fe fyddai yn bryd rhedeg i fugeilio rhywbeth yn yr anialwch. Ond byddaf yn meddwl weithiau y dyddiau hyn, fod fy holl gymalau aflunaidd agos a chael codwm i'r gwely ifori, sef trefn ogoneddus y Drindod i gadw pechadur colledig. A phan y byddaf yn cael ambell orweddfa yma, y mae holl dwrf rhagofalon am amgylchiadau, bywioliaeth, yn nghyd â chorph afiach, i gyd yn dystewi ac yn myned yn ddim. Yr ydwyf y pryd hwnw yn gweled pob peth yn union, ac yn ei iawn le. Yma y mae fy yspryd egwan yn cael ymgeledd, a phob gras megys yn ail darddu, blodeuo, a ffrwytho. Yn ngwyneb byw, yn ngwyneb marw, ac yn ngwyneb fy nghyflwr gwael fy hun, a chyflyrau gwael fy nghyd-bechaduriaid, golwg ar Iesu mawr yn unig, a threfn anfeidrol ryfedd yr iachawdwriaeth ynddo, sydd yn rhoddi bywyd a grym yn fy meddyliau. Y mae efe yn anfeidrol ddigonol yn ngwyneb y cwbl; yr wyf yn dawel yn ei law, ac yn llonyddu yn ei ofal am danaf, enaid a chorph.

"Yr wyf yn dechreu cryfhau o'r *pwl*

yma. O *bwl* i *bwl* fe ddaw yr olaf, ac yr wyf

'Yn canu wrth gofio'r boro'
Na welir arnaf glwy'.'

Yr ydwyf tra yn y babell afiachus hon, yn deisyf cael fy nghofio genych wrth yr orsedd, yr hwn ydwyf eich annheilwng, ond ffyddlawn gyfaill,

"ROBERT ROBERTS.'

Gwellhaodd Mr. Charles i weithio dros ei Dduw am dymhor drachefn, yn mysg ei gydgenedl, ond disgynodd Robert Roberts i byrth y bedd. Yr oedd ei babell bron ymddatod er ys blynyddoedd, a chyffyrddiad llaw ysgafn ar ran marwolaeth oedd yn ddigon i'w chwalu. Ei afiechyd oedd y graianwst. Dyoddefodd boenau dirfawr, ond yr oedd ei feddwl yn siriol drwy y cwbl. Ychydig cyn ei farw aeth Mr. Charles i ymweled ag ef, a gofynai iddo: "A oes arnoch ofn marw, Robert bach?" "Oes, Mr. Charles bach," meddai yntau. "Y mae arnaf fawr ofn marw, a hyny fel pe y cyfarfyddech a neidr anferth ar y ffordd, er y byddech yn sicr fod ei cholyn a'i gwenwyn wedi ei dynu, eto nis gallech adael iddi ddringo i'ch mynwes heb ei hofni. Yr wyf finau yr un fath, er fy mod yn gwybod fod y niwed wedi ei dynu o farw, y mae arswyd yn fy llenwi wrth feddwl am fyned i rodio glyn cysgod angau.' Eithr cryfhaodd ei ffydd gwedi hyn, a chiliodd yr ofn. Meddai y Parch. Michael Roberts: "Yn nyddiau olaf ei gystudd angeuol, yr oedd ei feddwl yn siriol, ei ffydd yn ddiysgog, a'i hyder yn ddiymod ar y Graig, sef Crist; ac yr ydoedd mor ysprydol yn ei ymddiddanion fel yr oedd braidd yn ddychryn i gnawd fod yn agos ato. Nid yn aml y gwelwyd ar y ddaear enaid mewn cnawd can debyced i drigolion y nef."



COF-ADAIL EBEN FARDD YN MYNWENT EGLWYS BEUNO, YN AGOS I FEDDGIST ROBERT ROBERTS.

Ychydig ddyddiau cyn iddo groesi yr afon, wrth ymddiddan â chyfaill am ei

weinidogaeth, dywedai: "Nid yw fy mhregethau ond dim, *dim*, yn fy ngolwg yn awr. Rhyw air bach fel hwn, 'Gwir yw y gair, ac yn haeddu pob derbyniad, ddyfod Crist Iesu i'r byd i gadw pechaduriaid,' a rhyw eiriau bychain cyffelyb iddo, sy'n bethau mawr gyda mi yn bresenol." Ychydig oriau cyn i'r diwedd ddyfod atolygai am i'w wraig fyned o'r ystafell: "Nis gelli di, E—— bach," ebe efe, "aros yn yr ystafell dros ychydig fynydau, o herwydd y mae'r cylymau yn awr yn myned i gael eu datod. Ond cyn i ti fyned y mae genyf hyn i'w ddweyd wrthyt: Yr wyf fi yn myned yn awr i wydd y Duwdod noeth, heb na llen na chnawd rhyngwyf ag ef; ond yr wyf yn myned ato heb nag ofn na braw." Profiad gogoneddus! Fel hyn yr hunodd Robert Roberts, ac efe ond deugain mlwydd oed, Tachwedd 28, 1802, a chludwyd ef, yn nghanol dagrau canoedd, i fynwent Clynog, lle y gorphwysa oddiwrth ei lafur hyd foreu yr adgyfodiad. Mewn llawer o bethau, yn enwedig mewn dychymyg beiddgar, nerth dramayddol byw, a llais dylanwadol, yn nghyd â rhyw fflachiadau o'r byd ysprydol yn tywynu yn ddisymwth ar ei feddwl ef a'i wrandawyr, y mae yn amheus a welodd Cymru bregethwr cyfartal i Robert Roberts. Er fod dros bedwar ugain a deg o flynyddoedd er pan y rhoddwyd ef i orwedd yn y beddrod, ac er na pharhaodd ei weinidogaeth ond prin pymtheg mlynedd, y mae adsain ei floeddiadau rhyfedd i'w clywed yn Nghymru, yn arbenig yn Ngwynedd, hyd y dydd hwn.

Canwyd iddo amryw alarnadau; un gan Dewi Wyn o Eifion, ac un dra thyner gan ei frawd, y Parch. John Roberts, Llangwm; ond nid oes yr un yn gyfartal i eiddo yr hen fardd, *Sion Lleyn*, yr hwn a drigai yn Pen'rallt, ger Pwllheli, o'r hon y difynwn ychydig benillion:—

" Tan ei draed daeargryn ydoedd,
  Wrth ei lais y duai'r nef,
Ai eilwaith yn ddysglaeredd goleu
  Wrth ei sŵn soniarus ef.
Taran oedd ei weinidogaeth,
  Mellt yn bloeddio, 'Wele ni,'
Tân yn enyn ac yn llosgi
  Hen lochesau fu mewn bri.

Canwyll fawr, a llusern oleu,
  Yn chwilio holl lochesau'r tŷ,
Ac awdurdod anorchfygol,
  Rymus, gadarn, oddi fry;
Chwilio'r galon wag, ragrithiol,
  Olrhain holl grefyddau'r cnawd,
Datguddio'n bod yn ngwyddfod Duwdod,
  Yn dra diddym a thylawd.

Weithiau trwst taranau cryfion,
  At arferion plant y llawr,
Nes bo torf yn gwyneb lasu
  O flaen mellt y Beibl mawr;
Dull y farn oedd yn ei eiriau,
  Barnwr wedi ymwisgo â llid,
Ei ysprydol ddarluniadau
  Lyncai mewn y bobl i gyd.

Ef yn chwys, a'r dorf yn ddagrau,
  A sŵn telynau yn ei lef;
Er taranau, bu trueiniaid,
  Mewn gwên yn yfed gwin y nef;
Dilyn llwybr y dyoddefiadau,
  Canfod athrawiaethau hedd,
Arlwyo'r bwrdd a threfnu'r seigiau,
  Heb ddim yn eisiau yn y wledd.

Egwan gorph, gofidus, afiach,
  Ga'dd Robert Roberts, mawr ei fri,
Gŵr ymladdodd yn y brwydrau,
  Ac a nofiodd rym y lli';
Eglwys Crist oedd yn ei galon,
  Ac yntau yn ei chalon hi,
Mewn cwlwm cadarn anorchfygol,
  Yn y Gŵr fu ar Galfari.

Astudiwr mawr yr athrawiaethau,
  Difein o ddoniau ydoedd ef,
Yn llewyrch gwaith y duwinyddion
  Y gwelai fawr ddirgelion nef;
Agorwr teg ar y damegion,
  Datodwr tynion glymau twyll,
Cadd o niwl y cudd yn oleu,
  A'u trin y byddai trwy iawn bwyll.

Nid yn ysgol fwyn y Fenni,
  *Cambridge*, na Rhydychen bell,
Trwy Iesu mawr, yr addfwyn Brophwyd,
  Fe'i haddysgwyd yn fil gwell;
Dysgodd yn y peiriau poethion,
  Faith ddirgelion teyrnas gras,
Yn ngwyneb iawn, a chyflawn daliad,
  Fod pur faddeuant yn ei flas.

Telyn hardd a'i thànau'n dynion
  Miwsig nefoedd oedd ei ddawn,
Tànau mawrion yr athrawiaeth,
  A'i wir ddysgyblaeth ganddo'n llawn;
Ei sylfaen ydoedd dwyfol hanfod
  Anfeidrol Fod, yn Drindod glân,
Un yw'r Hanfod anwahanol,
  Ond yn bersonol mae gwahan.

* * *

Rhoed ei gorph yn meddrod Clynog,
  Clyd odidog yw ei dŷ;
Melus iawn fydd hûn y gweithiwr,
  Nes dêl cynhwrf oddi fry:
Galwad gwych yr udgorn hynod,
  A rydd ollyngdod iddo o'r llaid,
Corph ac enaid yn anfarwol,
  A'i foliant bythol yn ddibaid."

## HANES Y DARLUNIAU.

Yn anffodus, nid ydym yn alluog i osod yn y gwaith hwn ddarlun o Robert Roberts, o Glynog. Yr ydym wedi gwneyd pob ymchwiliad dichonadwy am un, ac wedi methu yn llwyr. Ofnwn nad oes yr un ar gael, ac na wnaed erioed ddarlun o hono. Y tebygrwydd yw, pe buasai darlun yn bod o ŵr mor enwog ag efe, y deuai i'r amlwg yn mhell cyn hyn. Ond y mae yr anhebyg yn aml yn cymeryd lle, a hwyrach y daw yr oes a ddêl o hyd i ddarlun awdurdodedig o'r pregethwr hynod o Glynog Fawr. Yr ydym wedi gosod i fewn i'r gwaith gryn nifer o ddarluniau yn dal perthynas a'i fywyd, ac a'i goffadwriaeth ef. Maent oll wedi eu gwneyd ar gyfer y gwaith hwn, gyda'r eithriad o'r darlun o *Ynysgaled.* Yr ydym yn ddyledus am y darlun hwnw i Mr. Richard Owen, Talysarn.



# PENOD XXIV

——:o:——

## ROBERT JONES, RHOSLAN, A ROBERT DAFYDD, BRYNENGAN.

*Maboed Robert Jones—Yn ddarllenwr mawr, ond yn ddigrefydd—Ei droedigaeth—Ei awyddfryd am lesoli ei gydwladwyr—Cerdded ar ei draed i ymweled a Madam Bevan—Hithau yn ei benodi yn ysgolfeistr—Cadw ysgol yn Nghapel Curig—Dechreu pregethu—Cadw ysgol yn Rhuddlan—Ffair Rhuddlan—Erlid Robert Jones—Ceisio pregethu yn Dyserth—Symud i Frynsiencyn, yn Môn—Cael ei yru oddiyno gan yr offeiriad—Cadw ysgol mewn amryw leoedd yn Eifionydd—Ei fedr i drin plant—Ymsefydlu yn Rhoslan—Cael ei yru ymaith oblegyd derbyn pregethu i'w dy—Symud i Ty-bwlcyn—Efe y cyntaf i bregethu yn Meddgelert, Abergynolwyn, a Dyffryn Ardudwy—Gwaredigaethau hynod—Ei lafur mawr gyda'r efengyl—Ei lafur llenyddol—Ei lythyr at y Cyfarfod Misol—Ei farwolaeth a'i angladd—Robert Dafydd yn cael ei eni ger Beddgelert—Yn tyfu yn anwybodus ac yn ddigrefydd—Ei argyhoeddiad—Ei ymdrech i glywed pregethu—Yn symud i Frynengan, ac yn dechreu pregethu—Ei nodwedd fel pregethwr—Rhai odfaeon hynod a gafodd—Ei gymhwysder arbenig at gadw seiat—Yn ddysgyblwr llym, eto yn dyner a doeth—Ei awyddfryd am weled diwygiad arall cyn marw—Yr Arglwydd yn gwrando ei weddi—Diwygiad 1831—Ei ddywediadau—Yn marw yn dawel yn ei gadair.*

Y PREGETHWR cyntaf o unrhyw enwogrwydd perthynol i'r Methodistiaid, yn Eifionydd, oedd Robert Jones, Rhoslan; a daeth yn adnabyddus, nid yn unig fel "llefarwr" galluog, ond hefyd fel un medrus gyda ei bin ysgrifenu, yn gystal ac fel arweinydd doeth. Cafodd oes faith; parhaodd ei gysylltiad â Methodistiaeth dros dri-ugain mlynedd; bu yn llygad-dyst o'r dadleuon a fu yn cyffroi y Cyfundeb oddimewn, ac yn ddiau yn cymeryd rhan ynddynt ei hun; a gwelodd y corph hwn o grefyddwyr, ar ol bod yn wrthrych erledigaeth gwreng a boneddig, yn dyfod yn boblogaidd, ac yn anrhydeddus yn ngolwg y cyhoedd.

Ganwyd ef mewn lle o'r enw Sunter, yn mhlwyf Llanystymdwy, Sir Gaernarfon, yn y flwyddyn 1745. Felly yr oedd yn hŷn o ddwy-flwydd-ar-bymtheg na Robert Roberts, Clynog; ac nid oedd ond deng mlwydd yn ieuangach na Jones, Llangan, y gŵr a fendithiwyd i ddwyn Robert Roberts i wybodaeth o'r gwirionedd. Ychydig o ysgolion oedd yn y wlad adeg mebyd Robert Jones; ni ystyrid y pryd hwnw fod addysg yn angenrheidiol i blant gweithiwr, a chwech wythnos o ysgol a gafodd yntau. Ei ysgolfeistr oedd un Thomas Gough, yr hwn oedd yn ŵr crefyddol, ac heblaw dysgu ei ysgoleigion i ddarllen, a arferai eu hyfforddi yn Nghatecism y Parch. Griffith Jones. Yr oedd gan y llanc Robert hefyd fam dda, yr hon oedd yn hoff o'i Beibl, ac yn darllen llawer arno, yn gystal ac ar y Llyfr Gweddi Cyffredin. Ei hoff waith oedd hyfforddi ei mab yn Ngair y gwirionedd, eithr pan nad oedd efe ond un-ar-ddeg oed bu ei fam farw, er mawr alar a cholled iddo. Modd bynag, yr oedd gwanc darllen wedi ei ddeffro yn Robert. Darllenai bob llyfr y medrai ddyfod o hyd iddo; a siarad yn gymhariaethol, braidd nad oedd fel y behemoth, a dynai yr Iorddonen i'w safn. Darllenai hyd ganol nos, a darllenai bryd bwyd; yr oedd wedi llunio offeryn hylaw i ddal y llyfr gerbron ei lygaid wrth fwyta, fel na chollai ddim amser. Yr oedd llanc darllengar yn rhywbeth hynod yr adeg hono; braidd na edrychid ar ymwneyd â llyfrau fel pen y ffordd i wallgofrwydd; ac wrth ei weled yn syllu ar ei lyfr wrth fwyta ei giniaw, rhoddodd hen wraig a ddaethai i'r tŷ ollyngdod i'w theimlad trwy ddweyd: "Ymgroesa, Robert! Oni wyddost ti mai trwy ddarllen wrth fwyta yr aeth hwn-a-hwn o'i gof?" Canlyniad yr holl ymwneyd hyn â llyfrau oedd i Robert Jones ddyfod yn ddyn gwybodus tuhwnt i'r cyffredin; daeth yn hanesydd gwych, yn fardd da,



Robert Jones, Rhoslan.

*Awdwr "Drych yr Amseroedd."*



Suntur.

[*Lle genedigaeth Robert Jones, Rhoslan.*]

ac yn gydnabyddus â phrif ganghenau dysgeidiaeth.

Eithr nid oedd yn grefyddol, nac yn tueddu at grefydd. Nid ydym yn cael ddarfod iddo ymollwng i anfoesoldeb, na syrthio i bechodau rhyfygus ac ysgeler; ond yr oedd yn well ganddo gwmni oferwyr na chymdeithas y saint, ac y mae yn ymddangos ei fod yn un o'r rhai a wawdient y Methodistiaid. Modd bynag, daeth Lewis Evan, Llanllugan, ar daith trwy y wlad, a rhywun gydag ef nas gwyddom ei enw. Aeth Robert Jones i'r odfa. Yr oedd Lewis Evan yn gwbl amddifad o brydferthion areithyddiaeth; yr oedd yn arw a gwladaidd ei eiriau, ac yn dra annaturiol yn ei ystymiau. Caffai y llanc digrefydd bleser mawr wrth wrando a syllu, a bwriadai ddynwared y pregethwr i'w gyfoedion annuwiol yn ol llaw. Ond pan gyfododd y pregethwr arall bu raid iddo wrando; cydiodd y gwirionedd gydag awdurdod yn ei feddwl; dychrynfeydd tragywyddoldeb a ymaflasant ynddo, ac aeth allan o'r cyfarfod yn ddyn arall. Yn lle brysio at y cwmni llawen, i ddynwared y pregethwyr mewn gwawd, aeth ar ei union i seiat Brynengan, yr unig seiat Fethodistaidd yn y rhan hono o'r wlad, a chyflwynodd ei hun yno i bobl yr Arglwydd. Dyfnhawyd ei argyhoeddiad, ac ëangwyd ei wybodaeth grefyddol, trwy ddarllen Catecism Griffith Jones.

Yn saer coed y cawsai ei ddwyn i fynu; eithr wedi ei argyhoeddi cyfododd awydd angerddol arno am weled llanciau ieuainc a phlant yr ardal yn cael breintiau addysgol. Ni welai obaith am i neb yn y Gogledd gyfryngu i ddwyn hyn oddiamgylch; eithr tybiodd y gallai Madam Bevan, yr hon yn awr a gariai yn mlaen drefniant addysgol y diweddar Griffith Jones, dosturio wrth gyflwr truenus yr ardal. Penderfynodd yr äi i Lacharn, yn mhen pellaf Sir Gaerfyrddin, lle y preswyliai Madam Bevan, ar ei draed. Yr oedd ganddo dros gan' milldir o ffordd i'w cherdded; rhaid iddo oedd croesi mynyddoedd cribog, a rhydio afonydd dyfnion, ac ni wyddai yntau gam o'r ffordd. Eithr ni lwfrhaodd ei galon ynddo; gweddïai bob cam a gymerai. Ond pan gyrhaeddodd Lacharn, er ei fawr siomedigaeth, nid oedd y foneddiges gartref, a gorfu iddo ddychwelyd heb ddweyd ei neges. Ysgrifenodd deimladau ei galon, a'i awydd am weled ysgol yn cael ei sefydlu yn ei ardal, ar bapyr, a gadawodd ef yn y palas erbyn y dychwelai y perchenog. Yr oedd wedi clywed llawer am Howell Harris, ac am y Sefydliad yn Nhrefecca, a phenderfynodd, gan ei fod o fewn cyffiniau y Deheudir, yr elai yno. Hyny a wnaeth, a chafodd ymddiddan â'r Diwygiwr.

Nid yw yn ymddangos i'r llythyr a adawodd Robert Jones yn mhalas Madam Bevan gael un sylw; felly penderfynodd gymeryd yr un daith yr ail dro. Rhaid fod ei asbri yn ddiderfyn, a'i wroldeb yn anhyblyg. Meddai *Methodistiaeth Cymru:* "Cofied y darllenydd mai llencyn ieuanc ydoedd, tua deunaw mlwydd oed; ac nad oedd un cyfeisteddfod o wŷr cyfrifol yn ei anfon, nac yn addaw talu iddo am ei amser, na'i draul; yn unig awyddfryd ei fynwes ei hun a'i cymhellai, oddiar ddymuniad cryf i leshau ei genedl a'i wlad, yn neillduol yn yr hyn a berthynai i'w heddwch tragywyddol." Trodd y daith hon allan yn fwy llwyddianus. Yr oedd y foneddiges gartref, a chafodd yntau gyfleustra i agor ei fynwes, a gosod yr holl achos ger ei bron. Nid oedd Madam Bevan yn dueddol i gydsynio â'r cais; cawsai lawer o flinder yn nglyn â'r ysgolion gwedi marw Griffith Jones; amryw o'r athrawon a fuasent yn anffyddlawn i'w hymddiriedaeth, ac yr oedd ar fedr rhoddi iddo nacâd hollol. Ond o herwydd ei daerineb, a'i bod yn gweled rhywbeth i gynyrchu ymddiried ynddo yn y dyn ieuanc, dywedodd: "Os ewch i gadw yr ysgol eich hun, chwi a'i cewch." Cydsyniodd yntau ar unwaith, er na fwriadai fyned yn ysgolfeistr yn flaenorol.

Yn Capel Curig, lle mynyddig rhwng Bangor a Bettws-y-Coed, y dechreuodd gadw ysgol. Ac, fel llawer o ysgolfeistri yr oes hono, nid hir y bu cyn dechreu pregethu. Arferai egwyddori y plant mewn pethau crefyddol; darllenai y Beibl a gweddïai yn yr ysgol gyda chysondeb; ac nid oedd y cam yn fawr o hyn i ddweyd gair wrth bechaduriaid wedi tyfu i fynu. Yr achlysur a barodd iddo gymeryd y cam hwn ar y cyntaf oedd a ganlyn: Cyhoeddasid rhyw ŵr dyeithr i bregethu mewn tŷ anedd yn Nghapel Curig. Ymgasglodd y gwrandawyr, a Robert Jones yn eu mysg, ond ni ddaeth y pregethwr; ac fel na ollyngid y bobl ymaith ar eu cythlwng cymhellwyd yr ysgolfeistr i roddi gair o gynghor iddynt. Hyny a wnaeth yntau, a dyma ef yn bregethwr, a phregethwr a fu hyd ddiwedd ei oes. Nid yw yn ymddangos fod Cyfarfod Misol wedi cael ei sefydlu yn Sir Gaernarfon ar y pryd; felly

nid oedd un awdurdod i alw y gŵr ieuanc i gyfrif, nac ychwaith i'w gadarnhau yn y cam oedd wedi gymeryd. Cymeradwyaeth y seiadau yn ngwahanol ranau y wlad, trwy ei alw i lefaru wrthynt, oedd i benderfynu a ydoedd i gael parhau, a chafodd yntau y cyfryw gymeradwyaeth yn helaeth.

Ysgol symudol oedd eiddo Madam Bevan. Bernid fod tua chwech mis yn ddigon i bobl gyffredin i ddysgu darllen Cymraeg; ac ar ben y tymhor hwnw symudid hi i ardal arall. Y lle nesaf yr aeth Robert Jones â'r ysgol iddo oedd Rhuddlan, yn Sir Fflint. Trwy ddylanwad boneddiges berthynol i'r Eglwys Sefydledig a breswyliai yn Rhuddlan y cymerodd hyn le. Eithr yr oedd Ficer Rhuddlan yn dra gwrthwynebol; yr oedd nid yn unig yn arwain bywyd anfoesol, ond yn erlidiwr creulawn a thrahaus. Adroddir am dano ei fod yn dyfod un Sabbath o'r eglwys, wedi bod yn gweinyddu y cymun bendigaid, ac iddo dalu pum swllt o'i logell am gwrw i'r erlidwyr, er mwyn enyn eu nwydau, a'u cynhyrfu i fwy o ffyrnigrwydd wrth erlid y crefyddwyr. Nid oedd y gŵr hwn, felly, yn awyddus am ddysgu y bobl i ddarllen; fel ymyriad diraid, a phrysurdeb diddiolch, yr edrychai ar waith neb yn cynyg ar beth o'r fath; ac yr oedd fod yr ysgolfeistr, nid yn unig yn Fethodist, ond yn bregethwr yn ogystal, yn gwneyd yr ysgol yn fwy anghymeradwy fyth. "A'r un fath bobl ag offeiriad." Ymddengys fod Rhuddlan yn fwy annuwiol na nemawr barth o Gymru. Bob Sul, yn ystod y cynhauaf, cedwid math o gyfarfod, cymysg o wyl mabsant a ffair, yno. Yn hwn y cyflogid medelwyr dros yr wythnos. Gwerthid hefyd grymanau, a phob offeryn angenrheidiol ar gyfer y cynhauaf, fel pe y byddai yn ddiwrnod marchnad. Wedi darfod eu negesau, tyrent i'r tafarndai, i ganu, a dawnsio, a meddwi, yn fynych hyd foreu dydd Llun; ac odid na byddai yno ymladd gwaedlyd cyn ymadael. Ni oddefai y trigolion neb i ddyfod yno i bregethu. Adrodda Robert Jones am un William Griffith, pregethwr a breswyliai yn gyfagos i'r Wyddgrug, yn gwneyd cynyg ar lefaru yno unwaith. Gan na agorai neb dŷ iddo, safai allan ar yr heol. Ni chafodd braidd ond dechreu, nad dyna'r dom a'r cerig yn cael eu lluchio ato gan y dorf, a chafodd ei lusgo a'i faeddu ganddynt yn ddidosturi.

I'r lle paganaidd hwn y daeth Robert Jones i gadw ysgol. Fel y gallesid dysgwyl cafodd bob gwrthwynebiad, er mai dan nodded Eglwysig yr ydoedd; a gwrthododd y Ficer yn bendant ganiatau yr eglwys i'r pwrpas. Gan nad oedd tŷ i'w chynal yn Rhuddlan, ceisiwyd ei sefydlu mewn plwyf cyfagos, o'r enw y Cwm. Yr oedd yr offeiriad yma yn foddlawn i gynygiad gael ei wneyd; ond prophwydai ei haflwyddiant, am fod y trigolion mor anystyriol fel na welent werth mewn dim oedd dda. Cyflawnwyd y brophwydoliaeth i'r llythyren. Er cyhoeddi yr ysgol ar hyd a lled y gymydogaeth, ac addaw y caffai y plant eu dysgu am ddim, ni ddaeth i'w haddysgu ynddi ond tri phlentyn. O ddiffyg croesaw, bu raid i Robert Jones ddychwelyd i Ruddlan. Y tro hwn deallodd fod y drws yn agor i gael ysgol. Darfu i rai gwŷr cyfrifol deimlo oblegyd anwybodaeth y werin, a phenderfynasant na chaffai rhagfarn ei ffordd, ac agorwyd yr ysgol mewn adeilad a elwid "*Banquet House*." Ar y cychwyn, casëid yr ysgolfeistr newydd yn angherddol; ni chaffai gerdded yr heol heb fod dynion yn ei regu yn uchel; pwyntid bysedd arno, a gelwid ef ar bob enw drwg. Nid oedd ganddo yntau neb i gydymdeimlo ag ef; ond bob canol dydd, wedi gollwng y plant allan o'r ysgol, elai i'r hen gastell, ac yna tywalltai ei enaid gerbron Duw. Ond llwyddodd yr ysgol er pob gwrthwynebiad; cynyddodd y plant mewn rhifedi, enillodd yr athraw eu serchiadau, a chanmolent hwythau ef wrth eu rhieni ar ol myned adref, am y modd yr oedd yn eu haddysgu ac yn eu holwyddori. Agorodd ysgol y nos; i hon deuai nid yn unig plant ond dynion mewn oed i gael eu haddysgu, a thyrai eraill yno i wrando yr holwyddori. Trwy y moddion hyn darostyngwyd rhagfarn y bobl; dygwyd amryw yn deimladwy o'u cyflwr ysprydol gerbron Duw, a dyna ddechreuad Methodistiaeth yn y lle.

Pan yn cadw ysgol yn y "*Banquet House*," awyddai Robert Jones am bregethu; ond nid oedd tŷ yn agored i'w dderbyn. Eithr cafodd wahoddiad gan hen ferch i fyned i bregethu i'w thŷ hi, yn ardal Dyserth, lle tua dwy filltir o Ruddlan. Cydsyniodd yntau. Pan ddaeth y noson, yr oedd lliaws wedi dyfod yn nghyd i wrando yr ysgolfeistr, mwnwyr gan mwyaf; ac yr oedd y lle yn llawn siarad, pob un â'i chwedl. Ar yr awr a benodasid cyfododd Robert Jones ar ei draed, â'r Beibl yn ei law, a dywedodd: "Gwrandewch i gyd; yr wyf yn awr yn myned i ddarllen i chwi ran o Air Duw."

"Beth y mae yn ei ddweyd?" gofynai rhai.

"Dweyd y mae," atebai rhywun, "ei fod yn myned i ddarllen i ni ran o Air Duw."

"Ho!" ebent hwythau, gan ddysgwyl difyrwch mawr dros ben.

Aeth y pregethwr rhagddo. Tra yr elai yn mlaen dylifai dynion i'r tŷ, a chwilient am le i eistedd. Eisteddodd rhai ar y *dresser;* ac un o honynt, yn anffodus, a gyffyrddodd â'i benelin a'r llestri pridd oedd y tu cefn iddo, nes taflu rhai o honynt i'r llawr, a'u dryllio yn ddarnau. Parodd hyn gryn dwrw a chyffro. Wrth weled ei llestri yn myned yn ganddryll gwylltiodd yr hen ferch; gafaelodd yn nghogail y droell fach oedd gerllaw, a dechreuodd guro y bobl â'i holl nerth. "Dyfod yma i dori fy llestri, ai ïe! Mi dalaf i chwi." Diangodd pawb allan, rhai yn chwerthin yn uchel, ac eraill yn rhwbio eu cymalau dolurus. Aeth y pregethwr hefyd allan; yr oedd pob gobaith am gynal odfa trosodd, ac nid oedd sicrwydd na ddeuai yntau dan y dialedd. Gwaeddodd rhyw amaethwr allan o'r dorf: "Pa le y mae y *schoolmaster?* Caiff ddyfod i fy melin i, i roddi gair o gynghor. Dowch, bobl." I'r felin yr aed. Canwyll ddimai yn unig a gaed i oleuo y lle; a phan oedd Robert Jones yn darllen ei destun diffoddodd y ganwyll, pa un ai yn ddamweiniol ynte trwy ddireidi rhywun o'r dorf, ni wyddis, a dyma bawb yn y tywyllwch. Dyrysodd hyn y cyfarfod yn hollol; ac aeth y bobl i'w cartrefleoedd wedi methu cael pregeth, ond wedi cael llawer o ddifyrwch. Ychydig o hanes ychwanegol am Robert Jones, yn Rhuddlan, sydd genym. Y mae sicrwydd iddo sefydlu yma seiat fechan, lle y byddai rhyw ychydig yn ymgynull yn nghyd i gynghori eu gilydd am eu mater tragywyddol; ond nid yw yn ymddangos i'w arosiad yma fod yn foddion i newid nemawr ar arferion y lle, nac ar gymeriad annuwiol y preswylwyr.

Y lle nesaf y cawn Robert Jones ynddo yw Brynsiencyn, Sir Fôn. Bu mawr lwyddiant ar yr ysgol yma; deuai y plant yn llu i gael eu dysgu i ddarllen, a thrwy y plant enillodd yr ysgolfeistr galonau y rhieni. Pregethai hefyd yn y tai o gwmpas, pa le bynag y caffai dderbyniad. Deffrodd hyn elyniaeth offeiriad y plwyf. Nid oedd awydd arno ef am weled y plant yn dysgu darllen yr Ysgrythyr; ac yr oedd tuedd Fethodistaidd y meistr, a'i waith yn pregethu, yn boenedigaeth iddo. Ysgrifenodd lythyr at Madam Bevan yn galw arni symud Robert Jones i ffwrdd ar unwaith, gan ei ddarlunio fel dyhiryn ffiaidd, peryglus i heddwch y plwyf, ac un a geisiai gloddio o tan sylfaen yr Eglwys. Eithr yr oedd y foneddiges o Lacharn wedi dysgu peidio rhoddi coel i bob peth a ddywedai yr offeiriaid. Deallai fod y llythyr yn codi oddiar wenwyn yspryd; ac yr oedd Robert Jones, pan yr ymwelodd â hi, wedi ei boddloni mor fawr, ac wedi enill ei hymddiriëd gymaint, fel na wrandawai ar unrhyw gwyn a ddygid yn ei erbyn. Ni dderbyniodd y periglor unrhyw atebiad i'w epistol. Yn mhen amser aeth at yr ysgolfeistr, a gofynodd ai nid oedd wedi derbyn cenadwri yn ddiweddar oddiwrth Madam Bevan. Atebai yntau, "Naddo." Mawr oedd syndod y gŵr; nis gallai ddeall pa fodd na chawsai ei lythyr sylw; a thybiai yn sicr iddo, yn ddamweiniol, fethu cyrhaedd y foneddiges. Ysgrifenodd eilwaith lythyr cyffelyb i'r cyntaf; eithr ni wnaed sylw o hwn eto. Ymofynodd drachefn â Robert Jones, ai nid oedd Madam Bevan wedi ysgrifenu ato yn ddiweddar. Atebai yntau yn nacaol fel o'r blaen.

"Y mae hyny yn rhyfedd," ebai'r offeiriad; "ond clywed neu beidio rhaid i chwi fyned ymaith oddiyma; ni chewch gadw ysgol yn y fan hon yn hwy." Ymddengys mai yn y llan yr oedd yr ysgol yn cael ei chadw. Meddai Robert Jones yn ol: "Yr wyf yn cydnabod eich awdurdod, syr; ond a fyddwch chwi cystal a dweyd wrthyf am ba achos yr ydych yn fy nhroi i ffwrdd? Byddant yn gofyn i mi yn Sir Gaernarfon paham y daethum adref cyn pen fy nhymhor? Felly, mynegwch yr achos, fel y byddo genyf rywbeth i'w ateb i'm cymydogion."

"Wel, yr ydych yn pregethu tua'r Bryn yma," meddai y gŵr Eglwysig, "ac yn hudo y bobl ar eich ol."

"Oh!" ebai yntau yn ol; "ai hyny sydd genych yn fy erbyn! Ni byddaf yn gwneuthur dim ond darllen cyfran o Air Duw, gweddïo, a chanu mawl i'r Arglwydd, a rhybuddio y bobl i beidio tori y Sabbathau, a phechu. Yr wyf yn meddwl, syr, fod hyny yn well na'u bod yn chwareu pêl ar ddydd yr Arglwydd, ar hyd y bryn; ac mi fyddaf yn cymeryd gofal, yn wastad, i ddarfod cyn amser y gwasanaeth yn yr eglwys."

"Ni waeth beth a fo," meddai y periglor, "y mae yn rhaid i chwi fyned oddiyma."

"A fyddwch chwi gystal, ynte,' meddai, Robert Jones, "a rhoddi rhywun i orphen addysgu y plant yma? y mae yn dda iawn genyf am y plant; ac y mae tosturi yn llenwi fy nghalon atynt; byddai yn dda genyf pe y gosodech rywun i orphen y gwaith wyf fi wedi ddechreu."

"Na ofelwch chwi am hyny,' ebai'r offeiriad, "y mae hynyna yn perthyn i mi, cerddwch chwi adref."

I ffwrdd yr aeth Robert Jones, a'r plant yn wylo yn hidl ar ei ol; eithr wrth ymadael dywedodd wrth yr offeiriad: "Cofiwch, syr, y bydd coffa am heddyw yn nydd y farn." Modd bynag, nid yw hanes y periglor yn gorphen yn y fan hon. Yn ol yr adroddiad a rydd Robert Jones, yn *Drych yr Amseroedd*, aeth y gŵr Eglwysig a'i wraig i ymweled â boneddiges a breswyliai yn Penmorfa, Eifionydd, o'r enw Mrs. Lloyd, o'r Gesail. Tra yno, galwodd i weled un o'i gyfeillion. Dywedodd hwnw wrtho fod deiliad i Mrs. Lloyd yn preswylio yn Hendre Howell, yr hwn le oedd yn gyfagos i'w phalas, a'i fod yn arfer, er ys rhai blynyddoedd, derbyn pregethu i'w dŷ. "Ac," meddai y gŵr ieuanc, "yr wyf yn ofni nad oes neb yn ddigon gonest i hysbysu Mrs. Lloyd o hyny." Gwylltiodd yr offeiriad yn enbyd; edrychai ar dderbyn pregethwyr fel y nesaf peth at groesawu diaflaid. "Tybed fod hyny yn wir?" meddai. "O ydyw, y mae yn eithaf gwir," oedd yr ateb. "Wel,' ebai, "ni fwytaf fi damaid o giniaw heddyw nes mynegu iddi." I ffwrdd ag ef tua'r Gesail; eithr erbyn iddo gyrhaedd y palas yr oedd ei safn ar dro. Dychrynodd y morwynion, a gofynasant rywbeth iddo; ond ni chaent air o ateb. Cyrchwyd ei briod ar frys, ond nis gallai lefaru gair wrthi hithau; yr oedd wedi cael ei daraw a'r parlys, ac yn fud y bu tra fu byw. Felly ni chafodd gyfleustra i adrodd am ŵr Hendre Howell, a chynaliwyd pregethu yno fel cynt. "Yn ddiau, y mae Duw a farn ar y ddaear."

Cyn ymadael ag ynys Môn aeth Robert Jones, a rhyw offeiriad Methodistaidd gydag ef, ar daith trwy yr holl wlad. Tyrai y bobl yn lluoedd i'w gwrando. Yr oedd bod offeiriad yn pregethu yn yr awyr agored, ac ar ddaear heb ei chysegru, yn rhywbeth anarferol. Eithr bodolai cryn ragfarn yn erbyn pregethwyr diurddau. Wedi gorphen yr odfa byddai dadleu mawr gyda golwg ar y ddau lefarwr, pa un ai y gŵr urddedig ynte y Methodist diurddau, oedd y mwyaf ei ddawn. Ac ymddengys fod y ddedfryd gyffredin yn ffafriol i Robert Jones. Ac meddai ei fywgraffydd: "Bu y tro yn foddion i symud rhagfarn y trigolion, a'u dwyn i gredu fod yr Arglwydd yn anfon rhai i bregethu yr efengyl heblaw yr offeiriaid."

Dychwelodd Robert Jones yn ei ol i Eifionydd, a bu yn cadw ysgol yn Llangybi, Brynengan, a Llanbadarn. Yr adeg hon elai gyda chysondeb i Lanllyfni, i gadw ysgol y nos. Ymddengys ei fod yn ysgolfeistr tra rhagorol. Fel hyn yr ysgrifena gweinidog enwog, a fu gydag ef yn yr ysgol: "Yr wyf yn cofio Robert Jones er ys dros haner cant o flynyddoedd, sef er pan fum gydag ef yn yr ysgol, yn Mrynengan, pan oeddwn oddeutu chwech oed. Yr wyf yn barnu na welais neb erioed yn meddu mwy o ddawn athraw ysgol. Er nad oedd yn berchen llawer o ddysg, eto meddai ddawn helaeth i drosglwyddo yr hyn a wyddai i'w ddysgyblion, gyda sirioldeb ac awdurdod. Ambell dro chwarddai a chwareuai gyda'r plant; ond ar ganol y llawenydd, pan welai hwynt yn myned yn rhy bell, gwnai ryw amnaid a barai iddynt oll ddeall hyny mewn mynyd, fel yr effeithiai i weithio arswyd a sobrwydd ar y cwbl. Er y byddai ganddo wialen yn yr ysgol yn wastad, eto nid wyf yn cofio ei weled yn curo nemawr neb erioed â hi. Er fod yn ei ysgol ugeiniau o bob math o blant, byddai yn eu rheoli gyda'r fath drefn, fel nad wyf yn cofio ei weled yn methu gydag un afreolaeth. Yr oedd llawer o honom yn credu y medrai *gwinsto* (consurio), gan y byddai yn medru cael allan bob drwg, a nodi y drwgweithredwr euog trwy fath o gastiau diniwed. Trwy hyn yr oedd yn gallu cadw rheolaeth ac ofn rhyfedd arnom, a hyny nid yn unig tra y byddem yn yr ysgol, ond hefyd ar hyd y ffordd wrth fyned a dyfod."

Yr ydym yn ddiolchgar am y darlun tra desgrifiadol hwn gan un o'i hen ysgoleigion. Tybia llawer am y Methodistiaid cyntaf eu bod yn ddynion pendrwm, yn ystyried gwenu yn bechod, ac yn analluog i gyfranogi mewn un math o ddifyrwch a llawenydd, pa mor ddiniwed bynag y gallai fod. I'r dueddfryd hon y priodolir eu hymdrechion i ddarostwng ofer gampau yr oes. Eithr gwelwn am Robert Jones fod ei natur yn llawn nwyfiant, ac y gallai chwerthin a chwareu yn nghwmni y plant, a chyfranogi o'i hasbri a'u rhialtwch cyhyd ag y byddai yn naturiol, ac heb redeg i ormodedd. Feallai nad yw sirioldeb tymher yn anghyd-

weddol a difrifwch o'r fath ddwysaf. A medrai reoli ei hun, a thrwy hyny reoli y plant, fel na byddai y llawenydd yn croesi y ffin i diriogaeth gwagedd.

Tra yn cadw ysgol yn Brynengan, ymbriododd â Magdalen, merch Richard Griffith, Cae'r-tyddyn, plwyf Llangybi. Bu hon yn ymgeledd gymhwys iddo yn llawn ystyr y gair. Yr oedd yn un o'r benywod siriolaf yn fyw; pleser calon iddi oedd cael cyfle i arfer lletygarwch; croesawai bregethwyr o bob dawn a gradd o dan ei chronglwyd; a chan fod teithio yn uchel ei fri yn ei dyddiau, caffai gyfleustra mynych i arfer y gras a rodded iddi. Pan fyddai Robert Jones oddicartref ar ei deithiau, byddai hi yn casglu ei phlant o'i chwmpas foreu a hwyr, ac yn cadw dyledswydd deuluaidd yn ddifwlch. Darllenai a gweddïai ei hun ar y cyntaf; ond wedi i'w merch, Mary, dyfu i addfedrwydd oedran cyflawnai hi y ddyledswydd ar yn ail a'i mam. Yn mhen ychydig rhoddodd Robert Jones yr ysgol heibio, ac aeth ef a'i briod i fyw i'r Tirbach, Rhoslan, plwyf Llanystymdwy; oblegyd hyn, fel Robert Jones, Rhoslan, y mae yn fwyaf adnabyddus hyd y dydd hwn. Cafodd brydles am saith mlynedd ar y Tirbach; adeiladodd yntau dŷ helaeth arno; un rhan o ba un oedd yn lle byw, a'r rhan arall yn gapel i addoli. Byddai yma bregethu cyson; ffurfiwyd seiat gref; cafwyd aml i odfa yno y bydd cofio am dani yn nghragywyddoldeb, a throwyd llawer o gyfeiliorni eu ffyrdd. Eithr nid oedd pregethu yr efengyl, er achub eneidiau, yn rhyngu bodd y gŵr urddasol a ddaeth i berchenogi y tyddyn. Felly, pan y terfynodd y brydles, cynygiodd ei hadnewyddu, ond ar yr amod fod y pregethu i gael ei roddi i fynu. Gwrthododd Robert Jones hyny, a bu raid iddo ymadael. Mewn canlyniad, chwalwyd seiat Rhoslan, ac ni fu achos yno gan y Methodistiaid hyd y dydd hwn. Ymaelododd y nifer fwyaf yn Mrynengan, a ffurfiodd eraill ganghenau eglwysi newyddion.

Y lle y symudodd Robert Jones a'i deulu iddo oedd Ty-bwlcyn, fferm fechan wrth waelod Garn Fadryn, ac yma y bu yn preswylio tra fu ei briod fyw. Teithiodd lawer trwy Ddê a Gogledd; bu yn ffyddlawn yn yr holl dŷ. Llais egwan a feddai; ac nid ymddengys fod nemawr o fiwsig yn perthyn iddo, ond caffai odfaeon grymus yn aml. Y tro cyntaf y bu mewn Cymdeithasfa oedd yn Llanfair-caereinion, Sir Drefaldwyn, a chan ei fod yn ŵr mor ddyeithr cafodd ei osod mewn lle anrhydeddus i bregethu. Yr oedd eneiniad ar yr odfa; disgynai y gwlithwlaw nefol yn ddwys ar ei yspryd ef, ac ar y bobl. Ar y terfyn aeth ei gyfaill, David Jones, Adwy'r Clawdd, ato, gan ddweyd: "O, Robert! Ti a'n siomaist ni i gyd. Yr oeddwn yn meddwl fod cryn lawer o synwyr yn dy ben, ond ni feddyliais erioed y cawn gymaint o arddeliad ar dy weinidogaeth."

Teithiodd ar ei draed lawer gwaith, yn nghwmni yr hen bererinion, i Langeitho. Yr oedd eu hamcan yn ddyblyg, sef cael cyhoeddiadau pregethwyr enwog y Deheudir i ddyfod i'r Gogledd, a chael adnewyddiad yspryd wrth wrando gweinidogaeth seraphaidd Daniel Rowland. Caent lawer o'u herlid wrth fyned a dychwelyd. Yr oedd lluchio cerig at y Pengryniaid yn ddifyrwch wrth fodd calon trigolion aml i ardal; enillasai Harlech, yn arbenig, hynodrwydd annymunol yn hyn o beth. Bu Robert Jones unwaith yno mewn enbydrwydd am ei hoedl. Eithr yr oedd y danteithion a arlwyid ar fwrdd yr efengyl yn Llangeitho yn fwy na digon o dâl yn eu golwg am bob dyoddef. Un tro, medd ei fywgraffydd, cafodd Robert Jones ei gymeryd i fynu gymaint wrth wrando ar Rowland yn darlunio cariad Duw yn rhoddi ei Fab, gogoniant person, a digonolrwydd aberth y Cyfryngwr, a'i barodrwydd i dderbyn pechaduriaid, fel yr anghofiodd ei hun yn hollol; nis gwyddai pa un ai yn y corph ynte allan o'r corph ydoedd; ni feddai un math o syniad pa le yr ydoedd; ac aeth allan o'r cyfarfod heb ei het, a'r fath oedd cyffro ei feddwl fel na wybu ei heisiau am dro hir.

Fel y nifer amlaf o'r hen bregethwyr, nid oes genym hanes cyflawn am yrfa weinidogaethol Robert Jones. Cafodd lawer o'i erlid; amddiffynwyd ef yn rhyfedd mewn peryglon ddegau o weithiau, a bu yn offeryn i argyhoeddi llawer. Ond ni ddarfu ei fywgraffydd weled yn briodol groniclo yr amgylchiadau hyn. Yr unig wybodaeth o honynt sydd ar gael y mae mewn cysylltiad â hanesion gwahanol leoedd, llawer o ba rai sydd wedi eu cofnodi yn *Methodistiaeth Cymru*. Yn ol ei dystiolaeth ei hun, efe oedd y cyntaf i bregethu yn Abergynolwyn, Sir Feirionydd. Gwnaeth hyny ar yr heol yn y pentref, brydnhawn Sabbath, ond ni wyddis y mis na'r flwyddyn. Erbyn iddo gyrhaedd y lle yr oedd golwg lidus a chreulawn ar y dorf

liosog a ddaethai yn nghyd; teimlai y pregethwr ryw aeth yn treiddio trwyddo wrth feddwl am wynebu arnynt. Nid oedd yn mysg y dyrfa nemawr neb a glywsai bregeth o'r blaen, nac a welsai bregethwr; ond tybid fod pregethwyr a phregethu yn rhywbeth y dylid cael eu gwared o'r wlad. Eithr daeth amddiffyn-iad i'r pregethwr yn gwbl annysgwyliadwy iddo. Yn mysg y dorf yr oedd gŵr o'r enw John Lewis, yr hwn oedd yn ffafriol i'r efengyl. Meddai hwn lysfab, cryf o gorph, a chyfarwydd ag arfer ei ddyrnau. Dywedodd John Lewis wrtho fod yn mwriad rhywrai a enwai anmharchu y gŵr dyeithr, a'i rwystro i lefaru; "ond," meddai, "d'wed di air wrthynt, hwy a fyddant yn ddigon llonydd." Yr oedd y llanc yn falch o'r swydd; bygythiodd yr arweinwyr yn erwin. Cafodd Robert Jones lonydd i bregethu, ac ni bu y cyfarfod heb raddau helaeth o arddeliad.

Robert Jones, hefyd, fel yr ymddengys, oedd y cyntaf i bregethu yn Meddgelert, a chafodd ei amddiffyn yn hynod, fel yn Abergynolwyn. Robert Dafydd, Brynengan, a arfaethasai fyned. Brodor o Feddgelert ydoedd efe; a daeth ar ei feddwl yr elai i'w gartref genedigol i gyhoeddi i'w hen gymydogion Air y bywyd. Penodwyd ar y Sabbath, ac anfonwyd hysbysrwydd trwy yr ardal am y bregeth. Darparwyd lle iddo i bregethu mewn tŷ rhisgl, sef adeilad egwan, yn yr hwn y rhoddid rhisgl derw yn dâs i aros iddo sychu. Nid oes sicrwydd pa un ai cyfeillion ynte gelynion a wnaethai y trefniant. Cyn y Sabbath yr oedd yr erlidwyr wedi crogi darnau trymion o goed uwchben y tŷ rhisgl, gyda'r bwriad o'u gollwng i syrthio ar y tô adeg yr odfa, a thrwy hyny beri i'r adeilad syrthio ar y pregethwr a'r gynulleidfa, a'u lladd. Pan ddaeth yr amser methodd Robert Dafydd fyned, ac aeth Robert Jones yn ei le. Daeth torf anferth yn nghyd; yr oedd digllonedd yn eu gwedd, a chreulondeb yn eu calon; nid gwiw i'r pregethwr ddysgwyl trugaredd oddiar eu dwylaw. Ond cyn i'r cyfarfod ddechreu dyma ystorm ofnadwy o fellt a tharanau yn ymdori, nes gyru ofn ar bawb. Mor enbyd oedd swn y taranau fel y gellid tybio fod y mynyddoedd o gwmpas yn ymrwygo; y mellt cochion a fflachient o'r cwmwl gyda'r fath danbeidrwydd, fel yr oedd y cryfaf ei galon yn gwyneb-lasu. Disgynodd braw aruthrol ar y bobl; ac yr oedd y braw yn fwy am i'r ystorm ddyfod heb un rhagarwydd. Ni feddyliodd neb mwy ymosod ar y pregethwr; a chwedi eu difrifoli fel hyn yr oedd y bobl mewn sefyllfa meddwl addas i wrando yr efengyl. Trodd Robert Jones, gyda ei fedr arferol, yr amgylchiad yn fantais i'w weinidogaeth. Galwodd sylw y gynulleidfa at daranau mwy ofnadwy na'r rhai a ruent yn yr awyr, sef bygythion y Beibl ar yr annuwiol, ac at fellt mwy peryglus na'r rhai a fflachient allan o'r cymylau, sef taranfolltau digofaint Duw. Cafodd odfa rymus; amryw a ddychwelwyd at yr Arglwydd; a rhoddodd yr amgylchiad derfyn ar yr erledigaeth.

Yn ol yr hanes a gafodd awdwr *Methodistiaeth Cymru*, gan Mr. Robert Evans, Trefriw, Robert Jones, hefyd, oedd y cyntaf, nid yn unig perthynol i'r Methodistiaid, ond perthynol i unrhyw enwad Ymneillduol, i bregethu yn Nyffryn Ardudwy. Y Robert Evans hwn oedd enedigol o Orllewin Meirionydd; yma yr ymunodd â chrefydd. Bu yn byw am beth amser yn Mhwllheli, ond yn Nhrefriw y treuliodd y rhan fwyaf o'i fywyd. Efe oedd tad y Parch. Evan Evans, gŵr sydd yn fwy adnabyddus wrth ei enw barddonol, Ieuan Glan Geirionydd. Dywed efe fod pregethu er ys rhai blynyddoedd yn yr ardaloedd o gwmpas y Dyffryn, megys Harlech a Phenrhyndeudraeth, o un tu, ac Abermaw o'r tu arall; ond o herwydd rhyw resymau yr oedd y Dyffryn fel pe wedi ei adael. Ond daeth Robert Jones heibio ar ei dro, a phregethodd ar y Morfa, dan Llanddwywe. Yn yr awyr agored y llefarai; ni ddarparesid iddo na phwlpud nac esgynlawr, ond pregethai oddiar dwmpath a gyfodai ar y gwastad. "Oddiar y topyn gwyrddlas hwn," meddai Robert Evans, "efe a lefarodd yn hynod ddifrifol ac effeithiol oddiar Gen. xix. 17: 'Dianc am dy einioes; nac edrych ar dy ôl, ac na saf yn yr holl wastadedd.' A pheth teilwng i'w grybwyll ydyw, na ddangoswyd y duedd leiaf i erlid, er mai dyma yr odfa gyntaf erioed a fu (yma) gan Ymneillduwyr o un enwad." Teifl y dywediad olaf, sef y syndod a ddatgenir i odfa gael ei chadw heb fod neb yn erlid, ffrwd o oleuni ar yspryd yr amseroedd. Y mae yn amlwg mai anfynych y pryd hyny y caffai y Methodistiaid lonydd i addoli heb fod rhywrai yn terfysgu, ac yn ymosod arnynt.

Adrodda Mr. Robert Evans amgylchiad arall yn nglyn â Robert Jones, yr hwn a ddengys ei ddwfn gydwybodolrwydd, a'r amddiffyn dwyfol a fyddai yn fynych drosto.

Cawsid cyhoeddiad Robert Jones i fod yn y Dyffryn, am ddau o'r gloch dydd Sabbath. Y nos Wener a'r dydd Sadwrn blaenorol hi dorodd yn ystorm enbyd; chwythai y gwynt, a disgynai y gwlaw yn rhaiadrau. Yr oedd Robert Jones ddydd Sadwrn, am ddau o'r gloch, yn Hendre Howell, lle cyfagos i Dremadog, at yr hwn yr ydym wedi cyfeirio yn barod; a'r nos yr oedd i fod yn y Penrhyn. Eithr cyn cyrhaedd y Penrhyn yr oedd yn rhaid croesi y Traethmawr. Gwyddai y pregethwr nas gallai groesi ar draed oblegyd y llifeiriant; ac mor enbyd ydoedd fel na fyddai yn debyg o gael cwch. Ond gan mai ar neges ei Dduw ydoedd ni fynai ymesgusodi. Gadawodd ei geffyl yn Hendre Howell, ac aeth at y traeth ar ei draed. Erbyn cyrhaedd y lle, yr oedd cychwr yn parotoi bâd i groesi, er mwyn sicrhau cwch oedd mewn perygl o gael ei golli, oblegyd cynddaredd yr ystorm, ar y traeth cyferbyniol. Yn hwnw cafodd gweinidog Duw fyned; a chyrhaeddodd y Penrhyn heb fod neb yn ei ddysgwyl. Pregethodd yno nos Sadwrn gyda nerth. Boreu tranoeth yr oedd wedi ei drefnu i lefaru yn Harlech, am naw o'r gloch. Mynai pobl y Penrhyn nas medrai groesi y Traethbach, a chyhoeddasant ef i fod gyda hwy. Eithr aros ni wnelai Robert Jones, aeth at lan y traeth yn y gobaith y rhoddai yr Arglwydd iddo ddrws agored; ac yn ei ganlyn yr oedd myntai o Fethodistiaid Penrhyn-deudraeth. Yn ffodus, yr oedd y myglys wedi darfod ar fwrdd llong o Bwllheli oedd wrth angor yr ochr arall; ac anfonasai y dwylaw gwch trosodd er mwyn cael cyflenwad adnewyddol. Yn y cwch hwn cludwyd yr holl frodyr i'r lan arall. Brysiasant i Harlech; ond erbyn cyrhaedd yno cawsant wybod mai yn Mhen'rallt yr oedd yr odfa i fod. Erbyn hyn yr oedd yn mhell ar y dydd; y dorf a ddaethai yn nghyd oedd wedi blino dysgwyl; aeth rhai i'w cartrefi, ac eraill tuag eglwys y plwyf. Ond pan aed at yr eglwys, digwyddodd fod yr offeiriad yn glaf, ac nad oedd gwasanaeth yno. Wrth fod y bobl yn troi ymaith oddiwrth yr eglwys yr oedd Robert Jones a'i gymdeithion yn y golwg wedi cyrhaedd. Llanwyd tŷ Pen'rallt a chynulleidfa, a chafwyd odfa nodedig o hyfryd. Tuag at gyrhaedd y Dyffryn erbyn dau yr oedd yn rhaid i'r pregethwr basio trwy Llanbedr. Nid oedd gwasanaeth yn yr eglwys yno ychwaith, oblegyd selni yr offeiriad, gan mai yr un gŵr oedd "yn darllen" yn y ddau le; aeth y plwyfolion yn fynteioedd ar ol Robert Jones, yr hwn a bregethodd am y tro cyntaf yn y tŷ a adeiladesid i'r perwyl gan Griffith Richard. Pan welodd amaethwr cyfrifol y bobl yn canlyn pregethwr Methodist, gyrodd nerth carnau ei geffyll, i gyrchu Mr. Parry, offeiriad Llanaber. Wrth fod y dorf yn dychwelyd o'r Dyffryn, wedi darfod yr odfa, cyfarfyddasant a'r ddau, sef y person a'r amaethwr, yn gyru yn erwin. Gofynai yr offeiriad iddynt yn sarug: "A ydych chwithau wedi myned i ganlyn y ffydd hon?" Atebwyd ef gan un: "Y mae yn dda i ni ddilyn rhyw ffydd; nid oedd acw (sef yn yr eglwys) ffydd yn y byd heddyw." Y nos hono cynhelid gwasanaeth yn y ddwy eglwys, er na fyddai gosber yn y naill na'r llall yn gyffredin; Mr. Parry, Llanaber, yn gwasanaethu yn un, a'r offeiriad claf, wedi ymlusgo o'i wely, ac yn gwasanaethu yn y llall. Oblegyd cydgyfarfyddiad yr holl amgylchiadau hyn, oll yn ffafriol i'r efengŷl, datganai Robert Jones ei farn fod gan yr Arglwydd waith mawr i'w gyflawni yn y Dyffryn. Yr ydym yn cofnodi yr hanes am ei fod yn engrhaifft o'r peryglon a'r anhawsderau a gyfarfyddai y pregethwyr cyntaf.

Cofnoda Robert Evans na fu erlid yn yr odfa gyntaf a fu yn y Dyffryn; ond ni chafodd y Methodistiaid fod heb eu haflonyddu yma ychwaith. Y prif derfysgwr oedd un Griffith Garnetts; creadur ofer, a ddibynai am ei gynhaliaeth ar deulu Corsygedol. Pan yr oedd yr hen gynghorwr, William Evans, Fedw-arian, yn pregethu, aeth Garnetts, ac un o weision helwriaeth Corsygedol i'r odfa i aflonyddu. Yn llaw y gwas yr oedd corn hela, a gwaeddai ei gydymaith arno: "Chwyth yn ei glust o, Sionyn; chwyth yn nghlust y dyn â'r llyfr!" Felly y gwnaeth yntau, nes y bu raid i'r pregethwr roddi heibio. Byddai y Garnetts hwn hefyd yn aflonyddu ar Robert Jones. Heblaw llawer o bethau eraill, yr oedd Robert Jones yn fedrus mewn tori llythyrenau ar gerig beddau, a galwyd arno droiau i wneyd hyn dros deulu Corsygedol. Unwaith, pan yn llythyrenu yn y modd hwn ar gareg fedd yn mynwent Llanaber, daeth Garnetts ato, gan gyfaddef ei ofid am aflonyddu arno pan yn pregethu, ac yntau yn arfer gweithio i Mr. Vaughan; ond dywedai yr un pryd, y gwnai hyny drachefn, os efe a anturiai bregethu yn y gymydogaeth hono. Yn ymyl yr oedd bedd agored; a chan gyfeirio ato

dywedai Robert Jones: "A welwch chwi y bedd yna, Mr. Garnetts? Fe fydd pregethu yn y Dyffryn pan fyddwch chwi yn pydru mewn lle fel yna." Dychrynodd y dyn trwy ei galon, ac ni aflonyddodd ar y Methodistiaid mwy.

Mewn llawer o bethau gwahaniaethai Robert Jones oddiwrth fwyafrif y cynghorwyr Methodistaidd. Byddai eu gweinidogaeth hwy gan amlaf yn gyffrous; edrychent ar floeddio fel elfen anhebgor mewn pregeth; eithr llefaru yn dawel a wnelai efe, heb na bloeddio na thrystio. Oblegyd hyn, caffai lonyddwch i bregethu yn aml mewn lleoedd na oddefid hyny i neb arall. Eithr byddai ei ymadroddion bob amser yn ddwys, ac yn oleu; ceisiai yn mhob pregeth oleuo deall y rhai a'u gwrandawent; ac yn aml byddai dan arddeliad amlwg. Eiddil o gorph ydoedd; ond meddai feddwl gwrol. Ni ddychrynid ef gan beryglon a fyddent yn gwangaloni dyn cyffredin. Yr ydoedd hefyd yn dra pharod ei atebion; a rhwng hyn, a'i gynefindra â'r Ysgrythyr, byddent yn fynych yn cau safnau ei wrthwynebwyr yn effeithiol. Bu am beth amser yn cadw ysgol yn Beddgelert, a rhoisid benthyg y llan iddo i'r pwrpas. Pan yn tori yr ysgol un prydnhawn, rhoes ofyniad i'r plant i'w gymeryd adref, i'r hwn yr oeddynt i ddwyn atebiad dranoeth. Y gofyniad ydoedd: "Pa le y mae eglwys Dduw?" Pan glywodd un o ddoethion Beddgelert y cwestiwn, dywedodd mewn diystyrwch: "Pw! ai dyna y fath feistr sydd genych? Gofyn yn mha le y mae yr eglwys, ac yntau yn cadw ysgol ynddi bob dydd!" Pan ddychwelwyd yr ateb i Robert Jones, dywedai fod y Beibl yn son am glustiau yr eglwys, a dymunai wybod beth oedd y rhai hyny. Eithr ymddengys fod y dyn hwn yn perthyn i'r rhywogaeth y cyfeirir atynt gan Solomon, y rhai er eu pwyo mewn morter â phestl ni ymedy ei ffolineb â hwy; a dywedai yn ol: "Wfft i'r fath *lob!* Beth sydd yn haws iddo na gweled mai clust yr eglwys yw y clochdy."

Bu yn arweinydd doeth i'r Cyfundeb yn y Gogledd, ac yn arbenig yn Eifionydd, am flynyddoedd lawer. Byddai yn bresenol yn Nghyfarfod Misol ei Sir yn mron yn ddieithriad, ac nid yn fynych y byddai ei le yn wag yn y Gymdeithasfa. Bu yn bresenol dros haner cant o weithiau yn Nghymdeithasfa y Bala. Teithio ar ei draed y byddai gan amlaf; ac o herwydd anamledd lleoedd pregethu gan y Methodistiaid, nid anfynych y byddai raid iddo, ar gychwyn ei weinidogaeth, bregethu dair gwaith ar y Sabbath, a cherdded deng-milltir-ar-hugain yn y fargen. Yn ei gofiant adroddir am dano yn pregethu yn Henllan, ger Dinbych, nos Sadwrn; yn nghapel Tanyfron, gerllaw Llansanan, am naw boreu dydd Sul; yn y Bontuchel, ger Ruthin, am ddau; ac yn Adwy'r Clawdd, Sir Fflint, am chwech. Yr oedd hyn gryn lawer dros ddeng-milltir-ar-hugain, a cherdded a wnaeth bob cam. Pan yn adrodd am ei deithiau meithion wrth gyfaill unwaith, dywedai hwnw: "Robert Jones, pe y caech fyned yn ieuanc eto, byddech yn dynerach o'ch natur." Atebai yntau yn ol: "Nid wyf yn sicr o hyny. Clywais am foneddwr a wariodd ei ystad mewn afradedd, fel y bu yn dlawd am amser; rywsut, llwyddodd i'w hadfeddianu, ond ei gwario a wnaeth drachefn." Awgrym pur glir mai cyffelyb yr ymddygai yntau pe y caffai gyfle i ail fyw ei einioes. Teimlai bryder mawr ar i'r Cyfundeb gadw y ffydd. Yr ydym wedi cyfeirio yn flaenorol at ymosodiadau Antinomiaeth ar y Methodistiaid mewn gwahanol ranau o Gymru. Bu dosparth yn Lleyn yn dal syniadau penrhydd, a gelwid yr heresi yn "grefydd y Rhosddu." Torodd yr unrhyw heresi allan hefyd yn nghanolbarth Môn, a gelwid hi yn yr ynys yn "grefydd canol y wlad." Arferodd Robert Jones ei holl ddylanwad yn erbyn y syniadau gwylltion, penrhydd hyn, a diau mai efe a fu yn un o'r prif offerynau i'w hymlid o'r wlad. Adroddir am dano ef, a'i gyfaill John Pierce, mewn Cyfarfod Misol yn Môn, ac iddi fyned yn ddadl rhyngddynt â "Chrefyddwyr canol y wlad." Parhaodd y ddadl trwy y nos, hyd wawr y boreu, ac ni roddodd Robert Jones i fynu nes llwyr ddystewi ei wrthwynebwyr.

Pan o gwmpas haner cant oed, ac yn preswylio yn Nhy-bwlcyn, cafodd gystudd trwm. Enyniad yn yr ysgyfaint ydoedd, a thaflodd i fynu lawer o waed. Tybiai ef ei hun, a thybiai pawb a ddeuent i'w weled, mai marw a wnelai. Aml i noswaith yr oedd y teulu yn dysgwyl y byddai wedi myned i dragywyddoldeb cyn y boreu. Eithr teimlai eglwysi Lleyn ac Eifionydd nas gallent eu hebgor, a gwnaethant weddi ddyfal ar ei ran. Gwellhaodd yntau megys yn wyrthiol; braidd na edrychid arno fel pe byddai wedi cael adgyfodiad o feirw. Gwedi ei adfer, dywedai ddarfod iddo yn ei gystudd gasglu yr oll o'i grefydd yn nghyd, sef ei brofiadau, ei bregethau, a'i lafur

gyda'r ysgolion, &c. Ar y cyntaf credai fod ganddo gryn bentwr. Ond erbyn dynesu i wynebu y gyfraith danllyd, y farn fawr, a thragywyddoldeb, aeth y pentwr crefydd yn ddim, *yn ddim*. Yn ngwyneb hyny, pan yr oedd wedi myned megys yn ddiwedd byd arno, daeth Mab Duw i'r golwg; a da iawn oedd cael ei weled yn ddigon i bechadur heb ddim i dalu.

Yr oedd Robert Jones yn gymeriad nodedig o grefyddol a phur. Gellir dweyd am dano fel am John Evans, y Bala, fod ei uniondeb yn ddiareb gwlad. Arferai dduwioldeb gartref, ac yr oedd y dduwioldeb hono yn llawn serchawgrwydd ac ynfydrwydd, gwamalrwydd, ac ysgafnder; eraill i bechodau a fyddant yn warth ar dy enw tra y byddot byw. Cofia di yn awr dy fod wedi dyfod i ben y groeslon, a bod yn rhaid i ti ddewis tŷ Dduw, ei bobl, a'i waith; neu ynte, ddewis gelynion Duw, a'i bobl, a mwrdwyr dy enaid dy hun." Fel y gellid dysgwyl, effeithiodd yr ymddiddan yn ddwys ar y llanc, ac ni aeth geiriau ei dad penwyn yn anghof ganddo byth.

Heblaw bod yn bregethwr da, yn synwyrol mewn cynghor, yn llafurus gyda'r Ysgol Sabbothol, ac yn ddyn llawn, yr oedd Robert Jones yn llenor gwych, ac



TY-DWLCYN.

anwyldeb. Ymddiddanai a'i blant ar eu penau eu hunain am eu cyflyrau, am Iesu Grist, ac am y fraint o gael bod yn aelodau yn eglwys Dduw. Pan yr oedd ei fab ieuangaf, hogyn tua phedair-ar-ddeg oed, yn ymadael a'r teulu, aeth y tad i'w hebrwng ddarn o'r ffordd, rhyngddo a Bangor. Cyn ymadael trodd ato, gan ddweyd: "Wel, fy machgen bach; dyma ti heddyw fel un yn dyfod i ben croesffordd. Pan yr oeddit gyda ni, a than ein haden, yr oeddym yn ceisio dy arwain, a'th gynghori, a gwylio trosot; ond, yn awr, dyma ti yn ein gadael ni, ac fe fydd llawer yn ceisio am danat; un yn ceisio dy droi i ffordd ysgrifenodd amryw lyfrau. A ganlyn sydd restr o'i weithiau:—

Llefarydd yr Asyn, yn gwahardd ynfydrwydd y Prophwyd, ynghyda a darluniad o dri phregethwr.

Cyfieithiad o'r Gyfrol Gyntaf o waith Gurnal.

Arweinydd i'r Anwybodus, pris chwech cheiniog. Crynodeb o'r unrhyw, pris tair ceiniog.

Ymddiddan rhwng Dr. Opium, Galio, a Discupulis.

Drych yr Amseroedd: sef, Hanes Diwygiad Crefyddol yn Ngogledd Cymru.

Grawn Sypiau Canaan: sef, Pigion o Hymnau gan W. Williams.

O'r llyfrau hyn, y gwerthfawrocaf yn ddiau yw *Drych yr Amseroedd*. Ynddo casglodd

yn nghyd nifer mawr o'r traddodiadau a'r hanesion am gychwyniad Methodistiaeth yn Ngogledd Cymru; trwy ei wybodaeth bersonol, a'i farn oleu, medrodd ysgar yr us oddiwrth y gwenith; ac y mae yn dra sicr y buasai llawer o wybodaeth werthfawr wedi myned ar ddifancoll oni bai am y llyfr dyddorol hwn. Y mae, agos oll, wedi ei osod i mewn yn *Methodistiaeth Cymru*, a phrin yr ydym yn teimlo fod Mr. Hughes yn cydnabod yn ddigonol ei rwymedigaeth iddo.

Am *Lleferydd yr Asyn*, math o lythyr ydyw at ryw ŵr urddasol, a anfonodd ei was i aflonyddu addoliad crefyddol ar ddydd yr Arglwydd. Ymddengys fod y gŵr urddasol hwn yn offeiriad ac yn ynad heddwch. Rhydd y difyniad canlynol o'r llyfr engrhaifft o arddull Robert Jones fel ysgrifenydd, a theifl oleuni hefyd ar natur yr aflonyddwch y cwynir o'i herwydd: "Tan ddifrifol ystyriaeth o'r pethau hyn, a diamheuol *warrant* a sail o'r Ysgrythyrau sanctaidd, yn nghyd â rhyddid y llywodraeth werthfawr a ganiateir ac a gynhelir gan ein grasusaf ddaionus arglwydd frenhin George III., a'i oruchel gynghoriaid, y bu ein diweddar gyfarfod yn Rhoslan. Ac os gofyn neb beth oedd dyben ein dyfodiad yn nghyd, yr y'm yn rhydd i ateb gerbron y nefoedd, mai'r ddau beth pwysfawr hyn ydoedd, sef yn gyntaf, talu dyledus addoliad i Dduw ar ei ddydd sanctaidd, ac erfyn ei fendith; yn ail, ceisio lleshad eneidiau anfarwol; ac am na cheid un tŷ, rhaid oedd cyfarfod yn y maes. Ac fel yr addolem mewn modd parchus a gostyngedig, megys y gweddai i greaduriaid annheilwng i ymddangos o flaen y Jehofah anfeidrol, fe fu i ni yn gyntaf ganu Salm, er clod i enw gogoneddus Duw, ac ymostwng o'i flaen ef mewn gweddi, ac yn ganlynol darllen a sylwi ychydig ar ran o'i Air sancteiddiaf. Ond cyn gorphen a'r rhan o'r Ysgrythyr, sef yr ymadrodd gwerthfawr hwnw: 'Ac nid oes iachawdwriaeth yn neb arall,' fe aflonyddwyd y dyrfa gan ddyn dyeithr, afreolus, a ddaethai yno yn y cyfamser (debygid, i'r dyben hyny yn unig); ac er mwyn bod yn fwy llwyddianus yn ei orchwyl, efe a gymerasai gydag ef offeryn pwrpasol i'r gwaith anrasol oedd ganddo mewn llaw, sef math o udgorn neu gorn gwaeddi." Yn ganlynol, darlunir ysgelerder yr ymddygiad mewn geiriau cryfion. Yr oedd y llyfr hwn, yn ddiau, fel halen ar gig noeth i'r boneddwr. Gwerthodd yn gyflym; y mae y chwechfed argraffiad ger ein bron yn awr, wedi ei argraffu yn Nhrefriw, yn y flwyddyn 1819.

Ar un olwg y mae yn syn na fuasai Robert Jones yn mysg y rhai a ordeiniwyd i waith y weinidogaeth yn y Bala, yn y flwyddyn 1811. Y mae yn sicr nad diffyg parch iddo oedd yr achos, oblegyd yr oedd ei glod trwy yr holl eglwysi. Efallai mai henaint oedd y rhwystr, er nad oedd ond triugain-a-chwech ar y pryd; ac mai saith mlynedd yn ieuangach oedd y Parch. John Roberts, Llangwm, ei gyfaill a'i gydweithiwr. O bosibl, er nad oedd ei oedran yn fawr, fod llesgedd yn dechreu ei orddiwes. Modd bynag, rhoddwyd iddo safle bwysig yn y cyfarfod ordeinio. Fel hyn y dywed y Cyffes Ffydd: "Wedi hyny, rhoddodd yr hen frawd Robert Jones, o Sir Gaernarfon, air o gynghor difrifol iddynt hwy, ac i'r Corph yn gyffredin, a diweddodd y cwbl gyda gweddi daer, ac addas i'r achos." Rhaid fod yr hwn a neillduwyd i roddi y cyngor yn y gwasanaeth ordeinio cyntaf yn cael ei ystyried yn ŵr o urddas.

Wedi claddu ei briod, rhoddodd Tŷ-bwlcyn i fynu; a chan fod ei blant oll wedi gadael y gymydogaeth, aeth i letya at un John Williams, o'r Felin Fadryn, gan yr hwn y cafodd dynerwch mawr. Bu am beth amser drachefn gydag un James Jones. Eithr yn y diwedd adeiladwyd tŷ iddo yn gydiol a chapel y Ddinas, Lleyn, ac yma y bu hyd derfyn ei yrfa. Cafodd fyw i gyrhaedd 84 mlwydd oed. Y mae amryw o'i lythyrau ar gael, ac yn mysg eraill y llythyr a anfonodd at y Cyfarfod Misol, ryw chwech mlynedd cyn ei farw, yr hwn a osodwn i mewn yn llawn:—

"Dinas, Mai 31, 1823. Anwyl Frodyr a Chyfeillion,—Buasai yn dda genyf gael y ffafr o fod yn eich cymdeithas y tro yma yn mhellach; eithr er fy mod yn weddol iach, yr wyf yn rhy lesg i ddyfod cyn belled heb gymeryd llawer o amser. Dymunaf fy nghofio yn garedig at fy mrodyr, y Pregethwyr a'r Blaenoriaid oll, gan ddwyn ar gof iddynt fod y baich yn ormod, a'r llwyth yn rhy drwm, y dyddiau hyn, i'w dynu i fynu i risiau mor serth, heb neillduol gymhorth yr Yspryd Glân. Ni wiw dysgwyl fawr o gymhorth gan amryw o'n gwrandawyr y dyddiau presenol, llai o lawer nag a fu ryw amser a aeth heibio. Gan nad yw yn debyg y caf eich gweled byth yn gyd-ddrychiol mwy, gadawaf hyn fel rhybudd a chynghor car-

edig i fy mrodyr yn y weinidogaeth, yn nghyd â henuriaid yr eglwysi, ac i mi fy hun, yn anad neb, na ryfygo neb o honom ddweyd llawer am Iesu Grist heb ei adnabod, a gwybod yn brofiadol am gymod â Duw trwyddo ef; profi blas maddeuant yn feunyddiol, fel Israel y manna, a theimlo grym y Gair, fel y mae yn wir Air Duw; bod yn feddianol o'r dduwiol anian, a chael arweiniad yr Yspryd Glân i fyw yn dduwiol, a'i gynorthwy yn barhaus i fugeilio y praidd, fel y gallom ddywedyd yn y diwedd ein bod yn lân oddiwrth waed pawb oll. Amseroedd enbyd yw y dyddiau diweddaf.

Y mae yn sicr genym ddarfod i ddarlleniad y llythyr gynyrchu dylanwad dwfn ar y cyfarfod. Tua mis Ebrill, 1829, cafodd anwyd trwm, yr hwn a brofodd yn angau iddo. Buasai agos trwy ei holl fywyd mewn caethiwed gan ofn marwolaeth. Arferai ar weddi yn wastad ymadroddion tebyg i hyn: "Na âd ni, ein Tad anwyl, i fyned i'r afon dan ein dwylaw;" "Dyro i ni ei chael yn glir erbyn myned i'r afon;" "Symud y cymylau a'r ofnau oddiar y gydwybod cyn wynebu angau." A chafodd ei ddymuniad. Ychydig ellid ddeall o'r hyn a ddywedai yn ei selni olaf



TIRBACH.

Os collir braenaru'r cyflwr, a'r galar dwys am bechod, fe wna doniau hyawdl y tro yn lle tân sanctaidd oddiar yr allor; ac fe ryfyga rhai ruthro yn mlaen, a thân dyeithr, er y caent eu lladd yn y diwedd o'r achos. Gobeithio na welir y dyddiau hyny byth ar Gymru, y gellir ysgrifenu ar ddrysau y tai addoliad: '*Dyma rith broffeswyr yn addoli y Duw nid adwaenir.*' Erfyniaf ar fod yr Arglwydd yn amlwg yn eich mysg; a bod y cyfarfod, trwyddo oll, dan wlith bendith i alw llawer o'r newydd, ac o ymgeledd neillduol i eglwysi Crist trwy y wlad. Yr eiddoch, tra b'wyf, ROBERT JONES."

oblegyd bloesgni, ond sylwai brawd oedd yn aros gydag ef un noswaith fod gwedd orfoleddus ar ei wynebpryd, a bod gwên siriol ar ei enau, tra yr oedd y dagrau yn rhedeg yn hidl o'i lygaid. Nesaodd ato, i geisio deall yr hyn a ddywedai; a'r geiriau a glywodd oedd:—

> "Cyfamod rhad, cyfamod cadarn Duw,
> Ni syfl o'i le, nid ie a nage yw."

Ac meddai ei fywgraffydd: "Un o'r gloch boreu dydd Sadwrn, Ebrill 18, efe a hunodd yn dawel yn yr Iesu, yn 84 mlwydd, a thri mis oed, mewn henaint têg, fel tywysen wedi cyflawn addfedu." Y nos

Lun ganlynol pregethodd Mr. Robert Owen yn ei wylnos, oddiar Ioan xi. 24: "Mi a wn yr adgyfodir ef yn yr adgyfodiad, y dydd diweddaf;" ac ar ei ol Mr. James Hughes, Lleyn, oddiar Num. xxiii. 10: "Marw a wnelwyf o farwolaeth yr uniawn." Cafwyd cyfarfod nodedig; disgynodd rhyw hwyl nefol ar y gynulleidfa; a phrin y medrent roddi i fynu canu yr emyn ar y terfyn:—

"Mae nghyfeillion wedi myned
Draw yn lluoedd o fy mlaen."

Dydd ei gladdedigaeth, daeth torf fawr yn nghyd; braidd na ellid dweyd fod holl Leyn wedi cydymgynull. Yn nghapel y Ddinas, pregethodd y Parch. Richard Lloyd, Beaumaris, oddiar Luc ii. 29, 30; a chwedi y bregeth siaradodd y Parch. Michael Roberts ychydig yn syml am angau, barn, a thragywyddoldeb. O'r capel aed yn orymdaith i fynwent Llaniestyn; ceisiai y cyfeillion ganu wrth fyned; ond canu a'i haner yn wylo ydoedd. Eithr wrth ganu y penill:—

"Ymadaw wnaf a'r babell
'Rwy'n trigo ynddi'n awr,"

torodd llawer allan i orfoleddu. Ac yn nghanol gorfoledd, cymysg â dagrau, rhoddwyd corph Robert Jones i orwedd hyd y boreu mawr. Y mae yn sicr ddarfod i'r gwas enwog hwn i Grist wneyd gwaith mawr yn ei ddydd, ac i'w ddylanwad fod yn gymhorth pwysig i godi crefydd a Methodistiaeth trwy Wynedd, yn arbenig yn rhandir Lleyn ac Eifionydd.

Nid oedd Robert Dafydd, Brynengan, i'w gyffelybu a Robert Jones parthed helaethrwydd gwybodaeth, pwysau cymeriad, safle weinidogaethol, na medr i arwain, ac eto y mae ei goffadwriaeth yn fyw y dydd hwn, ac yn perarogli yn hyfryd. Cafodd ei eni yn Cwmbychan, nid yn nepell o Feddgelert, yn y flwyddyn 1747; ac felly yr oedd tua dwy flwydd yn iau na Robert Jones. Gwehydd oedd ei dad, Dafydd Prichard wrth ei enw, ac yn wehydd y dygwyd yntau i fynu. Bu Dafydd Prichard farw pan nad oedd Robert ond blwydd oed, ac felly ar ei fam y syrthiodd pwys ei fagu. Pan tua thair-ar-ddeg aeth at ewythr iddo, frawd ei dad, ac yno y bu nes cyrhaedd addfedrwydd oedran. Tyfodd i fynu yn ddyn ieuanc cryf, llawn dwy lath o daldra; yr oedd ei aelodau yn fawrion ac yn gryfion, ac ychydig o ieuenctyd y wlad allai ymgystadlu ag ef mewn ymarferiadau corphorol. Ni chafodd ddim manteision addysgol; peth dyeithr oedd ysgol yn nhymor ei faboed ef; a'r peth diweddaf a ddysgwyliai neb fyddai i hogyn tlawd, mab i fam weddw, gael ei anfon i'r cyfryw sefydliad, pe bai yn bod. Tyfodd hefyd yn gwbl ddigrefydd. Nid oedd yr efengyl yn cael ei phregethu yn yr holl gwmpasoedd. Bid sicr, yr oedd llan Beddgelert yn ymyl; ond ni feddyliai yr offeiriad am wneyd rhagor na darllen y gwasanaeth, ac ychydig a fyddai yn myned iddi i wrando ar hwnw. Felly, ni wyddai Robert, druan, mewn ystyr ysprydol, wahaniaeth rhwng ei law ddehau a'i law aswy; nid oedd ganddo unrhyw ddychymyg ei fod yn berchen enaid i fyw byth; o ran un syniad a feddai nid oedd unrhyw wahaniaeth rhyngddo a'r anifail a ddyfethir. Ymroddodd i lygredigaeth; rhagorai yn y campau; nid oedd gwylltach llanc o fewn y wlad, ac nid oedd neb ganddo i roddi gair o gynghor iddo.

Ond yr oedd Duw wedi bwriadu pethau gwell, a phethau yn nglyn wrth iachawdwriaeth, am Robert Dafydd. Y dylanwad cyntaf a sobrodd ryw gymaint arno oedd pregeth o eiddo Sion Robert Lewis, Caergybi, yr "Hen Almanaciwr." Yr oedd y pryd hyn tuag un-ar-ugain oed. O gwmpas yr un adeg daeth Robert Jones, Rhoslan, i gadw ysgol i Feddgelert. Un o orchwylion yr ysgolfeistr oedd holwyddori y plant yn Nghatecism Griffith Jones; ac heblaw gofyn y cwestiynau argraffedig, byddai yn ychwanegu gofyniadau o'i eiddo ei hun. Aeth son am yr holwyddori trwy yr ardal. Deuai llu o bobl ynghyd i wrando; ac mor ddyeithr oeddynt i brif wirioneddau yr efengyl, fel yr oedd y pethau a glywent yn ddatguddiad iddynt. Yn mysg y llu daeth Robert Dafydd, heb ddim yn ei gyffroi ond chwilfrydedd. Eithr ymaflodd y gwirionedd yn ei enaid; cafodd olwg ar ei gyflwr llygredig ac euog; aeth yn ddiwedd byd arno o ran ei brofiad; ac ni welai ddim o'i flaen ond y llyn o dân. Mor druenus ydoedd o ran ei brofiad fel y dymunai fod yn gythraul yn hytrach na bod yn ddyn, am y credai y byddai ei drueni yn uffern yn llai. Wrth weled y llanc a flaenorai yn y maswedd a'r campau wedi colli pob asbri at y cyfryw bethau, ac wedi troi ei gefn yn gyfangwbl ar ei hen gyfeillion, digiodd pobl yr ardal yn ddirfawr wrth yr ysgolfeistr, a rhegai yr hen wragedd ef yn uchel wrth ei fod yn cerdded yr heol.

Dyma Robert Dafydd yn awr yn ddyn newydd yn Nghrist Iesu. Mawr oedd ei

chwedi eu dal yno am yspaid, heb wawr o obaith o nefoedd na daear, taflent ddrws yr efengyl o led y pen, nes y byddai y bobl, wedi eu cyffroi gan fawredd a sydynrwydd y goleuni oedd wedi ymdori arnynt, yn gorfoleddu ac yn canmol Duw. Clywsom y math hwn o bregethu yn cael ei gondemnio. Dyweder a fyner yn ei erbyn, bu yn foddion i ddychwelyd canoedd o gyfeiliorni eu ffyrdd, a chynyrchodd ddosparth o grefyddwyr na welodd y byd Cristionogol eu rhagorach. Ceir dau beth yn y darlun yn galw am air o sylw. Un yw y desgrifiad o Dafydd Morris fel "gŵr ieuanc teneu.' Dwy-ar-bymtheg oed oedd John Roberts pan yr ymunodd â chrefydd, a thebygol iddo wneyd hyny mor fuan ag y cafodd gyfleustra gwedi yr odfa ryfedd yn y Buarthau; felly nid oedd Dafydd Morris ar y pryd ond chwech-mlwydd-ar-hugain, ac yr oedd eto heb symud o Ledrod i Dwrgwyn, a gwelwn hefyd fod y tewychder annaturiol, a'i goddiweddodd yn y rhan olaf o'i oes, heb ddechreu dyfod trosto. Peth arall yw y desgrifiad a roddir o Dafydd Morris, wedi disgyn oddiar y gadair yn molianu yn nghanol y gynulleidfa. Dygwyddai hyn mewn cysylltiad â nifer o'r pregethwyr cyntaf. Byddai Howell Harris ei hun yn tori allan yn fynych i orfoleddu, ac i ganmol Duw, ar ganol ei bregeth. Yr oedd Mr. Llwyd, o Gayo, yn nodedig yn hyny. A chawn Dafydd Morris yma yn cael ei orchfygu ei hun gan y gwirioneddau a gyhoeddai, fel nas gallai ymatal rhag ymuno â'r gynulleidfa mewn moliant. Yr oedd y pregethwr a'i wrandawyr yn nes at eu gilydd y pryd hwnw; ni chyfryngai na phwlpud na sêt fawr rhyngddynt; ac ychydig o waith disgyn oedd o'r gadair i'r llawr.

Fel y nodwyd, llanc dwy-flwydd-arbymtheg oedd John Roberts pan yr ymunodd â chrefydd; ac ymddengys ei fod yn gweithio ar y pryd yn chwarel y Cilgwyn. Eithr teimlai ei gyfeillion y medrai wneyd rhywbeth amgen na hollti llechau, a chynghorasant ef i gadw ysgol. Bu wrth y gorchwyl hwn am tuag un-mlynedd-ar-bymtheg; cadwodd ysgol yn ardaloedd Bryneinion, Rhoslan, Clynog, Llanllyfni, Brynyrodyn, a'r Pentre Uchaf. Mewn nodiad o'i eiddo sydd ar gael, dywed: "Bu gyda mi yn cael eu dysgu 1,172 o blant. Yr oeddwn yn dysgu iddynt Saesneg, gramadeg, rhifyddiaeth, a mesurau. Aeth llawer oddiwrthyf i amryw ganghenau masnach, megys yn siopwyr, ysgrifenyddion i gyfrif-dai, morwyr, a swyddwyr i'r gyllidfa. A byddwn yn ymarfer cryn lawer i ysgrifenu i'm cydwladwyr ar achosion gwladol, megys nodau, rhwymysgrifau, amod-ysgrifau, testamentau, priodas-rwymau, a phethau eraill, hyd oni waharddwyd i neb ond cyfreithiwr wneyd hyn." Yn sicr, rhaid fod y dyn ieuanc a allai wneyd hyn oll, heb gael ond dau fis o ysgol, ac wedi ei fagu mewn ardal wledig lle yr oedd cyfleusterau addysg yn brin, yn meddu athrylith gref yn gystal ag ymroddiad diderfyn. Tra y bu John Roberts gartref, arferai gynorthwyo ei dad mewn addysgu a chateceisio y plant ieuangaf; arno ef y disgynai gofal yr ysgol yn y tŷ yn ystod absenoldeb Robert Thomas; a chawn ei fod yn llawn awydd am iachawdwriaeth y plant, yn enwedig ei frawd Robert, yn yr hwn y gwelai arwyddion talent.

Bu agos i John Roberts gael addysg athrofaol. Daethai y Morafiaid i bregethu i'r ardal; yn mysg eu pregethwyr yr oedd un Dafydd Mathias, o Ddyfed, a daeth y gŵr hwn yn dra chyfeillgar â John Roberts, ac a'i deulu. Agorodd y llanc ei galon iddo parthed ei fawr awydd am ddysgeidiaeth; addawodd yntau y gwnelai y ffordd yn rhydd iddo i fyned i athrofa berthynol i'r Morafiaid yn Lloegr. Llwyddodd yn ei ymgais, a gwnaeth John Roberts bob parotoadau i fyned i Sir Gaerefrog, i'r coleg. Ond cyn y boreu Llun i gychwyn daeth Dafydd Mathias i'r tŷ, prydnhawn Sabbath. Darllenai Robert Thomas ar y pryd benod yn llyfr y prophwyd Esaiah, a gofynodd: "Onid oedd yn rhyfedd, Mr. Mathias, fod y prophwydi, yn enwedig Esaiah, mor oleu am ddyoddefiadau, angau, a dyrchafiad gorchfygol Crist, a hyny ganoedd o flynyddoedd cyn ei ymddangosiad?" Meddai hwnw yn ol: "Robert bach, ai hyd yma y cyrhaedd dy wybodaeth di o'r Beibl eto? Nid oedd y prophwydi yn gwybod am bwy y llefarent; breuddwydio y byddent, ac adrodd eu breuddwydion, heb fedru eu hunain ddeall y dehongliad, chwaethach eu hesbonio i neb arall." "Nage," ebai Robert Thomas, "yr oedd yspryd Crist ynddynt yn rhagfynegu ei ddyoddefaint, a'r gogoniant ar ol hyny." Aeth yn ddadl frwd rhyngddynt, a chollodd y ddau eu tymherau. Yr oedd Mathias yn arbenig yn drahaus, a dywedai wrth Robert Thomas, mai yn addas y gelwid ef a'i blaid yn Feth—odistiaid, gan mai methu a wnaent yn mhob peth. Ac ar hyn aeth i ffwrdd yn sarug a chwta. Gyda ei fod

dros y drws dywedai ei dad wrth John Roberts: "Myned hefo hwna! Na chei byth, na neb o'i frid. Gwell genyf i mi a'm plant orfod hel ein tamaid, nac ymgyfathrachu â chyfeiliornwyr fel hyn am y Beibl, a'i gynwys gogoneddus." Dyna derfyn effeithiol ar obaith y llanc am addysg athrofaol. Diau i hyn fod yn anfantais iddo, ond efallai iddo fod yn fantais i Gymru; oblegyd pe yr aethai i'r coleg yn Lloegr, digon tebyg mai yn Lloegr yr arosai, ac na ddeuai yn ei ol i efengylu i'r Cymry tlodion.

Pan o gwmpas wyth-ar-hugain mlwydd oed, yn ol ei dystiolaeth ei hun, dechreuodd bregethu. Llithrodd amryw o fod yn ysgolfeistri i fod yn bregethwyr, ac felly y dygwyddodd iddo yntau. Os yw Dr. Thomas yn iawn wrth ddweyd mai John Roberts a ddechreuodd yr odfa i Jones, Llangan, yn Mrynyrodyn, pan y cafodd Robert Roberts ei argyhoeddi, rhaid ei fod yn cael edrych arno fel un a'i wyneb ar y weinidogaeth rai blynyddoedd cyn iddo ymaflyd yn y gorchwyl. Yr ydoedd wedi priodi er ys pum mlynedd, ac yn dad plant, pan gychwynodd. Bu iddo bedwar o blant, sef tair merch ac un mab; y mae enw y mab, sef y Parch. Michael Roberts, Pwllheli, yn air teuluaidd trwy Gymru.

Ychydig o hanes gyrfa weinidogaethol y Parch. John Roberts sydd genym. Ond ymddengys iddo gyrhaedd safle uchel fel pregethwr ar unwaith. Meddai *Methodistiaeth Cymru:* "Fel pregethwr, bernid ef yn rhagori ar nemawr neb yn ei wlad yn mlynyddoedd cyntaf ei weinidogaeth. Yr oedd ef, a Mr. Richardson, Caernarfon, yr hwn oedd wedi cyd-ddechreu pregethu ag ef, yn cael eu hystyried yn ddwy o ser dysgleiriaf Sir Gaernarfon. Yr oedd John Roberts yn meddu ar gorph cryf, er nad oedd ond bychan o faint; yr oedd ei feddwl yn llawn o yni a bywiogrwydd; yr oedd yn helaethach ei wybodaeth, ac yn rhwyddach ei ymadrodd, na llawer iawn o bregethwyr ei oes. Teithiodd lawer ar wledydd y Gogledd a'r Dê, yn nghyd â threfydd Lloegr, a hyny dros haner cant o flynyddoedd. Yr oedd yn weithiwr egniol, parod, a blaenllaw gydag achos yr Arglwydd, a diamheu i'w weinidogaeth fod yn foddion i droi llawer at gyfiawnder." Cyfeiria y Parch. Owen Thomas, D.D., ato fel un "eang a manwl yn ei gydnabyddiaeth ag athrawiaeth yr efengyl, ac un a anrhydeddid braidd bob amser, am flynyddoedd lawer, a'r lle mwyaf cyhoeddus yn ein Cymdeithasfaoedd."

Oddiwrth y desgrifiadau a gawsom, yr ydoedd yn bregethwr tra sylweddol, a byddai yn fynych yn nodedig o gyffrous; ni ddibynai yn gyfangwbl ar hwyl, er y byddai yn aml yn cael odfaeon nerthol; yn gyffredin triniai bwnc o athrawiaeth, ac eglurai ef yn rymus ac yn oleu. Ni ddaeth yn gymaint o feistr y gynulleidfa a'i frawd, Robert Roberts; ni feddai hyawdledd tanllyd, a nerth dramayddol rhyfedd y seraph hwnw; ond yr oedd gan John Roberts, hefyd, gyflawnder o ddawn y weinidogaeth; llefarai yn rymus, yn oleu, ac yn argyhoeddiadol, a chafodd brofion diamheuol fod Duw yn bendithio ei lafur.

Y Gymdeithasfa gyntaf i John Roberts fod ynddi a gynhelid yn y Cae-rhyg, ger Nefyn. Bu hefyd yn Nghymdeithasfa y Bala, ac mewn Cymdeithasfa a gynhelid yn Mhwllheli yn y flwyddyn 1777. Yr oedd hono yn nodedig mewn doniau, oblegyd pregethid ynddi gan Daniel Rowland, Williams, Pantycelyn, Dafydd Morris, a Llwyd, o Gayo. Dyma y tro olaf i Daniel Rowland ymweled â Gwynedd; ei gydymaith oedd y boneddwr crefyddol, Mr. Bowen, o Waunifor, yn Sir Aberteifi, ac yn ngherbyd Mr. Bowen y teithient. Y flwyddyn hon yr agorwyd capel cyntaf Llanllyfni, a chapel Brynengan. Pregethodd Rowland yn y capel diweddaf, pan nad oedd ond un ochr iddo wedi ei doi. Y flwyddyn ganlynol, cynhelid Cymdeithasfa yn Mrynengan; yn y capel y pregethid, ond yr oedd wedi ei orlenwi, a llanwesid y cyntedd oddi allan. Tueddwn i feddwl mai Cymdeithasfa Fisol ydoedd. Yn mis Medi, 1779, cynhaliwyd Cymdeithasfa Chwarterol yn mhentref Llanllyfni, ac yr oedd amryw o oreuwyr y Dê yn bresenol ynddi. Am ddeg, y prif ddiwrnod, pregethai Dafydd Williams, Llysyfronydd, a Jones, Llangan. Geilw y Parch. Michael Roberts Dafydd Williams yn "Dafydd enwog o Forganwg, rhyw Ddisenter a Methodist, fel Mr. Tibbot a Mr. Gray, hen *frid* y tir, y goreu o ryw a welodd Cymru eto." Nis gwyddom am un rheswm paham y dynodai Dafydd Williams yn y modd hwn; gyda y Methodistiaid y bu fyw, ac y bu farw; nid oedd un berthynas rhyngddo a'r Annibynwyr, heblaw iddo gymeryd ei ordeinio yn weinidog ar alwad ddifrifol cynulleidfa Fethodistaidd, yn unol â chynghor Daniel Rowland.

Ond adgofir ni fod Michael Roberts, pan yr ysgrifenodd y nodiad, a'i feddwl yn dechreu dyrysu. Am ddau, pregethai "Mr. Lewis, o Fôn," sef, yn ol pob tebyg, William Lewis, Glasinfryn, yr hwn a safasai i fynu i amddiffyn Dafydd Morris pan y ceisiai bregethu yn Beaumaris. Dywedir iddo gael odfa rymus, ac y clywid ei lais yn hawdd am filltir o bellder. Ar ei ol llefarai Dafydd Morris, a chafodd odfa i'w chofio byth. Meddai y Parch. Michael Roberts: "Ar ol haner awr, yr oedd pob proffeswr byw ag oedd yno yn ymryson mewn neidio rhyngddynt a'r nefoedd, yr erlidwyr wedi diflanu oll, a'r bobl oll naill ai yn wylo neu ynte yn gwaeddi." Ar derfyn yr odfa, dywedai Dafydd Williams, rhwng difrif a chellwair, wrth Robert Jones, Rhoslan: "Dyna i ti, Robin, y mae Dafydd Morris yn myned mor dewed nes y mae arnaf braidd gywilydd ei weled ar y *stage*. Ond a wyddost ti beth, Robin? nid oes arnaf gywilydd i neb yn Nghymru na Lloegr, ïe, yn uffern, ei *glywed* pan y gwelwyf ef unwaith yn dechreu twymno enaid a chorph. Dyna i ti hogiau gwych, Robin! Yn enw yr Arglwydd, gallwn ni, yr hen bobl, farw bellach pan ewyllysio'r Pen Bugail." Nis gwyddom pwy gyda Dafydd Morris a olygai Dafydd Williams wrth yr "hogiau," efallai mai William Lewis a bregethasai o'i flaen.

Diau y meddai John Roberts ran helaeth, mewn undeb a'i frawd enwog, Robert Roberts, ac eraill, yn efengyleiddiad Gwynedd. Yr oedd efe yn un o'r arloeswyr. Yn mha ardaloedd y cafodd y fraint o fod y cyntaf i seinio udgorn yr efengyl, nis gwyddom; nid oes gofnodiad ychwaith am y peryglon y bu ynddynt, nac am yr erlidiau a ddyoddefodd. Ond y maent oll yn ysgrifenedig yn llyfr Duw. Modd bynag, yn ol tystiolaeth ei fab, efe, mewn undeb a'r Parch. Evan Richardson, oedd y cyntaf o'r Methodistiaid i bregethu yn nhref Caernarfon, a dywed i hyn gymeryd lle naill ai yn y flwyddyn 1785, neu 1786. Y mae yn syn i Fethodistiaeth fod cyhyd cyn ymosod ar Gaernarfon. Flynyddoedd lawer cyn hyn sefydlasid seiadau yn Waenfawr, Clynog, Beddgelert, Llanrug, a Llanllyfni, yn gystal a'r ochr arall i gulfor Menai, yn Sir Fôn; ond am y dref ei hun, ni wnaethid unrhyw ymgais effeithiol i sefydlu pregethu rheolaidd ynddi. Araf oedd y Methodistiaid cyntaf i ymosod ar y trefydd. Ac yr oedd yn ddealledig fod Caernarfon yn llawn o yspryd erledigaeth. Cynygiasai Williams, Pantycelyn, bregethu yma ar ei ffordd adref o Sir Fôn; daeth i'r dref i'r pwrpas hwnw; ond er fod ei ffraethder naturiol, a'r ffaith ei fod yn meddu y ddawn brydyddol mewn helaethrwydd, yn sicrhau gwrandawiad iddo mewn aml i fan na chaffai unrhyw bregethwr arall dderbyniad, methiant fu ei ran y tro hwn. Gwedi dyfod i'r dref, a hyny yn bur llechwraidd, deallodd fod yr erlidwyr wedi gwneyd eu meddwl i fynu i'w rwystro a'i ammharchu, os nad yn wir i'w ladd; a barnodd mai doethineb ynddo oedd llechu yno mor ddystaw ag y medrai dros y nos, a chychwyn i'w daith foreu tranoeth gyda glasiad y wawr. Byddai yr ychydig Fethodistiaid oedd yn y dref, y rhai oeddynt yn aelodau yn y Waenfawr, yn fynych mewn perygl am eu bywyd. Elai yr erlidwyr i'w cyfarfod ar hyd ffordd Llanbeblig ar eu dychweliad adref, a chamdrinient hwy yn greulon. Arferent hwythau yn aml, er ceisio ysgoi yr erledigaeth, groesi trwy fynwent Llanbeblig i ffordd Llanberis, neu ynte ddyfod i'r dref ar hyd llwybr Morfa-y-saint. Pan y gwnaeth Richard Tibbot gais at bregethu yma, cafodd ei garcharu yn y castell, a bu yno, efe a'i anifail, am noswaith gyfan. Cafodd ei fab hefyd, y Parch. Abraham Tibbot, ei ammharchu yn enbyd yma, a dywedir fod yr erlidwyr wedi bwriadu ei ladd.

Ond penderfynodd y ddau bregethwr, John Roberts ac Evan Richardson, y gwnaent ymgais effeithiol i fyned a'r efengyl i'r dref, bydded y canlyniadau y peth a fyddent. Meddai y Parch. Michael Roberts: "Y mae yn dra chofus genyf am y Sabbath yr aeth fy nhad i gyfarfod Mr. Richardson i Gaernarfon, i gynyg pregethu, y waith gyntaf i'r Methodistiaid fod yno. Nid oeddwn ond bachgenyn pur ieuanc. Ond y mae yn gof genyf ddarfod i fy mam ddwyn ei ddillad goreu i fy nhad, y Sabbath hwnw, gan y bwriadai fyned i dref Caernarfon i bregethu. Ond fy nhad, pan ei gwelodd, a ddywedodd wrthi: 'Nid yw o un defnydd i chwi ddwyn i mi y dillad goreu heddyw, oblegyd, mae yn debyg, mai budreddi a fydd drosof oll cyn y nos. Gwell i mi gael rhyw ddillad gwaelach!' Wedi i mi dyfu i fynu y deallais ystyr geiriau fy nhad, mai ofni yr oedd y gorfyddai iddo ddyoddef erlid a'i faeddu yn y dref." Deuai Evan Richardson i gyfarfod ei gyfaill, o Sir Fôn, gwedi bod yn pregethu yn yr ynys yn ystod gwyliau y Pasg. Tua chanol dydd, y Sul gwedi y Pasg,

wedi cael gafael ar eu gilydd, aethant i chwilio am le i bregethu, er eu bod yn ofnus am eu bywyd. Wrth gymharu adroddiad Michael Roberts, yr hwn a ddywed ei fod wedi ymholi llawer yn nglyn a'r mater, a'r hanes a roddir yn *Methodistiaeth Cymru*, credwn mai yn y modd a ganlyn y cynhaliwyd yr odfa. Yr oeddynt yn adwaen siopwr parchus yno, sef Mr. Owen Owens, diacon yn eglwys yr Annibynwyr, yr hon a gawsai ei sefydlu yn y dref ychydig amser yn flaenorol. Yr oedd mwy o ddyogelwch i'r Annibynwyr nag i'r Methodistiaid, gan y byddent hwy yn trwyddedu eu capelau, a thrwy hyny yn sicrhau iddynt eu hunain amddiffyniad y gyfraith. Dywedodd y ddau bregethwr Methodistaidd eu helynt wrth Mr. Owen, eu bod yn methu cael lle i bregethu ynddo. Cymerodd yntau hwy at y gweinidog Annibynol, y Parch. George Lewis; wedi hyny, Dr. Lewis, awdwr amryw o lyfrau da, ac yn mysg eraill y *Corph o Dduwinyddiaeth* y darfu i'r Parch. Lewis Edwards, D.D., ysgrifenu rhagdraeth iddo. Holodd Mr. Lewis hwy am eu credo. Dywedodd John Roberts eu bod o ran eu ffydd yn cytuno â Chatecism Westminster. Mewn canlyniad, rhoddodd ganiatad iddynt lefaru yn y llofft lle y cynhaliai yr Annibynwyr eu cyfarfodydd. Yno yr aed erbyn dau o'r gloch, a dechreuai y Parch. George Lewis y cyfarfod. Ond ni ddaliai yr ystafell chwarter y bobl oedd wedi ymgynull. Aed allan i lain o dir oedd wrth dalcen y capel, ar fin y ffordd, yr hwn a ganiatawyd iddynt gan un Mrs. Morgans, siopwraig barchus. Aeth John Roberts i weddi, a thywalltodd y nefoedd arno; daeth rhyw arswyd dros y dorf, fel na feiddiai neb aflonyddu, a chwalwyd holl ofnau cenhadon Duw. Wedi gweddïo, cymerodd ei destun oddiar 1 Tim. i. 15: "Gwir yw y gair, ac yn haeddu pob derbyniad," &c. Ac meddai y Parch. Michael Roberts: "Ni bu chwarter awr yn llefaru, nes y cafodd dau eu hargyhoeddi, a llawer eraill eu clwyfo, na iachawyd mo honynt nes dyfod at y Ceidwad."

Yn ol Michael Roberts, dyma y bregeth gyntaf a fu gan y Methodistiaid yn Nghaernarfon er cred. Gweddus sylwi fod cryn amheuaeth am gywirdeb hyn. Yn ol *Methodistiaeth Cymru*, Jones, Llangan, oedd y cyntaf o'r Methodistiaid a lwyddodd i allu pregethu yma. Yr ydym wedi rhoddi hanes yr odfa yn flaenorol. Dywedir mai yn y flwyddyn 1786 y pregethai Mr. Jones yn y dref, ac mai yn y flwyddyn ganlynol y daeth John Roberts ac Evan Richardson yma. Nis gellir penderfynu i sicrwydd pwy sydd gywir; ond os mai Jones, Llangan, bia y flaenoriaeth, y mae agos yn sicr na fu ef yn offeryn i blanu eglwys yma. Tad y seiat yw John Roberts, ac fel hyn y cafodd ei sefydlu: Yr wythnos gyntaf wedi yr odfa, yr oedd John Roberts yn marchnad Caernarfon, a sylwai fod rhyw ddyn yn ei ganlyn pa le bynag yr elai. Aeth i deimlo yn anesmwyth, gan na wyddai pwy ydoedd, na pheth allai fod ei amcan. O'r diwedd, trodd ato, a gofynodd: "A oes rhywbeth a fynech â mi?" "Y mae yn dda iawn genyf gael siarad gair â chwi,' ebai yntau; "yr wyf mewn blinder mawr, ac yn methu cael gorphwysdra meddwl, er pan fuoch chwi, a gŵr arall, yma yn pregethu y Sabbath o'r blaen." Ac meddai y Parch. Michael Roberts: "Fy nhad, gyda syndod a llawenydd, a gymerodd y gŵr gydag ef, i ystafell o'r neilldu, mewn tafarn a elwid yr *Angel*, ac yma y cafodd hamdden i gyfarwyddo a chysuro yr enaid trallodedig, yn nghylch y pethau a berthynent i'w heddwch. Hwn oedd y cyfarfod eglwysig cyntaf a fu gan y Methodistiaid yn Nghaernarfon. Nid oedd ynddo ond dau, ond yr oeddynt yn wystl o dyrfa fawr. Ac er lleied oedd y nifer, ac anghymwysed y gellid golygu y lle, eto, nid oes amheuaeth nad oedd ynddo fwy o fwynhad ysprydol nag a gaed lawer gwaith ar ol hyn, pan y cafwyd addoldy cyfleus, a lliaws mawr o ddysgyblion yn nghyd." Enw y gŵr hwn oedd Richard Owen, a bu yn ffyddlon gyda chrefydd tra fu byw. Gwedi iddo ef farw, priododd ei weddw a'r Parch. Evan Richardson. Y llall, y dywedir iddo gael ei argyhoeddi, oedd William Williams, siopwr yn y Porthmawr, ond a aeth yn ganlynol yn swyddog y cyllid. Glynodd yntau wrth achos Duw hyd ei fedd. O hyn allan, bu pregethu cyson gan y Methodistiaid yn Nghaernarfon. Cedwid yr odfaeon ar y cychwyn mewn rhan o'r dref a elwid Treffynon; eithr symudwyd yr achos heb fod yn hir i Danyrallt.

Fel prawf o'r safle a feddai John Roberts yn y Cyfundeb, gallwn sylwi ei fod yn cael ei wahodd bob blwyddyn i brif Gymdeithasfa y Deheudir, a gynhelid yn Llangeitho. Byddai yno yn gyffredin y Sul o flaen y Gymdeithasfa, a chafodd rai odfaeon i'w cofio byth. Adroddai mam Mr. Daniel Davies, y Ton, yr hon oedd yn

ferch i'r hen flaenor ffraeth, Mr. David Jones, Dolaubach, am yr odfa ryfedd a gafodd yn y Gymdeithasfa olaf y bu yn Llangeitho. Adroddai iddo weled nifer o hen *bensioners* yn Llundain, unwaith, wedi cael eu hanafu yn dost yn ngwasanaeth y brenhin. Yr oedd llun rhyfedd ar lawer o honynt; ni feddent na breichiau na chluniau; dim ond rhyw bethau pren i symud o gwmpas. Nis gallent wasanaethu mwy; ond pan y clywent goffa enw y brenhin ag yr oedd ei wasanaethu wedi costio mor ddrud iddynt, byddent yn gwaeddi: "*Long live the king!* Byw byth fyddo'r brenhin!" ac yn llamu ar "y pethau prenau rheiny." Yna, cyfeiriai ato ei hun, fel wedi bod yn hir yn ngwasanaeth y Brenhin Iesu, ond wedi myned i fethu gwneyd nemawr gyda'r gwaith oblegyd henaint, "Beth yw eich neges yn Llangeitho, ynte? O, yr wyf wedi dyfod yma fel yr hen *bensioners* i waeddi "*Long live the King!* Byw byth fyddo'r Brenhin Iesu!" Gyda hyn, dyma y tân yn enyn yn ei yspryd; bloeddiai drosodd a throsodd: "Byw byth fydddo'r Brenhin Iesu!" ac yr oedd yn llamu fel hydd, nes yr oedd rhai yn dysgwyl iddo neidio i lawr dros y *stage*. Cipiodd y bobl y floedd i fynu, ac aeth yn waeddi ac yn folianu dros yr holl gynulleidfa. Yr oedd John Roberts y pryd hwn dros bedwar ugain mlwydd oed.

Yn ol pob tebyg, efe oedd Ysgrifenydd cyntaf Cymdeithasfa y Methodistiaid yn Ngwynedd; felly, rhaid fod ganddo law fawr yn ffurfiad, ac yn ngweithiad allan, y trefniadau i gymeryd meddiant o'r wlad. Yr ydym wedi cyfeirio eisioes at y casgliad o ddimai yr wythnos oddiwrth bob aelod, tuag at adeiladu capelau, a fu unwaith yn enwog yn y Gogledd. Tad y syniad oedd John Evans, y Bala; ond y mae yn bur sicr mai trwy ymdrech a medr arbenig John Roberts y gweithiwyd y cynllun allan mewn modd mor effeithiol. Gadawodd ar ei ol adroddiad am y casgliad hwn, a theimlwn fod ei ddyddordeb yn cyfiawnhau ei groniclo yma yn gymharol lawn. "Yn gymaint a bod yr Arglwydd yn llwyddo ei waith yn ein plith," meddai John Roberts, "a'r diwygiad yn cynyddu yn Nghymru, trwy ein llafurwaith a'n hymdrech, yn ngwyneb pob gwrthwynebiadau, i bregethu yr efengyl yn mhob man hyd y gallom; weithiau ar heolydd mewn trefydd a phentrefi, weithiau ar y prif-ffyrdd, ac weithiau ar dir cyffredin, megys mynyddau, morfeydd, neu gyd-tir, a'r cyffelyb; yr oedd angen mawr am dai i gydgyfarfod tuag at fod yn addas a chyfleus i gynal addoliad Duw yn ei amrywiol ganghenau.

"Yr oedd yr efengyl yn enill parch—er mai trwy offerynau gwael, megys llestri pridd, fel y byddai godidowgrwydd y gallu o Dduw—a'r cynulleidfaoedd yn lliosogi, ac eto yr eglwysi yn gyffredin ond ychydig o nifer mewn cymhariaeth, ac yn analluog i gynal y draul o ddwyn yn mlaen adeiladau digon eang i gynwys y torfeydd oedd beunydd yn lliosogi, ac yn sychedu am ddidwyll laeth y Gair. Yn y cyfamser, mewn Cymdeithasfa Chwarterol o Lefarwyr a Henaduriaid eglwysig, ymgynulledig yn Henllan, Sir Ddinbych, yn niwedd mis Rhagfyr, yn y flwyddyn 1779, cytunwyd i osod y mater canlynol o flaen y brodyr trwy yr oll o'r cymdeithasau neillduol yn holl siroedd Gwynedd; sef, os byddai y Corph yn foddlawn, ar fod i bob aelod yn mhob cymdeithas neillduol yn ein plith, i gyfranu yn unig un ddimai yn yr wythnos, a hyny bob wythnos dros flwyddyn, a dyfod a'r hyn a gesglid yn nghyd yn un swm yn chwarterol i bob Cymdeithasfa, fel y gellid gwybod pa faint a fyddai pan ei gwelid, ac hefyd gwybod boddlonrwydd y Corph i'w ddwyn yn mlaen; ac os byddai yn debyg o ateb y dyben o adeiladu teiau addoliad yn y lleoedd y byddai mwyaf o angen am danynt, yn ol y penderfyniad a gytunid arno gan Gorph yr *Association* yn y cyfryw achosion.

"Derbyniwyd yr achos gyda boddlonrwydd mawr yn gyffredinol trwy yr holl gymdeithasau, yn yr amrywiol siroedd, a dygwyd y gwaith yn mlaen gyda diwydrwydd a ffyddlondeb mawr. Ac wedi dilyn y gorchwyl yn y dull yma am flwyddyn, deallwyd y byddai yn debyg o ateb dyben da ac anrhydeddus. Hyd y gallaf gofio, yr oedd y casgliad cyntaf ychydig gyda thriugain punt y flwyddyn gyntaf. Yna, ymwrolwyd i fyned yn mlaen a'r gwaith gyda phob gofal a diwydrwydd perthynol i'r unrhyw, a pharhawyd i gynal y drefn hon yn nghylch deunaw mlynedd. Ac fel yr oedd y gwaith yn cynyddu, a'r cynulleidfaoedd yn lliosogi mewn rhifedi, chwanegodd y casgliad yma, wrth ei ddwyn yn mlaen yn ol yr un drefn ac ei dechreuwyd, nes yr oedd tua £90 y chwarter. Erbyn hyn, yr oedd yn myned yn ormod gwaith i'w drefnu, yn nghyd a'r achosion perthynol iddo, yn yr

*Association*, nes y meddyliwyd fod yn angenrheidiol cael trefn mwy addas tuag at ei ddwyn yn mlaen i ateb i'r buddioldeb mwyaf.

"Wedi hyn, mewn Cymdeithasfa yn y Bala, Mehefin, 1797, ystyriwyd yr achos, pa fodd y byddai oreu gwneuthur, a phenderfynwyd ar fod i bob sir gymeryd y gwaith i'w llaw ei hun, a hyny yn ol y drefn a ddewisont i'w gasglu, ac i'w ddefnyddio yn ol y penderfyniad a gytunid arno gan y Corph a'r brodyr yn y Cyfarfod Misol yn mhob gwlad.

"Yn ganlynol, penderfynwyd gan y brodyr yn y Cyfarfod Misol yn Sir Gaernaerfon ar fod i ni ymwroli, trwy gymhorth yr Arglwydd, i fod yn ffyddlawn hyd eithaf ein gallu i'w ddwyn yn mlaen gyda phob diwydrwydd dyledus, a'i ddefnyddio hyd eithaf ein gwybodaeth yn gydwybodol, yn ofn Duw, i'r dyben goreu a thebycaf i fod er gogoniant iddo ef, mewn adeiladau angenrheidiol at ei addoliad ef. Pan y trefnwyd felly i bob sir fyned ar ei phen ei hun, cytunwyd hefyd ar fod i bob sir gymeryd y ddyled oedd yn sefyll ar y teiau addoliad perthynol iddynt eu hunain. Felly, yr oedd dyled y sir yn y drefn ganlynol:—

| | | | |
|---|---|---|---|
| "Llanllechid .. .. | £2 | 0 | 0 |
| Caernarfon.. .. .. | 105 | 0 | 0 |
| Penygraig .. .. .. | 11 | 0 | 0 |
| Garn, Dolbenmaen .. | 12 | 0 | 0 |
| | £130 | 0 | 0" |

Yr ydym wedi rhoddi yr adroddiad yn ngeiriadaeth John Roberts, er fod y gystrawen mewn rhai manau yn gymysglyd. Gwelwn mai tua deunaw mlynedd y parhaodd y casgliad yn nglyn a'r Gymdeithasfa, ac mai ei lwyddiant oedd y rheswm dros benderfynu ei wneyd o hyny allan yn sirol; yr oedd perygl i'r Gymdeithasfa gael ei chymeryd i fynu agos oll gan drafodaeth arianol, a thrwy hyny i faterion ysprydol gael eu hesgeuluso. Awgryma yr ymadrodd "yn unig un ddimai yn yr wythnos," na ddysgwylid i'r cyfoethog yn yr eglwysi gyfranu mwy, na'r tlawd gyfranu llai. Os cadwyd at y rheol hon yn ffyddlawn, gallwn gael amcangyfrif, i raddau mwy neu lai cywir, oddiwrth y casgliad o tua £90 y chwarter, am rifedi yr aelodau cyflawn perthynol i'r Methodistiaid yn Ngwynedd, yn y flwyddyn 1797. Rhifent dros dair mil a thri chant. Ni rydd y rhif hwn unrhyw syniad am nerth y Methodistiaid, a'r dylanwad a feddent yn y wlad; oblegyd er mai bychain oedd y seiadau, dengys yr adroddiad fod y cynulleidfaoedd a ddeuent i wrando yn fawrion a lliosog, a diau nad oedd nifer mawr o'r gwrandawyr hyn yn nepell oddiwrth deyrnas Dduw. Pan aeth pob sir yn gyfrifol am ei dyled ei hun, gwnaed eithriad, yn ol a gawn yn nes yn mlaen, o Sir Drefaldwyn. Dywedir fod mwy o ddyled yn aros yno nag yn y siroedd eraill. Naill ai yr oedd Methodistiaid Maldwyn yn dlotach ac yn anamlach, neu ynte, yr oedd adeiladu capelau wedi cael ei gario yn mlaen yn eu mysg gyda mwy o feiddgarwch. A chawn yn mhen y flwyddyn fod Cyfarfod Misol Caernarfon, "yn ol ei addewid," yn cyfranu y swm o naw-punt-ar-hugain ac ychydig sylltau i'w chwaer yn Nhrefaldwyn.

I ba raddau y dygwyd yn mlaen y casgliad hwn yn ngwahanol siroedd Gwynedd, gwedi iddynt fyned ar eu penau eu hunain, nis gwyddom; ond y mae adroddiad Sir Gaernarfon eto ar gael, o'r flwyddyn 1797 hyd 1809, yn llawysgrif John Roberts. Dros ystod yr amser hwn efe oedd ysgrifenydd y Cyfarfod Misol, a pharhaodd yn y swydd hyd nes y cymerwyd ei le gan ei fab, y Parch. Michael Roberts. Am tua dwy flynedd y bu yn gasgliad dimai yr wythnos yn Arfon; a thra y parhaodd felly, amrywiai ei swm o ugain punt i ddeg-punt-ar-hugain y chwarter. Yn ystod y blynyddoedd yma darostyngwyd y wlad i'r efengyl i raddau mawr; yr oedd Robert Roberts, Clynog, yn neillduol, fel Mab y Daran, yn ddychryn i annuwioldeb; a thrwy ei weinidogaeth ef, ac eiddo ei frawd, John Roberts, yn nghyd ac Evan Richardson, chwanegwyd canoedd at yr eglwysi yn Sir Gaernarfon, ac aeth y capelau yn llawer rhy fychain i'r gwrandawyr. Y canlyniad oedd rhuthro i adeiladu tai addoliad, ac i helaethu yr hen rai; a chan fod y sir oll yn gyfrifol, efallai na arferwyd y gofal priodol am gynildeb yn mhob amgylchiad. Gosododd hyn faich ar Fethodistiaid Sir Gaernarfon a fu bron a'u llethu, ac o'r braidd y dihangodd achos y Gwaredwr rhag dyfod i waradwydd. Caiff John Roberts adrodd y modd y gweithredwyd yn yr argyfwng:—

"Fel yr oedd lliosogrwydd y gwrandawyr yn amlhau," meddai, "yn neillduol y blynyddoedd hyn, a llwyddiant mawr ar yr athrawiaeth yn ein plith, ac argoelion neillduol fod yr Arglwydd, o'i ras a'i ddaioni mawr, yn bendithio ei Air er dychweliad llawer oddiwrth eu pechodau at

Dduw, ac o feddiant Satan i deyrnas ei anwyl Fab, a'r eglwysi yn cynyddu mewn rhifedi beunydd, yr oedd angen am deiau cyfarfod, a helaethu hen adeiladau oedd yn rhy gyfyng, yn gwasgu yn mlaen gyda brys anghyffredin. Eto, nid oedd y gallu i adeiladu mewn amrywiol fanau ond llesg, a'r cynorthwyon ond byr iawn. Wrth gyflawni y diffyg mewn adeiladu, ac wrth ymdrechu yn yr amgylchiadau hyn i ddwyn yn mlaen y gwaith wedi ei ddechreu, aethom dan faich mawr o ddyled yn y wlad, nes yr oeddym braidd wedi soddi rhwng pwysau'r gwaith, a grym digalondid. Ond wrth ymgynghori a chydystyried yr achos, barnwyd yn angenrheidiol a dyledus wneyd pob peth yn llawn hysbys i'r brodyr oll (neu y Corph) trwy ein gwlad. Wedi amlygu y peth felly, dangosodd yr eglwys bob parodrwydd meddwl i gydymdrechu yn ddioed am ryddhad oddiwrth y llwyth gofidus hwn. Penderfynwyd i'w ddwyn yn mlaen yn y drefn ganlynol:—

"1. Bod cymeryd rhestr o enwau yr holl aelodau gan bob cymdeithas yn eu plith eu hunain.

"2. Bod i bob aelod ystyried yn bwyllog a syml, yn ol fel y llwyddodd Duw ef yn ei amgylchiadau a'i fywioliaeth, pa faint a all ef gyfranu at yr achos yma.

"3. Bod y swm a addawai pob un ei gyfranu bob chwarter blwyddyn i gael ei nodi wrth ei enw, pa faint bynag fyddai.

"4. Bod casglu y swm yn nghyd o bob man yn chwarterol dros flwyddyn, os caniata yr Arglwydd.

"5. Bod eu dosparthu yn gydwybodol yn ofn Duw, mewn doethineb, hyd eithaf ein gallu, i'r manau mwyaf angenrheidiol.

"6. Bod cymeryd trefn arall wedi talu y ddyled i gyd, os caniata yr Arglwydd ein bywyd a'n breintiau cyhyd.

"7. Bod i bob trefn, neu gyfnewidiad trefn, gael ei benderfynu a'i ddwyn yn mlaen yn ol boddlonrwydd y Corph yn ei gynrychiolwyr mewn Cyfarfod Misol.

"8. Na byddo i un tŷ cyfarfod gael ei adeiladu yn un man, gan neb rhyw berson, neu bersonau, wrth eu mympwy eu hunain, ond wrth y cyullun (*plan*) y cytuner arno gan y Corph Misol, neu y cyfryw un neu rai a farno y Corph yn addas i ymddiried iddo am y gorchwyl."

Felly y penderfynai Methodistiaid Sir Gaernarfon yn eu Cyfarfod Misol, ddechreu y flwyddyn 1801, a dengys y rheolau doraeth o synwyr. Ar y naill law canfyddwn ymgais i symud yr annhrefn oedd wedi eu harwain i'r cyfryw drybini, sef personau mewn gwahanol leoedd yn adeiladu capelau yn ol eu mympwy, ac heb ymgynghoriad priodol, gan daflu y cyfrifoldeb am y ddyled y rhedasid iddi ar y Cyfarfod Misol. Ar y llaw arall, gelwir ar yr aelodau i gyfodi fel un gŵr, i gyfarfod yr argyfwng, trwy gyfranu nid dimai yn yr wythnos bellach, ond hyd eithaf eu gallu, fel yr oedd Duw wedi llwyddo pob un. Dyma yr *ymdrech* cyntaf gyda chasgliad a wnaed gan y Methodistiaid. Ni fu y wlad yn ol mewn ymdeimlo a'i chyfrifoldeb; yr oedd casgliad Cyfarfod Misol Sir Gaernarfon y flwyddyn gyntaf dros dri chant a phump-ar-hugain o bunoedd. Ceir y manylion gan John Roberts dros holl ystod yr amser y bu yn ysgrifenydd y Cyfarfod Misol; efe, hefyd, oedd ysgrifenydd y casgliad, a diau mai i'w fedr a'i weithgarwch ef y dylid priodoli mewn rhan fawr y llwyddiant a fu ar yr ymdrech. Meddai y Parch. John Jones, F.R.G.S., Bethesda: "Dyma yr ystadegau cyntaf yn hanes ein Cyfundeb, sef ystadegau y casgliad dimai yn yr wythnos, ac yn ganlynol, y casgliad chwarterol, yn ol y rheol 'fel y llwyddodd Duw,' yr hwn gasgliad a fu mewn bri gyda'r Methodistiaid am lawer o flynyddoedd. Y Parch. John Roberts, Llangwm, oedd y teilwng ystadegydd, ac ni fuasai raid iddo, mewn medr a dawn, ostwng pen i ystadegwyr cyfarwydd y dyddiau presenol."

Eithr yr ydym wedi crwydro i raddau oddiwrth hanes personol John Roberts. Tua'r flwyddyn 1788 cyfarfyddodd â phrofedigaeth lem, trwy farwolaeth Phœbe, ei ferch henaf. Yr oedd yn eneth brydweddol, gall; dangosai arwyddion amlwg o dalent; ymhoffai mewn prydyddiaeth, ac yn uwchlaw pob dim yr oedd yn nodedig o dduwiol. Am dani yr oedd serchiadau John Roberts wedi ymgylymu, a bu ei marwolaeth yn ergyd iddo yn cyrhaedd hyd yr enaid. Y mae hanes gwerth ei adrodd yn nglyn a'r odfa ddiweddaf y bu ynddi yn nghapel Llanllyfni, a rhoddwn ef yn ngeiriau Michael Roberts: "Yr oedd Mr. Richardson, o Gaernarfon, yr hen efengylwr mwyn, yn pregethu i fwy na llonaid yr hen gapel o bobl, pa rai a fedyddiwyd oll â dagrau heilltion, cyn pen y chwarter awr ar ol darllen ei destun, yr hyn oedd: 'Felly hefyd y rhai a hunasant yn yr Iesu a ddwg Duw hefyd gydag ef.' A dyna lle y buont am hir amser, ef yn

bloeddio, a phawb yn wylo neu yn gwaeddi, ac ugeiniau yn neidio gan lawenydd y nef. Yr oedd eu swn yn cyrhaedd yn mhell, nes peri i'r rhai oedd yn gwarchod gartref redeg yno i edrych beth oedd hyn. Mr. Richardson, John (Roberts), a'i frawd, Robert Roberts, a neidient ac a ddawnsient yn un parti gwych, fel Dafydd frenhin gynt, ond fod ganddynt hwy sylwedd yr arch y chwareuai yr hen frenhin o'i blaen. Fy mam a orfoleddai yn y tŷ. Ac yr oedd Phœbe yn teimlo fel pe y buasai etifeddiaeth wedi dyfod iddi y dydd hwnw." Odfa fendigedig yn ddiau, a'r ddiweddaf i Phœbe Roberts; yn mhen y mis yr oedd, yn eneth ddeuddeg mlwydd a chwech mis oed, yn cael ei chludo i'r fynwent. Ond daeth John Roberts allan o'r ffwrn boeth wedi cael bendith i'w enaid; dyfnhaodd ei brofiad, daeth yn fwy ysprydol ei ymarweddiad, a theimlid rhyw awch newydd yn ei weinidogaeth. Dywed Michael Roberts y cofiai byth am weddïau taerion ei dad yr adeg hono.

Yn mis Tachwedd, 1806, bu farw ei wraig. Yr oedd yn ddynes nodedig am ei chrefydd; meddai holl frwdfrydedd a zêl y Methodistiaid cyntaf, ac aml y clywid ei llais yn molianu Duw yn y cysegr, a'i hyspryd yn fflam ynddi. Gwedi bod yn weddw am ryw dair blynedd priododd John Roberts drachefn, a chan fod ei wraig o gymydogaeth Llangwm, yn Sir Feirionydd, symudodd yno i fyw, ac fel "John Roberts, Llangwm," yr adwaenid ef hyd ddydd ei farwolaeth. Bu ei ymadawiad yn golled enbyd i Sir Gaernarfon. Gwedi ymadawiad John Elias nid oedd neb yn y sir i'w gystadlu ag ef mewn dawn ac ymroddiad heblaw Evan Richardson, Caernarfon. Meddai y Parch. Michael Roberts, yn ei ddydd-lyfr, dan y penawd, Medi 20, 1809: "Priododd fy nhad eilwaith, a symudodd i fyw i Langwm, gerllaw y Bala, yr hyn oedd un o'r pethau mwyaf gofidus a gyfarfu a mi erioed. Nid o herwydd iddo briodi, ond ei symudiad o'r wlad i fyw; colli un mor llafurus yn y gwaith o'n gwlad, a chymaint o eisiau gweithwyr." Ond bu colled Sir Gaernarfon yn enill i Sir Feirionydd. Daeth John Roberts ar unwaith, yn nesaf at Mr. Charles, y dyn pwysicaf a'r mwyaf defnyddiol o fewn cylch y Cyfarfod Misol. Taflodd ei holl enaid i'r gwaith. Cafodd yr Ysgol Sabbothol, yn arbenig, gefnogydd galluog ynddo; meddai ddawn neillduol i holwyddori; yr oedd wrth ei fodd yn nghanol torf o ieuenctyd, yn eu cwestiyno ac yn eu hyfforddi yn mhynciau yr Ysgrythyr. Y mae llythyr o'i eiddo ar gael, yn rhoddi hanes Cymanfa Ysgolion a gynhaliwyd yn Nghaernarfon, flwyddyn cyn iddo symud i Langwm, a chredwn mai hon oedd y gyntaf a fu yn y dref. Pedair ysgol oedd wedi ymgynull. Cychwynai rhai o honynt am bump o'r gloch y boreu; a chan mai yn nghanol mis Tachwedd y cynhelid y Gymanfa yr oedd yr athrawon a'r plant ar eu taith yn mhell cyn dydd. Erbyn naw o'r gloch yr oeddynt yn Nghaernarfon. Wrth ddyfod trwy y dref canai y plant emynau priodol, nes oedd yr heolydd yn adsain; a rhuthrai y trigolion i'r ffenestri yn llawn cyffro, am nad oeddynt wedi clywed y cyffelyb o'r blaen. Cofnodwn un o'r pynciau fel esiampl o'r lleill. Y mater oedd ailenedigaeth: "1. Yr angenrheidrwydd am ailenedigaeth. 2. Gwaith pwy yw ailenedigaeth. 3. Enwau ailenedigaeth. 4. Natur yr ailenedigaeth. 5. Breintiau yr ailenedigion." Ychwanega John Roberts: "Adroddwyd lliaws anghyffredin o Ysgrythyrau, hynod gymhwys ac addas i'r materion ganddynt, ac yr oedd yn llewyrchus wlithog wrth holi, a golwg hynod o syml ar y dorf. Canwyd yr anthem, 'Merch Seion.'" Dywed yn mhellach, ddarfod i lawer o bobl aros yn y capel, o'r odfa gyntaf am chwech o'r gloch yn y boreu hyd un-ar-ddeg yn yr hwyr. Wrth ganu yr emyn :—

"O agor fy llygaid i weled,"

ar y terfyn, torodd y dorf allan i folianu, ac meddai John Roberts: "Ni welais y fath dywalltiad o awel ar hen bobl a phlant er ys blynyddau maith.' Os oedd rhyw gymaint o ragfarn yn y dref yn flaenorol yn erbyn Cymanfa Ysgolion rhoddodd hyn derfyn effeithiol arni. Rhenid bara a chaws mewn basgedau i'r plant rhwng yr odfaeon; ond nid oedd agos digon wedi ei barotoi, a bu raid anfon o gwmpas y tai am ychwaneg. Cafwyd canoedd o Gymanfaoedd Ysgolion yn Nghymru o gyffelyb nodwedd; gwnaethant les anhygoel; buont yn foddion, dan fendith Duw, i achub canoedd i fywyd tragywyddol, yn gystal ag i gynyddu gwybodaeth Ysgrythyrol; a thrueni dirfawr fod arwyddion adfeilio a diflanu arnynt.

Prawf arall o'r lle uchel a feddai John Roberts yn marn y Cyfundeb, yn arbenig yn Sir Feirionydd, oedd iddo gael ei gyflwyno i'w ordeinio gyda y fyntai gyntaf, yn

y Bala, yn y flwyddyn 1811. Efe yn unig a gafodd yr anrhydedd hwn yn Sir Feirionydd, ac wyth a neillduwyd o holl bregethwyr Gwynedd. Dangosodd Cymdeithasfa y Gogledd ymddiried pellach yn ei farn, a'i gydnabyddiaeth â phynciau mawrion yr efengyl, trwy ei benodi yn aelod o'r pwyllgor pwysig a gyfarfu yn Aberystwyth, yn ol penderfyniad y ddwy Gymdeithasfa, er ffurfio Cyffes Ffydd, a Rheolau Dysgyblaethol, i'r holl Gyfundeb. Cymerodd hyn le Mawrth 13, 14, 1823. Cawn adrodd hanes yr amgylchiad pwysig hwn eto; ond y mae yn ddyddorol sylwi fod y Parch. John Roberts, a'i fab, y Parch. Michael Roberts, yn cydeistedd fel aelodau o'r pwyllgor; a thra anfynych y ceir tad a mab yn cael eu cydbenodi i waith o'r fath bwysigrwydd.

Cafodd y Parch. John Roberts oes faith, eithr ei ddyddiau yntau a nesasant i farw. Difynwn a ganlyn o *Drysorfa* Rhagfyr, 1834: "Dydd Llun, Tachwedd 3, 1834, bu farw y Parch. John Roberts, Llangwm, swydd Feirionydd, yn 82 mlwydd oed; wedi bod yn pregethu yr efengyl 55 o flynyddoedd yn mhlith y Methodistiaid Calfinaidd. Efe a ymunodd a'r gymdeithas eglwysig gyda y blaid grefyddol uchod pan oedd yn 16 oed, ac felly fe fu yn proffesu crefydd 66 o flynyddoedd. Fel aelod eglwysig yr oedd yn ei holl fywyd yn addurn i'r grefydd oedd yn broffesu; ac fel pregethwr yr oedd ei athrawiaeth yn iachus, yn Ysgrythyrol, ac yn felus; ei lafur fu yn ddiorphwys, ac yn ddiflino yn ngwinllan ei Arglwydd hyd angau, a'i ddiwedd oedd tangnefedd, canys efe a hunodd yn yr Iesu. Pan ofynai ei anwyl fab iddo, ychydig oriau cyn marw, pa fodd yr oedd y frwydr yn troi yn ei ymdrech olaf ag angau, atebai: 'Mae y frwydr wedi ei henill er ys llawer dydd ar Galfaria. ' Llafuriodd lawer yn yr ardaloedd hyn (Llangwm, a'i chyffiniau) yn ystod y 25 mlynedd diweddaf o'i oes, mewn sefydlu ysgolion Sabbothol, adeiladu capelydd, planu eglwysi, &c.; ond dysgwylir yn fuan Gofiant am y gweinidog defnyddiol a'r sant enwog hwn, gan ei fod yn ddiweddar wedi ysgrifenu ychydig o'i brofiadau ei hun."

Nid ydym yn gwybod i'r cyfryw gofiant ymddangos. Diau mai wrth ei fab, y Parch. Michael Roberts, y dysgwylid; ond goddiweddwyd ef tua'r amser hwn gan ammhariad meddyliol, a wnaeth cyflawni y gorchwyl yn anmhosibl iddo. Eithr gwedi ei adfer i raddau yn y flwyddyn 1837, ysgrifenodd fywgraffiad byr; ond rywsut bu yr ysgrif yn nghudd yn mysg ei bapyrau am flynyddoedd, ac ni roddwyd hi i'r genedl, hyd nes y darfu i'r Parch. John Jones, F.R.G.S., Bethesda, ei chorphori yn ei gofiant i'r Parch. Michael Roberts ei hun, yn y flwyddyn 1883. Yn y desgrifiad a roddir yn *Y Drysorfa* o'r Parch. John Roberts, canfyddwn lafur cyson, a defnyddioldeb helaeth, yn fwy, efallai, na galluoedd gweinidogaethol o'r gradd flaenaf oll. Er y caffai yn fynych odfaeon toddedig, nid yw yn ymddangos ei fod yn gwbl gyfartal o ran dysgleirdeb doniau, a grym areithyddiaeth, i rai o'r gweinidogion enwog oeddynt yn cydoesi ag ef. Ar yr un pryd, camgymeriad fyddai edrych arno fel dyn o alluoedd cyffredin. Yr oedd ei wybodaeth gyffredinol helaeth, ei gydnabyddiaeth ddofn â gwirioneddau mawrion yr Ysgrythyr, y modd eglur yr ymdriniai a'i fater, a'r tynerwch, yn nghyd â'r melusder a nodweddent ei weinidogaeth, yn mron yn ddieithriad, yn peri ei fod yn dra chymeradwy trwy yr holl gynulleidfaoedd. Cysegrodd yntau ei holl alluoedd i'r efengyl; llafuriodd yn galed mewn amser ac allan o amser; bu yn dra defnyddiol mewn amryw ganghenau o'r gwaith, ac y mae enw John Roberts, Llangwm, yn perarogli yn mysg y Tadau hyd y dydd hwn.

Yn yr un *Drysorfa* ceir yr adroddiad canlynol am ei gladdedigaeth: "Nos Fercher, o flaen claddu, yn yr addoldy gerllaw ei dŷ, pregethodd y Parch. J. Davies, Nantglyn, ar 2 Tim. iv. 6, 7, 8. Dranoeth, am 10, yn yr un addoldy, pregethodd y Parch. Thomas Ellis (Annibynwr), ar Heb. xiii. 7, a J. Davies ar 1 Cor. xv. 58. Yna hebryngwyd ei ran farwol gan dyrfa liosog i fynwent Llangwm, lle y gorphwys hyd foreu caniad yr udgorn."

# PENOD XXVI.

——:o:——

## THOMAS FOULKES, MACHYNLLETH; DAFYDD CADWALADR; AC ERAILL.

*Argyhoeddiad Thomas Foulkes wrth wrando John Wesley—Yn dychwelyd i'r Bala, ac yn ymuno a'r Methodistiaid—Ei betrusder gyda golwg ar athrawiaeth parhad mewn gras—Yn cael tawelwch trwy Mr. Charles—Mr. Foulkes yn dechreu pregethu—Ei lafur gyda'r efengyl yn Sir Feirionydd—Yn cael ei daflu i'r afon yn Maentwrog—Yn pregethu yn gyntaf yn Llanarmon-Dyffryn-Ceiriog—Ei briodas a merch Simon Lloyd, Ysw.—Yn symud i Fachynlleth—Methodistiaeth yn Machynlleth yn adfywio mewn canlyniad—Haelioni diderfyn Mr. a Mrs. Foulkes—Ei farwolaeth—Genedigaeth a maboed Dafydd Cadwaladr—Ofn y farn—Yn ymroddi i ddarllen—Clywed pregethwr Methodistaidd am y tro cyntaf—Dafydd Cadwaladr yn symud i fyw i gymydogaeth y Bala—Mewn petrusder rhwng Crist a Mahomet—Y cyfamod—Ei weddiau rhyfedd—Cynyg pregethu yn Ngherig-y-druidion, ond yn methu—Cychwyn drachefn yn mhen dwy flynedd—Nodwedd ei weinidogaeth—Ei hynodrwydd fel cerddor ac fel cofiadur—Ei brofedigaethau gyda'r efengyl—Ei ffyddlondeb i'w gyhoeddiadau—Diwedd ei oes—John Jones, Bodynolwyn—Evan Evans, Waenfawr—John Griffith Ellis, Lleyn.*

ER nad yw yn ymddangos fod Mr. Foulkes yn rhyw enwog iawn fel pregethwr, nac iddo argraffu ei ddelw yn ddwfn ar y Cyfundeb, haedda, ar lawer cyfrif, le parchus yn mysg y rhai a fuont yn offerynol i sefydlu Methodistiaeth yn Ngwynedd, ac y mae ei goffadwriaeth yn perarogli yn hyfryd hyd y dydd hwn. Cafodd ei eni yn y flwyddyn 1731; felly, yr oedd yn fachgen naw mlwydd oed pan yr ymwelodd Howell Harris gyntaf a'r Bala, yn 1740, a gallai gofio yr amgylchiad, a'r erlid a fu ar y Diwygiwr yn yr un dref y flwyddyn ganlynol. Amaethwyr, yn mhlwyf Llandrillio-yn-Edeirnion, yr hwn a orwedda rhwng Corwen a'r Bala, oedd ei rieni; dywedir eu bod o haniad Normanaidd, i'w hynafiaid ddyfod trosodd i'r wlad yma gyda William y Gorchfygwr, ac mai Normanaidd yw yr enw Foulkes, neu Faulkes. Anwybodaeth a lenwai y wlad pan oedd Thomas Foulkes yn llanc; a chafodd yntau ei ddwyn i fynu yn gwbl ddigrefydd. Ychydig o addysg fydol a gafodd, prin digon i'w alluogi i ddarllen ac ysgrifenu ychydig; yr oedd hyny yn llawn cymaint ag a arferai plant amaethwyr gael yr adeg hono.

Pan oddeutu tair-ar-hugain oed aeth i weithio i gymydogaeth Caer, a chlywodd John Wesley yn pregethu. Ni wyddis yn iawn yn mha le, oblegyd nid yw yn ymddangos ddarfod i Mr. Wesley, yn ol ei ddyddlyfrau, fod yn agosach at Gaer yn ystod y blynyddoedd hyny na Manchester, Warrington, a Liverpool. Bu gweinidogaeth Wesley yn foddion i'w ddeffro o'i gysgadrwydd ysprydol, ac i beri iddo deimlo ei fod yn bechadur colledig; ond yr oedd yn hollol anwybodus am drefn Duw i achub trwy Grist. Daeth yn ganlynol i gydnabyddiaeth â gŵr ieuanc, o'r enw Robert Roberts, mab i amaethwr yn Upton, pentref gerllaw Caerlleon. Yr oedd y gŵr ieuanc hwn yn gwybod rhywbeth am grefydd, a bu gwedi hyny yn weinidog llafurus yn y Cyfundeb Wesleyaidd. Eglurodd Robert Roberts iddo hyd y medrai drefn yr efengyl ar gyfer pechadur, a chymerodd ef i wrando i gapel y Wesleyaid yn Nghaerlleon, yr hwn a gyfenwid "Capel Octagon." Yma, yn ol ei dystiolaeth ef ei hun, y cafodd ei gymodi â Duw. Cymerodd hyn le Mehefin, 1756. Buasai yn fawr ei drallod yn flaenorol; ceisiai ddyfod i fynu ar dir y ddeddf a hunan-gyfiawnder, ond methai; a methai hefyd roddi ei hunan i fynu i'r Gwaredwr. "Yr oedd credu yn yr Arglwydd Iesu Grist," meddai, "mor anhawdd i mi ag a fuasai symud un

o fryniau fy ngwlad enedigol; ond wedi taer a gwresog weddïo ar Dduw pob gras, galluogwyd fi, trwy ddwyfol ras, i roddi fy holl ymddiried ynddo ef, yr hwn sydd yn gweithio mewn dyn ewyllysio a gweithredu o'i ewyllys da ef." Dywedai yn ganlynol fod "credu mor hawdd iddo ag anadlu." Wedi dyfod i ryddid gogoneddus yr efengyl, ymunodd a'r gymdeithas Wesleyaidd a gyfarfyddai yn Neston, pentref cymharol fychan o fewn ychydig filltiroedd i Gaer.

Nis gwyddom pa hyd yr arhosodd yn Lloegr, ond yn mhen amser cyfododd awydd arno am ddychwelyd i'w wlad enedigol, a gwnaeth ei gartref yn y Bala. Nid oedd achos gan y Wesleyaid yn y Bala; ond yr oedd yno seiat berthynol i'r Methodistiaid; ac yn eu plith hwy, er nad oedd yr aelodau ond ychydig mewn rhif, a thlodion eu hamgylchiadau, y bwriodd Thomas Foulkes ei goelbren. Ar lawer cyfrif, gwell oedd ganddo ymuno â hwy nag a'r Ymneillduwyr oedd yn y dref. Fel y Wesleyaid, galwent eu hunain yn Fethodistiaid; yr oedd ffurf y weinidogaeth yn eu mysg yn deithiol; cynhalient gymdeithasau neillduol i ymdrin â phrofiadau ysprydol; proffesent ymlyniad mawr wrth yr Eglwys Sefydledig, ac ni dderbynient y cymun bendigaid o law neb, oddieithr offeiriad urddedig. Iawn cydnabod ddarfod i Mr. Foulkes barhau rhyw fath o gysylltiad a'r Wesleyaid tra fu byw. Dywed y Parch. David Young* yr ystyriai ei hun hyd y diwedd yn aelod o gymdeithas y Wesleyaid yn Nghaer, er mai gyda y Methodistiaid yr addolai ac y llafuriai, oblegyd cyfleustra. Prin y tybiwn fod hyn yn gywir; gwnaeth ei gartref yn hollol ddedwydd yn mysg y Methodistiaid; ymddangosai fel yn cymeradwyo eu trefniadau a'u hathrawiaethau, ac nid oedd arno awydd, fel y cawn ddangos eto, am weled y Wesleyaid yn sefydlu cymdeithasau yn Nghymru, eithr yn hytrach ofnai hyny, rhag peri dadl a rhwyg. Bu y pwnc o sicrwydd ffydd yn ei flino am rhyw hyd. Deil y Wesleyaid fod sicrwydd o'i gadwedigaeth yn fraint gyffredin pob dyn duwiol; nas geill neb fod yn ffafr Duw heb wybod hyny, ac felly, cefnogant eu haelodau, yn eu cymdeithasau neillduol, i broffesu sicrwydd dibetrus. Deil y Methodistiaid hwythau ei fod yn bosibl i'r credadyn esgyn i dir sicrwydd, ac y dylai ymdrechu ei gyrhaedd; ond daliant hefyd mai braint arbenig y Cristion llafurus yw medru dweyd: "Mi a wn i bwy y credais;" ac felly yn eu cymdeithasau neillduol, tueddant at fod yn ofnus a phetrusgar, gan gynghori yr aelodau i wylio rhag rhyfyg.

Yn ei betrusder agorodd Thomas Foulkes ei fynwes i Mr. Charles, a chymerodd yntau drafferth i ddarllen a meddwl cyn ateb. Y mae yr atebiad yn awr ar gael, a dengys y craffder, y ddirnadaeth, a'r cymhesuredd, am ba rai yr oedd y Doethawr o'r Bala mor enwog. Y mae yr ysgrif yn faith; rhaid i ni ymfoddloni ar ddifynu ychydig o honi: "Ffydd achubol," meddai Mr. Charles, "yw, 1. Perswadiad llawn o holl ddigonolrwydd cyfiawnder ac iawn Crist, wedi ei weithio gan Yspryd Duw yn nghalon pechadur, wedi ei sylfaenu ar dystiolaeth eglur Gair Duw. 2. Cynwysa gyda hyn, trwy yr un Yspryd, gydsyniad ac ymroddiad y galon iddo, gan ymddarostwng i gyfiawnder Duw, a gollwng ei afael o bob peth arall. Tybiwyf nas gellir chwanegu dim at hyn heb ddryllio natur ffydd; yr hyn yw, myned allan o honom ein hunain, ymwrthod â'n cyfiawnderau ein hunain, a'n derbyn gan Dduw o'i drugaredd ef yn *unig*. . Os chwanegwch ddim at yr hyn a ddywedir am ffydd gyfiawnhaol, nid ymddangosai ei bod o ras. Os chwanegwch sicrwydd ati, gwnai hwn, yn gymaint a'i fod yn rhywbeth ynom ni, i ni edrych yno (sef i ni ein hunain) am gymeradwyaeth; tra y mae ffydd, fel ei darluniwyd, yn edrych allan o honom ein hunain, yn hollol ar Grist, am gymeradwyaeth. . . Yn awr, yr wyf yn meddwl nad yw ffydd i'w hadnabod yr un ffordd arall ond trwy ei ffrwythau a'i heffeithiau. Ffrwyth uniongyrchol ffydd yw cariad. Y maent wedi eu huno yn nghyd, a hyny nid unwaith, ond bob amser. Nis gall chwaith fod dim cariad dwyfol ond sydd yn tarddu o'r ffydd hon. 'Yr ydym ni yn caru Duw am iddo ef yn gyntaf ein caru ni.' Yr wyf yn deall cariad yn ystyr helaeth y gair, fel cydymffurfiad yr enaid â Duw, yr hyn sydd yn dilyn yn ebrwydd y weithred o gredu yn gyfiawnhaol, fel y mae y dyn yn cael ei sancteiddio trwy ffydd yn Nghrist. Fel y cynyddo ffydd, y mae ein cydymffurfiad â Duw yn cynyddu yn gyfatebol, a ffrwythau yr Yspryd yn helaeth ddangos eu hunain o'n mewn. Ac y mae yr effeithiau cynyddol hyny o ffydd yn rhoddi i ni *sicrwydd cynyddol* o'n bod yn wir gredinwyr, neu yn wir Gristionogion. Yn ol fy nhyb bersonol i, y mae pob drychfeddwl arall o'n sicr-

* *History of Welsh Methodism.*

wydd yn tueddu i newynu a thrallodi yr enaid, neu yn arwain i ryddid y cnawd. A'r rheswm paham y mae llawer yn drallodus, anghysurus, ac anffrwythlawn, holl ddyddiau eu bywyd, yw, mewn rhan, yr wyf yn credu yn ddiysgog, oblegyd nad ydynt yn ceisio bywyd a heddwch yn ffordd Ysgrythyrol Duw, trwy fod o feddylfryd ysprydol, a thrwy farweiddio gweithredoedd y corph trwy yr Yspryd. Y maent yn byw mewn difrawder, dan lywodraeth diogi ysprydol, gan ddysgwyl na wyddant beth; rhyw gynhyrfiad anghyffredinol, yr hwn na addawodd Duw erioed yn y dull y maent hwy yn dysgwyl. Deallwch fi yn dda, nid wyf yn meddwl wrth yr hyn a ddywedais nad yw Duw weithiau yn tori i mewn ar yr enaid mewn modd anarferol, ac yn llenwi y credadyn â llawenydd annhraethadwy a gogoneddus, ac yn rhoddi iddo, os goddefir i mi lefaru felly, sicrwydd amgyffrediadol uniongyrchol o fod ei bechodau wedi eu maddeu, a bod Crist a'i holl ddigonolrwydd anfeidrol yn eiddo iddo. Ond nid yw hyn i'w ddysgwyl yn gyffredin, ac i ymddibynu arno; canys yr ydym i rodio wrth ffydd ac nid wrth olwg."

Ymddengys i eglurhad goleu a chymhedrol Mr. Charles dawelu meddwl Mr. Foulkes, fel na flinwyd ef gan y pwnc drachefn. Gwedi bod am ryw dymhor yn y Bala, priododd Thomas Foulkes â merch i Griffith Sion, yr hwn, yn gystal a'i ferch, oedd yn aelod gyda y Methodistiaid. Ganwyd iddynt un mab, yr hwn a elwid Thomas. Bu ei wraig farw yn bur fuan, a gadawyd ef yn weddw gyda gofal y plentyn hwn. Arhosodd am beth amser gyda ei dad-yn-nghyfraith; eithr ymddygai yr hen ŵr yn bur galed ato, gan godi tâl uchel am ei le ef a'r plentyn, fel nad oedd ganddo pan yr ymadawodd ag ef ond deg swllt ar ei helw, gwedi talu ei ofynion. Bu y bachgen farw yn ei fabandod. Tua'r amser hwn dechreuodd Mr. Foulkes fasnachu mewn mân nwyddau; ac er mai prin oedd ei foddion ar y cychwyn, llwyddodd rhagluniaeth ef yn rhyfedd. Yr oedd yn y Bala ar y pryd wraig weddw, yn cadw maelfa, o'r enw Mrs. Jane Jones, gyda ei merch, Sarah. Yr oedd Mrs. Jones yn gysurus ei hamgylchiadau, ac yn hynod am ei duwioldeb. Priododd Mr. Foulkes y weddw; cariodd y fasnach yn y blaen gydag yni; a daeth y ddau i gael eu hystyried yn fuan yn gyfoethog. Ni pharodd llwyddiant bydol iddynt anghofio crefydd; ymroddasant i wasanaethu yr Arglwydd. Heblaw cadw i fynu y weddi ddirgel, yr addoliad teuluaidd, a'r moddion cyhoeddus o ras, arferent fyned yn nghyd i weddïo i dŷ gwâg oedd ar y meusydd gerllaw. Yr oeddynt hefyd yn nodedig am eu haelfrydedd, a'u cydymdeimlad â'r tlawd. Am Miss Sarah Jones, llysferch Thomas Foulkes, priodwyd hi â'r Parch. Thomas Charles, ac felly hi a fu yn offerynol i ddwyn y gŵr enwog hwnw i drigianu i Ogledd Cymru, ac i'r Bala.

Gwedi ymuno â'r Methodistiaid ymroddodd Thomas Foulkes â'i holl egni i wasanaethu crefydd, ac yn bur fuan dechreuodd gynghori. Nis gwyddis yn iawn pa bryd; fel llawer o'r hen gynghorwyr, tebygol mai llithro yn raddol i hyn a wnaeth, bron heb yn wybod iddo ei hun. Nid oedd Cyfarfod Misol Sir Feirionydd wedi ei sefydlu, ond y mae yn bur sicr iddo gael ei anog i ymgymeryd â'r gwaith gan y frawdoliaeth yn y Bala, yn enwedig gan John Evans. Cymharol fychan oedd ei ddawn pregethu, a "chynghorwr" yr ystyriai ef ei hun hyd y diwedd. Ni fyddai dim dadleugar un amser yn ei bregethau; gras yr efengyl oedd ei hoff fater; wylai yn fynych wrth gyhoeddi gwirioneddau tyner y Beibl, ac yn neillduol wrth gyfeirio at y merthyron, yr hyn a wnelai braidd yn mhob pregeth. Eithr weithiau byddai rhyw ddylanwad neillduol yn cydfyned â'i weinidogaeth, nes gorchfygu yr holl wrandawyr. Yn ol *Methodistiaeth Cymru*, yr oedd efe a John Evans, y Bala, yn bresenol yn y Gymdeithasfa Fisol gyntaf a gynhaliwyd yn Sir Fôn, a bu y ddau yn pregethu. Meddai John Evans: "Cafodd pob un o honom gymhorth neillduol i lefaru, yn enwedig Thomas Foulkes, yr hwn a lefarodd gyda hwyl a melusder nefol, ar y geiriau yn Gen. xl. 9, 10. Rhagddywedodd yn hyf y byddai cynulliad pobloedd at yr Iesu, yr hyn sydd yn cael ei gyflawni yn y wlad o hyny hyd yn hyn." Y mae yn sicr fod yr odfa yn un neillduol o felus, oblegyd gŵr tra chymhedrol ei eiriau oedd John Evans.

Bu i Thomas Foulkes ran helaeth yn nygiad Sir Feirionydd dan ddylanwad yr efengyl. Meddai y *Traethodydd*: "Yr oedd ei ffyddlondeb yn ddiarhebol. Ni byddai tywydd, pa mor erwin bynag a fyddai i groesi mynyddoedd Cymru, yn foddion i'w luddias i gyflawni ei ymrwymiadau yn achos y Gwaredwr. Pregethai yn mhob man y caffai gyfleustra—ffermdai, bwthdai

bychain ar ochrau y mynyddoedd, a chyt-tiroedd, ysguboriau, ac yn aml iawn allan yn yr awyr agored. Codai yn foreu, o bedwar i bump yn yr haf, ac o bump i chwech yn y gauaf, yn enwedig ar foreuau Suliau, pan y byddai ganddo i fyned i gyhoeddiad lawer o filltiroedd, a chymerai fara a chaws yn ei logell yn fynych pan y byddai yn myned i leoedd tlodion. Anfynych yr elai nos Sadwrn, 'rhag pwyso ar y pethau tlodion,' meddai." Dyna fel yr elai y cynghorwyr cyntaf allan; tocyn o fara a chaws yn eu llogellau, yfed dwfr o ryw ffynhon ar lechwedd y mynydd, ar eu taith; bythynod gwael i letya ynddynt; dim tâl am lefaru ond a gaent yn eu mynwesau gan Dduw, ac yn fynych mewn ofn gan arswyd yr erlidwyr.

Y mae enw Thomas Foulkes yn gymmhlethedig a dechreuad Methodistiaeth yn Meirionydd. Cafodd lawer o'i erlid a'i gamdrin; ac aeth trwy anhawsderau a fuasent yn digaloni dyn cyffredin. Yr ydym wedi cyfeirio yn barod ato yn addaw myned i Bantycra, ger Dolgellau, i lefaru, a'r erlidwyr yn penderfynu ei ladd, a thaflu ei gorph i gors fawnog, fel y barnodd y brodyr yn ddoeth fyned i'w gyfarfod, a'i atal rhag myned yno. Dro arall, pregethai mewn ffermdy o'r enw Gwylan, yn nghymydogaeth Maentwrog. Pan ar ganol ei bregeth daeth yr erlidwyr i'r lle, gan ymaflyd ynddo ef, a Lowri Williams, Pandy-y-ddwyryd, am yr hon yr ydym wedi son yn flaenorol, a thaflasant y ddau i'r afon. Ni fu Mr. Foulkes lawer gwaeth, ond am Lowri Williams, niweidiwyd hi yn enbyd, trwy iddi ddisgyn ar gerig yr afon, ac aeth adref yn waed drosti, a bu yn methu codi o'i gwely am encyd o amser. Cyffrowyd Rowland Jones, mab Lowri Williams, gan y cam a wnaed a'i fam; anfonodd yr hanes at gefnder o gyfreithiwr oedd ganddo yn Llundain; ac ysgrifenodd hwnw lythyr at y foneddiges oedd wrth wraidd yr helynt, gan fygwth ei chospi yn llym oni roddai i fynu erlid y crefyddwyr. Cyrhaeddodd y bygythiad ei amcan. Hysbyswyd Rowland Jones, gan un o weision y foneddiges, fod llythyr y cyfreithiwr wedi cynyrchu braw a dychryn yn y palas. Gadawsid y llythyr ar y bwrdd yn y parlwr; felly cafodd y gwas gyfle i gofnodi ei gynwys, yr hwn oedd fel y canlyn: "Mrs. Griffiths:—Yr ydwyf yn clywed eich bod yn cyfodi yn erbyn y llywodraeth, trwy anfon eich gweision i labyddio eich cymydogion. Nid yw cyfraith Lloegr yn caniatau llabyddio neb, fel y gwnaethoch chwi â Thomas Foulkes a Lowri Williams, yn y Gwylan (yr amser a'r amser). Os myfi a glywaf eich bod eto yn parhau i erlid, myfi a fyddaf yn eich erlyn, ac a'ch cospaf i'r eithaf, er cymaint gwraig foneddig yr ydych yn tybio eich hun. Hyn oddiwrth Rowland Jones, cyfreithiwr." Dywedir i'r llythyr hwn roddi terfyn ar yr erlid yn nghymydogaeth Maentwrog.

Ymddengys mai Mr. Foulkes a fu y cyntaf i gynyg pregethu yn Llanarmon-Dyffryn-Ceiriog, ac fel hyn y bu. Yr oedd dau ŵr yn y gymydogaeth wedi dygwydd clywed naill ai Howell Harris neu Daniel Rowland. Cododd hyn awydd ynddynt am wrando yr efengyl drachefn. Daeth i'w clyw fod Cymdeithasfa yn y Bala, a phenderfynasant ill dau fyned yno. Erbyn cyrhaedd y Bala cawsant eu bod wedi camgymeryd yr amser, a'u bod wedi dyfod i'r Gymdeithasfa wythnos yn rhy gynar. Clywodd Mr. Foulkes am eu profedigaeth, gwahoddodd hwynt i'w dŷ, a chroesawodd hwy ag angenrheidiau bywyd. Holodd y gwŷr am hanes Llanarmon, a gofynodd a gai ef ddyfod yno i bregethu. Er methu cael y Gymdeithasfa dychwelodd y ddau ŵr dros y Berwyn, yn llawen eu hyspryd, am fod cyhoeddiad Thomas Foulkes ganddynt. Pan aeth y son ar led fod un o'r Methodistiaid yn dyfod yno i bregethu, cyffrowyd yr ardal trwyddi; penderfynwyd na ddylai peth o'r fath gael ei oddef, a gwnaed pob parotoadau ar gyfer rhwystro yr odfa. Deallwyd mai ofer fyddai ceisio cynal y cyfarfod fel y bwriedid. Eithr wedi gwrthod yr efengyl yn Llanarmon, agorodd drws iddi heb fod yn nepell, sef yn mhlwyf Llansilin, mewn ffermdy o'r enw Ty'n-y-fedw, lle y preswyliai brawd-yn-nghyfraith i un o'r gwŷr a fuasai yn y Bala. Yma y pregethodd Mr. Foulkes, a chafodd bob llonyddwch i lefaru. Yn ol *Methodistiaeth Cymru*, bu gan Mr. Foulkes ran yn nygiad y Parch. John Williams, Dolyddelen, i ryddid yr efengyl. Yr oedd efe ar y pryd dan argyhoeddiadau dyfnion; ceisiai enill ffafr Duw ar dir y ddeddf; ymdrechai adael pechod, ond teimlai mai y gelyn oedd gryfaf. Tra yr oedd ei fynwes yn llawn terfysg daeth Mr. Foulkes i'r plwyf i bregethu. Safai ar risiau cerig gyferbyn a drws Ty'r-llan. Bychan oedd dawn y pregethwr, ond yr oedd ei eiriau, ac yn arbenig ei ddull toddedig, yn cael dylanwad neillduol ar y gwrandawyr, ac ar John Williams, yn mysg eraill.

Heblaw ei lafur gyda chynghori a theithio, darfu i Thomas Foulkes, mewn undeb â John Evans, y Bala, wasanaethu crefydd a'i gydgenedl trwy y wasg. Arferai ddarllen llyfrau y ddau Wesley, a Whitefield, yn yr iaith Saesneg, a theimlai awydd ar i'w gydwladwyr gael mwynhau yr un fraint. Rhyngddo ef a John Evans cyfieithiwyd dwy bregeth o eiddo Charles Wesley i'r Gymraeg, ac argraffwyd hwy yn y Bala; un ar, "Deffro di, yr hwn wyt yn cysgu," &c.; a'r llall ar, "Bydd barod, Israel, i gyfarfod â'th Dduw." Yr oedd y pregethau hyn o duedd hollol ymarferol, heb gynwys unrhyw athrawiaeth ddadleugar. Cyhoeddasant hefyd: *Prif Physigwriaeth yr oesoedd gynt*, gan John Wesley; a *Rheolau a Threfniadau yr Unol Gymdeithasau, a sefydlwyd yn Llundain, Bristol, a lleoedd eraill*, o waith yr un gŵr. Ni roddwyd enwau yr awdwyr gwreiddiol wrth y cyfieithiad Cymreig o'r llyfrau rhag peri rhagfarn. Calfiniaid oedd crefyddwyr y Bala, a gallai enw y ddau Wesley eu rhwystro i gael y budd a'r lles ysprydol oddiwrth y llyfrau a allent dderbyn oni bai am hyny. Am y "Rheolau," diau mai cael mân eglwysi Gwynedd i drefn oedd amcan eu cyhoeddiad. Tebygol fod y rheolau a gawsent eu ffurfio gan Howell Harris yn nechreuad y diwygiad allan o argraff, neu ynte nad oedd y ddau bregethwr o'r Bala yn gwybod am danynt, ac felly, fel y peth goreu dan yr amgylchiadau, cyhoeddwyd y trefniant i'r seiadau a barotoasid gan John Wesley.

Bu farw Mrs. Foulkes Hydref 26, 1785, a chafodd yntau ei adael unwaith eto yn ŵr gweddw. Yr oedd ei lysferch, Sarah, wedi priodi a'r Parch. Thomas Charles ddwy flynedd yn flaenorol. Ffynai cariad cryf rhyngddo â Mrs. Charles; teimlai y naill at y llall yr un anwyldeb a phe buasai y berthynas rhyngddynt yn un naturiol, ac nid cyfreithiol. Gwedi marwolaeth ei wraig, bu yn preswylio gyda Mr. a Mrs. Charles am ryw hyd. Yna rhoddes ei fasnach i fynu iddynt hwy, ac ymneillduodd i fyw ar yr hyn oedd wedi gynilo, yr hyn a dybiai yn ddigonol i'w anghenion, yn gystal ag i'w alluogi i gyfranu yn helaeth yn ol ei dueddfryd at achosion crefyddol a dyngarol. Yn mhen tua dwy flynedd, cawn ef yn priodi unwaith eto, sef â merch i Mr. Simon Lloyd, Plas-yn-dref, Bala. Yr oedd Miss Lloyd yn wyres i'r hen gynghorwr Thomas Bowen, o'r Tyddyn, ger Llanidloes; a'i mam fuasai y cyntaf i fyned i Drefecca fel blaenffrwyth "teulu" Howell Harris. Teulu rhagorol oedd teulu y Tyddyn, a haedda fwy o sylw nag y mae wedi gael genym. Yr oedd Mrs. Bowen, gwraig y cynghorwr Thomas Bowen, yn un o'r rhai cyntaf yn Sir Drefaldwyn i gofleidio yr efengyl, ac yr oedd yn hynod mewn duwioldeb. Bu ei thŷ am flynyddoedd yn gartref i Fethodistiaeth; ac heblaw pregethu cyson, cynaliwyd ynddo amryw Gymdeithasfaoedd Misol. Yn nhŷ ei merch, yn y Bala, y treuliodd ddiwedd ei oes. Bu fyw i gyrhaedd henaint têg; ac elai i'r capel ar ei dwy ffon, gan gymeryd teisen yn ei llogell, fel y gallai aros yno rhwng yr odfaeon. Yr oedd ei merch hefyd, blaenffrwyth "teulu Trefecca," yr hon a briododd Simon Lloyd, Plasyndre, Bala, yn ddynes nodedig am ei chrefydd. Cafodd ei gadael yn weddw yn ieuanc, a chwech o blant heb eu magu; ond ymnerthodd yn y gras sydd yn yr Arglwydd, a magodd hwy oll yn grefyddol. Am ei merch hithau, a ddaeth yn wraig i Mr. Foulkes, nid oedd yn ol i'w mam na'i nain mewn crefydd a phrydferthwch cymeriad. Bu dan argyhoeddiadau llymion pan yn ferch ieuanc; gwyddai yn ei phrofiad am arteithiau anobaith; er darllen y Beibl gyda phob dyfalwch nis gallai sugno dafn o gysur allan o hono, mwy na phe byddai yn llyfr seliedig. Aeth i ymweled â modryb iddi a gyfaneddai yn Mhwllheli; ei phrif amcan wrth fyned oedd darllen hanes un Mr. Hart, yr hwn a brofasai drallod meddwl cyffelyb. Cafodd ryw gymaint o gysur wrth ddarllen y llyfr. Ar Sul y Pasc yr oedd cyhoeddiad William Davies, Castellnedd, yn nghapel Tymawr, yn Lleyn; aeth hithau yno, a than y bregeth llewyrchodd goleuni o'r nef ar ei hyspryd, a drylliwyd ei holl gadwynau. Ymgysegrodd yn y fan i fod yn eiddo i'r Arglwydd, a glynodd wrtho trwy gyfamod tragywyddol. Geneth ddeunaw oed, wedi cael addysg dda, ydoedd y pryd hwn. Am dymhor ar ol hyn bu yn nhŷ brawd i'w mam, a gyfaneddai yn Sir Frycheiniog, a thra yma daeth i gydnabyddiaeth a'r Iarlles Huntington, a'r Arglwyddes Ann Erskine, gan fod athrofa yr Iarlles yn Nhrefecca ar y pryd. Gwedi dychwelyd yn ei hol i'r Bala, elai yn aml i Langeitho, i wrando Daniel Rowland, a dywedai nad gormod ganddi fyddai myned i'r America i wrando y fath un. Yr oedd yn naw-ar-hugain oed pan y priodwyd hi â Mr. Foulkes.

Bu iddynt chwech o blant. Wrth

weled eu teulu yn lliosogi teimlai y ddau y dylent ymaflyd mewn rhyw fasnach drachefn; ni hoffent wneyd hyny yn y Bala, rhag drygu Mr. a Mrs. Charles, felly penderfynasant symud i dref arall. Ar y cychwyn tueddent at Ruthin, gan y deallent fod yno ddrws agored; eithr daeth gwas Mr. Charles atynt, yr hwn ar ei daith a fuasai yn aros noswaith yn Machynlleth, a desgrifioddd bwysigrwydd Machynlleth i Fethodistiaeth, fel tref yn gorwedd yn y canol rhwng Dè a Gogledd, ac felly yn debyg o fod yn dramwyfa lliaws o bregethwyr wrth deithio o'r naill dalaeth i'r llall. Trodd hyn y fantol yn eu meddwl, ac i Fachynlleth y daethant. Nid oedd unrhyw berthynas iddynt yn preswylio yn y dref, ac nid oeddynt hwythau namyn estroniaid; eto yn y rhagolwg ar y fantais a gaffent i wasanaethu yr efengyl, penderfynasant ymgartrefu yno.

Pan ddaeth Mr. a Mrs. Foulkes i Fachynlleth yr oedd yr achos Methodistaidd yn dra gwywedig; mewn tŷ gwag a gawsid ar brydles y cynhelid y cyfarfodydd crefyddol; ni chawsid hwnw ychwaith oni bai fod ei berchenog wedi methu ei osod ar ardreth; ond gwedi eu dyfodiad hwy newidiodd agwedd pethau yn fuan. Deallwyd fod y newydd-ddyfodiaid yn bobl o sefyllfa gymdeithasol barchus; enillodd Mr. Foulkes yn mron ar unwaith ymddiried y dref; yr oedd ei gymeriad diargyhoedd, ei onestrwydd masnachol, a'i haelioni diderfyn, yn drwydded uniongyrchol i ffafr y cyhoedd. Mewn canlyniad daeth y Methodistiaid, y bobl y perthynai iddynt, i fri. Trwy ei offerynoliaeth ef cafwyd tir i adeiladu capel arno yn heol Maengwyn, a chyfododd yr hen bererinion eu penau. Bellach meiddiai y crefyddwyr fyned ar hyd yr heol i'w cyfarfodydd; nid rhaid iddynt ymgripio yn llechwraidd y tu cefn i'r dref, tuag Aberhosan, a'r Glasbwll, fel yr arferent flynyddoedd cyn hyny. Parhaodd Mr. Foulkes i efengylu yr un fath a chynt. Elai i gymoedd mynyddig Sir Drefaldwyn a Sir Feirionydd foreu y Sabbath ar gefn ei geffyl, pa le bynag y caffai wahoddiad; cyhoeddai anchwiliadwy olud Crist i'r cynulleidfaoedd bychain fyddai wedi cydymgynull; ac os nad oedd ei ddawn yn fawr, byddai ei deimlad bob amser yn hyfryd, ac anaml y llefarai heb fod y dagrau yn treiglo ar hyd ei ruddiau. Nid oedd un lle yn rhy dlawd nac anhygyrch iddo, a byddai yn nodedig o gartrefol yn mysg y bobl. Y mae yn sicr i'w ddyfodiad ef i Fachynlleth nid yn unig fod yn godiad pen i Fethodistiaeth yn y dref hono, ond yn foddion adfywiad i'r achos crefyddol trwy yr holl wlad o gwmpas, ac nid oes ond goleuni y dydd diweddaf a ddengys faint y daioni a gyflawnwyd trwyddo, a maint ei wasanaeth i grefydd trwy yr holl ardaloedd. Hyd yn nod pan mewn gwth o oedran, teithiai yn fynych o haner cant i driugain milltir ar y Sabbath, rhwng myned a dychwelyd, a phregethai dair neu bedair gwaith, fel y byddai galw; ac nis gallai fod iddo, gan fod ei gartref yn glyd a'i amgylchiadau yn gysurus, unrhyw gymhelliad ond cariad at y gwaith, ac awydd am wneuthur daioni.

Gwenodd Rhagluniaeth arno o ran ei amgylchiadau bydol yn Machynlleth, a daeth yn un o ddynion cyfoethocaf y dref. Yr oedd ei ddiwydrwydd gyda ei fasnach yn gyffelyb i'w ffyddlondeb gyda ei grefydd. Gwedi llafur caled y Sabbath byddai ar ei draed yn foreu y Llun, a'i fasnachdy ef fyddai y cyntaf i agor. Ni fyddai yn amleiriog wrth brynu a gwerthu; un pris a ofynai, ac un pris a roddai. Yr oedd mor adnabyddus am hyn, fel y dywedai y masnachwyr yn ffeiriau Caer a Gwrecsam, wrth ei weled yn dynesu: "Yn awr, rhaid i ni ofyn y pris isaf i Mr. Foulkes." Meddai pobl y wlad ymddiried diderfyn yn ei onestrwydd, a'i gywirdeb manylaidd; gwyddent fod ei air yn gystal a *bond*. Dygai llawer o fân amaethwyr yr ardal yr ychydig arian a allent hebgor, iddo ef i'w cadw erbyn diwrnod angen; efe oedd eu banc cynilo; a pha bryd bynag y deuent i'w ceisio caent hwy yn ddidrafferth, yn nghyd a'r llôg. Yr ydoedd mor hael ag oedd o onest. Wrth fyned allan o'r tŷ i'w gyhoeddiadau cymerai gydag ef logellaid o geiniogau i'w rhanu i dlodion, ac i blant am beidio chwareu ar y Sabbath. Cymerai dlodion o'r heol, a welai yn wael eu gwisgoedd, i'w dŷ i'w dilladu a'r hyn a welai yn angenrheidiol arnynt, ac weithiau y cyfan oll o'r pen i'r traed. Rhanai yn flynyddol, ar ddiwrnod penodol, werth rhyw haner cant o bunoedd o wlanen a brethyn garw rhwng pobl anghenog, ac nid oedd hyny ond cyfran fechan o'i elusenau. Caffai ei dwyllo yn fynych, gan y tybiai bawb yn ddiddichell fel ei hunan. Arferid pob ystryw i dynu ar ei gydymdeimlad a'i dosturi. Deuai creaduriaid annuwiol, na fyddent un amser yn dyfod i swn efengyl, i'r capel pan fyddai Mr. Foulkes yno yn pregethu, ac ymwisg-

ent yn y carpiau gwaelaf y gallent ddod o hyd iddynt; a byddai yntau, yn niniweidrwydd ei yspryd, yn cyfranu â llaw ddiarbed, heb chwilio dim i'w gwir sefyllfa. Gellid meddwl mai perthyn i'r ysgolion carpiog yr oedd holl dlodion Machynlleth, tua'r amser y byddai efe yn myned i gyfranu ei roddion; gwisgai pob un am y gwaelaf, er creu gresyndod. Deuai rhai ato dan gochl perthynas grefyddol, gan ddadleu hawl i'w garedigrwydd ar y tir hwnw. "Cofiwch am danaf finau tua'r Nadolig yma, da Mr. Foulkes bach," meddai hen wrach o Dre'rddol. "Pwy ydych chwi, yr hen wraig?" ebai yntau. "Yr wyf yn un o honoch chwi," oedd yr ateb. "Un o honom ni, yr hen wraig;" ebai yn ol, "A ydych yn un o deulu y ffydd, dywedwch?" Yr oedd ef, o ran rhyddfrydigrwydd ei yspryd, yn ymgorphoriad o egwyddorion y Cynghrair Efengylaidd haner can' mlynedd cyn i'r Cynghrair ddyfod i fodolaeth.

* Yr oedd yn meddu serch angerddol at y Diwygwyr Methodistaidd, yn arbenig at John Wesley, ei dad yn yr efengyl. Yn ei ystafell wely yr oedd ganddo arluniau llawer o'r hen bregethwyr, ac hefyd arlun dychymygol o Mr. Wesley, yn cael ei gymeryd i fynu i'r nefoedd gan angelion. Wrth arwain dyeithriaid i'w hystafell wely, troai i mewn i'w ystafell ei hun, pwyntiai at y darluniai o un i un, ac yn y diwedd at ddarlun John Wesley, gan ddweyd, "Dano ef y cefais i fy argyhoeddi;" a mawr y boddlonid ef os rhoddai rhywun air o ganmoliaeth i'r gŵr da hwnw. O'r tu arall, digiai trwyddo os dywedai neb air anffafriol. Unwaith dangosai y darlun i'r Parch. John Jones, Edeyrn, gŵr nodedig am ei ffraethineb, a pharodrwydd ei atebion, a gofynai: "Beth dybiech chwi, John Jones, oedd eu meddwl yn ei dynu fel hyn, yn cael ei ddwyn gan yr angelion yn ei wisgoedd?" "O," meddai Mr. Jones, efallai o ddireidi, "dangos y mae i'r angelion gael cryn waith i lusgo John Wesley i'r nefoedd rywsut yn ei ddillad." Digiodd Mr. Foulkes, a syrthiodd ei wynebpryd. Yn fuan, daeth yno weinidog arall, yr hwn a ddeallai yn well sut yr oedd y gwynt yn chwythu. Aeth a hwnw fel arfer i'r ystafell, a dywedodd: "Dyna Mr. Wesley, beth yw eich barn am dano?" "O, dyn da, duwiol, llafurus, oedd Mr. Wesley," meddai y gweinidog. "Beth debygech chwi," gofynai Mr. Foulkes, "oedd yn eu meddwl yn ei dynu fel hyn, yn cael ei godi yn ei wn offeiriadol i'r nefoedd?" "Mi a feddyliwn, Mr. Foulkes, mai dangos y mae iddo fyned yno yn ei swydd." "Ydych chwi yn meddwl hyny," ebai yntau, gan sirioli drwyddo, a'i lygaid yn llenwi o ddagrau. "O ïe, dyn rhagorol oedd Mr. Wesley." Wrth ganu nos da'wch i hwnw, dywedir iddo roddi iddo gini pen rhaw, yn nghil ei ddwrn.

Yr oedd yn hoff hefyd o'r Cyfundeb Wesleyaidd; cyfranai yn helaeth bob blwyddyn at wahanol achosion perthynol i'r Cyfundeb hwnw; ac nid elai i Gaerlleon un amser heb ymweled a'r capel yn mha un y cawsai ei argyhoeddi. Eithr yr oedd wedi gwneyd ei gartref yn hollol gysurus yn mysg y Methodistiaid Calfinaidd, ac nid yw yn ymddangos i'r syniad am eu gadael gael llety yn ei feddwl am gymaint ag awr. Dywedai yn fynych: "Yr wyf yn bendithio Duw am gael lle yn ei dŷ, a chyda'r bobl yr wyf yn eu plith. Gyda hwy y dymunaf gael fy nghynal hyd y diwedd, a hoffwn i'm plant gartrefu yn eu mysg." Nid oedd y ffaith ei fod wedi dyfod yn Fethodist Calfinaidd trwyadl, o ran barn a theimlad, yn un rhwystr i ddyn mor ddiragfarn, ac mor llawn o gariad Cristionogol, a Mr. Foulkes, i deimlo anwyldeb at Gorph y Wesleyaid yn Lloegr. Ond pan y penderfynodd y Gynhadledd Wesleyaidd, tua'r flwyddyn 1800, sefydlu cenhadaeth yn Nghymru, gyrwyd ef i benbleth. Cafodd lythyr o'r Gynhadledd yn cynyg sefydlu gweinidog Wesleyaidd yn Machynlleth, gan dybio yn ddiau y byddai hyn yn hollol gymeradwy ganddo. Bu mewn cryn ddyryswch meddwl am ychydig; nid oedd am adael y bobl y llafuriasai yn eu mysg am rai degau o flynyddoedd; ofnai i ddadleuon gyfodi, a theimladau anghristionogol gael eu cynyrchu; ac y gwnelai y genhadaeth fwy o niwed nac o les. Wedi hir a dwys fyfyrdod, a lledu y mater gerbron Duw, penderfynodd beidio ateb y llythyr. Ni chlywodd son pellach am hyn hyd yr wythnos cyn ei farwolaeth, pan y galwodd dau o'r gweinidogion Wesleyaidd, a benodasid i ddechreu yr achos yn Nghymru, yn ei dŷ, sef y Parchn. Owen Davies, a John Hughes. Wrth hysbysu pwy oeddynt, dywedent: "Yr ydym yn tybio, syr, y gwyddoch rywbeth am danom." Atebai yntau yn ei ddull chwareus: "Ni wn i

* *Y Traethodydd.*

ddim da am danoch; deuwch i mewn, foneddigion." Cawsant bob croesaw ganddo, a threfnwyd y ddau i bregethu dranoeth, am ddeg o'r gloch, yn nghapel y Methodistiaid. Testun y Parch. Owen Davies oedd: "Canys byw i mi yw Crist, a marw sydd elw." Cyn gorphen y bregeth cymerwyd Mr. Foulkes yn glaf, a bu raid iddo fyned allan yn mraich ei wraig. "Gobeithio na ddaethum i bre-



MRS. FOULKES,

PRIOD THOMAS FOULKES, MACHYNLLETH.

[*Nid oes darlun o hono ef ar gael.*]

gethu eich pregeth angladdol, syr,' meddai Mr. Davies, gwedi iddo ddychwelyd, wrth ei weled yn edrych mor wael. "Os do," ebai yntau, "mi a wn i bwy y credais, ac y mae marw yn elw." Gorphenodd ei yrfa y dydd Sadwrn canlynol. Yr oedd ei gynhebrwng yn un o'r lliosocaf a welwyd erioed yn Machynlleth. Y nos o'r blaen pregethodd John Evans, y Bala; a thranoeth, y Parch. Thomas Charles, ar yr heol o flaen y tŷ, oddiar Matthew xxv. 23: "Ei Arglwydd a ddywedodd wrtho, Da, was da a ffyddlawn: buost ffyddlawn ar ychydig, mi a'th osodaf ar lawer: dos i mewn i lawenydd dy arglwydd." Ac felly y rhoddwyd gweddillion y gŵr rhagorol hwn i orwedd yn y ddaear yn nghanol galar cyffredinol.

Yr ydym wedi awgrymu nad oedd yn helaeth ei ddoniau, ond yr oedd yn wresog ei yspryd, ac yn dyfal barhau mewn gweddi. Anfynych yr elai ei wraig, neu un o'r morwynion, i'w lyfrgell, na byddai yn ymdrechu â Duw mewn ymbiliau. Mewn ymroddiad diflino, ffyddlondeb diball, a gwroldeb i orchfygu anhawsderau, ni ragorwyd arno gan un o'r Tadau Methodistaidd. Nid oes ond goleuni y dydd

diweddaf a ddengys faint y gwasanaeth a gyflawnodd dros Grist yn Ngwynedd. Yn ol ei ddymuniad, glynodd ei blant a'i ŵyrion, a'u plant hwythau, wrth y Cyfundeb Methodistaidd, a cheir disgynyddion iddo yn golofnau dan yr achos y dydd hwn.

Gŵr tra gwahanol i Mr. Foulkes, ar amryw gyfrifon, oedd Dafydd Cadwaladr. Yr oedd yn deithiwr mawr; nid oes nemawr bentref na chwmwd yn y Dywysogaeth lle na bu yn pregethu; ac felly yr oedd lawn mor adnabyddus yn y Deheudir ag yn Ngwynedd. Perthynai i'r ail dô o bregethwyr, a dau gapel oedd yn yr oll o Feirionydd pan y cychwynodd ef ar ei weinidogaeth. Yr oedd yn fab i Cadwaladr a Chatherine Dafydd, o'r Erw Ddinmael, plwyf Llangwm. Cafodd ei eni yn y flwyddyn 1752. Ychydig o seiadau oedd gan y Methodistiaid yn Ngwynedd yr adeg yma; yr oedd y rhai hyny yn annhrefnus ac yn rhanedig, oblegyd yr anghydfod a godasai rhwng Rowland a Harris. Gellid meddwl fod y diwygiad wedi ei barlysu; ac mewn ychydig leoedd yn unig, pell oddiwrth eu gilydd, y byddai pregethu. Fel bron yr oll o'u cymydogion, yr oedd rhieni Dafydd Cadwaladr yn hollol ddiofal am y pethau a berthynent i'w heddwch; aent ryw unwaith yn y mis i eglwys y plwyf, lle na fyddai dim pregethu; a chwedi i'r offeiriad garlamu ar frys gwyllt dros y gwasanaeth, aent allan yn gymysg â'r gweddill o'r gynulleidfa, gan deimlo eu bod wedi cyflawni i fanylrwydd yr oll a ofynai Duw ganddynt. Daeth ef, modd bynag, dan argraffiadau crefyddol yn dra ieuanc, pan rhwng pedair a phump oed. Fel hyn yr adroddai ef yr hanes wrth ei ferch: "Dygwyddodd unwaith," meddai, "dymhestl arswydus o fellt a tharanau, pryd y daeth fy mam i'r ystafell y cysgwn ynddi, gan wylo yn hidl, ac adrodd yn brysur y Pader, y Credo, a rhan o'r Litani: 'Duw Dad o'r nef, trugarha wrthym, wir bechaduriaid.' A chan na welswn y fath beth o'r blaen, gofynais iddi pa beth oedd arni. 'O, fy machen,' meddai hithau, 'gâd lonydd i mi weddïo Duw, canys y mae arnaf ofn fod dydd y farn wedi dyfod.' Hyn a'm dychrynodd inau yn ddirfawr, a dechreuais weddïo i'w chanlyn, a dyna y pryd y darfu i mi ddysgu y Pader a'r Credo. Peidiai fy mam a gweddïo pan beidiai y mellt a'r taranau; ond myfi a barhawn am rai wythnosau, nes o'r diwedd y gorfu i mi dewi trwy i fy nhad ddyfod a fy chwipio. Wedi hyny awn ar fy mhen fy hun, a llefwn: 'Duw Dad o'r nef, trugarha wrthym, wir bechaduriaid,' nes yr oedd y cymydogion yn meddwl fy mod wedi colli fy synwyrau. Pa fodd bynag, yr wyf yn meddwl hyd heddyw ddarfod i'r Arglwydd, y pryd hwnw, wrando arnaf, greadur tlawd, a thrugarhau wrthyf."

Yn yr adroddiad hwn gwelwn fod Dafydd Cadwaladr, pan yn blentyn, yn hynod am nerth ei gôf, gan iddo ddysgu yr oll o'r Pader a'r Credo, ac yn ol pob tebyg ranau o'r Litani, wrth glywed ei fam yn myned drostynt yn frysiog yn nghanol ystorm o fellt a tharanau. Yn hyn yr oedd y plentyn yn dad y dyn. Ymddengys na fedrodd byth ymddiosg yn hollol oddiwrth yr argyhoeddiadau a gynyrchwyd ar ei feddwl; llenwid ei yspryd plentynaidd yn aml â dychryn angau a'r farn.* Gosodai ryw arwyddion iddo ei hun er penderfynu pa un ai yn y nefoedd ynte yn uffern y byddai ar ol marw, megys penodi ar bolyn mewn gwrych i daflu ceryg ato; os tarawai y gareg y polyn cai fyned i'r nef, ond os methai, i uffern y disgynai. Ymgasglai amryw o'r cymydogion i dŷ ei dad hirnos gauaf, yn ol arfer y wlad, i wau hosanau, ac i adrodd chwedlau; a difyrai y tad y cwmni cynulledig yn aml trwy ganu cerddi, at yr hyn beth y meddai gryn ddawn. Byddai Dafydd fychan yn ei wely yn clustymwrando, ac os dygwyddai un o'r cerddi gynwys cyfeiriad at y farn, byddai yn crynu gan fraw nes ysgwyd y gwely.

Nid oedd addysgu plant yn arferiad yr adeg hono, ac felly ni chafodd Dafydd Cadwaladr awr o ysgol erioed. Er hyn, dysgodd ddarllen mewn ffordd dra rhyfedd. Arferai, yn adeg ei blentyndod, gynorthwyo ei frawd i fugeilio defaid ei dad; a thrwy graffu ar y llythyrenau oeddynt wedi cael eu hargraffu a phyg ar gefn y defaid daeth i adnabod ffurf llawer o lythyrenau y wyddor. Yn mhen ychydig, cafodd afael ar Lyfr Gweddi Cyffredin yr Eglwys, a thrwy astudio hwnw daeth i adnabyddiaeth o'r llythyrenau oll, ac i fedru sillebu a darllen. Deffrodd hyn awydd angerddol ynddo am lyfrau. Yr oedd rhywun yn y gymydogaeth yn berchen ar *Daith y Pererin* a'r *Bardd Cwsg*. Cafodd y llanc, Dafydd, fenthyg y ddau, a dysgodd hwynt oll ar ei gôf. Yr ydym wedi cyfeirio eisioes at yr arferiad, hirnos gauaf, i gymydogion ym-

* Ysgrif yn y *Traethodydd*, gan y Parch. Lewis Jones, y Bala.

gasglu at eu gilydd i ryw dŷ penodol i wau hosanau, ac i adrodd digrif hanesion, wrth y tân. Elai Dafydd i'r gwmnïaeth hon, ac adroddai ranau o "Weledigaeth Uffern" allan o'r *Bardd Cwsg*, neu rai o helyntion "Cristion" allan o *Daith y Pererin*, nes synu y bobl oedd wedi ymgasglu. Daeth galw mynych am ei wasanaeth; yr oedd y pethau a adroddai mor ddyeithr, ac mor wahanol i'r ystorïau penchwiban a glywsid mor fynych nes yr oedd pawb yn hyddysg o honynt; rhoddai yntau addewidion yn mhell yn mlaen i'r cyfryw gynulliadau, fel pe byddai bregethwr yn trefnu ei gyhoeddiad.

Pan o gwmpas pedair-ar-ddeg oed aeth i wasanaethu i balas Garthmeilio, lle yr arosodd am ryw chwech mlynedd. Yr oedd y teulu yn dra erlidgar, ac yn ffyrnig at y Methodistiaid. Eithr methai Dafydd ymryddhau oddiwrth ofn marw yn annuwiol, a dychryn y farn. Ar y Sul, ar derfyn y gwasanaeth yn yr eglwys, elai y gynulleidfa yn ei chyfanrwydd i gae gerllaw i chwareu pêl-law, neu bêl-droed; yr offeiriad fel rheol fyddai yn blaenori; a theimlai pawb ei fod yn fwy egniol gyda gweinidogaeth y bêl na chyda gweinidogaeth y Gair. Eithr methai y llanc, Dafydd, ymuno yn y chwareuyddiaeth; yn hytrach ciliai i'r coed, neu i ryw le dirgel, i ddarllen rhyw lyfr Cymraeg a ddygwyddai fod ganddo. Un Sul dygwyddodd i'r offeiriad, trwy ryw drwstaneiddiwch, roddi hergwd i'r bêl nes yr aeth i mewn trwy ffenestr parlwr Garthmeilio; ac er yn bur sicr na ddrylliwyd calonau yn yr eglwys, drylliwyd gwydr y ffenestr yn dipiau. Yn ffodus i'r gŵr parchedig nid oedd y teulu gartref ar y pryd; a boreu y Llun, gyda glasiad y wawr, bu raid i Dafydd fyned i'r Bala i gyrchu gwydrwr i adgyweirio y ffenestr. Ar y ffordd cyfarfyddodd a genethig, wylaidd ei hymddangosiad, ac aeth yn ymddiddan rhyngddynt.

Yn mhen ychydig meddai yr eneth: "Mi fûm i yn y seiat neithiwr."

"Seiat," meddai Dafydd Cadwaladr; "beth yw hono, dywed?"

"Pobl yn dyfod at eu gilydd i ddarllen, a gweddïo, ac i ymddiddan am bethau crefydd," meddai yr eneth.

"Yn mha le yr oedd y seiat?"

"Yn ein tŷ ni," oedd yr ateb.

Synodd arno yn ddirfawr; nid oedd wedi clywed am y fath beth erioed o'r blaen. Bu yr ymddiddan yn foddion i gynyrchu cydymdeimlad ynddo at y Methodistiaid, y rhai oeddynt yn wrthddrychau erledigaeth, ac yn cael eu cashau agos gan bawb. Deffrowyd ystyriaethau difrifol yn ei fynwes, fel y darfu iddo ar gefn y mynydd gwyllt droi at dâs o fawn, a syrthio ar ei liniau i weddïo. Cafodd ryw hyfrydwch anarferol yn nghyflawniad y ddyledswydd; ac ni pheidiodd a gweddïo o'r dydd hwnw allan. Hiraethai, bellach, am gyfleustra i glywed pregethwr perthynol i'r Methodistiaid. Y cyfle a ddaeth; a'r pregethwr oedd William Evans, y Fedw-arian. Cymerodd ei destun yn Efengyl Luc. Rhyfedd gan Dafydd Cadwaladr oedd ei glywed yn cymeryd ei destun yn Luc, yn lle yn y Beibl. Ni adwaenai efe yr un Luc, ond Luc yr amaethwr a breswyliai gerllaw, a methai ddeall pa gysylltiad allai fod rhwng hwnw a'r bregeth. Nid oedd wedi clywed na darllen am Luc yr Efengylwr, yr hyn a brawf ei fod yn dra anwybodus am y Beibl a'i gynwys. Ni chafodd y bregeth fawr gafael arno; eto caffai ryw gymaint o ddifyrwch wrth wrando. Eithr nis gwyddai pa fodd i wynebu adref; myned i'r odfa yn lladradaidd a wnaethai. Pe y gwybuasai y teulu fod yn ei fryd fyned i wrando ar un o'r Methodistiaid dirmygus, buasent yn sicr o'i rwystro. Gan faint eu hofn, lluniodd ryw anwiredd, gan feddwl dweyd hwnw. Ond ei gydwybod a'i tarawodd; ac ebai efe: "Na, ni ddywedaf gelwydd; adroddaf y gwir beth bynag a wnant i mi." Felly y bu, ac ni chafodd gerydd mor drwm ag y dysgwyliai. Yr oedd yr amser hwn fel rhwng dau dân; tynai dau ddylanwad cyferbyniol ef i wahanol gyfeiriadau. Teimlai ofn marw yn annuwiol, a chael ei fwrw i uffern; byddai ei gydwybod yn fynych yn aflonydd yn ei fynwes. O'r ochr arall, nid oedd wedi cefnu yn gyfangwbl ar anfoesoldeb. Byddai llygredigaeth y teulu annuwiol y preswyliai ynddo yn ei drechu, a thorai allan i dyngu ac i regu. Wrth ryw ddyn a gydweithiai âg ef, soniai yn barhaus am bechod, a nefoedd, ac uffern, a hyny gyda'r fath ddifrifwch, nes peri i'r dyn dristâu, a chwyno fod "Deio yn dweyd rhyw bethau wrtho ag oedd yn peri iddo anobeithio, ac nad oedd modd iddo allu gwneyd ei waith felly."

Tua'r amser yma, cymerwyd ef yn glaf o'r frech wen, a bu yn gorwedd yn nhŷ ei dad am chwarter blwyddyn. Yn ystod tymhor ei wellhad darllenodd y Beibl oll, o ddechreu Genesis hyd ddiwedd Datguddiad. Gwedi ei adfer, gwrthododd ddychwelyd i Garthmeilio, er y taer ddymunai ei

rieni iddo wneyd; nis gallai fyw yn hwy mewn teulu mor anghofus o Dduw'r nefoedd. Y lle yr aeth nesaf iddo oedd Nant-y-cyrtiau, o fewn rhyw bedair milltir i'r Bala. Yn bur fuan cafodd gyfleustra drachefn i wrando William Evans, o'r Fedw-arian, testun yr hwn oedd Gal. iii. 22: "Eithr cydgauodd yr Ysgrythyr bob peth dan bechod, fel y rhoddid yr addewid trwy ffydd Iesu Grist i'r rhai sydd yn credu." Yr oedd Dafydd Cadwaladr mewn gwell tymher i wrando y tro hwn, ac effeithiodd y bregeth yn ddwys arno. Dyma y pryd y llewyrchodd arno y gobaith cyntaf am fod yn gadwedig. Cawsai ei guro yn flaenorol yn nhrigfa'r dreigiau; ofnasai nad oedd gan Dduw drugaredd i'w fath ef; ond gwawriodd ar ei feddwl yr odfa hon fod modd ei achub yntau, er mor euog ac aflan ydoedd. Synai wrth weled y rhai oedd o'i gwmpas yn gallu gwrando mor ddifater. Bellach, ymroddodd i wrando pregethu; elai yn fynych i'r Bala foreu y Sul, ac arhosai yno trwy y dydd. Weithiau, ymprydiai o foreu hyd hwyr; bryd arall, elai ganol dydd at ddrws tŷ rhywun, y tybiai ei fod yn garedig, i gardota ychydig luniaeth. Yr oedd y pryd hwn, hefyd, yn ddyfal iawn gyda darllen a gweddïo. Prynai ganhwyllau, a threuliau y rhan fwyaf o'r nos uwch ben ei lyfrau, a darllenai nid yn unig y Beibl, ond pob llyfr Cymraeg arall y gallai gael gafael arno. Darllenodd bedwar neu bump o lyfrau Pabaidd yr adeg hon, a medrai adrodd eu cynwysiad ychydig fisoedd cyn ei farw, yn mhen mwy na thriugain mlynedd gwedi eu darllen.

Eithr arweiniodd ei ddarllen ef i brofedigaeth. Cyfododd amheuaeth yn ei feddwl gyda golwg ar Mahomet a Christ, pa un o'r ddau oedd y goreu, a chrefydd pa un oedd y wirioneddol. Gwelai fod y ddau yn hawlio eu bod wedi dyfod oddiwrth Dduw, a chredai nas gallai ond un o honynt fod yn dweyd y gwir. Gwnaethai y llanc ei feddwl i fynu na dderbyniai unrhyw athrawiaeth fel gwirionedd heb ei chwilio hyd eithaf ei allu, gan y gwyddai, os caffai pwnc le yn ei gredo, mai nid hawdd ei gael oddiyno drachefn. Bu yn y brofedigaeth hon am o gwmpas haner blwyddyn; weithiau, gogwyddai ei farn o blaid Mahomet, wrth weled mor gyflym yr oedd ei grefydd wedi llwyddo, a'r fath nifer o wledydd eang oedd yn talu gwarogaeth iddo. Bryd arall, byddai ei dyb yn fwy ffafriol i Iesu Grist. Yr oedd yn anhawdd ganddo adrodd ei dywydd i neb; eithr o'r diwedd mentrodd agor ei fynwes i un o'r brodyr, a gofynai: "Pa beth sydd genym i brofi gwirionedd athrawiaeth Iesu Grist mwy nag eiddo Mahomet?" Yr holl ateb a gafodd ydoedd: "Yn wir, Dafydd, yr ydych yn ymwneyd â chwestiynau nad ydynt yn perthyn i chwi; yr ydych yn darllen gormod." Ni wnaeth yr ateb hwn ond ei wthio yn mhellach i'r gors. Gweddïai lawer yn yr achos; deisyfai ar iddo gael ei waredu rhag rhoddi cred i'r prophwyd twyllodrus, pa un bynag ydoedd. Er dyfod i benderfyniad hollol pa un o'r ddau oedd y gwir brophwyd, dechreuodd gymharu eu bywyd, bwynt wrth bwynt, ac nid hir y bu Mahomet cyn colli tir yn ei feddwl. Gwelai ef yn llygredig mewn amryw bethau, tra yr oedd bywyd yr Iesu yn dysgleirio fwyfwy wrth ei chwilio. Daeth yr adnod ganlynol gyda grym anorchfygol i'w feddwl: "Canys y cyfryw Archoffeiriad sanctaidd, diddrwg, dihalog, didoledig oddiwrth bechaduriaid, ac wedi ei wneuthur yn uwch na'r nefoedd, oedd weddus i ni." Terfynodd hyn y ddadl; penderfynodd unwaith am byth mai Iesu Grist yw y gwir brophwyd, ac mai ei grefydd ef yw yr oreu; yn wir, yr unig un gwerth ei dilyn. Teimlai gywilydd yn awr ddarfod iddo erioed amheu y bendigedig Iesu, ac iddo feiddio cymharu y fath berson gogoneddus a Mahomet aflan.

Pan oddeutu pedair-mlwydd-ar-bymtheg oed symudodd i'r Fedw-arian, at yr hen gynghorwr William Evans, ac nid hir y bu cyn ymuno â'r Methodistiaid yn y Bala. Yr adeg y daeth at grefydd gwnaeth y cyfamod canlynol â Duw, yr hwn a gafwyd, wedi ei ysgrifenu ganddo ef ei hun, ar wyneb-ddalen y gyfrol gyntaf o lyfr Gurnal, yr hon a argraffwyd yn 1775. Y mae yn bur sicr nad oedd yn bwriadu i neb ond Duw ddod i wybod am y cyfamod hwn.

"Y CYFAMOD.

"Myfi, Dafydd Cadwaladr, wyf y dydd hwn yn rhoddi fy hun i fod yn eiddo yr Arglwydd dros byth. Yn rhoddi fy enaid iddo i'w gadw a'i lywodraethu. Fy nghorph yn aberth iddo, fy nghalon i'w garu, fy nhafod i'w glodfori, fy amser i'w wasanaethu, fy aelodau yn arfau cyfiawnder iddo. Yn ei Berson mi a gredaf, yn ei waed mi a ymolchaf, yn ei ras mi ymnerthaf, yn ei Air mi fyfyriaf, ar ei ogoniant mi edrychaf, ar ei fynwes mi bwysaf, yn ei orchymynion mi rodiaf, yn erbyn pechod

mi ryfelaf, dan y groes mi ddyoddefaf, dros bob dyn mi weddïaf. Fel hyn yr wyf yn bwriadu byw i Dduw, ac ymddiried yn ei ddaioni ef yn unig am nerth a gras i gadw fy adduned. A rhag i mi byth alw fy ngeiriau yn ol, Duw Dad, Mab, ac Yspryd, angelion y nef, a chythreuliaid uffern, a'm cydwybod fy hun, a gaiff fod yn dystion ar fy nghyfamod. 'Hwn a ddywed, Eiddo yr Arglwydd ydwyf fi, a'r llall a'i geilw ei hun ar enw Jacob; ac arall a ysgrifena â'i law, Eiddo yr Arglwydd ydwyf, ac a ymgyfenwa ar enw Israel,' Esaiah xliv. 5. 'Ymdrecha hardd-deg ymdrech y ffydd; cymer afael ar y bywyd tragywyddol; i'r hwn hefyd y'th alwyd, ac y proffesaist broffes dda gerbron llawer o dystion,' 1 Tim. vi. 12. 'Tyngais, a chyflawnaf, y cadwn farnedigaethau dy gyfiawnder,' Salm cxix. 106. Cadw fi, O Dduw, rhag pob math o ryfyg a chyfeiliornad, a chadw fi bob amser yn agos atat. Bendith arnaf."

Efallai nad cywir dynodi yr ysgrif hon fel "cyfamod;" adduned o ymgysegriad ydyw yn hytrach; eithr dengys ddifrifwch meddwl mawr, ac hefyd gydnabyddiaeth eang â'r Ysgrythyr, mewn llanc nad ydoedd eto yn llawn ugain mlwydd oed. Ychydig mewn cymhariaeth sydd yn gwneyd adduned ysgrifenedig; ond y mae pob dyn duwiol "yn ei sancteiddio ei hun," ac yn ymgyflwyno i wasanaeth yr Arglwydd o ran penderfyniad meddwl.

Yr oedd Dafydd Cadwaladr cyn cael crefydd yn ddarllenwr mawr, bellach daeth yn weddïwr mawr. Meddai ddawn gweddi rhyfedd yn y cyhoedd; gweddïai gyda rhyw rym, egni, a hyawdledd anarferol; ond yr oedd ei weddïau dirgel yn fwy rhyfedd fyth. Weithiau, yn swyn y gymdeithas felus a fyddai rhyngddo a'i Dduw, ai yn hollol anymwybodol o amser, a threuliai nosweithiau cyfain ar ei liniau. Adroddai ei hun am ryw dro a ddygwyddodd arno pan yn y Fedw-arian. Ryw noswaith, tra y byddai y llymru yn oeri, aeth i roddi swper i'r gwartheg. Wedi gorphen hyny, meddyliodd am fyned i weddi am ychydig fynydau, ac i weddi yr aeth. Yno, collodd bob ymwybyddiaeth o amser; eithr wedi cyfodi oddiar ei liniau, er cael ei swper cyn myned i'w wely, synodd arno wrth gael y tŷ yn dywyll, a'r clo ar y ddôr. Edrychodd i fynu tua'r dwyrain, a gwelodd fod y wawr wedi tori, a'r dydd yn cyflym ddynesu. Yr oedd mewn anwybod wedi treulio yr holl nos ar ei liniau. Rhaid fod y dylanwadau ar ei yspryd, a barai iddo golli pob ymwybyddiaeth o'r byd am adeg mor faith, yn rhai grymus tu hwnt. Nid unwaith, ac nid dwy waith, meddir, y cymerodd peth o'r fath le. Ysgrifenai Mr. Robert Ellis, Tymawr, gŵr a'i hadwaenai yn dda yn nhymor cyntaf ei grefydd, am dano: "Yr wyf yn cofio y byddai yr hen frawd, Dafydd Cadwaladr, pan yn nechreuad ei grefydd, yn gweddïo llawer yn lle cysgu y nos. Clywodd y cymydogion ef lawer gwaith yn gweddïo am oriau. Wedi aros yn hir iawn, aent hwy i'w gwelyau, gan ei adael ef yn gweddïo. Yr wyf fi, a fy mrawd Thomas, a llawer eraill, yn dystion o'i glywed ddegau o weithiau. Hefyd, yr oedd ganddo leoedd penodol i weddïo ynddynt, megys y maen mawr ar gae y Fedw-arian, a'r hen feudy, &c." Dywed y Parch. Lewis Jones, y Bala, y gwyddai yntau am amrywiol leoedd ar dir y Fedw-arian, lle yr arferai Dafydd Cadwaladr weddïo; galwai y manau hyn yn allorau, ac yr oedd yn hoff o ymweled â hwy hyd ddydd ei farwolaeth. Nid melus ychwaith fyddai y weddi bob amser; nid anfynych byddai mewn ing enaid, ac mewn ymdrech a'r diafol. Credai, yn gywir neu yn anghywir, fod yr yspryd aflan weithiau yn ymrithio ger ei fron mewn ffurf weledig. Ond braidd bob amser caffai oruchafiaeth lwyr cyn cyfodi oddiar ei liniau.

Nid hir y bu gyda chrefydd cyn fod chwant pregethu arno, er ei fod tuag wyth-ar-hugain oed cyn iddo ddechreu. Eithr yn ystod y cyfwng hwn, credai fod gan Dduw rywbeth iddo i'w wneuthur dros ei enw yn y byd. Pan o gwmpas un-ar-hugain oed, cymerwyd ef yn glaf; mor glaf, fel y tybiai pawb, ond efe ei hun, y byddai farw yn fuan. Dywedodd y meddyg hyny wrtho. Ac meddai rhyw wraig dan wylo uwch ei ben: "Dafydd bach, yr ydych yn sicr o fod yn eich twyllo eich hun, chwi a fyddwch farw yn fuan, yn wir." "Na fyddaf yn fuan, yr wyf yn meddwl,' ebai yntau. Crediniaeth fod gan Dduw waith i'w gyflawni trwyddo cyn marw oedd sail ei hyder. Dywedai wrth y ddynes oedd yn gweini arno fod yn rhaid iddo gael dwfr oer i'w yfed; ofnai hithau ei roddi iddo, oblegyd gwaharddiad y meddyg; eithr mynu y dwfr a wnaeth, a gwellhaodd o'r awr hono.

Gan mor enwog ydoedd fel gweddïwr, ac hefyd fel darllenwr, cymhellai ei gyfeillion ef yn daer i bregethu. A ryw Sabbath yr

oedd cyhoeddiad John Evans, y Bala, i fod yn Llangwm, a Cherig-y-Druidion; ond nis gallai fyned iddo oblegyd afiechyd. Gan hyny anogodd Dafydd Cadwaladr, a Dafydd Edward, o'r Bala, i fyned i'r daith, i gadw cyfarfodydd gweddïo, gan eu cymhell yn ogystal i roddi gair o gynghor i'r bobl, os caent ryw beth ar eu meddyliau. Ar y ffordd tua Llangwm trefnasant i Dafydd Cadwaladr ddechreu y cyfarfod yno trwy ddarllen a gweddïo, a Dafydd Edward i bregethu. Ac felly y bu. Pan oedd Dafydd Edward yn llefaru cywilyddiai Dafydd Cadwaladr, a gofidiai yn ddwys gan mor wael oedd ei gydymaith yn traethu, a thybiai pe y buasai yn ei le, y gwnaethai yn llawer gwell. O Langwm aethant i Gerig-y-Druidion, ac yn ol y cytundeb, dechreuodd Dafydd Edward yno, a chynygiodd Dafydd Cadwaladr gynghori. Ond os gwael oedd yn Llangwm, yr oedd yn waelach yn Cerig-y-Druidion, ac ni chynygiodd Dafydd Cadwaladr ar y fath orchwyl drachefn am yspaid dwy flynedd. Eithr er iddo ddigaloni yn ddirfawr ni roddodd y bwriad o bregethu i fynu; yr oedd awydd cynghori pechaduriaid yn llosgi yn ei yspryd, ac yr oedd ei gyfeillion yn parhau i'w gymhell i wneyd cynyg drachefn ar y gorchwyl. Yn mhen tua dwy flynedd wedi y tro yn Ngherig-y-Druidion, a phan yr oedd yntau yn yr unfed-flwydd-ar-ddeg-ar-hugain o'i oedran, cafodd ei anfon gan Mr. Thomas Foulkes, o'r Bala, gwedi hyny o Fachynlleth, i Llandrillo, yn Edeyrnion, a phregethodd y Sabbath hwnw yn Llandrillo a Llanarmon, gyda mesur helaeth o rwyddineb. A phregethwr a fu mwy hyd ddydd ei farwolaeth.

Daeth yn fuan yn bregethwr nerthol, a thra phoblogaidd. Perthynai dwy nodwedd arbenig i'w weinidogaeth. Yn un peth yr oedd yn nodedig o daranllyd a bygythiol; bygythiai uffern â'i thân, a'r cythreuliaid â'u poenau, ar bechaduriaid mewn modd mor arswydus nes y gwelwai dynion cryfion yn ei bresenoldeb. Lluchiai fellt i fysg ei wrandawyr nes y crynent gan fraw. Yn nhymhor cyntaf ei weinidogaeth bygwth yr annuwiol oedd ei unig waith, gadawai i eraill dywallt olew a gwin i glwyfau; archolli oedd ei orchwyl ef, a gwnelai hyny mewn modd tra effeithiol. Yn nesaf, yr oedd ei bregethau yn hynod o Feiblaidd; byddai ganddo adnodau yn ddirif ar bob mater, ac adroddai hwy heb fethu mewn cymaint a sill. Wrth rybuddio yr annuwiol, a fflangellu gweithredwyr anwiredd, geiriau Duw ei hun a ddefnyddiai; adnodau y Beibl wedi eu cymhlethu a'u cordeddu a fyddai ganddo yn ddieithriad; ac y mae yn sicr fod a fynai hyn â'i lwyddiant. A byddai llewyrch ac awdurdod mawr yn aml yn cydfyned â'i bregethu. Meddai y Parch. Lewis Jones: "Credir, oddiar amryw dystiolaethau sydd ar gael, fod Dafydd Cadwaladr wedi bod yn offeryn i ddychwelyd cynifer o bechaduriaid at Dduw a nemawr un o'r holl genadau defnyddiol a gododd yr Arglwydd yn Nghymru yn yspaid y ganrif ddiweddaf."

Perthynai hynodrwydd mawr i Dafydd Cadwaladr, ar lawer cyfrif. Yr oedd ei gôf, fel y darfu i ni sylwi, bron yn ddiderfyn. Yr oedd wedi dysgu mwy o'r Ysgrythyr ar dafod leferydd na neb yn ei oes; ac ychydig mewn unrhyw oes a ddalient gystadleuaeth âg ef yn hyn. Pan yr oedd yn gymharol ieuanc clywodd ryw su y byddai Pabyddiaeth yn debyg o ddyfod yn oruchaf yn y deyrnas drachefn; mai canlyniad hyny fyddai llosgi yr holl Feiblau o fewn y wlad; ac na oddefid Gair Duw mewn unrhyw dŷ. Penderfynodd y gwnelai osod ei hun uwchlaw y gyfryw brofedigaeth. Felly dysgodd yr oll o'r Testament Newydd ar ei gôf, a'r rhan fwyaf o'r Hen Destament. Ni ysgrifenodd gymaint a gair o'i bregethau erioed, ac eto cofiai hwy yn hollol ddidrafferth. Yn gyffelyb gyda ei gyhoeddiadau, ni roddai yr un o honynt ar lyfr, ac eto nid oes hanes iddo erioed wneyd camgymeriad. Elai am fis o gyhoeddiad i'r Deheudir, a'r trefniant oll yn unig yn ei feddwl, ac wedi dychwelyd gwyddai, er cerdded ar hyd ac ar led, yn ol ac yn mlaen, pa sawl milltir fyddai wedi deithio erbyn cyrhaedd adref. Efe yn aml fyddai y Cofiadur yn y Gymdeithasfa. Ni chedwid cofnodau mor fanwl y pryd hwnw ag yn awr; felly byddai amheuaeth weithiau gyda golwg ar ryw benderfyniad a gawsai ei basio; a phan ddygwyddai hyny, y llys apelio oedd côf Dafydd Cadwaladr, dedfryd pa un fyddai yn derfyn ar bob ymryson. Yr oedd hynodrwydd arbenig hefyd yn ei weddïau. Ar ddiwedd cyfarfod eglwysig yn y Bala, collodd ei hun gymaint mewn ymdrech â Duw fel y darfu iddo barhau am dair awr, ac yr oedd yn tynu at haner nos pan y darfu iddo orphen. Gofynwyd iddo yn niwedd ei oes, gan ŵr ieuanc, a oedd hyn yn wir. Meddai yntau yn ol, "Nis gwn pa faint o amser a dreul-

iwyd, ond hyn a wn, nad aeth neb allan, canys yr oeddynt yno oll pan gyfodais oddiar fy nghliniau."

Yr oedd yn hynod hefyd fel cerddwr. Rhagorai llawer o'r cynghorwyr cyntaf mewn cerdded; teithient yn mhell ar eu traed, gan ddringo tros fynyddoedd uchel a chroesi cymoedd dyfnion, a hyny yn aml yn wlyb ac yn newynog; ond nid yw yn ymddangos fod neb o honynt i'w gystadlu yn hyn â Dafydd Cadwaladr. Teithiodd Gymru ar ei hyd ac ar ei thraws ddegau o weithiau. Yr oedd mor gydnabyddus yn Sir Fôn ag oedd yn Sir Feirionydd; adwaenai y Deheudir yn gystal a'r Gogledd; ond ar ei draed y byddai yn ddieithriad, a'r rhan fynychaf, yn nechreu ei weinidogaeth, mewn *clogs*. Pan yn was cyflog yn y Fedw-arian, efe a fyddai yr olaf i adael ei bladur nos Sadwrn, adeg cynhauaf gwair, a'r cyntaf i ymaflyd ynddi boreu dydd Llun, ac eto y Sul cydrhwng pregethai yn Penrhyn-deu-draeth a'r cylchoedd, pellder rhwng myned a dychwelyd o ddeng-milltir-a-deugain, a gwnelai yr holl daith ar ei draed. Fel esiampl o'i deithiau, dywedai: "Cychwynais o'r Penrhyn foreu Sabbath, a'm pastwn yn fy llaw; pregethais yn y Gwylan am wyth, yn Hendre-Wenllian am un-ar-ddeg, yn Beddgelert am dri, ac yn y Waenfawr am saith." Yr oedd hyn o leiaf yn bymtheg-milltir-ar-hugain, a thystiai na theimlai radd o flinder ar derfyn y daith, "o herwydd," meddai, "yr oeddwn yn iach a chryf y blynyddoedd hyny."

Parhaodd yn gerddwr gwych hyd yn nod wedi cyrhaedd henaint. Cyrhaeddodd Abermaw un prydnawn Sadwrn, a gofynai y wraig, yn nhŷ yr hon y lletyai, iddo am ei iechyd. Atebai yntau ei fod yn weddol; ond ei fod wedi blino. Ac ychwanegai: "Teimlais rywbeth heddyw na theimlais erioed o'r blaen, wrth ddyfod i fynu i riw Aber-amphrech, sef diffyg anadl, a gwendid mewnol."

"Pa faint yw eich oedran, Dafydd Cadwaladr?"

"Yr wyf yn ddeg-a-thriugain.'

"Pa faint ddarfu i chwi deithio heddyw?"

"Dim ond wyth-milltir-ar-hugain."

Cytunodd y ddau mai ammhariaeth henaint oedd y diffyg anadl a'r gwendid mewnol; ond teimlent braidd yn syn fod gŵr deg-a-thriugain yn cael ei oresgyn gan y cyfryw.

Bu mewn myrdd o brofedigaethau wrth deithio o gwmpas gyda'r efengyl; yr oedd y ffyrdd yn anhygyrch, caredigion yr efengyl yn anaml, ac yn mhell oddiwrth eu gilydd, fel mai trwy anhawsder yn fynych y llwyddai i gael rhyw fath o lety; ac yr oedd yr erlidwyr yn ffyrnig. Unwaith, pan ar ei daith i gwr pellaf Sir Feirionydd, daliwyd ef gan y nos, troes yntau at dŷ dyeithr iddo, yn nghymydogaeth Dolgellau, gan ddeisyf llety hyd y boreu. Gŵr y tŷ a ofynodd iddo: "Paham na cheisiech lety cyn iddi fyned mor hwyr?" Ond ebai, gan droi at ei wraig: "A oes yma le iddo?" "Nac oes yma," meddai hithau, "os na chaiff ef ran o dy wely di, Sionyn," gan gyfeirio at fachgenyn o was oedd yno. "Ni waeth gen i," ebai y bachgen. Ar hyn galwyd ef i mewn, ac eisteddodd yntau ar ben mainc yn ymyl y bwrdd.

"A fynwch chwi dipyn o laeth a llymry?" ebai y wraig.

"Diolch i chwi," meddai yntau; "byddai yn dda genyf ei gael, y mae cryn syched arnaf."

Yn mhen enyd, meddai gŵr y tŷ wrth yr hogyn gwas: "Dos tua'r gwely, Sionyn; y mae'r gŵr wedi blino."

"Mi fyddaf yn arfer," ebai y gŵr dyeithr, "bob amser gartref, ddarllen penod o'r Beibl, a myned ar fy nghliniau i weddïo gyda'm teulu, cyn myned i'r gwely. A gaf fi wneyd hyny heno?"

"Cewch yn rhwydd," ebai gŵr y tŷ.

Dygwyd y Beibl i'r bwrdd, a chwedi darllen penod aeth Dafydd Cadwaladr ar ei liniau, gan dywallt ei enaid allan gerbron yr Arglwydd. Deallodd y bobl yn fuan nad gŵr cyffredin oedd dan eu cronglwyd. Anfonwyd y gwas yn ddystaw i'w wely; cafodd y pregethwr yr ystafell oreu oedd yn y tŷ; a chododd y wraig yn ewyllysgar dranoeth, am bedwar o'r gloch y boreu, i barotoi lluniaeth iddo cyn ail gychwyn i'w daith.

Prawf yr hanes canlynol, a gafwyd o'i enau ef ei hunan, faint ei anhawsderau wrth deithio gydag achos yr efengyl, ac mor ddiegwan o ffydd ydoedd: "Yr oeddwn yn dyfod, meddai, "ar foreu Sabbath, o Aberdyfi i Lanegryn i bregethu. Pan oeddwn yn dyfod ar hyd y traeth tua Thowyn-Meirionydd, gwelwn ddyn yn dyfod i'm cyfarfod, a chan sefyll o fy mlaen, gofynodd i mi: 'Ai chwi yw y gŵr sydd yn myned i Lanegryn heddyw?' 'Ië,' atebais inau. 'Wel, fe'ch lleddir, yn sicr; y maent yn penderfynu gwneyd; a mi a

ddaethum yn un swydd i fynegu i chwi.' Yn sicr, yr oedd ei ddywediad yn hynod o effeithiol. Rhedai i'm meddwl yn ddiorphwys: 'Beth os mai rhagrithiwr wyf?* Yna, os lladdant fi, yn uffern y byddaf yn y fan.' Yna safwn enyd, ac ail-fyfyriwn, a disgynwn ar y penderfyniad nad oeddwn yn rhagrithiwr, ac mai braint fawr i mi fyddai cael marw yn ferthyr i achos, a thros enw, Iesu Grist. Hyn a barai i mi fyned yn fy mlaen yn wrol. Canlynodd y gŵr fi am lawer o filltiroedd, nes dyfod dros bont Syni; yna efe a safodd ac a ddywedodd: 'Wel, druan, mi a welaf mai i Lanegryn y yr odfa. Edrychai y bobl ar y cyntaf yn lled hyll, ond rywfodd mi a gefais lonydd hollol i bregethu yn fuan. Ar ol i mi ddarfod, wele ddyn, trwsiadus yr olwg arno, yn esgyn i ben y clawdd, ac yn dywedyd: 'Bobl, ni wn i ddim am y Methodistiaid, ond dyn iawn yw hwn! Y mae hwn yn dywedyd y Beibl. Mi fedra i y Beibl cystal a neb, ac mi wn na ddywedodd hwn ddim ond y Beibl, am hyny mi a fynaf chwareu têg iddo.' Gyda hyn aeth pawb i'w gartref."

Penod ryfedd yn ddiau fyddai hanes dyoddefaint pregethwyr cyntaf y Methodist-



PENRHIW, GER Y BALA

CARTREF DAFYDD CADWALADR.

mynwch fyned; a byddai yn ddrwg genyf i ddyn fel y chwi gael eich lladd. Ni feiddiaf fi ddyfod yn mhellach, onide cawn yr un driniaeth a chwithau. Dyma i chwi ddwy geiniog; ewch i'r tŷ tafarn a gelwch am eu gwerth o gwrw; ac os llwyddwch i gael teulu y dafarn o'ch plaid, ni bydd llawer o berygl. Ond yn wir, penderfynu eich lladd y mae y bobl. Ffarwel i chwi.' Aethum yn fy mlaen, a gwnaethum a'r ddwy geiniog fel y'm baddysgwyd; a phan ddaeth yr amser i ddechreu, mi a aethum ac a sefais ar ben rhywbeth, a dechreuais

iaid yn Ngwynedd, pe bai yn bosibl ei hysgrifenu. Dengys ambell i hanesyn fel hyn, sydd wedi ei gadw ar gôf, y modd y bu arnynt, a'r caledi yr aethant trwyddo; ond yr oedd erledigaethau cyffelyb yn dyfod i'w cyfarfod yn feunyddiol. Carient eu bywydau yn eu dwylaw; nid gormod dweyd am danynt eu bod "yn marw beunydd." Eithr yn mhell cyn marw Dafydd Cadwaladr yr oedd y rhôd wedi troi; a byddai y neb a geisiai erlid yn debyg o gael y gwaethaf. Darllenwn am Dafydd Cadwaladr yn pregethu yn Pennal, yn Machynlleth, a daeth yswain o'r gymydogaeth, yn nghyd â meddyg, i'r odfa i aflonyddu. Dynwared-

* *Methodistiaeth Cymru.*

ent y pregethwr wrth ei fod yn darllen ei destun; gwawdient yn uchel, a chwarddent fel ynfydion; a phan y deuai brawddeg o enau y llefarwr, tröent arno, gan ofyn: "Pwy a ddywedodd hyna wrthyt ti?" Ceisiai rhai yn y gynulleidfa ganddynt dewi, ond gwaeth yr aent hwy. Eithr yr oedd y Methodistiaid erbyn hyn wedi enill y farn gyffredin o'u plaid; cyffrodd y bobl oedd wedi cydymgynull i wrando Gair yr Arglwydd yn cael ei draethu. Diffoddwyd y canhwyllau, a dechreuwyd gwasgu y boneddwyr yn dost. Deallodd y gwŷr, bellach, mai doethach oedd cilio ac ymgeisio am y drws, ond nid mor hawdd oedd dianc. Safai dynion cryfion rhyngddynt ag allan, y rhai a benderfynent beri iddynt deimlo oblegyd eu hystranciau; a rhwng rhai yn eu gwasgu, ac eraill yn eu troedio yn y tywyllwch, clybuwyd hwy yn llefain yn groch am arbed eu bywyd. Yn mhen ysbaid o amser gollyngwyd hwy allan, ac i'r dafarn gerllaw yr aethant i lechu, a dyna derfyn ar eu hymgais i aflonyddu ar gyfarfodydd crefyddol. Yn sicr, cawsant yr hyn a gyfiawn haeddent.

Yr oedd Dafydd Cadwaladr yn nodedig am ei ffyddlondeb i'w gyhoeddiadau. Ni chymerai ei luddias gan ffordd anhygyrch, na hîn ystormus. Wedi rhoddi ei air gellid dibynu arno. Cawn hanes am dano yn newid cyhoeddiad unwaith â'r Parch. Richard Jones, y Wern, er mwyn i'r frawdoliaeth yn y Bala gael gweinyddiad o Swper yr Arglwydd. Ond y dydd Sadwrn blaenorol i'r Sabbath, yr oedd y tywydd yn egr; syrthiasai trwch o eira ar y ddaear, yr hwn a chwythid yn lluwchfeydd mawrion gan wynt cryf, nes yr oedd myned allan o dŷ yn berygl bywyd. Yr oedd yn rhaid iddynt, er cyflawni y trefniant, groesi mynydd uchel a maith. Llechodd gŵr y Wern gartref; barnai mai hollol afresymol fyddai ceisio croesi y Mignaint ar y fath hîn. Ond tua dechreu y nos dyma Dafydd Cadwaladr i mewn yn y Wern, er dirfawr syndod i'r gweinidog. "Dafydd bach," meddai, "pa fodd yn y byd y darfu i chwi groesi y mynydd heddyw?" "Yn union fel arfer," atebai yntau yn sychlyd. Eithr cyfaddefai yn ganlynol, wrth ymgomio, iddi fod yn galed arno ar gopa y mynydd, ac mai trwy ymgripio ar ei draed a'i ddwylaw y llwyddodd i oresgyn y lluwchfeydd oedd ar draws ei lwybr. Dywedir ei fod y pryd hwn dros driugain mlwydd oed.

Dangosai yr un gwroldeb, a'r un ffyddlondeb i'w gyhoeddiadau, hyd yn nod yn ei henaint. Y gauaf olaf y bu byw, ac efe yn hen ŵr dros bedwar ugain mlwydd, yr oedd ei gyhoeddiad un Sabbath yn nhaith y Tymawr. Y Sadwrn blaenorol yr oedd yn ystorm enbyd o wynt a gwlaw. A chan ei bod yn hollol ddireswm i neb anturio o dŷ, perwyd iddo aros gartref, a chydsyniodd yntau. Ond hynod anesmwyth ydoedd trwy y prydnhawn a'r nos. O gwmpas tri boreu y Sul galwodd ar ei ferch, gan ddweyd nad oedd yr hîn lawn mor egraidd, ac yr anturiai i'r daith, a pharodd iddi godi i barotoi boreufwyd iddo. Wedi bwyta, a chadw dyledswydd, i ffwrdd yr aeth; ac yr oedd yn y Tymawr, pellder o dros wyth milltir, yn mhell cyn dydd, a chyn fod neb o'r teulu wedi gadael y gwely. Yn hytrach nac aflonyddu ar eu cwsg, aeth i ryw benty oedd gerllaw, ac yno yr arosodd nes gweled arwyddion bywyd o gwmpas y lle. Pan yr adroddai yr hanes wedi dychwelyd, gofynai ei ferch iddo beth oedd yn wneyd yn y penty yr holl amser. "Beth oeddwn yn wneyd?" ebai ef; "beth debyget ti, ond ceisio gweddïo?" Dengys yr hanes gydwybodolrwydd dwfn, a'r fath nerth meddwl a chorph na cheir yn gyffredin ei gyffelyb.

Eithr, er cryfed ei feddwl, yr oedd yn hynod ofnus mewn rhyw bethau, a braidd na ellid dweyd, yn blentynaidd. Nis gellid ei berswadio mewn un modd i fyned ar gefn ceffyl. Er crefu llawer arno, anaml y ceid ganddo roddi cyhoeddiad Sabbath yn Liverpool, oblegyd yr ofnai groesi y Mersey. Yr ychydig droiai y bu yn y dref, cerddai ar ei draed trwy Warrington, gan ychwanegu felly bedair-milltir-arhugain at ei ffordd, yn hytrach na myned tros yr afon mewn cwch. Nid oes neb mor ddewr nad oes rhyw wendid yn perthyn iddo.

Bu trwy ei holl fywyd yn ddarllenydd dyfal. Penderfynasai unwaith brynu a darllen pob llyfr Cymraeg a ddelai allan o'r wasg; eithr fel yr oedd llyfrau yn amlhau, nis goddefai ei amgylchiadau iddo wneyd hyny; eto, prynai lyfrau newyddion hyd ddiwedd ei oes. A darllenai bob llyfr trosodd a throsodd, gan osod yn ei gôf yr oll o'i gynwys, y Saesneg a'r Lladin, os dygwyddent fod ynddo, yn gystal a'r Gymraeg. Yn ei henaint, darllenodd *Y Geiriadur Ysgrythyrol*, *Y Merthyrdraith*, a *Llyfr Gurnal*, &c., amryw weithiau. Meddai amryw argraffiadau o'r Beibl, a darllenai hwynt oll yn eu cylch; aeth bedair-ar-hugain o weithiau dros Feibl Peter Williams

wrth gadw dyledswydd gyda ei deulu, a'r bumed-waith-ar-hugain hyd yr ail benod o Epistol Cyntaf Petr. Ni esgeulusai yr addoliad teuluaidd er dim; pa faint bynag fyddai ei frys, ni chychwynai o'r tŷ heb yn gyntaf ddarllen a gweddïo.

Buasai yn ddymunol pe bai rhagor o'i hanes ar gael. Hoffem wybod am yr odfaeon rhyfedd a gafodd, a'r nerthoedd a fyddent yn aml yn cydfyned a'i weinidogaeth, nes y byddai pechaduriaid yn crynu; ond y mae y cyfan agos wedi myned i ebargofiant. Modd bynag, y mae genym adroddiad am odfa ryfedd iddo mewn Cymdeithasfa yn y Deheudir, a hyny yn bur fuan wedi iddo ddechreu pregethu. Cyhoeddasid ef i bregethu yn hollol annysgwyliadwy iddo; ni thybiasai y cawsai un mor ieuanc ei osod yn y gwaith, a phan y clywodd y trefniant, aeth yn gyffro enbyd yn ei feddwl. Llithrodd o'r golwg; bu ar fin cychwyn adref, eithr wedi ail ystyried, ofnodd y byddai yn pechu wrth wneuthur hyny. Nis gallai gymeryd na thamaid na llymaid cyn myned i'w wely, a dywedai y gŵr oedd yn cysgu yn yr un ystafell ag ef, mai gweddïo y bu trwy gydol y nos. Tranoeth, ar y maes, gwisgwyd ef â nerth o'r uchelder. Yr oedd ei ofnau oll wedi eu chwalu; nid ofnai wyneb dynion; coronwyd ei weinidogaeth ag ardderchawgrwydd anarferol, a disgynodd ar y gwrandawyr gyda'r fath nerth nes yr oedd canoedd yn bloeddio am eu bywyd. Yr oedd pechaduriaid celyd, yr un fath ag yn Jerusalem ar Wyl y Pentecost, wedi cael eu trywanu gan argyhoeddiadau dwysion, yn llefain yn groch: "Pa beth a wnawn ni?" Diau fod llawer o gyfarfodydd cyffelyb wedi syrthio i'w ran, ond nid yw yr hanes am danynt wedi ein cyrhaedd.

Cafodd Dafydd Cadwaladr fyw am bedwar-ugain-a-dwy o flynyddoedd, a mwynhaodd iechyd da hyd o fewn saith wythnos i'w farwolaeth. Ychydig gyda phythefnos cyn iddo orphen ei yrfa, pan y teimlai yn bur sal, bu yn nhaith Corwen, lle pellaf yr hon sydd dair-milltir-ar-ddeg o'r Bala. Pregethodd y Sabbath hwnw dair gwaith, a thrafaelodd y chwech-milltir-ar-hugain ffordd ar ei draed. Rhaid fod ei gyfansoddiad yn nodedig o wydn, cyn y gallai gyflawni y fath orchestwaith yn ei eilfed-flwydd-a-phedwar-ugain. Dyma y tro olaf iddo esgyn i'r pwlpud. Aeth i Dalybont y nos Sul canlynol; eithr ni phregethodd, am fod yno lefarwr arall, yr hyn ni wyddai efe pan yn cychwyn o'r tŷ. Bu yn y seiat yn y Bala, nos Fercher, Mehefin 25; efe a ddechreuai y cyfarfod trwy ddarllen a gweddïo, ac yr oedd y weddi hono yn un i'w chofio byth. Gafaelai yn hollddigonolrwydd Duw; dadleuai fod yr Arglwydd yn ddigon iddo ef a'i frodyr ar gyfer pob amgylchiad; digon mewn bywyd, digon yn angau, digon i dragywyddoldeb. Arferai hyfdra rhyfedd, eto cwbl weddaidd, ar Wrthddrych gweddi; teimlai pawb ei fod wedi cael mynediad i'r cysegr sancteiddiolaf, lle y mae yr Archoffeiriad a'r gwaed; syrthiodd rhyw wyleidd-dra cymysgedig ac ofn ar bawb oedd yn y lle; ac erbyn codi oddiar eu gliniau, edrychai y bobl yn syn. Un o orchwylion y cyfarfod oedd derbyn dau i gyflawn aelodaeth. Wrth ymddiddan â hwy, dywedai ei fod wedi darllen tri neu bedwar-ar-hugain o draethodau Cymreig ar Swper yr Arglwydd, a'i fod yn meddwl fod pob un o'r awdwyr yn ceisio gwneyd yr ordinhad yn rhywbeth nad ydoedd. Ychwanegai ei fod wedi darllen yr hanes a geir gan yr Efengylwyr am osodiad yr ordinhad deirgwaith neu bedair yn ddiweddar iawn, a'i fod ef yn gorfod barnu mai dyben yr ordinhad ydoedd coffa am farwolaeth yr Arglwydd; a'i bod hefyd yn gyfrwng cymdeithas rhwng dysgyblion Crist a'u gilydd, ac y gellir dysgwyl yn yr ymarferiad â hi y cyfryw les ag sydd yn deilliaw i gredinwyr o gymdeithas a dyoddefiadau y Gwaredwr.

Crefai am gael myned i seiat a gynhelid yn y Bala, nos Fawrth, Gorph. 1. Ceisiai y teulu ei berswadio i beidio, am ei fod mor llesg. Meddai yntau: "Ni chaf fi yr un seiat byth oni chaf hon." Ychydig o obaith a feddent y gallent ei gadw yn y tŷ; ond daeth brawd crefyddol yno, a dechreuodd yr hen gynghorwr ac yntau ymddiddan am bethau crefydd; anghofiwyd y ddaear, a seiat y Bala, a phob peth, yn melusder y gymdeithas. Wedi i'r brawd ymadael, dywedai Dafydd Cadwaladr: "Fe aeth —— a fi i'r nefoedd, a gadawodd fi yno, onide yn wir yr oeddwn yn meddwl myned i'r capel." Ychwanegai yn hollol dawel: "Nid oes gobaith i mi gael seiat byth yn ychwaneg." Felly y bu; ond cafodd gymdeithas annhraethol burach a melusach yr Iesu a'r saint yn y drydedd nef. Eithr heb yn wybod i neb aeth i'r capel y nos ganlynol, i wrando y Parch. Richard Williams, Liverpool. Taflodd hyn y teulu i bryder, a gofynai ei ferch

iddo, wedi iddo ddychwelyd, paham yr aethai i'r cyfarfod yn guddiedig? Meddai yntau: "Onid oedd arnaf eisiau myned a'r swllt?" Atebai hithau y gallai un o honynt hwy fyned a'r swllt yn hawdd. "Na," meddai efe, "yr oedd arnaf eisiau myned a'r swllt olaf fy hunan." Swllt oedd hwn i gynorthwyo lleoedd gweiniaid. Dyma y tro olaf iddo fod allan o'r tŷ.

Yr oedd wedi bod i raddau ar hyd ei oes mewn caethiwed gan ofn marwolaeth. Dywedai un wrtho: "Pe y buaswn i fel y chwi, Dafydd Cadwaladr, ni byddai arnaf ofn marw.' Atebai yntau: "Na, pe byddech fel fi, fe fyddai arnoch ofn marw." Eithr fel yr oedd y diwedd yn nesu, chwalwyd ei holl ofnau; daeth goleuni iddo yn yr hwyr, a chafodd fynediad helaeth i mewn. Gwraidd ei gysur oedd canfod y Tri Pherson Dwyfol yn cydweithredu yn nhrefn iachawdwriaeth pechadur, pob un yn cyflawni ei ran, a phob un yn ymogoneddu yn eu gilydd ac yn ngwaith eu gilydd. Gofynai un iddo yn ei gystudd olaf: "Sut y mae ar eich meddwl?" "O," meddai yr hen gynghorwr, "y mae yn berffaith glir." "Pa fodd y daethoch i feddianu y sicrwydd gogoneddus hwn?" "O," meddai, "nid fel yr oeddwn i yn meddwl. Yr oeddwn yn gobeithio bob amser y cawn afael ar sicrwydd, a'r dull y gobeithiwn ei gael oedd trwy i ryw adnodau ffeind, ffeind, felly ddyfod at fy meddwl, megys, 'Maddeuwyd i ti dy bechodau,' 'A chariad tragywyddol y'th gerais,' &c.; byddwn yn dysgwyl i adnodau fel hyn dori ar fy meddwl gyda'r fath rym, nes peri i mi gredu fy mod mewn cyflwr cadwedig, a dychymygwn y byddai i mi weled y nef megys yn agored, a rhyw sicrwydd yn llanw fy meddwl y byddwn yno yn fuan. Ond nid fel yna y bu. Fe'm harweiniwyd yn ol o ran fy meddwl yn mhell bell, i dragywyddoldeb diddechreu, i syllu yno ar y Tri Pherson anfeidrol yn ymgyfamodi mewn perthynas i achub pechadur. Ac arweiniwyd fi eilwaith i edrych ar y naill a'r llall o honynt, mewn amser, yn cyflawni pob un ei ran yn yr iachawdwriaeth fawr. A hefyd, cefais olwg ar drefn iachawdwriaeth wedi ei gorphen, sef ar Sïon wedi ei chwbl adeiladu, yr hyn yr wyf fi yn ei olygu heddyw wrth y 'tir pell,' a gwelais y modd y mae y Tri Pherson, pob un trwy ei waith yn yr iachawdwriaeth yn gogoneddu y lleill, a'r modd y byddent felly, trwy eu priodol weithoedd yn adeiladaeth Sïon, yn gogoneddu ac yn canmawl eu gilydd i dragywyddoldeb, a dyna wyf yn olygu wrth y 'Brenhin yn ei degwch.' Cefais ryw olwg ar y pethau hyn ag a nerthodd fy enaid i ymorwedd yn dawel ar y drefn fawr. Yr wyf yn gweled fod dybenion filoedd o weithiau mwy pwysig i gael eu hateb trwy achub pechadur, na dedwyddwch y pechadur ei hun. Trwy hyn y cyflawna y Personau dwyfol eu hamodau i'w gilydd, ac y gogoneddant eu gilydd. Nis gallaf mwy ofni bod yn ol." "Ac yr ydych yn gweled y drefn yn ddigon cadarn?" gofynai y cyfaill. "O, ydwyf," meddai yntau, "ac yn ei theimlo yn gadarnach na mynyddoedd o bres o dan fy enaid."

Yn gyffelyb y dywedai wrth y Parch. Dafydd Rowland, y Bala, ychydig ddyddiau cyn ei farwolaeth. "Yr wyf yn proffesu," meddai, "er yn myn'd yn dair-a-thriugain o flynyddoedd, ac yn pregethu er yn myn'd yn ddeuddeg-a-deugain; ond nid yn hyny y mae gwraidd fy nghysur i heddyw." "Yn mha le, ynte?" gofynai Dafydd Rowland. Cyffrodd y claf, er fod ei draed agos yn yr afon; ymadawodd ei floesgni ag ef; ac meddai, a rhyw sirioldeb nefol yn pelydru yn ei wyneb: "Yr ydwyf yn myfyrio heddyw ar drefn gras Trindod o Bersonau i achub pechadur, nes y byddaf yn meddwl weithiau fy mod yn y drydedd nef. Y Tri Pherson yn gwasanaethu eu gilydd i achub pechadur, ac yn y gwasanaeth hwnw y naill yn gogoneddu y llall, dyna wraidd fy nghysur i heddyw." Meddai Dafydd Rowland yn ol: "Y pethau yna glywais i chwi yn bregethu bob amser." "Ië," ebai yntau, "fe fyddai yn bur hawdd genyf daeru dros y pethau yna yn wastad, ond y maent yn hynod o ddiddadl yn fy meddwl heddyw wrth wynebu tragywyddoldeb."

Fel hyn, gan sugno cysur o waith y Drindod Sanctaidd yn cydweithio yn nhrefn yr iachawdwriaeth, yr aeth Dafydd Cadwaladr i lawr i'r glyn. Meddai wrth ei wyres fechan: "O Mary bach, paid di a chrio ar ol dy daid. Meddwl di, pan y byddo i wedi marw, fy mod i mewn gwell lle o lawer nag yma. Cofia y bydd dy daid yn y nefoedd gyda Iesu Grist, a chyda dy frawd bach, a'r seintiau." Y gair olaf a ddisgynodd oddiar ei wefusau oedd testun y Parch. W. Morris, Cilgeran, yn Nghymdeithasfa y Bala, ychydig fisoedd yn flaenorol: "Mi a ddaethum fel y caent fywyd, ac y caent ef yn helaethach." Gorphenaf 9fed, 1834, rhwng saith ac

wyth o'r gloch yn y boreu, ehedodd ei enaid i wlad well.

Difynwn a ganlyn o'r *Drysorfa*, am Awst, 1834: "Ar foreu dydd Mercher, y 9fed o Orphenaf, ar ol byr gystudd, y bu farw yr hynafgwr haeddbarch, y Cristion gwirioneddol, y pregethwr llafurus, a'r gweddïwr ffyddiog a thaer, Mr. Dafydd Cadwaladr, o Benrhiw, Bala, wedi cyrhaedd yr oedran patriarchaidd o bedwar-ugain-a-dwy o flynyddoedd; oddeutu deuddeg-a-deugain o ba rai y bu yn ewyllysgar iawn, gan dreulio ac ymdreulio dros eneidiau, yn eu cynghori a'u rhybuddio trwy y gwaith o bregethu mewn undeb â'r Trefnyddion Calfinaidd; a dilys yw y gellir dywedyd iddo ymdrechu ymdrech deg, a chadw y ffydd, a derbyn coron y gogoniant a gedwid iddo ef. Nos Wener, yr 11eg, pregethai Mr. Evans, yn Mhenrhiw, oddiar Salm xxxvii. 37, gan sefyll yn yr un man ag y safodd Mr. John Ellis, o'r Abermaw, wrth bregethu yn ngwylnos gwraig Dafydd Cadwaladr. Y dydd Sadwrn canlynol, cyn cychwyn y gladdedigaeth, gweddïai Mr. David Rowland, a phregethai Mr. Richard Jones, oddiar Hebreaid xiii. 7, i dorf ddifrifol a sobr, dan yr un pren ag y pregethai Mr. Charles ar ddiwrnod claddedigaeth ei wraig ef. Wedi hyny trefnwyd ei gladdedigaeth yn y modd canlynol: Gosodid y cantorion yn mlaenaf, ac wedi hyny y corph; yna y perthynasau, ac yn nesaf y pregethwyr bob yn ddau, a blaenoriaid y cymydogaethau bob yn dri. Fel hyn yr hebryngwyd y gweithiwr difefl hwn yn ngwinllan ei Arglwydd i feddrod ei dadau yn mynwent Llanycil, mewn gwir ddyogel obaith o adgyfodiad i fuchedd dragywyddol. Yr oedd y ddau bregethwr hyn ag oedd yn pregethu yn nghladdedigaeth Dafydd Cadwaladr wedi bod yn ymweled âg ef ar ei glaf wely ychydig cyn ei farwolaeth, ac yr oeddynt yn tystio na welsant neb yn fwy amlwg yn marw mewn ffydd."

Yr oedd amryw bregethwyr perthynol i Wynedd yn byw yn y cyfnod hwn, o gryn enwogrwydd a dylanwad yn eu dydd, y rhai nad oes ond ychydig hanes am danynt. Un oedd Mr. John Jones, Bodynolwyn, brenhin Methodistiaid Môn, o'r diwrnod y gosododd ei droed i lawr ar yr ynys hyd y dydd yr hunodd yn yr angau. Brodor ydoedd o Sir Aberteifi. Cafodd ei eni yn y flwyddyn 1747. Nis gwyddom ddim am ei rieni, nac am helyntion dyddiau ei ieuenctyd, ond y mae yn ymddangos iddo gael gwell addysg na'r cyffredin. Peth sydd fwy, cafodd grefydd ddiamheuol; ac yn bur fuan dechreuodd bregethu. Ar ddymuniad rhyw foneddiges, nas gwyddis ei henw, symudodd i Sir Gaernarfon i bregethu ac i gadw ysgol. Yn y flwyddyn 1780, ac efe yn 33 mlwydd oed, symudodd i fyw i Sir Fôn, efallai oblegyd ei briodas. Cymerodd fferm a elwid Henllys Fawr, yn agos i Aberffraw, mewn cysylltiad âg un Evan Thomas, gŵr oedd yn gyfaill calon iddo, ac a gawsai ei droi allan o'i dyddyn yn Lleyn oblegyd ei grefydd. Buont yn cydlafurio yn Henllys Fawr am yspaid dwy flynedd; yna symudodd John Jones i fyw i Bodynolwyn, lle y preswyliodd hyd ddydd ei farwolaeth.

Gwanaidd oedd Methodistiaeth yn Môn pan y daeth John Jones i'r ynys; ychydig oedd rhif y capelau, ac yr oedd y rhai hyny yn fychain a thra diaddurn. Ymgysegrodd yntau i wasanaethu yr achos; taflodd ei holl enaid i'r gwaith. Teithiodd y sir ar ei hyd a'i lled, gan gyhoeddi yr efengyl dragywyddol, a llwyddodd Duw ei lafur yn rhyfedd. Y mae yn sicr ei fod yn bregethwr tra rhagorol, er nas gwyddom o ba natur oedd ei ddawn. Traddodiad, modd bynag, a ddywed fod rhyw neillduolrwydd arbenig yn ei oslef, sef math o glec nodedig ar derfyn brawddeg; i'r Parch. John Elias fenthyca y glec hon oddiwrtho, ac mai hi, wedi ei gogoneddu, a ffurfiai un o'r elfenau mwyaf poblogaidd yn areithyddiaeth Elias. Oblegyd cyfuniad amryw amgylchiadau daeth yn frenhin y Cyfarfod Misol ar unwaith, a chadwodd ei swyddogaeth hyd ei fedd. Yn un peth, yr oedd pregethwyr cyfnod cyntaf Methodistiaeth Môn yn prysur heneiddio pan y daeth ef yno, ac ni feddent nemawr cymhwysder i arwain. Yr oedd yntau yn ddyn o synwyr cryf, yn perchenogi y gallu i reoli mewn helaethrwydd. Yr oedd yn mhellach wedi cael addysg dda, ac wedi ymgydnabyddu a dull Daniel Rowland o gario yr achos yn mlaen, cyn iddo ymadael a Sir Aberteifi. Nid anfantais iddo ychwaith ydoedd ei fod yn gefnog o ran ei amgylchiadau bydol, ei fod yn arfer myned i'w gyhoeddiadau mewn cerbyd, ac felly yn cael edrych arno fel boneddwr. Pan ddaeth John Elias i'r rhan yma o'r wlad yr oedd yr hen frawd o Bodynolwyn â'r awenau yn sicr yn ei ddwylaw, ac ni chynygiodd neb eu cipio oddiarno. Felly efe yn wastad a fyddai cadeirydd y Cyfarfod Misol, pwy bynag arall a ddygwyddai fod yn bresenol;

cymerai y gadair heb neb yn cynyg nac yn eilio hyny; a'i air ef a fyddai yn ddeddf, heb un apêl oddiwrthi, ar bob mater.

Ar ei ddyfodiad cyntaf i'r ynys cafodd lawer o'i erlid; taenid pob enllib ar led am dano ef a'i gydgrefyddwyr. Nid yn anfynych byddai yr erlidwyr yn lluchio cerig a thom ato; ond nid oedd efe yn gwneuthur cyfrif o ddim, yn hytrach cyfrifai ei ddyoddefaint yn fraint. Bu yn offeryn i sefydlu cryn nifer o achosion newyddion, ac i adeiladu amryw gapelau yn Môn; ond cynil y bu gydag adeiladu, am yr ofnai redeg i ddyled. Hynodrwydd arbenig ynddo ydoedd ei fanylrwydd gyda ei gyhoeddiadau; dechreuai yr addoliad yn ol adeg y cyhoeddiad i'r fynyd. Byddai yn dra gofalus gyda'r ddysgyblaeth, a dywedai y gwir yn gwbl ddidderbyn wyneb wrth gyfoethog a thlawd. Meddai wrth amaethwr cyfoethog, yr hwn a ddaethai i'r addoliad yn rhy ddiweddar: "John bach, y mae eisiau eich argyhoeddi yn eich cydwybod; yr ydych wedi lladrata amser y seiat." Dro arall traethai yn hallt yn erbyn athrod, a gwag chwedlau, gan gerdded oddiamgylch â'i ffon yn ei law, a'i law ar ei gefn, a daeth ar gyfer un o'r chwiorydd; ac meddai wrthi: "Annas bach, y mae arnaf ofn eich bod chwi yn euog yn ngwyneb y pethau hyn.'

Bu John Jones fyw am ryw bedairblynedd-ar-ddeg gwedi i John Elias symud i'r ynys, a chydweithient yn dda, John Jones yn y deyrngadair, ac Elias yn ddeiliad ufudd iddo. Elai yn rhyw gymaint o ddadl rhyngddynt weithiau, ond yr hen frawd o Fodynolwyn a gai y trechaf bob amser. Un tro, traethai Elias yn y Cyfarfod Misol ar ryw bwnc, a dywedodd John Jones ei fod yn gyfeiliornus. Meddai Elias, mewn hunan-ddiffyniad: "Y mae Burkitt yn dywedyd yr un fath a fi." Ond ateb John Jones oedd: "Nis gwaeth genyf fi beth ddywed dy farcud di, yr wyt yn cyfeiliorni." Yr ydym wedi cyfeirio yn barod at ei annhueddrwydd i adeiladu capelau, oddigerth y gellid gwneyd hyny heb redeg i ddyled; ond byddai ambell un yn ei drechu er ei waethaf. Cawn hanes am Mr. Owen Jones, o'r Cwyrt, gŵr o synwyr cryf a chrefydd ddiamheuol, yn gofyn am gael capel yn Dwyran, lle nad oedd yr un, er fod yno bregethu er ys cryn amser. Y mae y drafodaeth yn dangos dull yr hen frodyr yn cario y gwaith yn mlaen.

Meddai Owen Jones wrth y cadeirydd, sef John Jones: "Y mae arnom ni eisiau capel yn Nwyran acw."

"Y mae, Owen," meddai yntau, "pa beth a wnai di ag ef?"

"Pa beth bynag a wnaf ag ef, y mae yn rhaid i mi ei gael."

"Rhaid i ti ei gael?"

"Rhaid, Mr. Jones, pe costiai i mi haner cant o bunau o'm mhoced fy hun."

"Wel," ebai'r cadeirydd, "y mae yn rhaid iddo ei gael, mi welaf;" a dyna'r ddadl ar ben.

Bu John Jones farw yn y flwyddyn 1814, yn 67 mlwydd oed. Meddai y Parch. John Pritchard am dano: * "Cyfrifid John Jones yn ŵr cywir, fel gwladwr ac fel Cristion; arferai y gair garwaf yn mlaenaf, ond yr oedd yn hynaws at y truan a'r gorthrymedig. Dywedir fod ei lais fel pregethwr yn groch ac yn soniarus, a'i fod yn boblogaidd iawn. Bu y gwas defnyddiol hwn i Grist farw yn nghanol ei lafur, cyn i henaint anmharu dim arno."

Pregethwr arall o hynodrwydd dirfawr, ond a fu farw yn dra ieuanc, oedd Evan Evans, Waenfawr. Prin y mae coffadwriaeth y gŵr rhagorol hwn wedi cael dim tebyg i gyfiawnder. Yn ol barn yr hen bobl a'i clywsent, nid oedd neb yn Ngogledd Cymru yn rhagori arno mewn dysgleirder doniau, a nerth gweinidogaethol, ond Robert Roberts, Clynog, a chyfrifid ef gan lawer yn gyfartal i'r gŵr enwog hwnw, os nad yn wir yn rhagori arno. Byddai cynulleiddfaoedd mawrion yn tyru i'w wrando; a braidd yn ddieithriad byddai rhyw nerth dwyfol yn cydfyned a'i bregethu, fel na allai cnawd ddal o'i flaen. Meddai *Methodistiaeth Cymru*: "Llewyrchodd yn ddysglaer iawn am dymhor byr, ond buan y symudwyd ef o'r eglwys obry i'r un orfoleddus fry. Efe oedd ganwyll yn llosgi ac yn goleuo, ac ewyllysgar oedd niferi mawrion i aros yn ei oleuni, ond ni roddwyd iddynt." Yr oedd yn fab i Thomas Evans, Waenfawr, yr hwn yntau oedd yn bregethwr tra rhagorol, ac yn cael ei ystyried yn mhell uwchlaw "cynghorwr." Yr oedd yn dduwinydd da, ac yn ymresymwr cadarn. Adroddir am Evan Evans yn pregethu unwaith yn Aber-bach-awyr, lle yn nghymydogaeth Caernarfon. Nid oedd capel yn yr ardal, ac nid oedd tŷ anedd a gynwysai y dorf, felly, cedwid yr odfa yn yr awyr ogored. Gyda fod y cyfarfod wedi dechreu, dyma yr awyr yn

* *Methodistiaeth Môn.*

duo gan gymylau, a'r braswlaw yn arllwys ar y bobl. Ar hyn, torodd y pregethwr i weddïo, gan ddweyd: "O Arglwydd, Creawdwr a Llywodraethwr pob peth, dyro seibiant am ychydig amser i gynghori hyn o bobl sydd a'u hwynebau ar y byd tragywyddol." Yn y fan, ataliwyd y gwlaw. Dro arall, pregethai mewn lle a elwir Achyb, yn mhlwyf Llanllechid. Y mae rhyw gymaint o ansicrwydd gyda golwg ar a fu pregethu yn yr ardal o'r blaen. Yr oedd y trigolion yn llawn o yspryd erlidgar, a phenderfynent na chai y Methodistiaid gynal cyfarfod yn y lle. Cododd un gŵr, o'r enw William Williams, ddyrnaid o laid y ffordd, a'r hwn y tarawodd y pregethwr. Eithr yr oedd gwraig yr erlidiwr yn yr odfa, ac yn tueddu at yr efengyl, a gwaeddodd ar ei gŵr: "O, William, edrychwch beth ydych yn wneyd. Oni welwch chwi Feibl sanctaidd Duw yn nghesail y gŵr, wrth yr hwn y bernir ni yn y dydd olaf?" Peidiodd y terfysg ar hyn; ond gweddïai un o'r erlidwyr wrth ymadael, yn hynod o ddefosiynol: "O Arglwydd, gwared Lanllechid oddiwrth y cyfryw ddynion melldigedig!" "Y dynion melldigedig" oedd y Methodistiaid a'u pregethwyr. Eithr yr oedd y darfodedigaeth wedi ymaflyd yn nghyfansoddiad y pregethwr rhyfedd o'r Waenfawr. Cynghorwyd ef i fyned i Lanidloes er mantais i'w iechyd; bu yno yn preswylio am tua blwyddyn; eithr Chwefror 13, 1797, hunodd yn yr angau, er mawr golled i Gymru, ac er dwfn alar i filoedd.

Yr ydym yn barod wedi cyfeirio at John Griffith Ellis, pregethwr yn Lleyn, am yr hwn y dywedir ei fod mewn rhai pethau yn rhagori ar neb o bregethwyr ei oes. Cafodd ei argyhoeddi dan weinidogaeth Howell Harris, yn Tydweiliog, pan yr ymwelodd y gŵr enwog hwnw â Sir Gaernarfon y tro cyntaf. Byddai dylanwadau rhyfedd yn aml yn cydfyned â phregethu John Griffith Ellis. Sonir am odfa ryfedd iddo yn Nghymdeithasfa y Bala. Pregethai ar Zech. xiii. 7: "Deffro gleddyf yn erbyn fy Mugail." Disgynodd rhyw dywalltiadau anarferol ar y gynulleidfa, megys pe byddai cwmwl yn ymdori; a than rym y dylanwad, llesmeiriai y pregethwr ei hun. Gresyn fod ei hanes wedi syrthio i ebargofiant.



# HANES Y DARLUNIAU.

ROBERT JONES, RHOSLAN. Cyhoeddwyd ei ddarlun ef, copi o ba un a geir yn y gwaith hwn, yn y cofiant a gyhoeddwyd o hono yn 1834, sef yn mhen pum mlynedd ar ol ei farwolaeth. Er nad yw enw yr awdwr wrth y cofiant hwnw, y mae pob lle i gredu iddo gael ei ysgrifenu gan ei fab, Mr. Samuel Jones, yr hwn a drigai y pryd hwnw yn Liverpool. I'r un gŵr yr ydym yn ddyledus am y darlun hefyd. Y mae y geiriau sydd dan y darlun yn rhoddi ychydig o hanes ei wneuthuriad, ac y maent yn rhedeg fel yma: " *Y diweddar* MR. ROBERT JONES, *Rhoslan, alias Ty-bwlkyn, Sir Gaernarfon. Drawn and printed by B. Finney, 10, Vernon St., Liverpool.*" Felly, gwelir na chyhoeddwyd darlun o'r awdwr galluog hwn yn nglyn a'r un o'r llyfrau a gyhoeddwyd ganddo tra yr oedd efe yn fyw; ond ceir copi o'r darlun gwreiddiol yn yr argraffiad o *Drych yr Amseroedd*, a ddygwyd yn ddiweddar drwy y wasg gan Mr. H. Humphreys, Caernarfon. Cyhoeddwyd y darlun yn ddiweddar iawn yn *Cymru*, gan Mr. O. M. Edwards, Rhydychain, ac iddo ef yr ydym yn ddyledus am y *block* hwn, ac hefyd am y *block* o John Evans, o'r Bala.

TY-BWLCYN A'R TIRBACH. Copïau yw y darluniau hyn o ddarluniau a wnaed ychydig flynyddau yn ol i'r Parch. T. J. Wheldon, B.A., Bangor, a'i briod. Y mae Mrs. Wheldon yn llinach y gŵr enwog o Rhoslan.

ROBERT DAFYDD, BRYNENGAN, A CHAPEL BRYNENGAN. Ymddangosodd y ddau ddarlun yma mewn cofiant tra dyddorol, a gyhoeddwyd yn 1895, gan y Parch. Henry Hughes, Brynkir. Awdwr y darlun gwreiddiol oedd y gŵr talentog yr ydym eisioes wedi cyfeirio ato yn nglyn â darlun John Evans, o'r Bala, sef Mr. Hugh Hughes, yr arlunydd. Y mae y darlun yn meddiant teulu y diweddar Mr. Richard Griffith, Gwalia House, Bangor, ac ystyrir ef yn ddarlun gwych. Ymddengys fod yr arlunydd yn aros yn hen gartref Mrs. Griffith, yn Nghaernarfon, a chan fod y teulu yn arfer lletya pregethwyr, daeth Robert Dafydd yno yn ei dro. Gwelai Mr. Hughes rywbeth mor nodedig yn ffurf wyneb a holl agweddiad y pregethwr, fel y bu rhaid iddo eistedd am ei ddarlun, yr hyn a wnaeth, er yn lled anfoddog. Cymerodd hyn le yn 1814, tuag ugain mlynedd cyn iddo farw. Darlun diweddar o gapel presenol Brynengan yw y llall. Gwnaed ef gan Mr. Edward Williams, o swyddfa'r *Genedl.*

JOHN ROBERTS, LLANGWM. Trwy fawr garedigrwydd Mrs. Morgan, o Rhaiadr-Wy, gynt o'r Bala, yr ydym yn alluog i osod darlun awdurdodedig o'r gŵr enwog hwn yn *Y Tadau Methodistaidd.* Ni chyhoeddwyd ef o'r blaen, ac nid oedd nemawr yn gwybod am ei fodolaeth. Y mae Mrs. Morgan yn wyres i Michael Roberts, ac felly yn orwyres i John Roberts, Llangwm, ac y mae y darlun wedi ei gadw yn ofalus gan y teulu ar hyd y blynyddoedd. Darlun bychan lliwiedig ydyw, o gylch tair neu bedair modfedd o hyd, ac o led cyfatebol. Yr enw a roddid arno gan Sais fyddai *miniature painting.* Nid yw enw yr arlunydd wrtho, ond y mae yn amlwg ei fod yn waith gŵr cyfarwydd â chelfyddgar, ac y mae pob lle i gredu ei fod yn eilun cywir o'r gwrthddrych. Ystyriwn feddu darlun o John Roberts yn gaffaeliad ar lawer golygiad. Y mae iddo ef le dwfn yn serch y Cyfundeb ar ei gyfrif ei hun; ac yn ychwanegol, saif yn ddolen gydiol rhwng Robert Roberts, ei frawd, a Michael Roberts, ei fab, dau a gydnabyddir gan bawb oedd yn nodedig am eu hathrylith a'u doniau gweinidogaethol. Fel y dywedwyd genym mewn lle arall, yn anffodus—ïe, yn anffodus iawn—nid ymddengys i ddarlun erioed gael ei wneyd o Robert Roberts, ac, mor bell ag y gwyddom, nid oes ddarlun o Michael Roberts ar gael, ond yr hwn a wnaed o hono gan y Parch. H. Hughes, Uwchlaw'r Ffynon, o'i gôf, gwedi iddo farw. Y mae yn llawenydd genym fod darlun awdurdodedig o John Roberts ar gael a chadw, yr hwn a wnaed yn ystod ei fywyd.

CAPEL LLANGWM. Nid oes dim cyfnewidiad o bwys yn allanolion y capel er amser John Roberts, er fod ychydig gyfnewidiadau wedi eu gwneyd o'r tu fewn. Y mae yr eglwys yn bresenol yn darpar ar gyfer ei ail-adeiladu.

CEFN-NANAU. Mae cartref John Roberts hefyd yn bur gyffelyb i'r hyn ydoedd yn ei amser ef. Yr unig wahaniaeth ydyw o'r tu allan, fod tô newydd wedi ei osod arno. Saif y tŷ hwn o fewn cant a haner o latheni i'r capel.

BEDDGIST JOHN ROBERTS. Y mae hwn yn mynwent Llangwm, ac y mae yn un pur anhawdd i wneyd darlun boddhaol o hono.

Cymerwyd y tri darlun diweddaf gan Mr. William Hughes, Cerig-y-Druidion, ar gais y Parch. David James, diweddar weinidog Llangwm, ond sydd yn awr a gofal Eglwys Llanegryn arno, yr hwn, yn dra charedig, a'i cyflwynodd yn anrheg i ni.

PANDY-Y-DDWYRYD A TY'NYPANT. Cymerwyd y darluniau o'r aneddau dyddorol hyn gan Mr. W. J. Roberts, o Flaenau Ffestiniog.

DARLUN MRS. FOULKES, MACHYNLLETH. Copi ydyw hwn o ddarlun o honi sydd yn meddiant Mrs. Foulkes Jones, gweddw y diweddar Barch. J. Foulkes Jones, o Fachynlleth, yr hon, yn dra charedig, a ganiataodd ei osod yn y gwaith hwn. Gan i Mr. Foulkes fod yn briod fwy nag unwaith, hwyrach y dylid hysbysu mai darlun o'r wraig ddiweddaf, sef merch Mr. Simon Lloyd, o'r Bala, ydyw hwn. Nid oes darlun ar gael o Mr. Thomas Foulkes.

# PENOD XXVII.

——:o:——

## WILLIAM THOMAS, Y PIL; A SIENCYN THOMAS, PENHYDD.

*William Thomas yn cael ei argyhoeddi trwy Howell Harris—Ei briodas—Yr yspryd yn y ty—William Thomas yn symud i'r Pil—Ei haelioni diderfyn—Yn dechreu cynghori—Ei ddefnyddioldeb yn y seiadau—Ei ryddfrydigrwydd—Ei farwolaeth—Genedigaeth a maboed Siencyn Thomas, Penhydd—Iefan, Tyclai—Siencyn yn cael ei argyhoeddi—Ei ddwyn i ryddid yr efengyl trwy Dafydd Morris, a William Davies, Castellnedd—Tori clun yr ych—Siencyn yn dyfod yn enwog fel gweddiwr—Desgrifiad o'i berson—Yn dechreu cynghori—Amryw o'i sylwadau—Y dyn a awyddai am gael ei fedyddio—Y ddwy wraig ymrysongar—Yr anghydfod yn seiat Caerphili—Y ddynes yn Llanarthney—Ymdrechion Siencyn a'r diafol—Y Gwylmabsant—Y gronfa ddwfr—Ymddiddan a blaenoriaid—Helynt y llanc oedd ar gael ei ddanfon o'i wlad—Y diacon a'r gwair llwyd—Y ty a'r to tyllog—Siencyn yn pregethu yn y Creunant—Thomas Price yn pregethu yn y Cyfarfod Misol—Helynt y menyg a'r bilwg—Gelyniaeth Siencyn Thomas at falchder—Ei farwolaeth.*

RHAID i ni gymeryd ein darllenwyr i'r Deheudir am enyd fechan eto, gan fod yno nifer o wŷr, o gryn enwogrwydd, y dylasem yn ol trefn amseryddiaeth fod wedi crybwyll am danynt yn flaenorol. Un o'r cyfryw yw William Thomas, y Pîl. Byr ydoedd ei ddoniau gweinidogaethol; nid ymddyrchafodd erioed yn uwch na chynghorwr, ond ar amryw gyfrifon teilynga le parchus yn hanes Methodistiaeth. Cafodd ei eni yn y Dyffryn Uchaf, yn mhlwyf Margam, Sir Forganwg, yn y flwyddyn 1723. Felly yr oedd yn llanc deuddeng mlwydd oed pan y dechreuodd Howell Harris daranu yn Nhrefecca, a Daniel Rowland gynhyrfu yn Llangeitho. Tyfodd, fel pawb o'i gwmpas, yn gwbl ddigrefydd; ond yn y flwyddyn 1739, ac efe yn llanc un-mlwydd-ar-bymtheg, daeth Howell Harris i gymydogaeth Margam i bregethu; ac yn mysg llawer eraill cafodd William Thomas ei argyhoeddi. Ni roddodd ei hun i fynu i'r Arglwydd Iesu ychwaith; ceisiai fyw yn bur, ac ymroddi i ddyledswyddau, a gweddïai lawer, ond nid oedd cysur yn dyfod i'w fynwes. Meddai ef ei hun: "Llafuriais yn galed, am bedair blynedd, am fywyd trwy gyfamod Eden, ond ni roddodd neb i mi.' Eithr trwy wrando pregeth mewn lle a elwir Chwarelau Calch, yn gyfagos i Gastellnedd, galluogwyd ef i ymdaflu yn gyfangwbl ar yr Arglwydd Iesu. Ebai efe:—

> "Iesu yw'r gŵr y mentraf arno,
> Doed o honof yr hyn a ddelo."

Y mae yn fwy na thebyg mai Howell Harris oedd y pregethwr. Yr ydym yn darllen am dano yn pregethu droiau yn y Chwarelau Calch; felly yr un offeryn a ddefnyddiwyd i feddyginiaethu William Thomas ag y cawsai ei archolli trwyddo. Nid rhyfedd fod ganddo barch diderfyn i'r Diwygiwr o Drefecca. Byddai yn ei henaint yn adfywio ac yn ymsirioli drwyddo dim ond clywed am ei enw; parai cyffro ei feddwl i'w gorph gymeryd ystymiau rhyfedd, a dywedai, a'i lygaid yn gloywi: "Yr wyf yn teimlo effeithiau ei awdurdod, a nerth ei lais, yn fy esgyrn yn y fan yma yn awr!" Pan yr ymunodd William Thomas â chrefydd nid oedd yr un offeiriad Methodistaidd yn Morganwg; yr oedd y Parch. David Jones heb ymsefydlu yn Llangan, ac yr oedd Christopher Bassett eto heb ei eni; felly cerddai Mr. Thomas ar ei draed i gymuno i Langeitho, pellder o chwech ugain milltir rhwng myned a dychwelyd. Gwedi hyny byddai yn myned weithiau i gapel Llanlluan, lle y cyfranai Howell Davies unwaith yn y mis am beth amser.

Bu yn dra ffortunus yn ei briodas,









DARLUNIAU CYSYLLTIEDIG A CHOFFADWRIAETH WILLIAM THOMAS, Y PIL; A SIENCYN THOMAS, PENHYDD.

1.—Tydraw, ger y Pil.
(*Cartref William Thomas.*)

2.—Capel Presenol y Pil.

3.—Amaethdy Penhydd.
(*Lle genedigaeth Siencyn Thomas.*)

4.—Eglwys a Mynwent Cwmafon.
(*Lle y claddwyd ef.*)

rhoddodd yr Arglwydd wraig iddo yn gyfangwbl o'r un dueddfryd ag yntau. Am ychydig amser bu y pâr ieuanc yn byw yn y Dyffryn Uchaf; yna symudasant i dyddyn yn ymyl hen gapel y Dyffryn, ar yr hwn y cymerodd Mr. Thomas brydles. Yr oedd chwedl yn y fro fod y tŷ yr oedd yn symud iddo i fyw, yn cael ei flino gan ddrwg yspryd. Achos yr helynt, meddid, oedd ddarfod i ryw forwyn farw, gan orchymyn ei dillad i berthynas iddi o'r enw Sarah. O herwydd rhyw resymau, nas gallwn ni yn awr farnu eu gwerth, meddyliai y rhai oeddynt a fynent â'r peth mai fel arall y dylid gweithredu. Blinwyd William Thomas a'i briod yn ddirfawr gan yr yspryd. Ni fedrent o'i herwydd gael cwsg y nos na thawelwch y dydd. Byddai weithiau, meddid, yn cymeryd y Beibl teuluaidd, ac yn ei ddal uwchben y tân, fel pe ar ei fwrw yn ysglyfaeth i'r fflamiau; a William Thomas yn ei herio, ac yn dweyd: "Llosg ef, gythraul, os beiddi." Methodd y drwg yspryd, meddir, a magu digon o wroldeb i daflu y Beibl i'r tân. Bryd arall, byddai yr yspryd hwn yn rhoddi bloedd oerllyd, annaearol, efallai yn nyfnder y nos. Aeth yr helynt o'r diwedd yn annyoddefol, a gofynodd William Thomas iddo, yn enw'r Mawredd, beth oedd y rheswm o'r aflonyddwch. Yr ateb a gafodd oedd: "Y dillad i Sarah." "Fe gaiff Sarah y dillad," ebai yntau yn ol. Ac o'r dydd hwnw allan fe gafwyd llonydd gan yr yspryd. Nid oes a fynom ag esbonio y drafodaeth hon; ond ymddengys yn debycach i ystryw rhyw ddyn cyfrwys nag i ymweliadau bôd o'r byd ysprydol.

Yn y flwyddyn 1760, symudodd William Thomas a'i deulu i dyddyn, o'r enw Tydraw, yn nghymydogaeth y Pîl; yma y preswyliodd hyd ddydd ei farwolaeth; ac fel William Thomas, y Pîl, yr adwaenir ef hyd heddyw. Nid oedd achos gan y Methodistiaid yn y Pîl pan ddaeth ef yma; ond yn fuan, heb ei gymhell gan Gyfarfod Misol na Chymdeithasfa, dechreuodd fyned o gwmpas tai y tlodion i gynghori; prin y rhaid dweyd na dderbyniai un math o gydnabyddiaeth; yn hytrach, rhoddai ef swllt neu ddau yn nwrn y pen teulu, fel tâl am gael llefaru yn ei dŷ. Yr oedd yr offeiriaid yn llawn gelyniaeth; ond ni ofalai efe, eithr ymroddai i gynghori pa le bynag y caffai dderbyniad. Yn raddol, ffurfiwyd seiat; daeth angen am gapel; ond nid oedd tirfeddianydd yn y wlad hono a roddai ddaear i'r Methodistiaid dirmygus, er adeiladu capel arni. Ond yr oedd y sêr yn eu graddau yn ymladd o blaid crefydd; aeth llain o dir, a thri neu bedwar o dai, ar werth yn ardal y Pîl: prynodd Mr. Thomas y meddiant, ac adeiladwyd capel yno, yr hwn a elwir "Capel Carneli," yr hwn, wedi ei adnewyddu a'i helaethu, sydd yn aros hyd y dydd hwn. Yn mhen ychydig, adeiladodd ddau neu dri o dai yn ychwanegol ar y llain tir, a chyflwynodd hwy yn rhodd ac yn rhad at wasanaeth yr achos yno.

Un o brif nodweddion William Thomas oedd haelioni diderfyn, ac yn hyn yr oedd ei briod mor amlwg ag yntau. Fel hyn yr ysgrifena y Parch. Edward Matthews: * "Yr oedd enw William Thomas, o'r Pîl, mor adnabyddus yn mhlith yr hen bregethwyr, a'r teithwyr i'r Cymanfaoedd, ag oedd bara a chaws. Yn wir, bara a chaws canoedd oedd yr hen ŵr o'r Tydraw. Yr oedd pawb yn galw yno, ac yn cael croesaw, heb ymholi llawer o ba le yr ydych yn dyfod; ac i ba le yr ydych yn myned? O, na, y cyfarchiad ydoedd: 'deuwch i mewn, a gwnewch yn eon; ymdwymnwch, ac ymddigonwch.' Yr oedd Tydraw Mr. Thomas yn debyg i ffynon ein tad Jacob, lle yr yfodd llawer, nes tori eu syched ar eu taith, hwynthwy a'u hanifeiliaid. Bethlehem Cymru oedd Tydraw'r Pîl yn y dyddiau hyny; tŷ bara i liaws, a digon dros ben eilwaith. Yr oedd gwrthddrych ein cofiant yn eithaf cybydd wrth natur; gras, cofiwch, a'i gwnaeth yn haelddyn Gwelodd, un diwrnod, ddyn tlawd yn cael eu lusgo i garchar Caerdydd am ddyled; efe a dosturiodd wrtho, talodd y ddyled, a'r heddgeidwad a'r dyledwr a ddychwelasant adref mewn tangnefedd. Yr oedd Mrs. Thomas hefyd o'r un duedd gymwynasgar. Yr oedd hithau yn hael, a phob dydd o'r newydd yn dychymygu haelioni. Byddai hi a'i morwynion, ar ol darfod gwaith y tŷ, brydnhawn haf, yn darpar gwrthbanau a dillad o bob math i ddilladu y tlodion y gauaf, y rhai a welid mor fynych yn tyru o amgylch y tŷ i dderbyn y rhoddion. 'Bendith yr hwn oedd ar ddarfod am dano a ddaeth arni, a gwnaeth i galon llawer gwraig weddw lawenychu.'"

Dygir cyffelyb dystiolaeth i haelioni

* Ysgrif yn *Y Drysorfa*, 1849.

difesur teulu y Tydraw gan y bardd a ganodd eu marwnad. Fel hyn y dywed :—

" Cegin, parlwr, cell, a 'sgubor,
Oedd yn rhydd at achos Duw ;
'Stafell, gwely, bwrdd, canhwyllbren,
Pob peth arall yn ei ryw ;
Arian, aur, pan fyddai galwad,
Gwair, a cheirch, a phorfa fras ;
Eto 'r blawd oedd yn y celwrn,
A'r olew byth yn cadw ei flas."

" Bendigedig fyddo yr anwyl,' meddai rhyw hen bagan oedd yn byw gerllaw ; " y mae yn rhyfedd genyf, rhwng y gŵr a'r wraig, na byddai y Tydraw wedi sychu o'r diwedd." Ond ychwanegu yr oedd y da pa fwyaf a wasgerid arno ; a pha fwyaf y cynyddai y golud, lleiaf oll y rhoddent eu calon arno. Er mwyn meddu rhywbeth i'w gyfranu, yr oedd Mrs. Thomas yn dra darbodus. Dywedir y casglai, gyda mawr ofal, oddiar y perthi y gwlan a gollai y defaid, a'r plyf a gollai y gwyddau ; a phan y gofynid iddi paham yr oedd mor ofalus, a hithau heb fod mewn anghen, atebai yn siriol : " Fel y gallwyf gyfranu ychwaneg i'r hwn sydd ag angen arno." Dywedir y byddai y ddau, tra yn hael dros ben i eraill, yn dra difater am eu cysuron eu hunain.

Fel yr awgrymwyd, nid oedd William Thomas yn berchen ar lawer o ddawn gweinidogaethol ; ond yr oedd yn hynod wresog, a bu yn dra bendithiol yn yr oes hono. Fel y rhan fwyaf o'r Tadau, cafodd lawer o'i erlid. Adroddir am dano yn pregethu unwaith yn St. Bride, pentref bychan rhwng Penybont-ar-Ogwr a'r môr. Penderfynodd yr offeiriaid ei rwystro ; rhoisant gwrw i'r bobl ; a dyna y rhai hyny yn haner meddw yn ymosod arno, ac yn ei guro ag wyau gorllyd, a dom, a phethau eraill. Testun Mr. Thomas oedd : " Nid fel ein craig ni yw eu craig hwynt, a bydded ein gelynion yn farnwyr." Er y cawodydd cerig, a'r wyau gorllyd, daliodd y cynghorwr ati ; yr oedd teyrnas y tywyllwch a theyrnas nefoedd fel mewn ymrysonfa. A'r efengyl a orfu ; daeth nerth o'r nefoedd gyda'r geiriau ; teimlid rhyw arogl esmwyth yn gorphwys ar y gynulleidfa, ac achubwyd amryw i fywyd tragywyddol. Traddodiad a ddywed i'r prif erlidiwr gyfarfod â damwain, a marw cyn dranoeth.

Effeithiai odfaeon dilewyrch yn ddwys ar ei feddwl. Yr oedd unwaith ar daith trwy ranau o Gymru, gyda'r hen flaenor adnabyddus, Thomas Dafydd, Llangrallo, fel ei gyfaill. Ar ddechreu y daith yr oedd yn cael odfaeon sychlyd a dilewyrch rhyfeddol ; o leiaf, i'w deimladau ei hun. Pregethu y ddeddf yr ydoedd ; taranu uwchben pechaduriaid, a'u bygwth a'r llyn o dân. Oblegyd nad oedd fawr arwydd fod neb yn derbyn lles trwyddo, aeth i deimlo yn hynod ofidus ; methai a chysgu'r nos, a beiai ar ei gyfaill am ei fod ef yn gallu mwynhau cwsg. Deffrodd ef un noswaith, gan ddweyd : " Thomas, ai cysgu yr wyt ti, a minau yn ymladd â chythreuliaid ? " Yr oedd y ddau yn ffryndiau calon, ac yn eofn iawn ar eu gilydd ; felly, atebiad Thomas Dafydd ydoedd : "Ië, cysgu yr wyf fi ; ac yn y nos cysgu a ddylwn, mi gredaf ; paham na chysgech chwithau, yr hen greadur deddfol ? Pregethwch Grist i'r bobl, ddyn, ac nid deddf. Beth dal deddf i bobl dan ddedfryd marw ? Bywyd yn gyntaf, deddf gwedin." Tranoeth, newidiodd yr hen bregethwr ei ddull, a chyhoeddodd Iesu Grist yn Geidwad i'r penaf o bechaduriaid ; profodd rwyddineb a chymhorth anarferol ; o hyny allan, yr oedd arddeliad ar ei genadwri, a dychwelodd ei gwsg iddo fel cynt.

Ychydig a fyddai yn barotoi ar gyfer y pwlpud ; dibynai i raddau mawr ar y cymhorth a gaffai ar y pryd. Os byddai y gwynt o'i du, ceid odfa dda ; lledai ei hwyliau i'r awel, a byddai y bobl ac yntau wrth eu bodd. Ond os na fyddai y gwynt yn chwythu byddai yn dlodaidd ar y gwrandawyr ac yntau. Un tro, wrth ei fod yn dychwelyd adref, gwedi bod yn pregethu yn ei ardal ei hun, a llewyrch dysglaer ar yr odfa, meddai hen frawd o'r enw Siams Griffiths wrtho : " Ni a gawsom odfa dda heno, William Thomas." " Do," atebai yntau, yn llawn sirioldeb a serchawgrwydd ; " do, fachgen, ni a darawsom ar yr wythïen heno, lle y mae golud mawr i'w gael ; 'does dim modd iddi fethu y ffordd yna."

Ond os nad oedd yn hynod fel pregethwr, yr oedd yn enwog yn y cyfarfodydd preifat. Yr oedd gartref yn y seiat ; adroddai ei brofiad ei hun, yr hwn yn wastad oedd yn dra ysprydol, a llwyddai yn rhyfedd dynu allan brofiad y brodyr a'r chwiorydd. Medrai gymhwyso ei gynghorion mewn modd arbenig at bob cyflwr a sefyllfa. Meddai *Methodistiaeth Cymru :* " Rhoddai fwyd i'r teulu yn ei bryd, ac mewn cymhwysder ; i'r hen ac i'r ieuanc eu dogn priodol." Ond yr oedd yn hynotach fyth fel gweddïwr. Meddai y Parch. E. Matthews : " Yr oedd yn fwy adnab-

yddus wrth yr enw William Thomas y gweddïwr, na William Thomas y pregethwr. Yr oedd ei weddïau yn tragywyddol gymylu ei bregethau. Bernid nad oedd un tŷ yn Nghymru a mwy o weddïo ynddo na Thydraw'r Pîl. Yr oedd y tŷ yn agos i'r brif-ffordd o Abertawe i Gaerdydd, ac yr ydoedd yn anmhosibl, meddant, i'r rhai a elent heibio foreu a hwyr, beidio sefyll a thyru o gwmpas y drws, pan fyddai yr hen ŵr o'r Tydraw, fel ei gelwid, yn ymbil â Duw. Byddai llonaid y baili o ddynion, efallai, cyn diwedd y weddi, a llawer o honynt wedi eu gorlenwi â theimladau gwir grefyddol. Yr oedd yn siaradwr araf a phwyllog yn naturiol; ond wrth fyned yn y blaen ymwresogai, a chynyddai mewn tanbeidrwydd a thaernu, nes y byddai y teulu oddifewn, a'r bobl yn y cyntedd ac oddi allan, yn cael eu cario yn eu teimladau hyd at borth y nef, ac yn gorfod cyffesu mai ymdrechfa lawlaw â Duw oedd yn myned yn y blaen. Yr ydoedd yn cymeryd llawer o bethau yn faterion cyhoedd mewn gweddi yn y teulu; gan eu henwi, a'u lledu ger bron Duw gyda mawr ymdrech meddwl. Clywid ef weithiau yn ymbil dros ryw deuluoedd penodol yn y gymydogaeth; weithiau dros bersonau unigol, megys: Cofia, Arglwydd, am Twm, Shôn, Mary, neu Betsi, o'r fan a'r fan; y maent yn annuwiol iawn, neu yn gystuddiol, neu rywbeth. Weithiau byddai eglwys y Pîl ganddo; brydiau eraill achos y sir, y Cwrdd Misol, ac felly yn y blaen." Y mae yn sicr oddiwrth hyn, yn nghyd a'r traddodiad sydd yn fyw yn yr ardal hyd y dydd hwn, ei fod yn hynod mewn gweddi.

Yr oedd William Thomas yn hollol rydd oddiwrth eiddigedd at rai mwy eu doniau nag efe. Gwrandawai ar ei frodyr yn pregethu, gan weddïo yn ddyfal drostynt; yr oedd ei olwg, a'i ystum yn gwrando, yn profi ei fod mewn ymdrech â Duw ar eu rhan. Wedi iddo heneiddio, a myned yn drwm ei glywed, safai i wrando ar ris y pwlpud; ac yr ydoedd yn wastad i'w weled â'i wefusau yn chwareu; a barnai y gynulleidfa ei fod trwy hyd yr amser yn gweddïo am gymhorth i'r llefarwr, ac am eu hachub hwythau. Os canfyddai ŵr ieuanc ac arwyddion talent ynddo, a rhyw argoel fod yr Arglwydd yn bwriadu ei ddefnyddio fel offeryn i achub eneidiau, llawenychai yn ddirfawr. Un tro, daeth dyn ieuanc o Sir Gaerfyrddin, i'r Pîl, i bregethu, a chafodd odfa lled lewyrchus. Cysgai y noson hono yn y Tydraw, trigle William Thomas. Wedi ymddiddan maith aeth y ddau i orphwys. Yn mhen peth amser, clywodd y gŵr ieuanc ryw drydar am y pared ag ef; cyffrowyd ei chwilfrydedd, a gwnaeth bob ymdrech i wrando; a pha beth a glywai ond yr hen batriarch yn ymbil â Duw ar ei ran, ac yn gofyn ar iddo gael ei lwyddo yn ei daith, ei gadw yn ddigwymp, a'i wneyd yn offeryn i enill eneidiau. Wedi hir wrando cysgodd y pregethwr; yn mhen rhyw amser deffrodd drachefn, a chlywai yr hen ŵr wrth yr un gorchwyl, ac yn ymdrechu am yr un peth. Fel y gallesid dysgwyl, effeithiodd yr amgylchiad yn ddirfawr ar feddwl y gŵr ieuanc; cynhyrfodd deimladau dwysion o'i fewn, a throdd yntau at yr orsedd ar ei ran ei hun.

Cafodd oes faith; bu fyw nes cyrhaedd ei wyth-a-phedwar-ugain mlwydd, triugain-a-deuddeg o ba rai a dreuliodd dan faner yr Iesu; ac yn y Cyfarfod Misol diweddaf y y bu ynddo, yr hwn a gynhelid trwy holl ystod ei ddyddiau, ac amser maith gwedi, yn y Pîl, ar y dydd cyntaf o'r flwyddyn, tystiai pe y caffai ddechreu byw drachefn mai yr Iesu a wasanaethai. Meddai y bardd:—

"Y mae'n gôf gan rai o'r brodyr,
Ei dystiolaeth felus, glyd,
Ar ddydd Calan, yn Cyrneli,
Lle'r oedd amryw'n cwrdd yn nghyd:
'Deuddeg mlynedd lawn a thrigain,
Ges yn ngwinllan Brenin ne',
Pe cawn ddeuddeng mil yn rhagor,
Ni newidiwn ddim o'm lle.'"

Bu yn dyst o lawer o'r dadleuon a fu yn cynhyrfu y Cyfundeb Methodistaidd. Yr oedd yn nghanol y berw a gynyrchwyd gan yr anghydwelediad rhwng Harris a Rowland, a gwelodd y seiadau yn Mro Morganwg yn ymranu, ac yn dadfeilio mewn canlyniad. Cyfranogodd yn y diwygiad a gynyrchwyd trwy emynau Williams, Pantycelyn, ac yn Morganwg, trwy ddyfodiad y Parch. David Jones i breswylio yn Llangan. Diau ei fod yn un o'r dorf a fyddai yn pasio trwy Penybont-ar-Ogwr, bob Sul pen mis, i dderbyn y cymundeb o law y gŵr enwog hwnw. Nid dyeithr iddo oedd y cyffro parthed uniongrededd Peter Williams, ac yr oedd yn iach a heinyf pan y cafodd y gŵr enwog hwnw ei fwrw allan. Yn arbenig, bu fyw trwy holl ystod dadl yr ordeiniad. Gwelodd wrthwynebiad yr offeiriaid, ac yn mysg eraill ei hoff gyfaill, Jones, Llangan, i'r

cyfryw newyddbeth; gwelodd eu gorchfygiad gan benderfyniad y bobl; a chyn iddo farw yr oedd nifer o bregethwyr yn y Dê a'r Gogledd wedi eu neillduo i weinyddu'r sacramentau. Bu farw mewn henaint têg, Awst 22, 1811; a'r gair diweddaf a ddisgynodd dros ei wefusau oedd: "Nid oes gan hyny yn awr ddim damnedigaeth i'r rhai sydd yn Nghrist Iesu." Fel hyn y canai ei hoff gyfaill, y Parch. Hopkin Bevan, ar ei ol:—

"William Thomas, un o'r tadau,
Gododd Duw yn hynod forau,
Gan roi 'ddo waith a lle'n y winllan,
Yn llafur dwys y dirion gorlan;
Diwrnod hir yn hardd fe'i treuliodd,
Y pwys a'r gwres fe'u prydferth ddaliodd,
Yn ddiflin, syml-ddyn, gan gyflawn ddilyn,
Dan fanerau Iesu ei Frenin.

Codi maen cr coffa am dano,
Pe medrwn ddawn, fe wnawn yn gryno;
Duwioldeb yn ei holl ganghenau,
Fe'i meddianodd hi a'i ffrwythau;
Ffydd, a gobaith, hefyd caru,
Edifeirwch, ysbryd gweddi;
Nos a dydd, yr orsedd rydd, wrthi'n brudd byddai,
Ei gŵyn ei hun, a'r eglwys, hithau,
Dygai eu hachos ar ei liniau."

Y mae coffadwriaeth Siencyn Thomas, Penhydd, wedi cael ei anfarwoli trwy y Cofiant doniol a ysgrifenwyd iddo gan y Parch. E. Matthews. Cafodd ei eni ar yr 16eg o Fedi, 1752, mewn amaethdy o'r enw Penhydd, ac fel "Siencyn Penhydd" ei hadwaenir hyd y dydd hwn. Saif Penhydd mewn pant rhwng mynyddoedd Morganwg, tua saith milltir i'r dê-ddwyrain o Gastellnedd. Nid oes nemawr ar gael parthed helyntion maboed Siencyn Thomas; ond ymddengys iddo dreulio blynyddoedd cyntaf ei oes i lafurio meusydd Penhydd, a bugeilio defaid ar hyd llechweddau y mynyddoedd. Tyfodd i fynu yn llanc tal. Nid yw yn ymddangos iddo gael cymaint ag awr o ysgol; a braidd nad oedd yn fwy garw ei foes, ac annghoeth ei ymddygiad, hyd yn nod na'r cyffredin o fechgyn ffermwyr yr adeg hono. Meddai feddwl gwrol a phenderfynol; ni wyddai beth oedd ofn na chywilydd. Y mae yn amlwg hefyd fod cryn lawer o ryw onestrwydd naturiol yn perthyn i'w natur, a'i fod yn gymeriad cwbl ar ei ben ei hun. Dychymygwn ei weled yn llefnyn tal, garw, a mynyddig ei wedd, heb gael ei gaboli mewn un gradd gan addysg na chan ymgyfathrach â'r byd; eto yn meddu meddwl gwreiddiol a phenderfynol, ac yn llawn bywyd o'i goryn i'w fawd. Diangenrhaid ychwanegu iddo dyfu i fynu, fel y cyffredin o'i gyfoedion, yn gwbl ddigrefydd.

Ond yr oedd Duw wedi bwriadu pethau gwell, a phethau yn nglyn wrth iachawdwriaeth, am Siencyn Thomas. Y gŵr a ddefnyddiwyd fel offeryn i'w ddeffro o'i drwmgwsg ysprydol oedd Iefan, Tyclai, un o gynghorwyr cyntaf y Methodistiaid yn Sir Gaerfyrddin, ac y mae y gŵr hwn, oedd yn ei ffordd lawn mor hynod a Siencyn Thomas, yn haeddu gair o sylw. Preswyliai yn y Tyclai, bwthyn diaddurn, gyda muriau pridd a thô gwellt, gerllaw Llanfynydd. Y mae yn amheus a ddarfu i'r bwthyn, yn ei ddyddiau goreu, gael ei gofrestru ar lyfrau y plwyf, gan waeled ydoedd; cawsom ni olwg arno tua chwarter canrif yn ol; yr ydoedd ar syrthio i'w bwll y pryd hwnw, a deallwn ei fod yn awr yn domen o adfeilion. O'r bwthyn tlodaidd hwn yr elai yr Apostol o Dyclai allan, gan gyhoeddi dystryw ar anwir fyd, a gwahodd pechaduriaid at Grist. Fel hyn ei darlunir gan Mr. Matthews: "Dyn lled fywiog yr olwg ydoedd, yn gwisgo *coat* lwyd o frethyn gwlad, ond heb goler melfed, siaced fraith, clos penlin *corduroy*, hosanau du'r ddafad, ac esgidiau coed, wedi eu sicrhau am y traed â byclau pres. Yn y wisg offeiriadaidd hon, gan farchogaeth ar ebolyn coch, heb docio na mwng na chynffon, y teithiai fy ewythr Iefan, Tyclai, bant a bryn, a'r efengyl dragywyddol ganddo." Nid oedd capelau Methodistaidd yn y wlad yr adeg hono; felly, mewn ysgyboriau, a thai anedd, y cynghorai y patriarch. Hynod o ddiaddurn fyddai ei weinidogaeth; anaml, meddir, y byddai yn cymeryd testun; ond safai yn y canol, a'r gynulleidfa yn gylch o'i gwmpas, a byddai yn troi oddiamgylch wrth gynghori, gan draddodi weithiau y ddeddf, ac weithiau yr efengyl. "Byddai cetyn o ffon onen, gyda chlopa anferthol, o gwmpas pwys neu ddau, yn un llaw; a'r dwrn arall yn nghau wrth ddanedd y gynulleidfa, fel pe yn benderfynol o bastyno y bregeth i'w hymenyddau a'u calonau."

Cawn engrhaifft o un o'i bregethau yn *Methodistiaeth Cymru*, yr hon oedd yn cael ei gwrando, ac a gafodd ei hadrodd wedi hyny gan Mr. Llwyd, o Gayo. Mater y bregeth oedd edifeirwch, ac yn y modd a ganlyn yr atebai y gofyniad: "Beth yw edifeirwch?" "Yn mlaenaf, *aqua fortis* ydyw, yr hwn sydd yn tori yn ddau y peth oedd yn un. Yn ail, powdr *jalap* ydyw, yr hwn sydd yn clirio gwaelod y briw.

Yn drydydd, *tincture of myrrh* ydyw, yr hwn sydd yn iachau y briw yn drwyadl, ac nid yn ei groeni ar gig marw." Prawf yr engrhaifft hwn na wyddai Iefan ddim am goethder; ond na feier ef, yr oedd yn cyfateb yn dda i ansawdd arw ac anniwylliedig ei oes, a bu yn offeryn i droi ugeiniau o gyfeiliorni eu ffyrdd.

Adrodda Mr. Matthews am dano yn dyfod i bregethu i Langrallo, pentref cyfagos i Langan, lle y gweinidogaethai yr Hybarch David Jones. "Noson o'r wythnos ydoedd, a chrynhodd bagad o bobl i dŷ anedd, i'r cwrdd. Eisteddasant oll o gylch muriau y tŷ, gan ddysgwyl y pregethwr dyeithr. Yn mhen tipyn wele yr angel yn dod. Darllenodd a gweddïodd yn nghanol y dynion, yn danllyd rhyfeddol. Yna, dechreuodd ymsymud wrth ei ffon o un i'r llall, gan bregethu efengyl y deyrnas i fawr a mân yn ddiwahaniaeth. 'Deuwch allan o'u canol hwynt,' meddai, 'ac ymddidolwch. Wyddoch chwi beth, ffryns, os gwelwch chwi iâr yn ymdroi llawer mewn gwrysg pytatws, yno y bydd yn debyg o wneyd ei nyth. Felly chwithau, os ymdrowch chwi lawer yn y byd annuwiol hwn, ynddo y byddwch yn debyg o aros; ac fe aiff eich nyth ar dân byth, bobl; deuwch allan. Y maent yn dweyd wrthyf fi, os bydd oen yn sugno gafr, mai blew gafr a dyf arno. Os sugno y byd hwn y byddwch chwithau, y mae yn debyg iawn mai yspryd y byd a fydd ynoch, mai am y byd y bydd eich ymestyniad gwastadol; mai esgeuluso crefydd Mab Duw a wnewch, ac felly, ymlygru yn eich ffordd nes myned yn eifr perffaith, heb ddim yn debyg i ddafad ynoch.' Fel hyn y bu y gŵr o Dyclai yn cerdded o amgylch y tŷ, am o gwmpas haner awr, gan draddodi lliaws o'r cyfryw sylwadau duwinyddol a philosophyddol, a'u cymhwyso yn gelfydd at bob un ar ei ben ei hun. O'r diwedd, ymddangosai yr ager fel yn gwanhau, a'r olwynion yn graddol arafu, a phob arwyddion fod cerbyd y Tyclai yn sefyll. Pan y daeth ar gyfer y gadair, lle yr eisteddai yr Hybarch Efengylydd o Langan, Mr. Jones, gyda mawr serchawgrwydd a gwen fwynaidd, a drodd ato, gan ddywedyd wrtho: 'Iefan bach; yr wyt yn yr ysgol er ys llawer dydd yn awr; atolwg beth wyt wedi ddysgu yno yn yr holl amser hyn?' 'Mr. Jones bach,' meddai yntau, 'yr wyf wedi bod wrth yr un wers trwy yr holl flynyddau, a gallaf ddweyd wrthych yn onest heno fy mod wedi ei dysgu o'r diwedd.' 'Beth ydyw hono, Iefan bach?' 'Wel, mi ddywedaf wrthych; yr wyf wedi dysgu nad wyf yn gwybod dim.' 'Ti wyt?' 'Ydwyf, yn siwr i chwi.' 'Wel, wel; yr wyt ti, Iefan bach, yn y dosbarth blaenaf yn ysgol yr Iesu. Yr ydwyf fi o hyd, er ymgyrhaedd, yn methu yn llwyr a dod i fynu a'r *class* yna.' Wedi yr ymddiddanion hyn, terfynwyd trwy weddi a mawl, ac aeth pawb i'w ffyrdd, dan synu wrth athrylith a hyawdledd y pregethwr."

Nis gallwn ddilyn yr hen gynghorwr o'r Tyclai yn mhellach, ond, fel y darfu i ni sylwi, efe a fu yn foddion, dan fendith Duw, i ddeffro y llanc gwyllt o Benhydd o'i gysgadrwydd ysprydol. Caiff Siencyn Thomas adrodd yr hanes yn ei eiriau ei hun. Wrth deithio yn nghyd, gofynai gŵr ieuanc iddo: "Trwy ba foddion y tueddwyd eich meddwl gyntaf at grefydd?" Ebai yntau: "Mi a ddywedaf y gwir i ti, yn union a rhwydd. Pan yr oedd hen ŵr o gynghorwr, nid enwog iawn o ran ei ddoniau, ond hynod effeithiol ar brydiau, yn dyfod trwy y wlad i bregethu, aethum i, gyda llawer ereill o'm cyfoedion, i'r cwrdd i wrando, nid gyda golwg ar un lles ysprydol trwy hyny, ond i gael difyrwch yn benaf, oherwydd ei ddawn dyeithr a'i lwybr ysmala. Wedi iddo ddechreu, fel arferol, trwy ddarllen a gweddïo, dechreuodd ymadroddi, fel pe y buasai yn siarad â ni, ei wrandawyr. Nid wyf yn cofio ei destun, os oedd testun hefyd ganddo; nid wyf yn cofio iddo enwi unrhyw adnod neillduol wrth ei henw a'i rhif. Meddyliais wedi hyny lawer gwaith fod ei araeth yn dra Ysgrythyrol drwyddi oll. Ei amcan y pryd hwnw, yr wyf yn cofio, oedd ymdrechu deffroi pechadur o'i gwsg ysprydol, a pheri iddo gredu ei fod mewn perygl enbyd o fod yn uffern am byth. Yr oedd yn union fel pe buasai yn siarad â rhywun yn bersonol yn y gynulleidfa, a adwaenai fe fel dyn melldigedig o ddrwg, drwg iawn, allan o'r cyffredin. Agorais inau fy llygaid, ac edrychais yma ac acw; a chan droi fy ngolygon eilwaith yn ol ar y pregethwr, canfyddwn ef yn edrych yn daer arnaf, ac yn bygwth y dyn drwg yn ofnadwy. Mor wir a'i ddweyd, credais yn benderfynol mai ataf fi yr oedd yn cyfeirio yn uniongyrchol. Beth bynag, nid hir y gwrandewais cyn gorfod credu taw fi oedd y dyn drwg, a'r dyn drwg iawn, oedd gan y pregethwr, a fy mod yn wrthddrych y bygythiad ofnadwy. Dilyn-

odd swn y bygythiad fi, nes llanw fy nghydwybod â braw ac â dychrynfeydd uffern dân; ac yno y gadawodd fy ewythr Iefan, Tyclai, fi, heb ddweyd cymaint a ffarwel i ti, fachgen. Minau a aethum i'm ffordd tua chartref, ond nid fel cynt; ac nid oedd cartref, na phawb a phob peth y meddyliwn am danynt, yn fy ngwella i, nac yn esmwytho fy ngofid. Yn wir, mi wnes lawer cynyg dros beth amser i dawelu fy meddwl; ond methu a wnaethum."

Dyna y bachgen gwyllt, na wyddai am nac arswyd nac ofn, wedi ei glwyfo; gadawodd Iefan, Tyclai, ef a'r saeth yn ei gydwybod. Ceisiodd yntau iachad am dymhor yn ffordd y cnawd, trwy ymroddi i bleser a gwagedd. Ryw noson, ychydig gwedi hyn, yr oedd taflu disiau mewn lle o'r enw Troedyrhiw, neu Benrhyw, yn mhlwyf Margam. Yr oedd hyny yn arferiad yn y fro. Hirnos gauaf, byddai teuluoedd yn myned, yn fechgyn ac yn ferched, yn hen wŷr a hen wragedd wrth eu ffyn, tua rhyw fan y byddai taflu disiau; a thyna lle y byddent yn tori cnau ac yn yfed cwrw, yn aml hyd y boreu. Y tro hwn, trodd y chwareu o blaid Siencyn Thomas, ac enillodd ddwy wydd. Prysurodd â hwy tuag adref, un dan bob cesail, er dangos ei ffawd dda i'r teulu. Yr oedd yn ganol nos; ymddangosai yr adar fel pe yn anghymodlawn a'u sefyllfa, a rhoddent ysgrech annaearol yn awr ac yn y man. Teimlai Siencyn ei afaelion yn llacio, a chafodd y gwyddau ryw gymaint o ryddid i'w hadenydd, yr hwn a ddefnyddiasant i'w guro yn ddiarbed. Cododd ofn enbyd arno; y mae yn fwy na thebyg fod ei gydwybod yn aflonydd yn ei fynwes oblegyd myned i ffair gwagedd. Tybiai ei fod yn gweled goleuni dysglaer yn llewyrchu o'i gwmpas, daeth golygfeydd uffern a'r farn gerbron ei feddwl, a thybiodd ei fod yn marw. Yn rhydd yr aeth y gwyddau, ac achubasant y cyfle i hedfan i'w hen artref. Ar ei liniau y syrthiodd Siencyn, a bu yno am oriau yn ymbil am drugaredd. Cyrhaeddodd Penhydd rywbryd cyn y boreu, a'i gydwybod yn danllwyth ynddo. Bu am dymhor yn teimlo pangfeydd ofnadwy; ceisiai wella ychydig arno ei hun, ond methai; suddo yn ddyfnach i'r gors a wnelai wrth geisio dyfod allan o honi. Meddai ef ei hun: "Addunedais beidio bod fel cynt; ac ymdrechais hyd y gallaswn wneyd y dyn drwg yn ddyn da, ond gwnawn a fynwn, nid oedd yn bosibl ei ddwyn dan driniaeth. Ond cyn hir, er mai hir iawn y gwelais i yr amser, wedi gwrando pregeth ddamniol Iefan, Tyclai, ysgrech yr hon oedd yn rhuo yn fy nghydwybod, daeth yr enwog was hwnw i Grist, Mr. David Morris, trwy y wlad i bregethu. Aethum inau i'w wrando, a than arweiniad goleuni yr Yspryd Glân, fe ddangoswyd i mi y dyn drwg iawn, fel yn gywir y galwyd fi gan Iefan, Tyclai, a Duw a'i gyfraith a minau yn elynion i'n gilydd. Yn y cyfwng hwn, pan yr oedd pob gobaith am fod yn gadwedig wedi ei ddwyn yn llwyr oddiarnaf, wele, yn y weinidogaeth, ddrws gobaith yn agor i mi yn nyffryn y lladdfa, a gwelais fod genyf hawl i gredu a gobeithio yn Iesu Grist am fy mywyd, er fy ngwaethaf fy hun a'r cythraul yn nghyd. Yr wyf wedi fy achub, er mawl gogoniant ei ras ef. Diolch iddo ei fod heb dewi byth!"

Nid oedd Dafydd Morris byth yn archolli heb wneyd ymgais, cyn gorphen, i feddyginiaethu. Ni fyddai fel Iefan, Tyclai, yn gadael y bobl yn nghanol dychrynfeydd uffern heb gyfeirio eu golwg at Waredwr holl-ddigonol. Dyferodd rhyw gymaint o'r olew a'r myrrh nefol i glwyfau y llanc pryderus o Benhydd y tro hwn, a derbyniodd yntau raddau o gysur. Ond nid oedd yn ŵr rhydd eto. Dychwelai ei hen drallod arno weithiau drachefn gyda grym gorchfygol. Trwy ystod y tymhor hwn edrychai yn hurt dros ben. Meddyliai rhai ei fod tan ddylanwad afiechyd oedd yn ei syfrdanu; eraill a dybient fod ei synwyrau wedi haner dyrysu, a sonient am ei wisgo mewn *straight jacket;* ond yr oedd eraill drachefn yn bwrw mai y grefydd newydd oedd wedi ei ddifetha. Yr adeg yma aeth i eglwys Mihangel, i wrando y Parch. William Davies, Castellnedd. "Hwn,' meddai Mr. Matthews, "oedd y boreu Sabbath bythgofiadwy y dygwyd ef, trwy weinidogaeth y gŵr parchedig uchod, i ryfeddol oleuni yr efengyl. Tywynodd arno wawrddydd annherfynol, haul yr hwn sydd yn llewyrchu yn danbaid ar ei ben tra yr ydym ni yn ysgrifenu y llinellau hyn, a lle ni bydd nos byth i roddi terfyn ar ei orwychder."

Ni bu Siencyn Thomas nemawr amser wedi gwrando y Parch. William Davies cyn ymuno â'r Methodistiaid; ac y mae yn fwy na thebyg mai yn hen gapel y Gyfylchi yr ymaelododd. Yn fuan aeth sôn am dano fel gweddïwr rhyfedd. Meddai leoedd o gwmpas y tŷ, ac ar hyd y tyddyn, yn mha rai yr arferai ddal cymundeb â'r

Arglwydd. Ond ei hoff fan oedd y chwarel, y tu cefn i'r tŷ. Yma clywid ef mewn ymdrech lawlaw â Duw am ddihangfa i'w enaid; ac yma hefyd y triniai lawer o faterion, llai pwysig, rhyngddo â'r Arglwydd. Gan mor aml y cyrchai yma, aeth yn ddywediad yn y teulu, pan y methid dod o hyd iddo, ei fod yn sicr o fod yn y chwarel. Nid oedd ei frodyr yn adnabod Duw, ac nid boddhaol i Siencyn oedd eu hymddygiadau ar rai amgylchiadau. Un tro mynasent, er ei waethaf, yru yr ychain i ffair Llandaf, ar y Sabbath, er mwyn bod yno yn foreu dydd Llun; ceisiai ef ganddynt gychwyn ddydd Sadwrn, a gorphwys dros y Sul. Dadleuent hwythau y draul. "Credwch fi," ebai yntau, "y bydd mwy o draul arnoch am dori y Sabbath, a phechu yn erbyn Duw." Tua'r ffair yr aethant hwy, a thua'r chwarel yr aeth Siencyn, â'i galon yn llawn zêl dros Dduw. Nid aeth yr ychain yn mhell oddiwrth y tŷ cyn i un o honynt syrthio i lawr, a thori ei glun. Ar hyn dolefodd ei frawd, Thomas: "Y mae Sianco yn y chwarel yn gweddïo." A gwir oedd y peth; rhedodd Thomas yn ei ol, a chafodd fod y weddi yn cymeryd lle yn y chwarel a'r ych wedi tori ei glun yr un pryd.

Wedi priodi, aeth Siencyn Thomas i fyw i Aberafan; ond cyn hir symudodd i'r Goetre, yn mhlwyf Margam, ac yma y treuliodd weddill ei oes. Yr ydym wedi dangos yn flaenorol y meddai hynodrwydd dirfawr. Meddai Mr. Matthews: "Nid hynod mewn un peth ydoedd, ond yn mhob peth. Nid oedd ei edrychiad fel dyn arall. Gallasech feddwl ei fod yn wallgof; cerddai mor ddihafarch a brysiog a phe byddai wedi cael ei hanos gan gŵn trwy y llaid a'r llaca; byddai ei lygaid yn fflamio yn ei ben, ac edrychai fel dyn am ffoi o olwg preswylwyr y ddaear. Yr ydoedd ar gefn ceffyl yn debyg rhyfeddol i'r dychymyg sydd genym am *perpetual motion*, sef mewn gweithrediad o hyd; pwt o chwip yn ei law yn curo beunydd a diorphwys, a'i goesau mawrion a gewynaidd yn yspardynu yn ddibaid, o'r pryd y cychwynai hyd nes y disgynai. Awgrymai ei holl agwedd fod arno frys annhraethol i fod ar ben ei daith, a hyny gyda ei fod yn cychwyn. Yr oedd yn eglur i bawb, modd bynag, fod arno lawer mwy o frys na'r ceffyl, a bod yr enaid rhesymol oedd yn marchogaeth yn llawer cyflymach yn ei symudiadau na greddf yr anifail oedd dan y baich a'r fflangellau. Yr un fath y byddai gyda rhyw orchwyl o waith; yr oedd yn weithiwr digyffelyb; gwnelai gymaint a dau weddol. Gweithiodd yn galed gyda ei dyddyn trwy ei oes, a chasglodd gryn lawer o gyfoeth. Byddai yn codi oriau o flaen pawb yn y tŷ, ac yn myned i'r ysgubor i ddyrnu. Yno dyrnai yn ddiarbed, fel pe yn ddig wrth yr ŷd, y gwellt, a'r cwbl, nes y byddai yn chwys a tharth i gyd. Wedi hyny, elai at y 'Beibl cam,' fel ei gelwid, yr hwn oedd wedi camu wrth ei gadw ar ryw bethau ochrog yn yr ysgubor; darllenai dipyn ar hwnw; ac efallai gweddïo; a chyn y diwedd byddai mewn brwydr boeth â rhai o brif ellyllon y tywyllwch, a chlywid swn y rhyfel weithiau yn mhell. Fel hyn byddai yn dyrnu cetyn, yn darllen eilwaith getyn, ac yn gweddïo efallai wedi hyny, hyd nes y delai yn bryd i'r tylwyth godi. Yna ai i'r tŷ, galwai ar bawb, cyffröai y tân, a gorweddai ar ei hyd o'i flaen am ryw gymaint eilwaith. Fel hyn yr ydoedd, meddai efe, yn prynu yr amser."

Byddai yn anhawdd cael desgrifiad mwy byw. Hawdd gweled oddiwrtho fod Siencyn Thomas yn ddyn o gyfansoddiad cadarn, a bywyd yn curo yn gryf yn ei gyfansoddiad, ac y cymerai y bywyd hwnw weithiau ffurfiau rhyfedd. Ni wyddis pa bryd y dechreuodd bregethu; tebygol mai llithro i'r swydd a wnaeth, heb ganiatad na Chyfarfod Misol na Chymdeithasfa, trwy ddechreu rhoddi gair o gynghor mewn cyfarfod gweddi, ac yna tyfu yn bregethwr bron heb yn wybod iddo ei hun. Nid oedd yn debyg i neb arall fel pregethwr ychwaith. Gwyllt ei osgo ydoedd yn y pwlpud; ni feddai *goat* ddu a napcyn gwyn. Brethyn llwyd o waith cartref oedd ei wisg, a het gyda chant anferth iddi, cyffelyb i badell brês, oedd am ei ben. Meddai y Parch. E. Matthews: "Tynai ei het, bid siwr, wedi myned i'r pwlpud, nid yn union, canys yr oedd yn diosg ei *goat* fawr yn nghyntaf. Y mae y beirniaid yn meddwl na fu dafn erioed o olew gwallt ar ei ben, ond ei fod yn Nazaread o groth ei fam oddiwrth hyny. . . . Tynu ei fysedd trwy ei wallt y byddai efe, a hyny yn gyffredin yn groes i'r graen, nes y byddai fel gwrych mochyn, yn y gwrthwyneb i gyd. Yn ngwres y foment wrth bregethu, byddai ei ddwylaw yn ei wallt yn o aml, a hyny, mae yn debyg, heb yn wybod iddo, yn ei godi yn grych i'r lan, a hwnw yn fflwchian mor echrydus nes yr oedd golwg bron annaearol arno.

. Yn nhymor ei henaint yr oedd ei wallt yn wyn, yn lled hir, ac yn cwympo ar ei ysgwyddau, fel yr oedd yn dra derwyddol ei ymddangosiad." Yr oedd ei bregethau, mor bell ag y gellir casglu, yn rhai hynod yr un modd. Nid oedd ei iaith yn goeth, na'i ymadroddion yn addurnol; nid cynwys llyfrau a draddodai, ac nid oddiwrth y celfau a'r gwyddonau y tynai ei ddameg; eithr natur wyllt a'r Beibl Cymraeg oedd prif, a bron unig, feusydd ei efrydiaeth. Ac eto, y mae profion fyrdd iddo fod o ddirfawr fendith. Er yn arw ei wedd, ac yn fras ei eiriau, meddai doraeth o synwyr; perchenogai graffder dirfawr i adnabod cymeriadau, ac i wybod pa fodd i'w trin; a byddai ei sylwadau yn wastad yn dra gwreiddiol. Mewn gwirionedd, yr oedd ynddo fwy o gymhwysder ar gyfer amgylchiadau ei oes nag a ellid meddwl; yn enwedig pan gofiom fod ganddo elfenau rhagorol eraill, megys diniweidrwydd pur, gonestrwydd diwyrni, eiddigedd tanllyd dros Dduw, a ffyddlondeb diragrith yn achos eneidiau. Y mae yn amlwg ei fod yn dra phoblogaidd yn ei ddydd.

Nid rhyw lawer o'i sylwadau wrth bregethu sydd ar gael, ond gellir casglu fod ei gymhariaethau yn bur gartrefol. Yr oedd clwyd ar gefn y mynydd, rhwng Penhydd a Llangynwyd, gelwid hi "clwyd y Brynmawr," ac yr oedd un bâch perthynol iddi wedi cael ei roi tuag i lawr, a'r llall tuag i fynu, i atal y dynion drygionus i'w thynu oddiar y bachau. Wrth bregethu ar y cyfamod gras un tro, dywedai fod y cyfamod hwnw yr un fath a chlwyd y Brynmawr, un bâch i fynu a'r bâch arall i lawr, fel nas gallai na Satan na neb ei daflu byth o'i le. "Y mae un bâch i fynu gyda Duw," meddai, "a'r llall i lawr am ei bobl; fe saif cadarn sail Duw; yr Arglwydd a edwyn y rhai sydd eiddo ef." Wrth bregethu ar ostyngeiddrwydd, dywedai "fod y gras hwnw yn tyfu yn union yr un fath a chynffon buwch, tuag i lawr o hyd." Unwaith llefarai ar y geiriau: "Rhaid i ni ddal yn well ar y pethau a glywsom," ac anogai ei wrandawyr i ddal ar y testun beth bynag, fod hwnw yn sicr o fod yn bur. "Efallai fod yma lawer," meddai, "yn cwyno ar eu côf, ei fod mor ddrwg, fel nas gallant gofio dim. Taw a dy anwiredd; nid ar dy gôf y mae y bai; tydi sydd yn ei lanw â phethau eraill, pethau drwg, bydol, a brwnt, fel nad oes dim lle ynddo i bethau da. Mi warantaf dy fod yn cofio am beth y gwerthaist yr anifail hwnw yn ffair Llandaf; chwech neu saith punt, onide? Ië, yn siwr; 'dyw hyny ddim wedi myned allan o'th gôf eto. Yr wyt yn cofio pob peth ond efengyl." Dygwyddodd fod hen ŵr yn yr odfa â'r desgrifiad yn ei weddu, ac nis gellid ei berswadio nad rhai o'r crefyddwyr oedd wedi dweyd ei hanes wrth y pregethwr.

Ond yn y cyfarfodydd eglwysig yr oedd Siencyn Thomas fwyaf enwog. Disgynai arno yn y cyfarfodydd hyn ryw fath o ysprydoliaeth; braidd na theimlid ei fod mewn modd rhyfedd yn profi yr ysprydion; anaml y camgymerai gyda golwg ar gyflwr y sawl a fyddai ger ei fron; a galluogwyd ef yn fynych i lefaru gair yn ei bryd. Rywsut, yr oedd ymadroddion yn gweddu iddo ef, ac yn cael eu derbyn oddiwrtho, oblegyd ei onestrwydd unplyg, na weddent i neb arall. Yr oedd bachgenyn yn dyfod i'r seiat y tro cyntaf, ac meddai wrtho: "Fy machgen i, myn Grist i dy galon; yr un man ei fod yn dy boced ag yn dy ben." Cynygiai merch ieuanc ei hun yn aelod o seiat y Pîl, pan yr oedd ef yn bresenol. Esboniai William Thomas iddo pwy ydoedd, ei bod yn ferch i Siencyn y *tiler*. "Ho," ebai yntau, "merch Siencyn, ai ïe? Yr wyf yn adwaen dy dad, fy merch fach i, yn burion; y mae ef wedi treio pob crefydd sydd yn y wlad, ac wedi ffaelu gyda hwy oll. Gwrando, fy merch anwyl i; cais well crefydd na chrefydd dy dad, onide ti a fyddi yn machau'r diafol un o'r dyddiau nesaf." Dywedai wrth ddyn unwaith ei fod yn hollol yr un fath a'r yspwng (*sponge*). "Y mae hwnw," meddai, "yn cymeryd pob peth i mewn. Doder ef yn y dwfr, yn y llaeth, yn y cwrw, yn y bustl, neu yn y gwenwyn, fe gymer ei lonaid o bob peth. Yr wyt tithau yn gyffelyb, yn ddyn pob man a phob peth. Yr wyt gartref yn y dafarn ac yn y capel, nid oes gwahaniaeth pa le."

Meddai ddawn rhyfedd i roddi pen ar ddadleuon a checraeth, ac i adfer heddwch mewn seiadau wedi myned yn ysglyfaeth i ymryson. Byddai gair oddiwrtho yn aml yn derfyn ar helynt flin. Yr oedd dyn, a elwid Wil, yn perthyn i seiat y Dyffryn, yr hwn a fuasai yn gwrando araeth ar drochyddiaeth, ac yr oedd wedi haner credu nad oedd modd myned i'r nefoedd ond trwy yr afon. Bu am gryn dymhor yn aflonyddu ei frodyr a'i chwiorydd, gan eu haner syfrdanu. Dywedwyd yr helynt wrth Siencyn Thomas. "Ho," meddai, "y mae Wil yn gweled trochi yn yr afon

yn haws ffordd na gweddïo, marwhau llygredd, a chroeshoelio y cnawd gyda ei wyniau a'i chwantau." Ryw noson seiat, dyma Wil yn dyfod i mewn fel bollt, mor ddieuog a neb. Llamodd Siencyn ar ei draed mor ystwyth a'r llwdn iwrch, a gwaeddodd yn groch: "Wil, beth yw'r mater arnat ti?" "'Does dim y mater arnaf fi, fy ewythr Siencyn," meddai hwnw; "beth ydych yn ei weled?" "Wyt ti ddim wedi bod yn son am gael dy fedyddio, fachgen?" "Wel, y mae peth son wedi bod am hyny; fe fydd hyny yn ddifrifol ar fy meddwl weithiau." "Gwrando; a gest ti dy fedyddio o'r blaen rywbryd?" "Do, pan oeddwn yn blentyn." "A wyddost ti, Wil, yn enw pwy y bedyddiwyd ti y pryd hwnw?" "Gwn yn burion; y mae y ffurf i'w weled yn y *Common Prayer*." "Wel, yn enw pwy y mae y Llyfr Gweddi yn dweyd?" "Yn enw y Tad, y Mab, a'r Yspryd Glân." "Wel, gwrando, Wil; dyna ti wedi cael dy fedyddio yn enw Trindod o Bersonau, yn enw pa ddiafol yr wyt am gael dy fedyddio eto?" Terfynodd hyn y ddadl; aeth Wil yn rhydd o'r trybini yr oedd ynddo parthed bedydd, ac ni chlywyd gair ganddo ar y mater byth.

Adroddir am ddwy wraig berthynol i seiat y Taibach, oeddynt wedi ymrafaelio yn enbyd; cawsai tân poeth ei gyneu rhyngddynt, ac nid oedd bosibl ei ddiffodd. Llawer llwybr a gymerwyd i geisio eu heddychu; ond pa fwyaf yr ymdrechid, mwyaf cyndyn yr oedd y benywod yn myned, nes yr oedd y gymdeithas yn derfysg trwyddi. Un noson seiat, galwyd hwy ill dwy yn mlaen i ymddiddan â hwy, ac i geisio gwneyd heddwch. Rhoddwyd iddynt anogaethau gwerthfawr, gan ddangos y fath beth dymunol oedd heddwch, a'i fod yn werth aberthu llawer er ei fwyn. Eithr ofer hollol oedd y cynghorion; yr oeddynt yn myned i'r tymherau creulonaf, a phob un yn uchel adrodd y fath gam oedd wedi ei gael oddiar law y llall. Yr oedd Siencyn Thomas trwy yr holl amser yn eistedd yn ddigyffro, a'i lygaid yn nghau, fel pe heb glywed y drafodaeth oedd yn myned yn mlaen. Wedi iddi fyned i'r pen, cyfarchodd un o'r blaenoriaid ef: "Siencyn Thomas, a oes dim ar eich meddwl chwi i'w ddywedyd wrthynt?" "Nac oes, yn gyhoeddus, am a wn i," ebai yntau; "ond y mae genyf air i'w ddywedyd wrth y ddwy yn ddirgelaidd, ar eu penau eu hunain." Yna cododd, a dywedodd: "Deuwch gyda fi eich dwy, i mi gael dweyd wrthych." Allan âg ef a hwythau, nes cyrhaedd pen twyn oedd o flaen y capel. Yna, trodd arnynt, gan ddweyd: "Dyma eich lle chwi eich dwy, y fileiniaid clecog; aroswch yma hyd nes y byddoch wedi gwneyd heddwch, a pheidiwch dod yn agos i'r seiat hyd nes y byddoch wedi terfynu y cweryl." Gyda hyn, trodd ar ei sawdl, a dychwelodd i'r seiat, gan gloi y drws ar ei ol. Nid hir y buwyd nes y clywid wylo a thrydar wrth y ddôr; yr oedd y benywod wedi ymheddychu, ac yn ymbil am gael dyfod i mewn, gan addaw nad ymrafaelient byth ond hyny. A dywedir i'r oruchwyliaeth eu meddygyniaethu yn llwyr.

Dygwyddodd anghydfod blin unwaith rhwng yr aelodau yn seiat Caerphili. Gwnaed llawer ymgais i dawelu'r twrw; ond wrth geisio gwneyd i fynu, yr oedd y fflamiau yn cyneu yn waeth. Bu yr Hybarch David Jones, Llangan, ac eraill o brif ddynion y Cyfundeb, ýno droiau; ond nid oedd dim yn tycio. Yr oedd yn anmhosibl cael taw ar dafodau yr ymrysonwyr, unwaith yr eid i ymdrin a'r mater. Modd bynag, daeth yr achos gerbron mewn rhyw Gyfarfod Misol, ac fel y feddyginiaeth olaf, penderfynwyd anfon Siencyn Thomas yno. Wedi hir gymhell arno, ufuddhaodd yntau. Yno yr aeth, a dywedodd lawer am bechadurusrwydd ymrafaelio, yn nghyd a'r aflwydd a'r dinystr oedd hyny ýn ddwyn ar grefydd. Ond er y cwbl, yn dân gwyllt yr aeth pawb; siaradai pob un ar unwaith; ac ymhelaethent ar y camwri oeddynt wedi dderbyn oddiar ddwylaw eu gilydd. Ar hyn, cododd yr hen bregethwr ar ei draed, gan ddechreu cerdded i fynu ac i lawr ar hyd y capel; weithiau byddai yn codi ei olygon tua'r nef, bryd arall tarawai y llawr yn sybyrthol a'i lawffon. Yn raddol, tynwyd sylw y bobl oddiwrth yr helynt at ei agwedd ddyeithriol. Yntau, gan gerdded, ac fel mewn cymundeb â rhywun anweledig, a ofynodd: "Arglwydd, ai dy ddyweddi di yw hon?" Erbyn hyn, yr oedd pawb yn difrifoli, ac yn tremio yn graff arno. Gyda rhyw sobrwydd ofnadwy, a barai i iasau dreiddio trwy gnawd pawb, gofynai yr un cwestiwn drosodd a throsodd: "Arglwydd, ai dy ddyweddi di yw hon?" Yn mhen enyd gwaeddai dros y lle: "Lladd hi!" Yna, fel pe yr atebasai rhywun: "Na wnaf!" "Gwerth hi, ynte!" "Na wnaf!" "Gwad hi!"

"Na wnaf!" Yna, cododd ei lais, a bloeddiodd dros y lle: "Hi gostiodd yn rhy ddrud i mi; gwerth fy nwyfol waed ydyw. Pa fodd y rhoddaf hi i fynu, a pha fodd ei gadawaf ychwaith?" Yna, syrthiodd i lawr ar ei liniau, a gweddïodd gyda'r fath ddwysder angerddol nes yr oedd y bobl yn foddfa o ddagrau. Pan y cododd oddiar ei liniau, yr oeddynt yn cofleidio eu gilydd, ac yn erfyn am faddeuant. Prawf yr hanes ei fod yn meddu rhyw ysprydoliaeth a nerth nas gallai dim sefyll o'i flaen.

Amryw flynyddoedd cyn ei farw, daeth cwyn i'r Cyfarfod Misol fod yr achos mewn un man yn hynod o adfeiliedig, ac yn gwywo yn gyflym; nad oedd yno fawr pregethu, nac ond ychydig o ymgais i gael pregethwyr; ac y byddai rhaid cau y capel yn fuan, oni ddeuai cyfnewidiad. Wedi gwrando yr adroddiad galarus, cododd William Thomas, o'r Pil, gan ddweyd: "Siencyn Thomas, y mae yn rhaid i ti fyned yno, a'n gweddi ninau oll gaiff fyned i'r nefoedd am lwydd ar dy ymweliad." Ufuddhaodd yntau, gan gymeryd rhywun gydag ef fel cyfaill. Wedi pregethu, galwyd y seiat ar ol; a thra y gosodai ei gydymaith y mater gerbron, gorweddai yntau ar ei hyd ar y fainc. O'r diwedd cyfododd, gan edrych yn annaearol, a chan sefyll a'i bwys ar ei ffon yn nghanol y capel, dywedodd: "Hawyr! Beth yw y mater arnoch? Rhod dda yw y rhod; dwfr da yw y dwfr; paham na thry y rhod, dywedwch?" Aeth yn fud am ychydig, gan edrych yma a thraw. "O," meddai, yn sydyn; "mi welaf sut na fyddai y rhod yn troi; ar y cafan tyllog yna y mae y bai; y mae y dwfr yn myned i golli; 'does dim posibl iddi droi." Yna, dechreuodd alw y bobl wrth eu henwau, canys adwaenai hwy oll. Dechreuodd gyda'r blaenor: "Dafydd; Dafydd y teiliwr, onide? Nage, Dafydd y ffermwr mawr; ïe, y melinydd, ac yn gwerthu y blawd wrth y sachau. Pa le y mae'r grefydd? Bron myned yn anghof." Yna, trodd at hen foneddiges: "Mrs. hon-a-hon, onide? Yr hen wraig fonheddig dduwiol, anwyl gan bawb; pa le y mae hi? Yn suddo yn nghofalon y byd y mae hithau; mŵn haiarn yn y graig, a llawer o bethau felly. Pa le y mae *Miss* hon-a-hon, y ferch fonheddig ffyddlawn gyda chrefydd; ïe, a fu felly, ond beth yn awr? O, wedi ymgladdu mewn caru cnawdol; hwn yn lanach, a'r llall yn gyfoethocach. Beth am fater enaid? Bron wedi myned yn anghof. Catrin; Catrin; tydi sydd yna, onide?" "Ië," ebai hono. "Ië, ei chorph hi; ond pa le y mae ei henaid? Wedi boddi mewn cybydd-dod, yr wyf yn ofni." Fel hyn aeth dros bawb, gan ddweyd pethau tra phwrpasol wrthynt. Yna, cododd ei lef yn sydyn, a gwaeddodd: "Dihunwch, bobol. Y mae Mab Duw yn dyoddef yn y lle hwn o'ch plegyd chwi. Dihunwch trwy ras, onide fe'ch dihunir â barn." Gyda hyn, y mae yn syrthio ar ei liniau, ac yn gweddïo am i'r nefoedd roddi yr Yspryd Glân ar bawb oedd yn y lle, i adfer yr achos, a diwygio y bobl. Yr oedd yr effaith yn orchfygol; tra yr oedd Siencyn Thomas yn ymgreinio gerbron yr orsedd, ac yn dadleu yr addewidion, daeth rhyw deimlad rhyfedd dros bawb; nid oedd dim i'w glywed ond gweddïo ac wylo yn eu mysg, yn wryw ac yn fenyw. O hyny allan llwyddodd yr achos yn y lle; yn bur fuan, derbyniwyd yno tua deg-ar-ugain o aelodau newyddion; a chododd Duw fab i'r blaenor i waith y weinidogaeth.

Wrth gadw seiat yn Llanarthney, Sir Gaerfyrddin, rhoddwyd ar ddeall iddo fod dynes, a fu unwaith yn dra chrefyddol, yn cyfeillachu â Pherson y plwyf. Yr oedd y Person yn cael ei ystyried gan lawer yn ŵr tra anrhydeddus, ond byddai y ddiod feddwol yn fagl iddo yn fynych. Weithiau, mewn angladd, ni fedrai ddarllen y gwasanaeth heb wneyd camgymeriadau difrifol. Teimlai pobl y seiat yn enbyd fod dynes mor rhinweddol ar fin ymuno mewn priodas â chreadur o'r fath; ac eto, nid oeddynt yn gweled fod ganddynt hawl i'w cheryddu, a llai fyth i'w diaelodi, oblegyd yr oedd yr offeiriad nid yn unig yn ddyn proffesedig, ond hefyd yn weinidog efengyl. Yn y dyryswch, penderfynasant gyflwyno yr holl fater i ddwylaw yr Apostol o Benhydd. Wedi pregethu, a galw y seiat i aros ar ol, galwodd Siencyn ar y ddynes i ddyfod yn y blaen. "Gwrando," meddai wrthi; "yr wyt yn myned i wneyd yr un peth yn hollol a ieuo dafad a mochyn yn nghyd. A welwch chwi y ddafad ddiniwed yn rhwym wrth y mochyn aflan acw, ac yn cael ei llusgo trwy y llaid a'r budreddi, nes y mae bron can ddued ag yntau? Gollyngwch y ddafad yn rhydd, hawyr, onide fe'i lleddir wrth gael ei llusgo trwy y ffieidd-dra. Y mae efe yn ymborthi ar y golchion sydd yn y cafn; y mae hithau yn brefu am y borfa las, ac yn newynu tra y mae efe yn gwledda. Hi fydd farw, yn siwr." Yna, tarawodd ei bastwn yn erbyn

y llawr, a bloeddiodd dros y lle: "Gollyngwch y ddafad yn rhydd, onide hi fydd farw a'i phen yn y cebystr!" "A wyddost ti," ebai wrth y ddynes, "yr wyt o fodd dy galon yn myned i gylymu dy hun wrth fochyn y diafol. Paid rhyfeddu os gwna dy dagu o'r diwedd. Edrych beth yr wyt ar fedr ei wneyd, a chilia mewn pryd, onide yn meddiant Satan y byddi yn gorphorol." Gwrandawodd y ddynes ar y cyngor, ac fel y gweddai i ddafad, arhosodd yn y cae gwyrddlas, gan adael y mochyn i ymdreiglo yn y dom.

Dywedai bethau geirwon weithiau, ond derbynid hwy oddiwrtho ef. Yr oedd rhyw Fari, nodedig o ymrafaelgar, yn perthyn i seiat y Dyffryn; y hi oedd y feistres am dafod drwg yn y rhestr dai lle yr oedd yn byw; byddai mewn rhyw helynt beunydd a byth. Cawsai Siencyn ei derfysgu lawer gwaith gan ryw helynt berthynol iddi; ac yr oedd rhyw ffrae ddifrifol wedi cymeryd lle yn ddiweddar. Noson y cyfarfod eglwysig cyntaf ar ol hyny, dyma Mari i mewn, mor dal a neb. Wrth ei gweled, cyffrôdd Siencyn Thomas trwyddo; cododd i fynu, cauodd ei ddwrn, a chan daro ei droed yn erbyn y llawr, crochlefodd: "Mari, Mari; cerdda i maes o'r seiat, y *Jack* y *Lantern* uffernol, gwaith arwain pobl i ddyryswch yr wyt y ffordd y cerddi." Nid oedd gan y ddynes ddim i'w wneyd ond cymeryd y traed can gynted ag y medrai. Yn perthyn i'r un seiat yr oedd chwaer o'r enw Sian Cwmgwynai, yr hon yn aml a fyddai yn cael hwyl yn yr odfaeon. Lled-dybiai Siencyn nad efengyl i gyd fyddai yn cynhyrfu yr hen wraig, ond y gwaeddai weithiau heb wybod am beth. Ryw dro yr oedd ef yn pregethu, a Sian yn gwaeddi mewn hwyl. Yn y seiat a ganlynai y bregeth, trodd ati, gan ddweyd: "Dywed di dipyn, Sian; yr wyt ti yn cael llawer yn y cyfarfodydd yma, ac felly dylai fod genyt brofiad dysglaer." Ond ychydig o brofiad oedd gan y ddynes wedi'r cwbl. "Wyddost ti beth," meddai yntau; "yr wyt ti yn union fel ci hela Wil Herbert. Y mae Wil yn gwaeddi nerth ei ben weithiau, '*Fox*, *Fox*;' a bydd yr hen gi yn ymysgwyd ac yn cyfarth fel pe byddai yno yr helfa fwyaf erioed, pan nad oes traul yr un pryf yn agos i'r lle. Y mae arnaf ofn dy fod dithau, Sian, yn gwaeddi heb draul yn aml. Gwaedda a fynot os bydd traul; ond os na bydd, nid yw gwaeddi o un gwerth."

Byddai hanes Siencyn Thomas yn anghyflawn heb gyfeiriad at ei ymdrechion yn erbyn y diafol. Nid *abstraction* iddo ef oedd Satan, ond creadur cyfrwys a nerthol, bob amser yn temtio i ddrwg. Byddai yn cwympo allan ag ef yn aml, ac nid yn anfynych pentyrai arno gyfres o'r enwau gwaethaf y gallai feddwl am danynt, gan ei alw "y twyllwr," "y lleidr," a'r "bredych," ac yn y blaen. Os rhuthrai temtasiwn i'w feddwl o unrhyw gyfeiriad, Satan fyddai yn cael y bai ar unwaith. Fel y dywedwyd, yr oedd Siencyn yn godwr boreu; byddai ef gyda ei gert yn yr odyn galch cyn bod y calchwyr yno; ac felly arno ef yr oedd gofal am y mesur. Un boreu, pan yr oedd pawb ond efe yn gorwedd yn mreichiau cwsg, daeth profedigaeth arno i lanw y drol mor llawn ag oedd bosibl, er cael ychydig ychwaneg na mesur. Deallodd mai oddiwrth Satan yr oedd y demtasiwn wedi dyfod. Ceisiai ddadleu yn erbyn, gan ddweyd mai lladrad fyddai. "Na," meddai Satan, "'does dim eisiau ei alw yn lladrad; galw ef yn fesur go dda." Llanwodd y drol, ond rhag fod yno fwy nag arferol aeth i ben y llwyth, gan daflu peth o hono i lawr. Yna ymaith ag ef nerth carnau y ceffylau. Wedi myned i ben y rhiw, rhwng yr odyn a'r cae, ataliodd y wedd, rhoddodd gareg y tu ol i'r olwyn yn daclus, ac yna aeth i weddi. Yn mhen ychydig yr oedd ef ar ben y bryn, yn chwifio ei het o gwmpas ei ben, ac yn gwaeddi nes yr oedd y creigiau yn adsain: "Buddugoliaeth! Buddugoliaeth! Concwest ar holl allu y tywyllwch! 'Yr wyf yn gallu pob peth trwy Grist, yr hwn sydd yn fy nerthu.' Haleliwia!"

Pan yn myned at ei gyhoeddiad un tro, dygwyddodd fod ei geffyl yn bur deneu, ac wrth ei fod yn pasio hen chwarel, saethodd profedigaeth i'w feddwl, oddiwrth y diafol, fel y tybiai efe, i daflu yr anifail i'r dyfnder, gan gymeryd arno mai llithro yn ddamweiniol a wnaethai. "Cei geffyl newydd gan dy frodyr," meddai Satan, "pan glywant am yr anhap; y maent yn ddigon abl." Bu ei yspryd mewn dirfawr boen am ychydig; eithr gorchfygu a wnaeth yn nghymhorth gras, a dihangodd yr anifail diniwed a'i fywyd yn ysglyfaeth. Wedi i'r ystorm dawelu, ceisiai ddyfeisio rhyw gynllun i ddial ar y cythraul am ei demtio. Cofiodd fod gwyl mabsant yn cael ei chynal y noswaith hono rywle yn y gymydogaeth, a phenderfynodd fyned yno. Wedi nesu at y tŷ clywai yr holl le yn gyforiog o gynghanedd a dawnsio. Galwodd y tafarnwr

allan, gan erchi iddo ddodi ei geffyl yn yr ystabl; ond nid oedd yno le oblegyd amledd ceffylau y mabsantwyr. Edrychodd yn llewaidd ar y tafarnwr, a gofynodd: "A oes genyt ti drwydded ar dy dŷ?" "Oes," oedd yr ateb. "Dod fy ngheffyl i yn yr ystabl ynte, onide." Dychrynodd y dyn, a throdd geffyl rhywun allan i wneyd lle i geffyl y gŵr dyeithr. Wedi myned yn nghyd i'r tŷ, clywai yr hen Apostol o Benhydd swn dawnsio uwch ei ben ar y llofft, nes yr oedd y lle yn crynellu. Tynodd ei het, trodd ei glust i fynu at y swn, tynodd ei fysedd trwy ei wallt, a chan edrych yn annaearol ar y tafarnwr, yr hwn eisioes oedd wedi cael ei feddianu â gradd o arswyd, gofynodd: "A ydyw y diawl gyda thi yn y tŷ yma?" "O, nac ydyw, syr; dawnsio sydd yma.' "Dawns, ai ïe? dawns! Hwy fyddant yn dawnsio ar eu penau yn y pwll yn fuan!" Dychrynodd y tafarnwr yn enbyd; rhedodd i fynu y grisiau, gan waeddi, "Ffowch! Y mae dyn hysbys ar y llawr wedi dweyd y byddwch yn sefyll ar eich penau yn y pwll oddieithr i chwi ymadael yn ddioed. Dihangwch, a gwnewch y goreu o'ch traed." Daeth dyryswch i'r cwmni, a dechreuodd y merched ysgrechain. Cyn pen ychydig fynydau yr oedd pawb yn dianc am eu heinioes, a thybiai rhai fod rhyw anghenfil du yn rhedeg am y berth â hwy bob cam. Wedi clirio y tŷ, gofynodd Siencyn i'r tafarnwr: "A oes bara a chaws genyt yn y tŷ?" "Oes," oedd yr ateb. "Dere ag ef i'r bwrdd yma." Wedi i hwnw ufuddhau, dywedodd wrtho: "Yn awr, rhaid i ti ofyn bendith arno." "Y fi, syr? Ni ofynais i fendith erioed!" "Y dyn, ofynaist ti fendith erioed; beth yw dy oedran di?" "Hyn-a-hyn." "Ac heb ofyn bendith ar dy fwyd eto? Rhaid i ti ofyn bendith y fynyd hon." Y dyn, yn ddychrynedig, a waeddodd: "O Dduw, beth a wnaf?" "Dyna," ebai Siencyn Thomas, "efallai y gwna hyna y tro yn awr; gofyn di yn fynych i Dduw beth a wnai, efallai y dywed efe wrthyt yn y diwedd." Yna aeth i weddi, gan ddiolch i Dduw am goncwest ar y diafol ar ei dir ei hun. Wrth fyned ymaith danodai i'r diafol nad oedd wedi enill dim wrth ei demtio i wneyd diwedd ar y ceffyl.

Unwaith yr oedd gwas cymydoges iddo yn myned ag ychain i ffair Castellnedd dros ei feistres; penderfynodd Siencyn Thomas anfon ei ychain yntau yn yr un ŷr, a thua'r ffair yr aethant yn nghyd. Rywle tua haner y ffordd dechreuodd yr hen batriarch bendrymu ac ocheneidio, gan ymddangos yn brudd dros ben. Cyn i'r gwas gael amser i ofyn beth oedd arno, gwelai ef yn troi pen y ceffyl yn ol, a chan roddi y chwip a'r yspardyn iddo, dyma ef yn gwaeddi: "Gwna dy oreu o dy ffordd ac o'r ychain, Wil, dyma fi yn ffoi o swn y byd!" Llefodd hwnw ar ei ol: "Yn enw dyn, beth yw'r mater?" "Y mae digon y mater, fachgen; ffair Castellnedd sydd wedi llanw fy nghalon i, cyn fy mod haner y ffordd yno." Ac er pob darbwyllo i ffwrdd yr aeth, gan adael y canlyniadau i Ragluniaeth.

Byddai ei lestr yn aml yn llawn ac yn llifo trosodd yn moddion gras; ac ar adegau felly byddai golwg ryfedd arno; tynai ei fysedd trwy ei wallt, serenai ei lygaid yn ei ben, a rhoddai ambell i ruad nes y byddai y lle yn crynu. Un tro, pregethai rhywun yn hen gapel y Dyffryn, ac yr oedd effeithiau rhyfedd ar y bobl. Eisteddai yntau y naill ochr i'r pwlpud. Tan ddylanwad y Gair, yr oedd yn ymdroi, yn ymdrafod, ac yn ysgwyddo; crafai ei ben, nes yr oedd ei wallt gwyn yn bentwr o ddyryswch, a gwreichionai ei lygaid fel fflam dân. Yn y man dyna ef yn neidio dros y sedd i ganol y bobl, gan floeddio yn groch: "Satan, cymer fi yn awr! Dywedaist ganwaith mai ti fuasai fy mherchen; dere yn awr; cymer fi heddyw, y diafl, os beiddi! Haleliwia; chei di mo honof byth! 'Duw yw yr hwn sydd yn cyfiawnhau; pwy yw yr hwn sydd yn damnio? Y mae yn ddyogel genyf nas gall nac angau nac einioes, &c., fy ngwahanu i oddiwrth gariad Duw, yr hwn sydd yn Nghrist Iesu fy Arglwydd.'"

Y mae yn ymddangos hefyd fod Siencyn Thomas yn ddyn o bwys yn Nghyfarfod Misol Morganwg, os nad yn wir yn Ngymdeithasfa y Deheudir; ac y mae toraeth o'i ddywediadau yn y cyfarfodydd hyn ar gael. Cynhelid Cyfarfod Misol unwaith yn Llantrisant; dechreuwyd y cyfarfod gan Mr. Richard James; yna cymhellai y brodyr y naill y llall i ddweyd gair, ond, rywsut, nid oedd hwyl dweyd ar neb. Ebai rhyw ŵr ieuanc: "Siencyn Thomas, beth wnawn ni fel hyn?" "Dim, am wn i," meddai yntau, "ond gwastraffu amser." Meddai y gŵr ieuanc: "Gofynwch chwi rywbeth i mi; minau a holaf gwestiwn i chwithau; i gael y cyfarfod i gychwyn." "Nid felly," ebai Siencyn; "mi ddywedaf fi fy mhrofiad. Mi wnaethum gronfa o

ddwfr yr wythnos ddiweddaf, tua phedair troedfedd o ddyfnder, ac y mae ffrwd dda o ddwfr yn rhedeg iddi, digon i dori syched yr anifeiliaid, ac i'r hwyaid a'r gwyddau nofio ynddi. Yna, mi a eisteddais, ac a ddechreuais ymffrostio, 'O, ho! yr wyf yn drech o lawer na'm cymydogion; y mae fy llyn i yn loyw, tra y mae eu llynoedd hwy yn fudr a thomlyd.' Ond yn fuan clywn lais yn dweyd: 'Ai ïe, Sianco?' A pheth wnaeth, ond gyru mochyn trwy fy llyn i, fel nad oedd yr un man gloyw i'w weled arno. Ar hyn, darfu fy ymffrost, a gwelais nad oedd dim yn well i mi na chael ffrwd gref o ddwfr ffynhon i olchi fy llyn a minau." Os oes rhyw dipyn o gymysgedd yn y gymhariaeth, y mae meddwl yr hen frawd yn bur glir. Yr oedd wedi teimlo tuedd i ymffrostio yn ei gyfiawnderau, gan dybio ei hun yn sancteiddiach nac eraill; ond daeth y ddeddf, gan wneyd ei gyfiawnderau goreu yn bechod, a gwelodd y rhaid wrth ffrwd gref o ffynhon Calfaria i redeg yn gyson ar ei draws ef a'i ddyledswyddau tuag at eu cadw yn bur.

Dywedai unwaith wrth flaenor mewn Cyfarfod Misol: "Yr wyf yn deall nad yw dy ddiod di mor flasus ag y bu; beth yw yr achos, debyget ti? Yr oedd hen wraig yn byw yn mhlwyf Ystradfellte, mewn tŷ bach ar ymyl y ffordd, lle yr oedd cryn lawer o drafaelu tua'r calch, ac yn gwerthu diod i'r sawl a alwai. Arferai ddarllaw gartref, a chaffai y gair o fod yn cadw diod dda iawn. Os byddai rhywbeth yn rhagori, dywedai y bobl ei fod gystal a diod modryb Bess, o'r Ystrad. Y llanciau, wrth fyned tua'r calch, a alwent yn aml am ddracht o ddiod, ac wedi yfed un *damper* galwent yn gyffredin am un arall, gan mor dda ydoedd. Yn mhen amser, meddyliodd yr hen wreigan mai llai trafferthus iddi fyddai prynu casgen o ddiod. Dyma y llanciau yn dod drachefn, ac yn galw am ddracht; ond wedi yfed, gwnaent wyneb, a chwedi edrych i mewn i'r *damper*, dyma hwy yn dweyd: 'Och, modryb, nid diod o'ch gwaith chwi yw hon. Ffarweliwch, modryb.' Deallodd yr hen wraig erbyn hyn, er ei cholled, ei bod wedi camgymeryd." Ar hyn, efe a drodd at y blaenor, gan ddweyd: "Frawd, berwa dy ddiod gartref. Na ddyro o flaen dy frodyr a'th chwiorydd ond y peth y gwyddost sydd yn ymgeledd i dy enaid dy hun. Unwaith yr ai i ddelio mewn diod estronol, ni fydd dy ffryndiau fawr o dro cyn troi eu cefnau arnat."

Dro arall, ymddiddanai â nifer o flaenoriaid, un o ba rai oedd yn achwyn ar ei sychder a'i syrthni, ac a ymddangosai fel wedi colli tir gyda chrefydd. Torodd Siencyn allan yn danbaid, gan ddweyd: "Jac, Jac, hoga dy gryman; hoga dy gryman, Jac. Ti yw y medelwr blaenaf yn y fan hon er ys llawer blwyddyn bellach; ac yn wir, chwareu teg, medelwr go dda hefyd. Ond yn awr y mae bwlch yn dy gryman di. Mi a'th gynghoraf di i fyned ag ef at y maen y bum i wrtho boreu heddyw; fe ddaw hwnw ag ef yn fuan i awch." Yna, gyda llais dyrchafedig, aeth yn ei flaen: "Jac, hoga dy gryman, onide fe ddaw Arglwydd y fedel i dy droi oddiar y grwn, am dy fod yn rhwystr ar ffordd y gwaith i fyned yn ei flaen." Dywedir ei bod yn anmhosibl darlunio effeithiau y dywediad hwn ar y brawd ei hun, ac ar y cyfarfod yn gyffredinol. Yr oedd fel pe y gwefrasai yr Hollalluog bob cnawd.

Yn cydoesi â Siencyn yr oedd pregethwr, yn byw yn ardal y Creunant, o'r enw Thomas Price, am yr hwn y dywedid ei fod yn llawer o bregethwr ar amserau. Dyn bychan ydoedd, tra gofalus am ei wisg, a phob amser yn ymddangos yn drwsiadus. Un tro, pregethai mewn Cyfarfod Misol, lle yr oedd cryn nifer o frodyr Morganwg wedi cydymgynull, ac yn eu mysg Siencyn Thomas. Ar ddechreu yr odfa yr oedd yn dra llewyrchus; yr oedd y gwynt yn chwythu o blaid y pregethwr, ac yntau yn lledu ei hwyliau i'r awelon, fel y gellid meddwl mai efe oedd meistr y gynulleidfa. Ond yn sydyn, fel taraw dwylaw yn nghyd, dyma gwmwl yn dyfod dros y cyfarfod. A thywyllach yr aeth oddiyno i'r diwedd, fel y bu raid i Thomas Price orphen mewn tywyllwch dudew. Ar y terfyn aeth Siencyn Thomas ato, gan ddywedyd: "Tom, a wyddost ti sut y bu hi heno, fachgen? Os na wyddost, mi a ddywedaf wrthyt. Ti aethost i'r pwlpud yn grynedig, ac yr oeddyt yn gweddïo am help. 'Wel, Tom Price,' ebai'r Arglwydd, 'gan dy fod yn ymwybodol o'th annigonolrwydd, mi a'th gynorthwyaf.' Felly y bu, a hi aeth yn y blaen yn dda anghyffredin am dro, a'r bobl yn cael blas. Blas Duw ydoedd; nid dy flas di, cofia. Ond yn y man, dyna ryw ddiafol yn dod yn y blaen, ac yn curo dy gefn, gan ddweyd: '*Well done, Tom Price!*' Nid oedd niwed yn hyny; pwy a allasai ei atal? Eithr tithau a darewaist dy ddwylaw yn nghyd, ac a waeddaist: '*Well done*, Tom Price,

hefyd.' 'Ah!' ebai'r nefoedd, 'Tom Price, ai ïe?' a dacw hi yn tynu ei llaw yn ol, a thithau yn myned yn wawd i gythreuliaid, yn ddirmygedig yn ngolwg dynion, yn dlawd, ac heb gerpyn i guddio dy noethni." Prawf yr hanes fod Siencyn Thomas yn sylwedydd craff, a'i fod yn adwaen y galon ddynol yn bur drwyadl.

Dengys yr holl adgofion sydd yn aros am dano ei fod yn ddyn nodedig o feddylgar yn ei ffordd ei hun. Byddai am amser yn fynych fel pe wedi ymgolli yn ei feddyliau, ac o braidd y ceid gair o'i enau. Adroddir am dano yn cyd-deithio â dyn ieuanc ryw Sabbath, yr hwn a arferai fyned o gwmpas gydag ef fel cyfaill; a rywbryd tua chanol y ffordd aethai yn gwbl ddystaw rhyngddynt. O'r diwedd torodd Siencyn Thomas ar y dystawrwydd trwy waeddi: "Fe fu farw Phil." "Pwy Phil," ebai hwnw, "pwy Phil ydych yn feddwl?" "Ond Philip Morgan, o'r lle a'r lle." "O, do, yn wir, mi glywais," ebai y cyfaill. "Wel," meddai Siencyn, "fe ddiangodd byth, mi goeliaf. Ond nid o herwydd ei fod yn bert, mwy na thi a minau. Eithr efe a wyddai beth oedd ffaelu byw yn y fan draw, a'i symud i'r fan hyn; a dyna fu am ei fywyd ef." Gyda hyn gwaeddodd yn groch: "O am fyned trwodd o farwolaeth i fywyd!"

Nis gwyddai am ofn dyn, er y parchai bawb y gwelai arwyddion daioni ynddynt. Bu mewn cryn brofedigaeth oblegyd ei geffyl pan ar daith yn Sir Gaerfyrddin. Yr oedd yr ebol braidd yn deneu yn cychwyn, a theneuo a wnelai wrth fyned yn y blaen. Mewn un man croesawyd ef gan ddiacon pur drwsiadus ei wisg, yr hwn a ymddangosai yn gryn foneddwr. Cyn dechreu y cyfarfod trodd Siencyn Thomas yn llechwraidd i'r ystabl, a chafodd fod y gwair a osodasid gerbron y ceffyl wedi llwydo trwyddo, fel na allai yr anifail gyffwrdd ag ef. Gosododd ddyrnaid o'r gwair llwyd yn llogell ei *goat*, a ffwrdd ag ef i'r capel. Wedi y bregeth yr oedd seiat, a dyna lle yr oedd y diacon yn canmol y cyfarfod, ac yn anog y brodyr a'r chwiorydd i siarad. Eithr cyn i neb gael cyfle dyna yr hen gynghorwr ar ei draed, fel bollt. "Beth pe y dywedech chwi air, syr," ebai; "y maent hwy yn dweyd o hyd.' Dechreuodd y diacon siarad am ei ofnau; ond torodd Siencyn Thomas ar ei araeth trwy dynu y gwair allan o'i logell, a'i ysgwyd ar ei ben, nes yr oedd ei ddillad yn wair drostynt oll. "Gwrandewch," ebai; "y mae eich crefydd can llwyted a'r gwair a roddasoch o flaen fy ngheffyl i. Dyma ddarlun o'ch crefydd!" Ni fuasai neb ond efe yn meiddio gwneyd peth o'r fath.

Oblegyd ei symledd gonest, a'r doraeth o synwyr a orweddai dan ei hynodion, yr oedd ei ddylanwad yn y gymydogaeth lle y preswyliai yn fawr. Bu anghydfod difrifol unwaith rhwng perchenogion gwaith copr Taibach a'r gweithwyr; y diweddaf yn gofyn ychwaneg o gyflog, a'r blaenaf yn gwrthod. Y canlyniad fu i'r gweithwyr sefyll allan. Cymerwyd gafael yn rhai o honynt gan y goruchwyliwr, i'w gwneuthur yn esiampl, am esgeuluso y ffwrneisiau, a thrwy hyny beri mawr golled i'r perchenogion. Carcharwyd un dyn ieuanc yn Abertawe, ac yn y diwedd trosglwyddwyd ef i'r *press-gang*, er ei ddanfon allan o'r wlad. Teimlodd yr ardal yn ddirfawr; gwnaed aml i gais at y boneddwr er ei ddarbwyllo i ryddhau y bachgen, ond y cwbl yn ofer. Fel y feddyginiaeth ddiweddaf, penderfynwyd gofyn i Siencyn Thomas fyned ato. Ufuddhaodd yntau. Ryw foreu, dyna ef yn y tŷ, a golwg wyllt arno, gyda ffon bugail, dair llath o hyd, yn ei law, a'i wallt fel blew gafr, oll yn y gwrthwyneb. Heb gyfarch nac arall tarawodd y ffon yn erbyn y llawr, ac meddai wrth y boneddwr: "Yr ydych wedi ei gwneyd hi yn daclus o'r diwedd; anfon bachgen cymydog o wlad ei enedigaeth! Beth yw eich meddwl? Ni ymedy y cleddyf a'r tŷ hwn byth; fel y gwnaethoch y gwneir i chwithau." Yn ffortunus i'w bregeth, gyda ei fod yn gorphen, dyna rywun yn cwympo o'r llofft, a'r forwyn yn bloeddio fod un o'r plant wedi tori ei wddf. Aeth yn gynhwrf trwy y lle, ond cafwyd nad oedd y plentyn fawr gwaeth. Wedi i'r twrf dawelu, meddai yr hen batriarch: "Nid yw hyna ond dechreu gofidiau, oni anfonwch y bachgen adref," ac ymaith ag ef. Y boneddwr, mewn braw, a redodd ar ei ol, gan waeddi: "Siencyn Thomas, fe gaiff y bachgen ddod adref, beth bynag a gyst hyny." Ni dderbyniasid y fath beth oddiwrth neb ond un hynod yn ei ffordd, ac un â chymeriad pur yn gorwedd o dan ei holl hynodion.

Gwledd gan yr hen bobl fyddai cael Siencyn Thomas, Penhydd, i gynal seiat, gan mor wreiddiol y byddai ei sylwadau, ac mor onest y byddai yn ymwneyd â dynion. Mewn un cyfarfod, siaradai â hen frawd o'r enw David Christmas. Methai Siencyn

gael yr hen frawd i ateb i'w fesurau; tybiai ei fod yn tueddu at fod yn ddeddfol a hunan-gyfiawn. Dywedai wrtho fod yn rhaid darfod yn lân a'r Adda cyntaf, colli bywyd, myned heb gerpyn i guddio y noethni, a dyfod at Grist am fywyd tragywyddol, neu ynte fod yn golledig byth. Eithr dal yn bur gyndyn yr oedd Dafydd. O'r diwedd poethodd yspryd Siencyn; tarawodd y ffon yn erbyn y llawr, a gwaeddodd: "Deio, a wyddost ti tebyg i beth ydwyt? Y mae dy dŷ yn gollwng dafnau trwyddo; y maent yn dyfod i mewn yma ac acw; a dyna lle yr wyt tithau yn symud dy wely o'r naill fan i'r llall o ffordd y dafnau; eto gwlychu y mae wedi'r cwbl. Ond dyna, yn yr hen dŷ tyllog yna y mynu di fyw er pob peth." Gyda hyn rhoddodd floedd dros y lle: "I lawr i'w bwll y delo dy hen dŷ di, Deio!" Ni wyddis pa effaith a gafodd y cynghor, ond yr oedd y gymhariaeth yn dra tharawiadol.

Ychydig o'i hanes yn pregethu sydd genym, ond y mae yn sicr ei fod yn wahanol i bawb arall gyda hyn. Clywsom am dano yn pregethu un noson yn hen gapel y Creunant. Capel hir ydoedd, a phwlpud i'r offeiriaid bregethu yn un pen iddo, ac yn y pen arall yr oedd math o ystol, ar yr hon y safai y cynghorwyr diurddau, pan y byddent yn traddodi eu cenadwri. Yn ymyl y cynghorwr yr oedd darn o haiarn wedi ei bwyo i'r mur, yr hwn a elwid "y canwyllbren," a chanwyll ddimai wedi ei gosod yn hwn oedd yr holl oleuni yn yr ystafell. Testun Siencyn Thomas y tro yma ydoedd: "Crist yn oleuni y byd." Yn mysg pethau eraill dywedai: "Goleuni yw y pwnc, bobl. A fyddai y byd hwn o ryw ddefnydd i ni heb oleuni ynddo, dywedwch? Yn mha le y mae y goleuni, bobl? Mi ddychymygaf glywed un o honoch yn dweyd, 'yn fy llygad i.' Nage, nid yn dy lygad di y mae'r goleuni." Gyda hyn trodd at y ganwyll, gan ei gwasgu rhwng ei fysedd nes ei diffodd. "Dyna," meddai, yn nghanol y tywyllwch tew, "a weli di yn awr? Na, y mae yn ddigon tywyll arnat bellach, mi wn." Wedi rhoddi y wers ymarferol hon iddynt, a goleuo y ganwyll drachefn, dywedai: "Chwi gredwch yn awr mai nid yn eich llygaid chwi y mae y goleuni. Bobl; yn Nghrist y mae goleuni a bywyd, nid ynoch chwi. Cerddwch am bob peth i'r man lle y mae i'w gael. Os gwelwch frwyn yn tyfu yn rhywle, gellwch fyned yno i chwilio am ddwfr, y mae dwfr yn sicr o fod gerllaw gwreiddiau brwyn. Os gwelwch fwg yn rhywle, ewch yno i chwilio am dân; a lle y byddo tân fe fydd yno oleuni a gwres. Ewch i geisio pob peth i'r man lle y mae i'w gael, onide chwi a fyddwch hebddo. Dewch at Grist am oleuni a bywyd byth, bobl!"

Os oedd yn fanwl gyda chrefydd ei frodyr a'i chwiorydd, yr oedd yn llawer mwy manwl gyda ei grefydd ei hun. Byddai yn aml mewn trafferth gyda'i gyflwr, ac mewn gofid anaele oblegyd plâ ei galon. Pan ar ben mynydd Aberafan, unwaith, cododd ystorm chwerw ar ei feddwl: "Wn i yn y byd," ebai wrtho ei hun, "a weddïais i boreu heddyw." Ychwanegai wrtho ei hun: "Do, do, Siencyn; buost yn darllen ac yn gweddïo; mi a'th glywais a'm clustiau fy hun." "Ië, ïe, yr oeddyt yn siarad digon; ond y pwnc yw, a glywodd y nefoedd di? A weddïais ti, ddyn?" Yn sydyn, tybiai fod Satan yn sefyll o'i flaen, ac yn dweyd: "Siencyn, weddïaist ti ddim erioed, chwaethach heddyw." Gyda hyn, safodd, fel un wedi pensynu; cododd ei ffon i fynu, a bloeddiodd fel cadarn wedi gwin: "Dy gelwydd yw, ddiafol." Ni fu y temtiwr fawr o dro cyn cefnu. Rhoddodd hyn fywyd newydd ynddo yntau, a dyna ef yn bloeddio nes yr oedd y cymoedd yn adsain: "Satan, dere yn ol; dere yn ol yn awr; yr wyf yn myned i weddïo yn bresenol, a thithau a gai fod yn dyst." Gyda hyn, dyma ef ar ei liniau; cafodd ddrws agored at Dduw; ac wedi codi, bloeddiai drachefn: "Bydded ein gelynion yn farnwyr! Gogoniant; y mae Satan wedi ffoi! Yr wyf yn galw Duw, a'i angylion sanctaidd, yn dystion ar fy achos." Dychwelodd Siencyn Thomas oddiar y mynydd y dwthwn hwnw yn fwy na choncwerwr.

Byddai yn dra gofalus gyda ei amgylchiadau, gan gwbl gredu ymadrodd yr Apostol, fod yr hwn nid yw yn darbod dros ei deulu yn waeth na'r diffydd. Un tro, yr oedd pregeth yn nghapel y Dyffryn ganol dydd gwaith. Yr oedd yntau mewn helynt gyda'r anifeiliaid, y rhai a dorent i'r ŷd; a theimlai mai myned yn mlaen gydag adgyweirio y cloddiau a ddylai, ac nid myned i'r capel. Ond gorchfygwyd ef gan chwant myned i'r odfa; gwthiodd y menyg a'r bilwg i ryw guddfan, ac ymaith ag ef. Yr oedd y bregeth dan arddeliad amlwg, clywid aml i "Amen" gynhes yn dyfod o wahanol ranau y capel; a chododd awydd dweyd "Amen" arno yntau. Ar hyn,

awgrymodd y diafol iddo fod rhywun wrth basio wedi lladrata y bilwg a'r menyg. Oerodd ei yspryd o'i fewn am ychydig. Eithr yn mlaen yr oedd yr hwyl yn myned, a chynyddu yr oedd y gwres; teimlai yntau drachefn fod y gwirionedd yn felusach na'r mêl, ac yr oedd ar floeddio "Haleliwia." Ond dyma y diafol yn sibrwd eto: "Y mae y bilwg a'r menyg wedi eu lladrata, mor sicr a'th fod yn fyw." Cafodd ei orchfygu gan y gelyn y waith hon eto. Erbyn hyn, yr oedd yr hen Ddyffryn agos ar dân gan foliant; y seintiau oeddynt wedi tynu eu telynau oddiar yr helyg, ac yn chwareu arnynt yn hyfryd; cododd chwant molianu arno yntau, ond dyma Satan yn gwthio y bilwg i'w feddwl gwedin. Eithr yr oedd y cyffro yn ormod i'r diafol allu ei atal y tro hwn, a dyma Siencyn yn bloeddio dros y lle: "Y bilwg, ddiafol; beth sydd a fynot ti ag ef? Os ydyw wedi ei ladrata, myfi a'i pïai, ac yr wyf wedi talu yn onest am dano. Satan, am dy wddf di y byddo y bilwg yn dragywyddol. Haleliwia! Clod i'r Hwn a'n prynodd ar y pren." Rhaid fod y gynulleidfa yn synu yn fawr wrth ei glywed, gan na wyddent ddim am helynt y bilwg a'r menyg.

Yn gyffelyb i'r hen bobl yn gyffredin, y prif bechod y gwyliai Siencyn Thomas rhagddo oedd balchder. Un diwrnod, yr oedd efe, a'r Hybarch Jones, Llangan, yn cydfarchogaeth i ryw gyfarfod. Newydd ddychwelyd yr oedd Mr. Jones o un o'i ymweliadau â Llundain. Ofnai Siencyn Thomas am dano yntau, er eu bod yn gyfeillion anwyl, rhag i'r parch oedd yn gael yn y brifddinas beri iddo ymchwyddo. Marchogai Mr. Jones gam neu ddau yn mlaen; yn y man teimlai ddau neu dri o ergydion ysgafn yn disgyn ar ei goryn, a chwedi troi ei wyneb deallodd mai llawffon yr hen frawd o Benhydd oedd yno. "Sianco, Sianco," meddai, "beth wyt yn wneyd, fachgen?" "Eich cadw chwi i lawr, syr," ebai yntau, "yr ydych wedi bod yn Llundain yn cael llawer o barch gyda'r gwŷr mawr; y mae eisieu ychydig ergydion ar eich pen i'ch cadw rhag tyfu." Chwarddodd Mr. Jones yn galonog, a derbyniodd y cynghor yn yr un yspryd ag yr ydoedd yn cael ei roddi.

Gallasem ychwanegu llawer am Siencyn Thomas, ond credwn fod gan ein darllenwyr erbyn hyn syniad pur dda am ei nodweddion. Yr oedd yn ddyn gonest a phlaen; ofnai Dduw yn ddirfawr, ond ni dderbyniai wyneb dyn; meddai lygad eryraidd i adwaen cymeriad crefyddol, a llawer o fedr i gyfaddasu ei gynghorion ar gyfer yr amgylchiadau. Yr oedd ei wylltineb, ei wedd afluniaidd, ac anghoethder ei ymadroddion, yn gweddu yr oes yn mha un yr oedd yn byw. Gwnaeth argraff annileadwy ar drigolion y fro y preswyliai. Bu farw, er ei nerth, yn gymharol gynar, a chladdwyd ef yn mynwent Aberafan. Uwch ei fedd, ar gofadail, sydd mewn cadwraeth dda, y mae yr ysgrif a ganlyn wedi ei cherfio: "Er côf am Jenkin Thomas, o'r Goetre, plwyf Margam, yr hwn a ymadawodd a'r byd hwn Rhagfyr 26, 1807, yn 61 mlwydd oed. 'Cymerwch atoch holl arfogaeth Duw, fel y galloch wrthsefyll yn y dydd drwg, ac wedi gorphen pob peth, sefyll.'

'Mawr elw im' fu marwolaeth—fe nodwyd
Im' fynediad helaeth
I fuddiol etifeddiaeth,
Fel y lli' o fêl a llaeth.'"



# PENOD XXVIII.

——:o:——

## CHRISTOPHER BASSET, THOMAS GRAY, AC EDWARD COSLET.

*Christopher Basset yn hanu o deulu pendefigaidd—Yn cael addysg dda—Yn dewis y weinidogaeth, ac yn graddio yn Rhydychain—Yn cael ei benodi yn guwrad i Mr. Romaine—Yn cael cuwradiaeth St. Ffagan—Y mae yn bwrw ei goelbren gyda'r Methodistiaid—Ei Fethodistiaeth yn rhwystr iddo i gael bywioliaeth Eglwysig—Ei iechyd yn gwaelu—Yn symud i Borthceri—Cael anwyd wrth bregethu yn Crai—Yn marw yn nhy ei chwaer yn Mryste—Troedigaeth Thomas Gray—Y mae yn dechreu pregethu—Gwrando ar Daniel Rowland yn agos i'r Fenni—Y mae Mr. Gray yn cael ei benodi yn olynydd Mr. Pugh—Yn cael ei droi allan o Neuaddlwyd, oblegyd ei wresawgrwydd—Adeiladu capel Ffosyffin—Thomas Davies, Ty'nyporth—Eglwys Llwynpiod—Pregethu yn Llwynrhys—Mr. Gray yn ymwasgu at y Methodistiaid, ac yn treulio ei fywyd yn eu mysg—Ei ddull o bregethu—Ei bregeth yn Nghymdeithasfa Abergwaun—Yn marw—Edward Coslet yn tyfu yn ddigrefydd—Yn cael ei argyhoeddi trwy William Edward, Groeswen—Mewn canlyniad i bregethwr yn tori ei gyhoeddiad, y mae yn dechreu cynghori—Symud i Gasbach, ac ymuno a'r Methodistiaid—Y seiat yn nhy Edward Coslet—Gorfod symud i Laneirwg—Coslet yn gerddwr mawr—Gwneyd pregethau rhwng y tân a'r eingion—Yn cael odfa nerthol yn Nghymdeithasfa Caernarfon—Ei frwydrau a'r diafol—Ei ffraethineb—Yn marw yn y flwyddyn 1828.*

MEWN cysylltiad âg amryw o enwogion cyntaf y Methodistiaid, buom yn cwyno nad oedd nemawr o'u hanes wedi cael ei gofnodi, a thueddem i feio y rhai a'u hadwaenent, ac a fuont fyw ar eu hol, oblegyd eu hesgeulusdod. Ond y mae yn wahanol gyda'r Parch. Christopher Basset, oblegyd ysgrifenwyd byr gofiant iddo ef gan "Dafydd ab Ioan," mewn ffordd o lythyr at "Ioan ab Gwilym, y prydydd." Y mae dyddordeb "y llythyr" yn mwyhau pan gofiom nad oedd "Dafydd ab Ioan," ei ysgrifenydd, yn neb llai na'r Hybarch Jones, o Langan, ac mai y bardd a'r emynydd enwog, John Williams, St. Athan, oedd yr "Ioan ab Gwilym" y cafodd ei anfon ato. Gwir fod yr hanes yn llawer rhy fyr; fod llu o bethau cysylltiol â Basset yr hoffem wybod rhywbeth am danynt; megys rhai o helyntion ei blentyndod, ei argraffiadau crefyddol cyntaf, y moddion a ddefnyddiwyd i'w ddwyn i gyflawn adnabyddiaeth o'r Gwaredwr, ac i ymorphwys arno am iachawdwriaeth, &c. Ond yn hytrach nac edliw yr hyn sydd ddiffygiol, teimlwn yn ddiolchgar am yr hyn sydd ar gael, a bod cymeriad un o'r dynion ieuainc duwiolaf a welodd Sir Forganwg wedi ei gadw rhag cael ei ebargofi.

Hanai Christopher Basset o Fro Morganwg. Preswyliai ei rieni, Christopher ac Alice Basset, yn Aberddawen, plwyf Penmark, o fewn milltir i'r pen mwyaf deheuol o Gymru. Ymddengys eu bod ill dau yn Fethodistiaid, ac yn aelodau o seiat Aberddawen, wedi cael eu dychwelyd, yn ol pob tebyg, trwy weinidogaeth gyffrous Howell Harris, yr hwn yn fynych a ymwelai a'r ardal. Y mae yn amlwg hefyd eu bod yn gefnog eu hamgylchiadau, ac yn meddu safle barchus mewn cymdeithas; yn wir, perthynent i un o hen deuluoedd mwyaf pendefigaidd Morganwg. Ganwyd eu mab, Christopher, ar adeg isel ar grefydd, pan yr oedd terfysg ac ymraniad wedi dyfod i mewn i'r seiadau, sef yn y flwyddyn 1753, pan yr oedd y ddadl anhapus rhwng Harris a Rowland yn anterth ei grym. Eithr nid ymddengys iddynt hwy gael eu cario ymaith gan y teimladau cryfion a ffynent ar y pryd; glynasant wrth yr achos trwy bob ystorm. Eu dymuniad angerddol ydoedd ar i'w mab gael ei alw i'r weinidogaeth. Ymdrechasant roddi iddo y ddysgeidiaeth angenrheidiol

er ei gymhwyso at hyny; a thaer weddïent ar i Dduw ei gynysgaethu â'r dduwioldeb a'r ddawn anhebgor ar gyfer y swydd. I'r un cyfeiriad y rhedai ei dueddfryd yntau, a sylwa ei fywgraffydd nad rhyfyg ynddo oedd dweyd ei fod wedi cael ei alw o'r groth i fod yn was i Iesu o Nazareth. Ychwanega Mr. Jones, mai efe oedd yr unig offeiriad, mor bell ag y gellir cywir farnu, a fagwyd yn Sir Forganwg, yn y ganrif hono, ag oedd yn gwir garu, yn ei neillduol alwad, lwyddiant yr efengyl yn y purdeb o ddaliadau Eglwys Loegr. Adwaenai Jones, Llangan, offeiriaid y wlad yn dda, ac felly mai ei eiriau yn gondemniad ofnadwy ar eu bywydau digrefydd. Pan yn bur ieuanc cafodd Christopher ei anfon i ysgol ramadegol Pontfaen; ysgol o gryn enwogrwydd, yr hon a gawsai ei gwaddoli trwy haelioni Syr Leonine Jenkins, ac a gedwid ar y pryd gan Mr. Thomas Williams. Bu yno amryw flynyddoedd, yn gwneyd cynydd dirfawr yn ngwahanol ganghenau gwybodaeth, eithr ni chollodd ei grefydd, na difrifwch ei ymarweddiad, ac ni phallodd ychwaith yn ei ymlyniad wrth y Methodistiaid. Tra yma daeth i gyffyrddiad â Jones, Llangan. Nid oedd Llangana, plwyf Mr. Jones, ond rhyw bum' milltir, fel yr hed brân, o Bontfaen; ac nid anhebyg i'r bachgen Christopher groesi y bryn, heibio i gastell Penllin, lawer Sabbath i wrando y gŵr enwog hwnw yn efengylu i'r canoedd a ymgasglai yno.

Wedi gorphen ei efrydiaeth yn y Bontfaen, rhoddodd ei dad ei ddewis iddo, naill ai byw gartref ar ei dir ei hun, ynte myned i Rydychain. Hyn, yn ddiau, a wnaeth er mwyn ei brofi, oblegyd yr oedd yn awyddus am iddo ymgyflwyno i'r weinidogaeth. Eithr yr oedd ateb ei fab wrth fodd calon y tad; "Gobeithio," meddai, "y caf dreulio fy mywyd yn y gwaith o ddywedyd y gwir dros Dduw wrth fy nghydgreaduriaid, er gogoniant Iesu, a thragywyddol ddaioni dynion." Penderfynodd hyn y pwnc; i Rydychain y cafodd Christopher fyned, ac ymaelododd yn Ngholeg yr Iesu. Gwyddom pa mor llygredig ac annuwiol oedd moesau Rhydychain ar y pryd. Methasai Howell Harris fyw yno oblegyd drygioni y lle; nid yw yn ymddangos fod pethau fymryn gwell yn amser Basset, oblegyd yr oedd y Methodistiaid a fuont unwaith yn allu yn y Brif-ysgol oll wedi ymadael, ac nid yw yn ymddangos fod nemawr o'u dylanwad yn aros. Eithr yr oedd purdeb y gŵr ieuanc o Aberddawen mor bendant, a gras Duw yn ei galon mor gryf, fel y daeth allan oddiyno heb dderbyn dim niwed, wedi derbyn y gradd o M.A. A Christopher Basset, o Fro Morganwg, neu ynte, Nathaniel Rowland, mab yr hen Apostol o Langeitho, oedd yr M.A. cyntaf a fu yn perthyn i'r Methodistiaid. Braidd nad yw y fantol yn troi o blaid y Parch. Nathaniel Rowland, gan ei fod ryw gymaint yn hŷn na Basset. Am ei gadwedigaeth yn nghanol hudoliaethau y Brifysgol, canai Williams, Pantycelyn, yn y modd a ganlyn:—

"Gwelwch yntau yn mhlith canoedd,
Yn Rhydychain, ysgol clod,
Yn ymwadu â'r arferion
Sydd gan ie'nctyd yno'n bod;
Fe yn yfed ffynon bywyd,
Athrawiaethau dwyfol, gwiw,
Tra f'ai eraill yn eu gwawdio,
Ac yn damsang geiriau Duw.

P'odd na buasid yn dy demtio
I bleserau trythyll, gwael,
Pan oedd natur yn dy wahodd,
Ac yn cynyg i ti dâl?
Arfaeth gadarn trag'wyddoldeb
Yno safodd o dy flaen,
Ac mae'r arfaeth yn gadarnach,
Mur o bres a mur o dân."

Cafodd ei ordeinio gan Esgob Llundain, ac ar ei alwad i fod yn guwrad i Mr. Romaine, yn St. Anne, Blackfriars. Yr ydym wedi cyfeirio yn barod at Mr. Romaine, fel clerigwr nodedig o efengylaidd, yr hwn oedd ar delerau tra chyfeillgar âg amryw o Fethodistiaid Cymru. Felly yr oedd y ddau, y clerigwr a'i guwrad, mewn hollol gydymdeimlad â'u gilydd. Yn Llundain, ymdaflodd Mr. Basset i waith yr efengyl a'i holl enaid; pregethai gyda nerth a dylanwad; ac heblaw gwasanaethu yn St. Anne, traddodai ddarlithiau yn wythnosol yn eglwys St. Ethelburga. Eithr ymddengys mai gwanaidd o iechyd ydoedd yn naturiol, a bod ei lafur yn y Brifddinas yn ormod i'w gyfansoddiad; yn mhen enyd hefyd cafodd ei daro â thwymyn drom, yr hyn a'i dygodd i ymyl pyrth y bedd. Tybiai ei rieni nad oedd awyr Llundain yn dygymod âg ef, a pherswadiasant ef i ddychwelyd i wlad ei enedigaeth. Cafodd guwradiaeth St. Ffagan, pentref prydferth tua thair milltir o Gaerdydd. Yn ol *Methodistiaeth Cymru*, tua'r flwyddyn 1778 y daeth i St. Ffagan; felly yr oedd yn rhyw bum'-mlwydd-arhugain oed. Yr oedd seiat gan y Method-

istiaid yma er y flwyddyn 1740. Bu Howell Harris yn pregethu yn y lle droiau. Ond isel braidd oedd yr achos pan ddaeth Mr. Basset yma. Buasai Thomas Llewelyn, o'r Ysgubor Fawr, yn nhŷ yr hwn yr arferid pregethu, farw ryw ddwy flynedd cyn hyny; ac felly nid oedd gan arch Duw gartref sefydlog. Eithr bwriodd Mr. Basset ei goelbren gyda'r Methodistiaid, a bu ei ddyfodiad yn adfywiad dirfawr i grefydd. Yn y pentref, yr oedd gan un Bartholomew Howell dŷ, yr hwn a ardrethid fel ystafell ddawnsio i ieuenctyd y pentref, a lle y byddai y delyn yn cael ei chwareu yn fynych hyd wawr y boreu. Cymerodd Mr. Basset yr ystafell, a throdd hi yn addoldy i'r Methodistiaid. Yma, bellach, y cedwid y seiadau a'r cyfarfodydd gweddïau; ac yma y pregethai y cynghorwyr diurddau, y rhai a ddeuent o gwmpas, ac na oddefid i bregethu yn yr eglwys, er cymaint oedd doniau rhai o honynt. Gofalai y cuwrad am gael prif ddynion y Methodistiaid, yn glerigwyr ac yn gynghorwyr, i St. Ffagan; a chafwyd cyfarfodydd y bydd cofio am danynt i dragywyddoldeb, yn yr hen ystafell. Bu Edward Coslet yno ddegau o weithiau, a Dafydd Morris; ac yn ddiweddarach, er nad yn amser cuwradiaeth Mr. Basset, ei fab enwog, Eben. Morris, yn nghyd âg Eben. Richard, ac amryw o wŷr enwog eraill. Bu ei muriau yn adsain ganwaith gan sain moliant a chân yr hen grefyddwyr gwresog. Yr oedd Mr. Basset yn fwy o Fethodist nac o Eglwyswr, er y cyflawnai ei ddyledswyddau yn y llan gyda phob cydwybodolrwydd.

Tra yn preswylio yn St. Ffagan, teithiai lawer o gwmpas i bregethu yr efengyl; ac fel ei gyfaill, Jones o Langan, ni ofalai a oedd yr adeilad yn mha un y llefarai wedi cael cysegriad esgobol ai peidio. Nid yw hanes ei deithiau genym; ond y mae yn sicr iddo drafaelu y rhan fwyaf o Gymru, a hyny fwy nag unwaith. Cawn iddo fod unwaith yn Nyffryn Clwyd, fel cyfaill, naill ai i Daniel Rowland neu ynte Jones, Llangan, ac iddynt gael odfa ryfedd yn mhlwyf Llandyrnog, wrth "dŷ Modlen," lle yr arferid pregethu y pryd hwnw. Aeth yn orfoleddu mawr yno; yr oedd Mr. Basset yn neidio fel hydd; yr oedd llu o bobl yn neidio ac yn canmol heblaw efe, ac yn eu mysg merched Plas Llangwyfen, y rhai yn barod oeddynt wedi cael crefydd. Y penill a ganai Basset wrth folianu, meddir, ydoedd:—

"Yn y rhyfel mi arosa',
Yn y rhyfel mae fy lle;
Boed fy ngenau wrth y ddaear,
Boed fy llygaid tua'r ne';
Doed y goncwest pryd y delo,
Dysgwyl wrth fy Nuw a wnaf,
Nes o'r diwedd wel'd yn trengu,
Pechod ag oedd bron fy lladd."

Nid hir y bu yn St. Ffagan, er nad yw yn ymddangos iddo gael ei droi i ffwrdd. Gwnaed aml ymgais am gael personiaeth iddo, lle y gallai fod yn annibynol; ond er llawer o addewidion teg, ni lwyddwyd. Meddai ei fywgraffydd: "Yr oedd gan ei dad le cyfreithlon, o ran y cariad ag oedd llawer o wŷr mawr y byd yn broffesu iddo, i ddysgwyl dyrchafiad i'w fab, yn ei barchedig swydd, trwy roddi iddo rai o'r llanau mawrion. Ond pa bryd bynag y deuai yr amser i brofi eu cariad, cadwent draw, gydag esgus tlawd Ffelix, 'Pan gaffwyf amser cyfaddas.' Ac er bod lle agored ganddynt lawer gwaith i'w dderbyn i blith eu doctoriaid dysgedig, i gael rhan o'u bydol ysglyfaeth, eto nis gallent lai y pryd hwnw na datguddio yr hen elyniaeth, yr hon sydd yn llywodraethu yn nghalon pob dyn anianol yn erbyn y gwir, er iddo ddyferu allan o enau athraw yn y celfyddydau." Yr Hybarch David Jones, Llangan, sydd yn ysgrifenu fel hyn; a gwelir y priodola wrthodiad y rhai ag yr oedd penodi i fywioliaethau Eglwysig yn gorphwys arnynt, i roddi rheithoriaeth na ficeriaeth i Christopher Basset, i elyniaeth calon y cyfryw yn erbyn y gwir. Gellid meddwl fod pob cymhwysder i swyddogaeth uchel yn Basset ieuanc; disgynai o deulu da; yr oedd yn ddyn dysgedig, wedi graddio yn Rhydychain, ac yr oedd yn gwbl ymroddgar i'w ddyledswydd. Eithr yr oedd ynddo dri angymhwysder mawr yn ngolwg ysweiniaid ac esgobion Eglwys Loegr y pryd hwnw; yr oedd yn dduwiol, yr oedd yn credu yr athrawiaeth efengylaidd fel ei dysgid yn articlau Eglwys Loegr, ac yr oedd yn ymgymysgu â'r Methodistiaid. I ŵr ieuanc fel hyn nid oedd obaith am ddyrchafiad. Pe buasai yn meddwi ambell dro; ac yn arbenig pe y buasai yn flaenllaw gydag erlid y crefyddwyr a geisient achub Cymru o safn y diafol, buasai ei ragolygon yn llawer mwy dysglaer. Eithr fel yr ydoedd, ni fu namyn cuwrad trwy ystod ei fywyd.

Ychydig cyn ei farw symudodd i Borthceri, yn ymyl cartref ei dad, ac ymddengys ei fod wedi cael cuwradiaeth yr eglwys gerllaw. Ar yr un pryd, elai i mewn ac

allan fel arweinydd i'r Methodistiaid a ymgynullent yn Aberddawen. Yma, bu yn nodedig o lwyddianus. Meddai ei fywgraffydd: "Dygodd llais y durtur amryw ddynion at ei sain, a da oedd ganddynt gael lle yn mhlith ei ddeadell fechan, yr hon a gynyddodd hyd ei ddiwedd." Amser deheulaw Duw oedd hwn i Fethodistiaid Bro Morganwg. Eithr, ysywaeth, yr oedd seren ddysglaer Christopher Basset yn tynu tua'i machludiad. Gwanaidd ei gyfansoddiad ydoedd o'r cychwyn; a rywbryd yn haf 1793, aeth i Crai, yn Mrycheiniog, i bregethu ar Sul hynod wresog. Yr oedd y capel bychan wedi ei orlanw, a'r lle yn enbyd o boeth. Teimlodd y pregethwr ei nerth yn darfod ar ganol y bregeth, a rhyw boen enbyd o gwmpas ei ysgyfaint, fel y bu raid iddo roddi heibio. Daeth yn well wedi yr odfa, eithr bu yn esgeulus o hono ei hun, ac yntau wedi chwysu yn ddirfawr. Mewn canlyniad, cafodd anwyd, ac arweiniodd hyn i'r darfodedigaeth. Heb fod yn hir, torodd gwythïen o'i fewn, rhedodd cryn lawer o'i waed, a dechreuodd besychu yn drwm. Cynghorodd y meddyg ef i fyned i'r ffynhonau brwd ger Bryste. Am ychydig, teimlai ei fod yn cryfhau yno; eithr nid oedd hyn ond twyll yr afiechyd. Yr oedd Jones, Llangan, yn ei garu fel y carai Jonathan Dafydd, ac aeth ato i Bath am fis; ac y mae yr hanes a rydd am eu cymdeithas yn nodedig o dyner. "Llonodd fy yspryd," meddai, "wrth ei weled ryw fesur yn well. Daeth allan i rodio gyda mi tuag at y ffynhonau. Wrth fyned gyda'n gilydd, ac ymddiddan, adnabum fod ei anadl yn fyrach. Lleithiodd hyn fy yspryd; dirgel ocheneidiais y geiriau: 'Collwn ein cyfaill Basset, yn dra siwr.' Wrth rodio yn yr ardd o flaen y tŷ yr oedd yn lletya, cefais achos i ofni nas gwelwn ef byth yn Nghymru drachefn. Wrth gerdded ychydig o lechwedd gwelwn ei fod yn amddifad o ddau beth angenrheidiol iawn i wynebu mynyddoedd Cymru drachefn, sef rhydd a hir anadl, a grym yn ei gliniau. Trodd ein hymddiddan un diwrnod yn dra neillduol ar bethau y wlad uwchlaw yr haul. Cefais le i farnu, yn ngwrs ein cydsiarad, mai nid gŵr dyeithr oedd efe yn y wlad hono. Dywedai wrthyf lawer iawn am iaith y wlad, ac mi welais yn eglur fod ganddo sicrach gafael ar Arglwydd gogoneddus y wlad hono nag oedd gan yr hen *gonsumption* arno ef."

Ar ei glaf wely, yr oedd yn nodedig o nefolaidd ei yspryd; braidd na ellid meddwl fod y Ganaan dragywyddol wedi ymestyn ato dros yr Iorddonen. Dywedai unwaith: "Mi a welaf yn awr nas gallaf bregethu byth mwy, ond os myn Duw i'm wella i ryw fesur, byddaf yn foddlon i gadw drws yn ei dŷ." Ceisiai yn fynych gan ei chwaer ddarllen iddo y drydedd Salm ar ol y ganfed; eithr wedi iddi fyned dros y bumed adnod: "Yr hwn sydd yn diwallu dy enau â daioni, fel yr adnewyddir dy ieuenctyd fel yr eryr," efe a'i hataliai, gan ddweyd: "Dyna ddigon, digon, ddigon!" Tynai gysur mawr o Matthew xviii. 21, 22, lle y cynghora yr Iesu ei ddysgyblion i faddeu i'w gilydd hyd ddengwaith a thriugain seithwaith. Digon tebyg yr edrychai ar hyn fel cysgod gwan o fawredd maddeuant Duw; a diolchai trosodd a throsodd am "y dengwaith a'r triugain seithwaith." Yn ngafael y geiriau hyn y bu farw yr anwyl Christopher Basset, Chwefror 8, 1784, yn y 31 flwyddyn o'i oed; dyma y geiriau a ddewisodd Mr. Jones, Llangan, yn destun pregeth angladdol iddo; ac wrth fyned adref o'r angladd y cyfansoddodd John Williams, St. Athan, y penill adnabyddus:—

"Y deg a thriugain saith o weithiau,
  Dyma'r rhif na dderfydd byth;
Maddeu'r hwyr, a maddeu'r boreu,
  Maddeu beiau rif y gwlith.
Dwr a gwaed yw'r afon yma,
  Ddaeth o ôl y waywffon,
Hi dorodd allan ar Galfaria,
  Hi bâr tra paro'r ddaear gron."

Yr ydym yn tybio mai yn Mryste, yn nhŷ ei chwaer, y bu Mr. Basset farw, ond daear Cymru a gafodd y fraint o gadw ei lwch, ac yn St. Athan, yn agos i gartref ei rieni, y rhoddwyd ei gorph i orwedd. I'w dduwioldeb, a rhinweddau ei gymeriad, yn nghyd â'i ddoniau fel pregethwr, dwg y Bardd o Bantycelyn dystiolaeth bendant. "Hwn," meddai, "oedd ŵr duwiol, dysgedig, a rhinweddol; yn bregethwr dwys, gwresog, ac awdurdodol, yn holl athrawiaethau yr Ysgrythyr Lân; yn arweinydd goleu i'r pererinion trwy holl hyfryd lwybrau y prynedigaeth yn Nghrist; a mawr alar sydd yr awr hon am dano trwy holl Ddeheudir a Gogledd Cymru." Fel y gallesid dysgwyl oddiwrth dynerwch ei gymeriad, efengylydd ydoedd Basset; gwedd dyner yr efengyl a ddaliai yn benaf gerbron ei wrandawyr. Gwell ganddo eu denu a thynerwch yr addewidion, na'u dychrynu âg arswyd y bygythion. Ar

Galfaria y cymerai ei safle; yr Iesu yn marw yn aberth digonol dros euog fyd oedd hoff dant ei weinidogaeth; a chanoedd o weithiau y parodd i gynulleidfaoedd Cymru "wylo cariad pur, yn ddagrau melus iawn," wrth gyhoeddi graslonrwydd y drefn. Nis gallwn yn well derfynu ein sylwadau am dano na thrwy ddifynu rhan o'r farwnad gan Williams:—

"Athrawiaethau pen Calfaria,
Dyfais hyfryd dwyfol ras,
Hufen pur a mer y Beibl,
Wedi eu sugno o'i fronau maes;
A'u llawn drochi mewn gwir brofiad,
Oedd dy bregeth yn mhob man,
Bwyd i'r athrist a'r newynog,
Bwyd i'r cryf, a bwyd i'r gwan.

Dewch, gwrandewch ef yn pregethu,
Gwelwch ddyfroedd bywiol, pur,
Yn dylifo gyda'i eiriau,
Ffrydiau o oleuni clir;
Agor pyrth yr addewidion,
A'u trysorau'n eitha' llawn,
Cymhell pechaduriaid truain
Idd eu bwyta foreu a nawn.

* * * * *

Jones, pregetha yn Mhorthceri,
Bregeth angladd cywir ddyn,
D'wed fod maddeu heb un terfyn,
Fel y d'wedodd ef ei hun;
A bod dwyfol waed yn dyblu
Drigain waith a dry i maes,
Nes bo ganwaith yn lle seithwaith
Lawn i etifeddion gras."

Gweinidog perthynol i'r Annibynwyr, a ymunodd a'r Methodistiaid, ac a ddaeth i lanw lle pur amlwg yn eu mysg, oedd Thomas Gray. Ymddengys ei fod yn enedigol o ardal Treforis, ger Abertawe, ac mai o deulu tlodaidd yr hanai. Nid yw dyddiad ei enedigaeth genym. Tyfodd i fynu yn gwbl ddigrefydd; yn wir, enillodd hynodrwydd mewn annuwioldeb; ystyrid ef y mwyaf meddw yn y pwll glo yn mha un y gweithiai, a'r bryntaf ei dafod; fel y daeth ei enw yn ddiareb am ddrygfoes yn mysg ei gydweithwyr. Eithr yr oedd gan Dduw feddyliau grasol gyda golwg ar y llanc. Un diwrnod, anfonodd arolygwr y pwll glo ef ar neges drosto i Gastellnedd; yntau a aeth, ac wedi cyflawni ei ymddiriedaeth, trodd, yn ol ei arfer, i'r dafarn, lle yr yfodd hyd feddwdod. O'r dafarn, aeth i ryw faes i gysgu. Yn y cyfamser, cymerasai damwain enbyd le yn y pwll glo; torasai y rhaff wrth ollwng y dynion i lawr i'r dyfnder, fel y lladdwyd hwy oll yn y fan. Gwelwyd y llanc yn cysgu gan rywun a'i hadwaenai, ac wedi ei ddeffro, dywedai wrtho: "Beth; Twm Gray, ai ti sydd yma? Yr oeddwn i yn meddwl dy fod yn uffern er ys oriau." Yna, adroddodd iddo hanes y ddamwain oedd wedi cymeryd lle. Effeithiodd hyn arno yn ddirfawr; credodd mai yn uffern y buasai mewn gwirionedd, oni bai am gyfryngiad Rhagluniaeth ar ei ran. Sobrwyd ef yn hollol; daeth i ystyried ei ffyrdd, ac i'w cashau. Aeth i wrando yr efengyl i'r Mynyddbach, ger Abertawe; ac nid hir y bu cyn ymuno a'r ddeadell yno.

Ymddengys ei fod lawn mor fywiog a gweithgar gyda chrefydd ag ydoedd yn flaenorol gydag annuwioldeb. Gwelodd y frawdoliaeth y meddai gymhwysderau ar gyfer y weinidogaeth, a chymhellasant ef i ddechreu pregethu. Yn bur fuan, aeth i athrofa yr Annibynwyr yn y Fenni. Yn mhen rhyw gymaint o amser, daeth Daniel Rowland heibio ar ei daith, a chyhoeddwyd ei fod i bregethu mewn eglwys gyfagos i'r dref. Yr oedd enw Rowland y pryd hwn yn enwog trwy Gymru; teimlai yr efrydwyr awydd cryf am ei glywed, gan faint y son oedd am dano, ac eto, yr oedd eu rhagfarn at yr Eglwys a'u hoffeiriaid yn rhwystr cryf ar eu ffordd. Eithr er gwaethaf rhagfarn, myned a wnaethant, a Gray gyda hwy. Cafodd Rowland odfa ryfedd; daliai y gynulleidfa ei hanadl mewn dychryn pan y cyhoeddai ddystryw anwir fyd; a chan nad beth am yr efrydwyr eraill, yr oedd Gray wedi ei lwyr orchfygu. Parhaodd y dylanwad ar ei feddwl am wythnosau lawer; ni fedrai ddilyn ei efrydiau, na chymeryd gafael mewn llyfr; crwydrai ar hyd y meusydd fel hurtyn, weithiau yn gweddïo, a phryd arall yn synfyfyrio. Dywedir iddo yr amser hwn deimlo dymuniad angerddol, am i'w goelbren syrthio mewn rhyw fan lle y caffai gyfle i wrando yr offeiriad hwn, ac iddo gorphori y cyfryw ddymuniad mewn gweddi daer at Dduw.

A'i weddi a atebwyd. Pan oedd tymhor ei arosiad yn yr athrofa ar derfynu, anfonodd eglwys Llwynpiod gais at yr athraw, am iddo yru atynt ar brawf ryw ŵr ieuanc a dybiai fyddai yn gymhwys i fod yn weinidog iddynt. Yntau a anfonodd Thomas Gray. Cyrhaeddodd y gŵr ieuanc Lwynpiod nos Sadwrn. Lletyai yn nhŷ un o'r diaconiaid, yr hwn a'i hysbysodd y byddai yr odfa dranoeth am wyth o'r gloch yn y boreu, gan ychwanegu fod y gynulleidfa yn arfer myned i Langeitho bob Sul pen mis, i wrando offeiriad, o'r enw Rowland. Y mae yn ymddangos ddarfod i amser yr

odfa gael ei newid i wyth o'r gloch y boreu yn Llwynpiod mewn hunanddiffyniad; pe y cynhelid y cyfarfod yr un adeg ag y pregethai Rowland yn Llangeitho, ni ddeuai neb i wrando. Synai Thomas Gray yn aruthr wrth glywed, ac nid oedd yr hysbysiad mewn un modd yn ddymunol i'w deimlad; y pryd hwn, yr oedd y nifer amlaf o'r Ymneillduwyr yn chwerw eu hyspryd at yr Eglwys a'i hoffeiriaid. Modd bynag, nid aeth y gŵr ieuanc i wrthddadleu, a chwedi pregethu, ymunodd a'r dorf a ddylifai tua Llangeitho. Synai arno wrth weled y tyrfaoedd yn tyru yno o bob cyfeiriad; yr oedd y prif-ffyrdd yn orlawn, a'r bobl bron yn damsang traed eu gilydd, fel y byddant weithiau mewn cynhebrwng; a theimlai Gray y rhaid fod yr offeiriad yn un hynod. Erbyn cyrhaedd Llangeitho, a gweled y pregethwr, deallodd mai y gŵr a wrandawsai gerllaw y Fenni ydoedd; ac mewn canlyniad, diflanodd ei anniddigrwydd, a theimlai yn ddiolchgar am gyfleustra i'w wrando drachefn. Canlyniad yr ymweliad hwn o eiddo Gray â Llwynpiod oedd iddo gael galwad i fod yn weinidog yno, fel olynydd i Mr. Pugh.

Haedda eglwys Llwynpiod fwy o sylw nag y mae wedi gael genym. Yr oedd pregethu yn yr ardal yn foreu, mor bell yn ol a dyddiau y Puritaniaid; a phan basiwyd deddf unffurfiaeth, cafwyd yn mysg y ddwy fil ardderchog a drodd allan, dri o wŷr yn preswylio yn y rhan hon o Sir Aberteifi, sef Rhys Powell, Llanbedr; John Harris, Tregaron; a Thomas Evans, Ystrad. Yn raddol, ffurfiwyd cynulleidfa o Ymneillduwyr Presbyteraidd yn Llwynrhys, amaethdy rhwng Llwynpiod a Llangeitho. Cyfarfyddai yr ychydig grefyddwyr gan amlaf yn y nos; ni feiddient ymgynull i addoli liw dydd, rhag cael eu carcharu, a'u hyspeilio o'u meddianau. Y pregethwr a weinyddai iddynt mewn pethau sanctaidd oedd Dafydd Jones, yr hwn a breswyliai yn Llwynrhys. I'r Dafydd Jones hwn yr oedd mab wedi ymrestru yn filwr, am yr hwn ni chlywsai air er ys blynyddoedd lawer. Ryw ddiwrnod, gwelai y pregethwr foneddwr cymharol ieuanc, o osgo filwraidd, ac yn marchogaeth ar geffyl glas, yn dynesu at y tŷ. Credodd, wrth ei agwedd, ei fod yn swyddog o radd uchel. Argoeli drwg a wnelai ymweliad swyddogion gwladol yr adeg erledigaethus hono; a chredodd Dafydd Jones fod y boneddwr wedi dyfod i'w ddal, ac i'w gymeryd i'r carchar, oblegyd ei fod yn troseddu y gyfraith trwy bregethu yr efengyl. Credai ei wraig yr un peth; ond penderfynasant gyfaddef y gwir, beth bynag fyddai'r canlyniadau. Daeth y marchog at y tŷ, a churodd wrth y drws. Aeth yr hen wraig i'w gyfarfod. "Ai hwn yw Llwynrhys?" gofynai. "Ië," atebai hithau, yn dra chrynedig. "Ai dyma lle y mae Dafydd Jones yn byw?" gofynai y gŵr. Credodd yr hen wraig fod ei hofnau gwaethaf wedi eu gwirio, a syrthiodd mewn llewyg ar y llawr. Ar hyn, daeth Dafydd Jones i'r drws, ac meddai: "Peidiwch gwneyd dim i'r hen wraig; y mae hi yn hollol ddiniwed." Nis gallai y marchog ymatal yn hwy, yr oedd ei ymysgaroedd wedi eu cyffroi, a gwaeddodd allan: "O fy nhad, ni wnaf un niwed iddi; onid fy mam ydyw?" A gwir oedd ei air; oblegyd ei wroldeb, cawsai ei ddyrchafu i fod yn swyddog mewn byddin o wŷr meirch, a daethai yn awr i ymweled a'i rieni. Trwy ei ddylanwad, llwyddodd i gadw yr erledigaeth i ffwrdd oddiwrth Llwynrhys; adeiladwyd darn newydd ar lun croes at y tŷ, ac yno yr ymgynullai nifer o bobl dda i addoli Duw yn ddirgelaidd. Eithr pan basiwyd deddf goddefiad, yn y flwyddyn 1689, gosodwyd Llwynrhys dan nawdd y gyfraith, ac yma y cyfarfyddai y gynulleidfa hyd nes yr adeiladwyd capel yn Llwynpiod, tua milltir o bellder i'r gogledd. Cafodd y capel hwn ei adeiladu yn y flwyddyn 1700, a'r draul oedd tairpunt-ar-ddeg.

Yr oedd cryn nifer o fân eglwysi Presbyteraidd, neu Annibynol, o dan ofal Mr. Philip Pugh, rhagflaenydd Mr. Gray. Heblaw Llwynpiod, gweinyddai yn Abermeurig, Neuaddlwyd, Cilgwyn, a Chiliau Aeron. Eithr erbyn sefydliad Mr. Gray, yr oedd y ddwy olaf wedi cael eu gwenwyno gan yr Arminiaeth anefengylaidd, oedd y pryd hwn yn ymledu fel haint trwy ranau helaeth o'r wlad; yn raddol, aethant, gyda nifer o eglwysi Ymneillduol eraill yn Sir Aberteifi, yn Ariaidd; ac erbyn hyn, y maent yn gwbl Undodaidd. Felly, Llwynpiod, Abermeurig, a Neuaddlwyd, yn unig a adawyd i Mr. Gray. Nid yw yn ymddangos iddo ymgymysgu nemawr a'r Annibynwyr gwedi ei sefydliad; daeth dan ddylanwad Daniel Rowland, a mawr awyddai am ymuno a'r Methodistiaid. Rhwystrai Rowland ef am dymhor, gan ddweyd yn chwareus: "Gweithia di yr ochr yna i'r mynydd, mi weithiaf finau yr ochr hyn i'th gyfarfod." Eithr gwnaeth

drefniant iddo i bregethu yn nghapel Llangeitho unwaith yn y mis. Meddai hawl y pryd hwn i ffurfio y cyfryw gynllun, am ei fod wedi cael ei droi allan o'r Eglwys, a chapel Gwynfil wedi cael ei adeiladu ar ei gyfer. Parhaodd y trefniant hwn tra y bu y ddau fyw.

Dywedasom fod Neuaddlwyd ar y cyntaf yn un o'r eglwysi Ymneillduol yn mha rai y gweinyddai Mr. Gray. Ein hawdurdod ar hyn yw y diweddar Barch. John Rees, Tregaron; pregethwr melus, a phur afaelgar o ran ei gôf. Cawsai Mr. Rees ei fagu yn yr ardal, a dygwyd ef i fynu wrth draed Mr. Gray; felly gellir dibynu ar ei dystiolaeth. Fel hyn y dywed efe:* "Adroddir fod Mr. Gray wedi bod, pan yn ieuanc, yn weinidog gyda'r Annibynwyr, yn Neuaddlwyd. Byddai yn pregethu yn zêlog, bywiog, a thoddedig, nes effeithio ar lawer o'r ieuenctyd, fel y byddent yn dyblu canu ar ol y bregeth, a chanai yntau gyda hwynt am awr neu ddwy. Y cyfryw benill a hwn a ddyblid ac a dreblid gyda hwyl nodedig—

'Mae dafn bach o waed
Yn drymach yn y nef,
Na'r pechod mwyaf gaed,
A'i holl euogrwydd ef;
Gwrandewir llais y dwyfol glwy',
O flaen eu damniol floeddiad hwy.'

Yr oedd yr hen ddiaconiaid oedd yno y pryd hwnw yn rhai *staunch*, a gwastad eu tymherau; nid oedd dim swn ac annhrefn felly i fod yn eu plith hwy. Yr oeddynt yn gweled y gweinidog yn rhy ffol, ac yn gyru y cwbl o drefn wrth ganu yn zêlog fel hyn gyda phlant ieuainc; ac am hyny troisant ef ymaith o fod yn weinidog yno. Un o'r aelodau, o'r enw Thomas Davies, Ty'nyporth, a ofynodd i'r diaconiaid: 'Paham yr ydych yn troi Mr. Gray i ffwrdd heb ddweyd wrth yr eglwys am beth?' Ond ei droi a fynent. 'Wel, Mr. Gray,' meddai Thomas Davies, 'er eu bod hwy wedi eich troi allan o Neuaddlwyd, dewch gyda mi, cewch bregethu yn fy nhŷ i.' Bu Mr. Gray yno yn pregethu am amryw fisoedd; ac ar ran o'r fferm yr oedd Thomas Davies yn ddal y codwyd capel iddo, sef Capel Ffosyffin. Yr oedd ei bregethau yno mor effeithiol nes tynu gwrandawyr o dri-phlwyf-ar-ddeg; ac yno caent, yn weinidog a phobl, ganu faint a fynent am waed y groes. Codwyd dau gapel wedi hyny iddo, un yn Llanarth, a'r llall yn Llanddewi-Aberarth. Yr oedd efe hefyd yn weinidog yn Abermeurig a Llwynpiod."

Dyna yr adroddiad a roddir gan y Parch. John Rees; ac heblaw fod Mr. Rees yn dyst ffyddlon, ac mewn cyfleustra da i wybod, dwg ei adroddiad ar ei wyneb ddelw amlwg gwirionedd. Gwyddis fod yr hen Ymneillduwyr, pan dorodd y diwygiad Methodistaidd allan, ac am amser wedi hyny, yn ddynion deddfol, oerion eu tymherau, a'u gwasanaeth crefyddol wedi myned yn hynod ffurfiol a difywyd. Felly eu darlunir hyd yn nod gan Dr. John Thomas, Liverpool. Yr oedd gwres y diwygiad yn annyoddefol iddynt. Fel annhrefn, os nad rhywbeth gwaeth, yr edrychent ar y canu a'r gorfoleddu a lanwai y gwersyll Methodistaidd. O'r ochr arall, yr oedd tân Llangeitho wedi ymaflyd yn yspryd Gray ieuanc; cludai ef o'i fewn i'r pwlpudau Ymneillduol, a methodd Annibynwyr Neuaddlwyd ei oddef. Cywira ysgrif Mr. Rees gamgymeriad arall, a phwysig, i ba un y mae Dr. Thomas Rees a'r Annibynwyr wedi syrthio. Hawliant hwy Ffosyffin fel hen eglwys Ymneillduol, a dadleuant iddi fyned trosodd at y Methodistiaid yr un pryd a Mr. Gray. Gwelwn, yn awr, na fu yn perthyn i'r Annibynwyr o gwbl; ac mai i Mr. Gray, ar ol iddo gael ei droi allan gan eglwys Annibynol Neuaddlwyd, y cafodd capel cyntaf Ffosyffin ei adeiladu.

Gan ddarfod i ni grybwyll Ffosyffin, haedda blaenoriaid yr eglwys hono air o sylw. Ymddengys eu bod yn ddynion cryfion yn yr Ysgrythyr, amryw o honynt; yn y cylch crefyddol edrychid arnynt fel tywysogion, a pharent i'w dylanwad gael ei deimlo yn y Cyfarfodydd Misol, ac hyd yn nod yn y Gymdeithasfa. Y penaf yn ddiau oedd Thomas Davies, Ty'nyporth, am yr hwn yr ydym wedi crybwyll eisioes. Amaethwr cymharol fychan ydoedd, ond o yspryd gwrol, ac yn barod ei ymadroddion. Gwrandewid arno yn mhob man—mewn cwrdd plwyf, ac yn y Cyfarfod Misol, fel yn y seiat gartref. Meddai un a'i hadwaenai yn dda: "Dim ond i Thomas, Ty'nyporth, ddweyd wrth ffermwyr y gymydogaeth, 'Dos di i ymofyn cerig; Dos dithau i gyrchu coed,' ufuddhaent iddo heb ofyn y rheswm paham. Edrychent ar ei orchymyn fel gorchymyn brenin.' Cyrchai i'r Cymdeithasfaoedd, Gogledd yn gystal a Dê, a bu yn offerynol i gael llawer o brif bregethwyr y Cyfundeb i ddyfod ar daith i Sir

* Ysgrif gan y Parch. John Rees, Tregaron, yn *Nhrysorfa* 1855.

Aberteifi. Arferai ddechreu y cyfarfodydd yn wastad i Mr. Gray. Adroddai am dano ei hun un Sabbath, pan yr oedd yn wlaw mawr trwy y dydd, ac yntau a'i grys yn wlyb, ac wedi dechreu yr odfa dair gwaith, a deng milltir o ffordd i gerdded adref y noswaith hono. Aeth braidd i deimlo yn ddig wrtho ei hun, ac i ofyn iddo ei hun: "Paham y rhaid i fi, fwy nag eraill, gerdded cymaint ar y Sabbath?" Ond wrth ddyfod heibio i balas boneddwr, lle yr oedd gwledd fawr, a chynghanedd a dawnsio, a chlywed swn a chaniadau annuwiol y rhai oedd wedi ymgasglu yno, diflanodd ei rwgnachrwydd yn y fan, a dywedai: "Bendigedig fyddo Duw; newidia i mo nghyflwr â rheina eto!" Sych y buasai ar ei enaid yn odfaeon y dydd, ond talodd y cerdded adref yn ardderchog iddo.

Nid ofnai wyneb neb. Pregethai gweinidog enwog o'r Gogledd yn Ffosyffin, adeg cynhauaf medi, a daethai torf fawr yn nghyd i wrando. Fel yr oedd y bobl yn dyfod allan o'r capel ar derfyn yr odfa, dyma foneddwr o'r gymydogaeth, gyda thri o weision, yn pasio. Trodd hwnw ato mewn digter, a gofynai: "Pa les, Tomos, yw galw pobl oddiwrth eu gwaith ar amser fel hyn?" Atebodd yntau, gyda pherffaith hunanfeddiant: "Dydd y farn a ddengys hyny, syr." Aeth y boneddwr ymaith heb ateb gair.

Galwyd ef unwaith i fod yn dyst mewn llys gwladol, pan y dechreuodd cyfreithiwr hyf, a dibarch i Dduw, ei holi. Ebai hwnw: "Wel, Mr. Methodsyn." Atebai Thomas: "Wel, Mr. Erlidiwr." "Yr ydych yn proffesu crefydd gyda yr hen Gray, onid ydych?" "Ydwyf." "Yr ydych yn weddïwr?" "Ydwyf," ebai yntau yn ol, a chan droi at yr ynadon, dywedodd: "Foneddigion, feddyliais i ddim mai dydd y farn oedd hi heddyw, a'm bod yma i roddi cyfrif am fy nghrefydd." "Rhag eich cywilydd," meddai yr ynad a lywyddai wrth y cyfreithiwr; "gadewch grefydd y dyn yn llonydd, a gofynwch yr hyn sydd yn perthyn i'r achos." Blaenoriaid eraill Ffosyffin oeddynt John Dafydd, yr hwn hefyd oedd yn dipyn o gynghorwr; Jenkin Shôn, ac Ismael Ismael. Dywedai y Parch. Ebenezer Richard na chlywodd ef neb yn trin pynciau duwinyddol yn well yn y Cyfarfod Misol na blaenoriaid Ffosyffin.

Ond i ddychwelyd at Mr. Gray. Y mae yn ammheus genym a ymunodd efe yn ffurfiol a'r Methodistiaid; ond y mae yn gwbl sicr mai fel un o'r Methodistiaid yr edrychai arno ei hun. Nid elai un amser i gynhadleddau yr Annibynwyr, ac ni fyddai yn bresenol yn eu prif gyfarfodydd; tra y cyrchai yn wastadol i Gymdeithasfaoedd y Methodistiaid, gan gymeryd rhan yn yr ymdrafodaeth a ddygid yn mlaen yno, a chael ei osod i bregethu yn un o'r lleoedd mwyaf amlwg. Prin y mae *Methodistiaeth Cymru* yn gywir wrth ei ddarlunio fel yn sefyll ar dir cyffelyb i Richard Tibbot; Annibynwr, mewn cydymdeimlad dwfn â Methodistiaeth, yn derbyn pregethwyr y Cyfundeb fel pregethwyr ei enwad ei hun, ac yn cael ei roesawu i Gymdeithasfaoedd y Cyfundeb, oedd Tibbot y rhan olaf o'i oes. Ond am Mr. Gray, darfu pob ymgyfathrach rhyngddo a'r Annibynwyr ar ei ddyfodiad i Lwynpiod; o leiaf, yn fuan ar ol hyny, pan drowyd ef allan o Neuaddlwyd; nid oes hanes iddo yn ganlynol fod mewn Cwrdd Chwarter, na Chymanfa o'r eiddynt; yn mysg y Methodistiaid y troai, ac â hwy yn unig yr ymgymysgai. Daeth amryw weinidogion trosodd oddiwrth yr Annibynwyr at y Methodistiaid heblaw efe yn y dull hwn, megis y Parch. Benjamin Thomas; prin y teimlid fod angen rhoddi derbyniad ffurfiol iddynt; llithrasant i'w lle yn y Cyfundeb bron yn ddiarwybod iddynt eu hunain ac i bawb.

Yr un pryd, fel eglwysi Annibynol yr edrychai cynulleidfaoedd Llwynpiod ac Abermeurig arnynt eu hunain; dywedir i'w ddyneshad at Fethodistiaeth, a'i gyfeillgarwch â Daniel Rowland, beri anniddigrwydd yn mysg rhai o'r hen aelodau, ac iddo yntau fygwth ymadael o'r herwydd. Eithr fel yr oedd llanw y diwygiad yn ymddyrchafu, gan ddyfod i mewn yn gryf i eglwysi Llwynpiod, Abermeurig, yn gystal a Ffosyffin, nes peri ychwanegiad mawr atynt, yn gystal a rhoddi profiad newydd iddynt, darfu y gwrthwynebiad o hono ei hun. Yn mhen amser, bu y genhedlaeth gyntaf, a deimlai duedd at egwyddorion y Cynulleidfaolwyr, farw; ac yr oedd y tô nesaf yn cydymdeimlo a'r Methodistiaid. Yn mhell cyn marw Mr. Gray, fel Methodistiaid yr edrychent arnynt eu hunain. Buont am ryw hyd yn arfer eu dull cyntefig o gymuno; ond yn raddol, darfu hyny, a phrin y gwyr yr aelodau presenol ddarfod i unrhyw gysylltiad fod rhyngddynt erioed a'r Annibynwyr.

Gyda golwg ar Mr. Gray, y mae yn sicr i'w gysylltiad â Rowland fod o fantais ddirfawr iddo fel pregethwr. Tueddai ar y cyntaf i fod yn annghoeth; nis gwyddai ddim am brydferthion areithyddiaeth; dywedai ei genadwri yn blaen ac yn ddiderbynwyneb, ond yn dra swrth, yr hyn a barodd i Rowland ei gynghori i newid ei arddull. "Dyro grys am y gwirionedd," meddai yr Apostol o Langeitho wrtho. Derbyniodd yntau y cynghor mewn yspryd gostyngedig, ac enillodd safle uchel yn mysg pregethwyr y Cyfundeb. Prawf y lle amlwg a gaffai yn y Cymdeithasfaoedd ei fod yn cael ei ystyried yn un o feistriaid y gynulleidfa. Dywedir y byddai ar amserau yn cael odfaeon nodedig, pan fyddai y dylanwad oedd yn cydfyned a'i ymadroddion yn anorchfygol.

Dywedai yr hen bobl, a gofient Mr. Gray, mai dyn mawr, garw ei wedd, ydoedd, gydag ol y frech wen yn dew ar ei wyneb. Meddai lais cryf, grymus, a thraddodai yn wresog a thanllyd, yn hollol fel y Methodistiaid cyntaf; nid oedd dim yn ei arddull yn gyffelyb i'r hen Annibynwyr. Yr oedd llawer o'i ddywediadau, a darnau o'i bregethau, ar gôf yr hynafgwyr yn Sir Aberteifi haner can' mlynedd yn ol, ond ysywaeth, syrthiodd y rhan fwyaf i ebargofiant. Adroddir am dano yn cydlefaru â Mr. Charles, o'r Bala, yn Nhreforis, ei le genedigol. Ei fater oedd perthynas cyfiawnhad a sancteiddhad. "Y mae rhai," meddai, "yn rhoddi cyfiawnhad ar gefn sancteiddhad; ond y mae sancteiddhad yn rhy wan i'w gario, ac yn tori ei glun. Felly, chwi a wyddoch, y bu gyda Dafydd. Ond rhoddwch chwi sancteiddhad ar gefn cyfiawnhad, efe a'i caria yn glic i dir y bywyd." Ychwanega y Parch. John Rees: "Yr oedd rhyw hen dwymias rhyngddo a'r eglwys yno; ac yr oedd y fath arddeliad a llewyrch yn cydfyned a'r bregeth, nes toddi yr holl gynulleidfa."

Coffheir hyd y dydd hwn am y dylanwad oedd yn cydfyned a'i bregeth mewn Cymdeithasfa a gynhelid ar draeth y môr yn ymyl Abergwaun, nid yn nepell o'r fan lle y rhoddodd y Ffrancod eu harfau i lawr. Yr oedd hyny yn mis Mai, 1797. Ei destun ydoedd: "Crist a'n llwyr brynodd oddiwrth felldith y ddeddf, gan ei wneuthur yn felldith drosom." Pwysleisiai ar "llwyr brynodd." "Weithiau," meddai, "y mae llafur (ŷd) yn cael *damage* ar gynhauaf gwlyb, a bydd raid i'r ffermwr, oblegyd hyny, ei werthu chwech cheiniog y mesur yn nes (yn rhatach). Bydd y *merchants* yn Mhryste yn cael eu *goods* i mewn o'r West Indies wedi cael eu *damagio* ar y môr weithiau, ac y maent yn gorfod gwerthu y pethau hyny yn rhatach; a phan y prynir hwy ar hyd y wlad, y mae y siopwyr hwythau yn gostwng yn eu pris. Bydd y napcyn yn cael ei werthu ganddynt rai ceiniogau yn nes. Rhaid gwerthu pethau wedi eu *damagio* dan bris. Y mhobl fach i! Yr y'm ninau wedi cael *damage* trwy y cwymp mawr yn Eden, ond pan aed i'n prynu, wnelai y Gŵr ddim gostwng ffyrling yn ein pris; nid oedd dim llai a wnelai ein prynu nag efe ei hun; 'Yr hwn a'i rhoddes ei hun drosom!' Llwyr brynu! Llwyr brynu!" Y mae y ffugr wedi cael ei ddefnyddio ddegau o weithiau yn mhwlpudau Cymru gwedi Cymdeithasfa Abergwaun, ond eiddo Mr. Gray ydyw.

Yn agos i ddiwedd ei bregeth, wrth sylwi ar frawddeg olaf ei destun, "gan ei wneuthur yn felldith drosom," bloeddiai gyda nerth na fedrai y cryfaf ei wrthsefyll: "O Iesu mawr! A aethost ti dan gabledd y cablwr? Do. A aethost ti, Iesu mawr, dan ladrad y lleidr? Do. O Fab Duw! A aethost ti dan fwrddrad y mwrddwr? Do. Llwyr brynu! 'Gan ei wneuthur yn felldith drosom!'"

Dywedir y byddai yn nodedig o gyfrwys wrth bregethu ar ol pregethwr poblogaidd, fyddai wedi codi y gynulleidfa i dymher uchel. Defnyddiai foddion i oeri ychydig ar y gwres cyn dechreu ei hun. Gan ei fod yn weinidog ordeiniedig, ac erbyn hyny yn hen, ni phregethai Ebenezer Morris, Roberts, Clynog, na neb o'r pregethwyr hynod o'r un tô a hwy, ar ei ol. Pan yn codi ar ol un o'r cyfryw unwaith, bu yn hir iawn cyn gallu dod o hyd i'w destun. Dywedai wrth y gwrandawyr fod ganddo destun, a'i fod yn y llyfr hwnw "oedd dan ei ddyrnau;" ac yno y bu yn troi y dail yn ol ac yn mlaen am beth amser, nes tynu sylw ac enill meddyliau y bobl yn llwyr. Yna, darllenodd yr adnod, a buan y cafodd y gynulleidfa dan ei feistrolaeth.

Defnyddiodd ddull o'r fath yn y Gymdeithasfa hynod a gynaliwyd yn nhref Aberteifi, yn y flwyddyn 1796. O'i flaen llefarai Roberts, Clynog, oddiar Dat. x. 1: "Ac mi a welais angel cryf arall yn disgyn o'r nef, wedi ei wisgo a chwmwl, ac enfys oedd ar ei ben, a'i wyneb ydoedd fel yr haul, a'i draed fel colofnau o dân." Yr oedd hono yn odfa neillduol hyd yn nod i

Robert Roberts. Yr oedd y gynulleidfa wedi cael ei chodi i'r brwdaniaeth mwyaf; bloeddiai y bobl yn uchel, " Diolch iddo !" ac yr oedd yr hen Mr. Gray y tu ol yn mwynhau pregeth ei frawd o'r Gogledd, ac yn gwaeddi, "Bendigedig!" yn uwch na neb. Wedi i Robert Roberts orphen, dyna Mr. Gray ar ei draed. "Y mae fy mrawd wedi llefaru yn enwog," meddai. " Chawswn i ddim myned o'i flaen, am fy mod yn hen ddyn, nid am fy mod yn well pregethwr. O'wn i yn ffaelu deall b'le cawswn i destun ar ol pregeth hynod fy mrawd; ond daeth y gair hwnw yn Zechariah xiii. 1 i fy meddwl: "Ffynon wedi ei hagor—i bechod ac i aflendid." Gyda hyny curodd ei ddwylaw mawrion wrth eu gilydd, a gwaeddodd gyda bloedd o'r fath fwyaf nerthol: " Modd i'n golchi ni yn lân, bobl fach !" Gyda'r floedd treiddiodd rhyw drydan trwy y dorf; yn bur fuan bu raid iddo roddi i fynu pregethu, gan adael y bobl ar y maes yn gorfoleddu ac yn canmol. Llafuriodd yn mysg y Methodistiaid am agos i haner can' mlynedd, a bu farw yn y flwyddyn 1810.

Perthynai Edward Coslet i'r ail dô o gynghorwyr yn mysg y Methodistiaid, ac yr oedd yn engrhaifft dda o honynt, yn meddu llawer o dalent naturiol a ffraethineb, zêl mewn cyflawnder, gafael dda ar brif wirioneddau yr efengyl, ond yn dra annysgedig ac amddifad o ddiwylliant. Cafodd ei eni yn y flwyddyn 1750, yn mhlwyf Machen. Pentref ydyw Machen ar lan yr afon Rhymney, tua saith milltir o Gasnewydd-ar-Wysg, a thua yr un pellder o Gaerphili. Teneu ei drigolion ydoedd yn adeg mebyd Coslet, a Chymraeg yn unig a leferid yno; erbyn hyn y mae gweithiau glo wedi cael eu hagor yn y gymydogaeth, a'r ardal mewn canlyniad wedi dyfod yn boblog, ond, ysywaeth, y mae y Gymraeg wedi cael ei hymlid allan o'r fro agos yn gyfangwbl. Tyfodd Edward Coslet i fynu yn dra digrefydd. Adeg dywyll oedd hon ar Fynwy; cawsai y seiadau a gasglesid yn nghyd trwy weinidogaeth danllyd Howell Harris eu gwasgar agos oll yn yr ymraniad; dychwelodd ugeiniau o broffeswyr yn ol at eu hen arferion, ac ymwasgodd y lleill at ryw enwad arall. Yr oedd seiadau Methodistaidd yn y Goetre, ger Pontypŵl; ac yn y New Inn, Mynyddislwyn, a'r Groeswen. Erbyn i Edward Coslet dyfu i oedran, yr oeddent wedi myned yn rhyw haner Fethodistaidd a haner Annibynol, ac yn graddol ymwasgu at yr Annibynwyr, er y derbynient hefyd bregethwyr y Methodistiaid i'w pwlpudau. Gweinidog y Groeswen y pryd hwn oedd William Edward, yr adeiladydd, at ba un yr ydym wedi cyfeirio yn flaenorol; Methodist yr ystyriai efe ei hun, ac yr oedd llawer o'r yspryd Methodistaidd yn aros ynddo. Tan ddylanwad yr ysprydiaeth a gawsai ei chynyrchu ynddo gan Howell Harris, elai i bregethu i'r ardaloedd cylchynol; ac un hwyr, daeth i Machen, pellder o ryw bedair milltir o'r Groeswen, i rybuddio yr annuwiol. Yn mysg eraill, presenolodd Edward Coslet ei hun yn y cyfarfod. Yr oedd y pryd hwn yn ddyn ieuanc pedair-mlwydd-ar-bymtheg oed; yn gryf o gorpholaeth, ac wedi ei ddwyn i fynu yn ôf. Aeth saeth oddiar fwa William Edward i'w galon; deallodd ei fod yn bechadur colledig gerbron Duw, a daeth braw aruthrol drosto. O hyn allan, cyrchai yn gyson i gapel y Groeswen; ac, yn ol pob tebyg, yr un offeryn ag a ddefnyddiwyd i'w glwyfo, a gafodd y fraint hefyd o dywallt balm yr efengyl i'w archollion. Rhoddodd ei hun i fod yn eiddo yr Arglwydd Iesu am byth, ac ymunodd ag eglwys y Groeswen.

Wedi ei ddeffro am ei gyflwr ei hun, a gweled digonolrwydd y Gwaredwr ar ei gyfer, llanwyd ei galon â thosturi at ei gymydogion anwybodus, y rhai oeddynt gan mwyaf yn gwbl annghrefyddol. Agorodd ei dŷ i dderbyn yr efengyl; gwahoddai bregethwyr yno o bell ac o agos; ac efe ei hun a ddygai y draul. Elai hefyd o gwmpas y tai i gynghori y bobl yn bersonol; a chyn ymadael, byddai weithiau yn darllen penod o'r Beibl, ac yn myned i weddi. Nid oedd efe yn edrych ar hyn fel pen y ffordd i gyfeiriad y pwlpud; yn unig llosgai tân Duw yn ei yspryd, ac nis gallai beidio rhybuddio pechaduriaid. Yr oedd ei ddawn gweddi erbyn hyn wedi dyfod yn destun siarad cyffredinol. Eithr yr oedd Pen yr eglwys wedi bwriadu ymddiried iddo am yr efengyl, a rhoddwn yma ddesgrifiad Islwyn o'r modd y cafodd y bwriad ei gyflawni: * "Yr oedd cyhoeddiad rhyw 'lefarwr' da i fod yn nhŷ y gôf ieuanc, Edward Coslet, ar ryw noswaith, gan' mlynedd bron i'r flwyddyn hon, yn mhentref Machen. Ond y llefarwr ni ddaeth mewn pryd; a bendith fawr am unwaith a fu tori y cyhoeddiad, neu

* *Traethodydd*, 1877.

fethu ei gyflawni. Rhaid, er pob peth, oedd myned a'r gwaith yn mlaen. Dechreuodd Nedi y cwrdd, dybygem; darllenodd yn bwysleisiol, a gweddïodd y nefoedd i lawr ar Machen. Wel, darfod darllen, darfod gweddïo. Dim argoel am y llefarwr. Myned allan i'r drws; edrych tuag ochrau serth y 'Waren;' neb yn y golwg. Canu un o salmau Edmund Prys, oblegyd nid oedd nemawr ar gael ond y rhai hyny y pryd hwnw. Feallai mai'r hen benill goranystwyth hwn a ganwyd:—

'Fy enaid, mawl sanct Duw yr Iôn,
A chwbl o'm heigion ynof;
Fy enaid, na 'd fawl f' Arglwydd nef,
Na 'i ddoniau ef yn anghof.'

Eithr hawddach genym gredu mai y canlynol a ganwyd; y melusaf yn mron yn yr iaith:—

'Trugaredd, Arglwydd, heb ddim mwy,
Yw 'r cwbl 'r wy' 'n ei geisio;
Trugaredd yw fy newis lwydd,
Trugaredd, Arglwydd, dyro.'

Darfod canu, darfod dysgwyl. Ond edrych eto tua'r 'Waren' serth; cwningod filoedd, ond dim un llefarwr. 'Wel, wel, Nedi,' meddai un hen frawd, 'cera di ar y stôl, a phregetha di dicyn i ni.' Ufuddhaodd Nedi yn y fan, a phregethodd gyda nerth neillduol. Pregethodd wedi hyn am ddeuddeg-a-deugain o flynyddoedd. Diolch i'r 'llefarwr' dienw am dori ei gyhoeddiad yn Machen, nos——, mis —, 1776!"

Dyma Edward Coslet yn cael ei hun yn bregethwr yn ddiarwybod iddo ei hun. Yr oedd y pryd hwn yn chwech-mlwydd-ar-hugain oed, yn briod er ys chwech mlynedd, ac yn meddu amryw blant. Dywedir fod ei wraig yn ddynes nodedig mewn crefydd, a bu yn gymorth dirfawr iddo gyda gwaith yr efengyl trwy ei oes. Prin y rhaid dweyd nad aeth Coslet i unrhyw athrofa; nid oedd myned i sefydliad o'r fath yn arferol, nac yn cael ei ystyried yn angenrheidiol, yr adeg hono; a phe y buasai, yr oedd gofalon teuluaidd yn pwyso yn rhy drwm ar ei ysgwyddau i oddef iddo goleddu y fath fwriad. Y mae yn ammheus a fuasai coleg o fantais iddo, wrth ystyried hynodrwydd ei dalent, a nodwedd ei oes. Meddai Islwyn: "Yr oedd gŵr o goleg yn mhob plwyf o Gymru ar y pryd, ond yr oedd Cymru yn ei bedd. Eisiau *iron men* oedd y pryd hwnw, a dyma ddyn haiarn yn taro allan. 'Curo mwy,' meddai Nedi; 'curo yr ha'rn ag un fraich, a churo'r diafol a'r llall.'"

Nid hir gwedi iddo ddechreu pregethu aeth gwaith gôf yn brin yn yr ardal, a symudodd yntau a'i deulu i Gasbach, pentref bychan, tua haner y ffordd rhwng Caerdydd a Chasnewydd, mewn ardal nodedig o dlws. Temtir ni eto i ddifynu Islwyn: "Yn fuan wedi iddo ddechreu cynghori, pan oddeutu saith-ar-hugain oed, cawn weled 'wagen yn cychwyn o Machen, ac ynddi ychydig ddodrefn, a gwraig, a dau neu dri o blant mân; ac yn arbenigol, eingion loyw, a morthwylion bygythfawr; oll gyda'u gilydd yn myned tua phentref tlws Casbach Gŵr galluog o fraich, cawraidd o gyhyrau, oedd y gŵr oedd wrth ben y ceffyl lledgloff. Gwnelsai pybyrwch Nedi'r gôf i fynu am gloffni mwy nag un ceffyl. Ond yr oedd pont Llanfihangel-y-Fedw idd ei chroesi, a rhiw enbyd oddiyno am *spell* hir, a'r ceffyl a safodd fel gŵr wedi gwneyd ei feddwl i fynu yn ddios. Ond Nedi a roes ei ysgwydd ddê dan ol-olwyn aswy y wagen, fel pe buasai agerddbeiriant wedi dyfod o'r Rhydri i'w helpio. Yn mlaen, Coslet! Y mae'r symud yn werth y drafferth, symudi di ddim mwy nes dy symud i dŷ dy hir gartef."

Yr oedd ardal Casbach pan y symudodd Edward Coslet yno yn dywyll fel y fagddu mewn ystyr grefyddol; nid oedd neb yn meddwl am fater ei enaid; nid oedd pregethu yn agos, nac achos crefyddol gan unrhyw enwad o fewn milltiroedd. Teimlai ef a'i wraig yn dra anniddig, a dechreuasant chwilio ai nid oedd rhywrai i'w cael yn meddwl am enw y Gwaredwr. Wedi cryn ymchwil, daethant o hyd i nifer fechan o Fedyddwyr, ac o Annibynwyr; llwyddasant i gasglu y rhai hyn yn nghyd, a'u ffurfio yn un gymdeithas eglwysig. Cyfarfyddent yn Nghoed-y-Cerniw, lle tua dwy filltir o Casbach. Daeth atynt foneddiges ieuanc, sef Miss Blanche Evans, yr hon a gawsai ei dwyn dan argraffiadau crefyddol wrth wrando ar Jones, Llangan, a Dafydd Morris, ac eraill o bregethwyr y Methodistiaid. Y hi oedd yr unig Fethodist perthynol i gymdeithas fechan Coed-y-Cerniw; Bedyddwyr neu Annibynwyr yr ystyrid y lleill. Gwnaed aml gais i geisio dylanwadu ar Miss Evans i ymuno a'r naill neu y llall o'r enwadau hyn; hithau a wrthodai yn benerfynol. "Pa wrthwynebiad sydd genych i wneyd?" ebai Coslet wrthi unwaith. "At y Methodistiaid yr wyf fi yn tueddu," ebai hi yn ol; "danynt hwy y derbyniais i leshad;

ac yr wyf am gynyg fy hun yn aelod yn Llangan.' "Felly finau," ebai Coslet. Ymddengys y byddent yn myned yn flaenorol weithiau i Langan, yn enwedig ar Sul y cymundeb; a'r tro nesaf, derbyniwyd hwy yno yn aelodau eglwysig. Dangoswyd peth gwrthwynebiad i dderbyn Coslet i bregethu, am mai fel Annibynwr yr ystyriai ei hun yn flaenorol; ond wedi deall ei deimladau, a'i holi am ei olygiadau ar athrawiaethau yr efengyl, ei dderbyn a wnaed, nid yn aelod yn unig, ond yn gynghorwr yn ogystal. Nid anmhriodol ychwanegu gair am Miss Blanche Evans. Er y perthynai i deulu cyfrifol, a'i bod yn oludog o ran pethau y byd hwn, treuliodd ei holl oes yn mysg y Methodistiaid tlodion, gan ei theimlo yn fraint i gael golchi traed y saint. Yr oedd yn nodedig am ei helusengarwch, ac yn ei hewyllys gadawodd rhwng dwy a thair mil o bunoedd i'r Cyfundeb gwedi dydd rhai o'i pherthynasau, yr hwn swm a gafwyd tua phedair blynedd yn ol. Y mae ei henw yn perarogli yn ardaloedd Casbach a Llaneirwg hyd y dydd heddyw, er ei bod hi er ys ugeiniau o flynyddoedd wedi disgyn i'r bedd.

Yn uniongyrchol wedi i Coslet a Miss Evans ymuno a'r Methodistiaid, cychwynasant seiat yn nhŷ y blaenaf. Pump o aelodau a'i ffurfient, sef Coslet a'i wraig, Miss Evans, a dau eraill. Ond er mai bychan oedd y rhif, byddai gogoniant mawr yn aml ar y cynulliadau, a "dull y Pedwerydd" yn amlwg yn eu mysg. Torai y ddeadell fechan allan yn aml mewn gorfoledd a mawl; a byddai swn eu caniadau yn llanw y pentref. Cododd hyn wrthwynebiad iddynt; a medrodd rhywrai ddylanwadu ar berchenog y tŷ a'r efail i roddi rhybudd i Coslet, naill ai fod yn rhaid iddo beidio llochi y cyfryw gyfarfodydd, neu ynte ymadael a'r lle. Mewn canlyniad, bu raid chwilio am gartref arall i'r achos, ac nid heb anhawsder dirfawr ei cafwyd. Yn Llaneirwg, pentref tua dwy filltir o Casbach, y cafodd arch Duw orphwysfa. Effeithiodd hyn yn y pen draw er mantais i'r efengyl, gan i seiat Casbach fyned yn dair, sef Casbach, Llaneirwg, a'r Morfa. Braidd na ellir dweyd mai Edward Coslet yw tad Methodistiaeth yn Mynwy. Arferai ymffrostio mai efe oedd y pregethwr goreu a feddai y Cyfundeb yn yr holl sir. "Yr ydych yn hunanol enbyd," meddai rhywun wrtho, ar ol clywed y dywediad. "O, nag ydwyf," meddai yntau yn ol, "oblegyd nid oes yno ond y fi."

Fel llawer o'r hen gynghorwyr, yr oedd Edward Coslet yn gerddwr dihafal. Meddai gorph gewynog a chryf; yr hyn a'i galluogai i gyflawni gwrhydri mewn cerdded. Ni fyddai deugain milltir ond megis dim ganddo rhwng prydnhawn a nos Sadwrn, a hyny ar ol bod yn gweithio yn rymus ar yr haiarn yn ystod yr wythnos. Cerddai ar foreu Sabbath o Gasbach i Ferthyr Tydfil, pellder o bum'-milltir-ar hugain; wedi pregethu yn egniol yno, elai ar ei draed i Lanfabon, taith o wyth milltir, erbyn dau; gwedi pregethu yn rymus yno, cychwynai yn ddiegwan o ffydd tua Chaerphili, taith arall o chwe' milltir, erbyn chwech; ac yna adref drachefn y noswaith hono. Boreu y Llun canlynol codai gyda'r uchedydd, a chlywid ei swn yn yr efail yn curo yr haiarn am bump o'r gloch yn y boreu. Dywed traddodiad iddo gofio yn hwyr un nos Wener fod ei gyhoeddiad y Sul canlynol yn Llangeitho. Bu yn yr efail gyda ei orchwyl trwy gydol y nos; cychwynodd i'w daith foreu y Sadwrn; yr oedd can' milltir o ffordd o'i flaen, tros fynyddoedd anhygyrch a chymoedd dyfnion; ond yr oedd yr hen gynghorwr yn brydlon yn mhwlpud Llangeitho erbyn yr odfa naw o'r gloch. Rhaid nid yn unig fod ei zêl yn fawr, ond fod ei gyfansoddiad agos mor galed a'r haiarn a weithiai cyn y medrai gyflawni y fath orchestwaith.

Pregethwr tanllyd ydoedd; byddai y gwreichion yn cyniwair yn fynteioedd pan fyddai ef yn pregethu, ac nid yn anaml y llenwid yr annuwiol â dychryn. "Edward," meddai Jones, Llangan, wrtho wedi odfa dra effeithiol, "ble cefaist ti y bregeth yna?" "Mewn *study* na fuoch chwi erioed ynddi, syr," ebai yntau. "Pa le y mae hono, Edward?" "Rhwng y tân a'r eingion, syr." Er hyny, camgymeriad enbyd fyddai tybio mai dychrynfeydd Sinai a gyhoeddai yn wastad; byddai yn fynych yn nghanol melusderau yr efengyl, ac yn traethu pethau nodedig o gysurlawn. Un tro yr oedd yn pregethu ar y geiriau: "Mi a ymwelaf a'u camwedd â gwialen, ac a'u hanwiredd â ffrewyllau; ond ni thoraf fy nhrugaredd oddiwrtho, ac ni phallaf o'm gwirionedd." Yn mysg pethau prydferth eraill, dywedai: "Nid oes un pren crogi yn tyfu ar holl dir Emmanuel. Y mae yno aml i bren bedw lle y tyf gwiail ceryddol, ond yr un pren crogi."

Dro arall, daeth ar ganol y bregeth at y geiriau: "O byrth, dyrchefwch eich penau, ac ymddyrchefwch, ddrysau tragywyddol; a Brenhin y gogoniant a ddaw i mewn." Ac meddai, yn nhafodiaeth bro Gwent: "Doco'r drysau wedi ymddyrchafu; doco'r pyrth wedi eu hagor, a doco'r Brenhin wedi myned i mewn. Wel, nhw gauan y pyrth yn awr? Na wnan; chaua nhw ddim o'r pyrth nes yr elo'r Frenhines i mewn hefyd. Pwy yw hono? O, y briodasferch, gwraig yr Oen!"

Byddai weithiau yn cael odfaeon nerthol anarferol, pan fyddai Duw yn ei arddel yn rhyfedd, a'r gynulleidfa yn yswatio ger ei fron. Adroddai brawd o Sir Fôn am dano yn pregethu mewn rhyw gymanfa. Pregethasai rhywun o'i flaen, a hyny yn faith ac yn ddiflas, nes yr oedd y bobl wedi llwyr flino. Gwedi iddo orphen, dyna yr hen ôf ar ei draed, yn llawn o yspryd gweinidogaeth; a chan gydio yn ei lodrau hen ffasiwn, a rhoddi plwc iddynt tuag i fynu, gwaedda: "'Nawr, fechgyn! 'nawr; ati am bum' mynyd!" Dim ond pum' mynyd y bu, ond nid yn fynych y pasiodd y fath bum' mynyd dros dyrfa o bobl. Oddifewn i'r pum' mynyd hyn, meddir, y cafodd yr adroddwr afael ar fywyd tragywyddol.

Soniai yr hen bobl lawer am odfa ryfedd a gafodd mewn Cymdeithasfa yn Nghaernarfon am chwech o'r gloch yn y boreu. Ymddengys i'r Parch. Evan Richardson, yn ei fawr ofal am y cyfarfod neillduol oedd i'w gynal am wyth, ddweyd wrth Coslet am bregethu tipyn yn bur fyr, ac yn bur dda. Yr oedd y siars wedi peri i'r hen gynghorwr awyddu am beidio myned tros yr amser, ac eto yr oedd ei yspryd yn llawn o hwyl pregethu. Yn lled fuan, dywedai: "Yr oedd fy mrawd yn dweyd wrthyf am bregethu yn bur fyr, ac yn bur dda, ond beth bena, fi weda hyn eto" A dywedai rywbeth oedd yn defnynu fel y gwlith ar y dyrfa fawr oedd o'i flaen. Yn y man, ail adroddai sylw Mr. Richardson: "Yr oedd fy mrawd yn peri i mi bregethu yn bur fyr, ac yn bur dda, ond beth bena, fi weda hyn eto;" ac yna deuai rhywbeth melusach fyth dros ei wefusau. Dywedir iddo gyfeirio felly drachefn a thrachefn at sylw Mr. Richardson, ond "beth bena," yr oedd ganddo rywbeth drachefn i'w "weyd," a'r miloedd pobl oedd o'i flaen, a'u dagrau yn dysgleirio trwy heulwen o gariad, yn ofni yn eu calon rhag i'r dweyd gyrhaedd yr Amen. Coffeir yn neillduol fel yr oedd gwenau a dagrau Richardson ei hunan yn dwyn tystiolaeth i'r dyfnder o fwynhad a roddai y dweyd hyfryd a byth gofiadwy hwnw iddo.

Un boreu Sabbath, yr oedd y Parch. Shadrach Davies, gweinidog o gryn enwogrwydd perthynol i'r Annibynwyr, yn pregethu yn y Maendy, capel cyfagos i Bontfaen, yn Morganwg. Yr oedd ffenestr y tu cefn i'r pwlpud, fel yr oedd yr arfer yn yr hen gapelau. Shadrach yntau oedd yn pregethu gydag arddeliad; eithr pan ar binacl ei hwyl trodd ei wyneb at y ffenestr, a gwelodd ddyn a adwaenai y tu allan. Ymaith ag ef o'r areithfa, ac allan trwy y drws, heb roddi gair o eglurhad ar ei ymddygiad, a'r holl gynulleidfa wedi ei dal gan syndod. Yn y man, daeth yn ei ol, a'r dyeithrddyn yn ei fraich. Hwnw a esgynodd i'r pwlpud, ac mewn tonyddiaeth hwylus a roddodd allan i ganu:—

"O! estyn eto i barhau
Dy drugareddau tirion."

Disgynodd gwlith tyner ar y gynulleidfa gyda rhoddiad allan yr emyn. Yna, cymerodd yn destun: "Minau, nesau at Dduw sydd dda i mi." Daeth y dylanwad dwyfol i mewn fel llanw'r môr; braidd na thybiai yr hen bererinion fod y meinciau odditanynt yn nofio ymaith gan fel yr oedd y dyfroedd yn ymgryfhau; ac yr oedd Shadrach ar uchaf ei lais yn gwaeddi "Gogoniant!" dros y tŷ. Wedi i'r bregeth orphen, canwyd y penill:—

"Melus fydd adgofio 'r boreu,"

gan ddyblu a threblu drosodd a throsodd, gyda hwyl orfoleddus. Y gŵr dyeithr oedd Edward Coslet; beth a'i dygodd i'r Maendy y boreu Sul hwnw, nis gwyddom.

Credai Coslet yn gryf, yn gyffelyb i Siencyn Penhydd, yn mhersonoliaeth y diafol; byddai nid yn unig yn siarad am dano, ond hefyd yn siarad wrtho yn bur aml, a hyny mewn geiriau digofus, fel pe byddai yn wyddfodol gerbron ei lygaid. Elai unwaith i bregethu i dŷ fferm yn Sir Aberteifi. Preswyliai bachgen o ôf yn yr ardal, yr hwn a fuasai un amser yn gweithio gyda Coslet yn Nghasbach. Daeth y gôf ieuanc i gyfarfod yr hen ôf, i fod yn gydymaith iddo i'r odfa. Wedi siarad cryn dipyn am hyn a'r llall, daethant yn agos i'r ffermdy, a rheidiol bellach oedd meddwl am destun a phregeth. "Fi bregetha ar yr adnod a'r adnod," meddai Coslet. "Na wnai, Ned," meddai y diafol; "yr wyt wedi pregethu ar hona

yma o'r bla'n. Teimlai yr hen gynghorwr yn bur anesmwyth, ond yn y man dywedai: "Mi bregetha ar hon, beth bynag," gan enwi adnod arall. "Na wnai, Edward," meddai y cythraul drachefn; "yr wyt ti wedi pregethu arni yma o'r bla'n, a thi ddeui i warth o ailadrodd yr un pethau mor bell o dre." Erbyn hyn yr oedd yn tywyllu yn enbyd ar y pregethwr druan; ac yr oedd y tŷ yn yr ymyl, y bobl yn ymgynull tuag ato, ac yntau heb un bregeth. "Wel," meddai yn mhen ychydig, gyda llais concwerwr, "mi bregetha ar hon, beth bynag," gan ddewis y drydedd adnod. "Na wnei di," ebai Satan eto; "yr wyt ti wedi pregethu yma ar hona hefyd." "Dy gelwydd di yw hyny," ebai Coslet; "fuo i ddim yma ond dwy waith erioed. Ah, mi dy ddaliais di, ngwas i!" Nid oedd gan dad y celwydd yr un ateb i'w roddi i resymeg mor anwrthwynebol.

Yr oedd yr hen gynghorwr yn nodedig o barod yn ei atebion, yn anaml y llwyddai neb i'w orchfygu mewn pertrwydd a ffraethineb. Yn wir, peth peryglus fyddai i neb anturio ymaflyd codwm ag ef ar y maes hwn. Beiai rhywun ef unwaith am erwinder ei iaith, yn arbenig am ei fod yn galw y diafol yn dd——l, gan ei seinio yn llawn yn y pwlpud fel yn yr efail. "Edward," meddai wrtho; "ddylech chwi ddim galw yr un drwg wrth yr enw isel a roddir arno gan feddwon; paham na alwch ef yn Satan, Beelzebub, yr Yspryd drwg, neu ryw enw cyffelyb?" "O, ngwas i," ebai yntau, "wyt ti yn teimlo drosto fe, wyt ti? 'D yw dynion ddim yn foddlon i'w ffryndiau gael eu llysenwi. Oes ryw gilbwt (cytundeb) rhyngot ti ag e'? Weles i ond ei waetha erioed, y mae d——l yn ddigon da iddo, a d——l gaiff e' gen i."

Dywedir fod gerwinder iaith Coslet, ac yn arbenig ei waith yn galw Satan yn dd——l, wedi bod yn foddion i ychwanegu ei gynulleidfa droiau, gan dynu creaduriaid i'w wrando, na fyddent un amser yn myned i le o addoliad. Yr oedd ar daith unwaith yn Ngwynedd, tua chymydogaeth y chwarelau, ac meddai creadur hynod o anystyriol wrth ddyn ieuanc arall, llawn mor anystyriol ag yntau: "Y mae hen bregethwr rhyfedd o'r Dê yn y fan a'r fan; yr wyf am fyned i'w wrando; wnai di ddod hefo mi?" "Na wna i, cerdd dy hun," oedd yr ateb. "Na, yn wir, tyr'd; ni a gawn lawer o ddifyrwch; y mae yn galw yr yspryd drwg yn dd——l ar ei bregeth." "Aïe?" ebai'r llanc; "wel, ffwrdd a ni i glywed yr hen walch digri." Ymaith yr aethant, ond nid difyrwch a gawsant yn yr odfa, gafaelodd geiriau yr hen gynghorwr yn eu cydwybodau, a chafodd y ddau argyhoeddiad i fywyd. "Fechgyn," meddai wrth bregethu un tro: "Peidiwch gwasanaethu y d——l; mi gwasanaethais i e' am hyn a hyn o flynydde, a ches i ddim cymaint ganddo a hoelen i'w rhoi mewn pedol erioed."

Unwaith, yn Ngogledd Cymru, cydbregethai â gweinidog nid anenwog o Wynedd. Testun Coslet oedd: "Haul a tharian yw yr Arglwydd Dduw." Tafodiaith bro Gwent a ddefnyddiai ef yn y pwlpud, yr hon a saif yn hollol ar ei phen ei hun, gan wahaniaethu oddiwrth iaith gyffredin y Dê lawn cymaint ag oddiwrth eiddo y Gogledd. Clywsom, pan y delai i Langeitho, mai yn brin y medrai y gynulleidfa ddeall rhanau o'i bregeth, oblegyd dyeithrwch ei iaith. Felly, "oil" y galwai yr hen frawd yr haul. Wedi yr odfa, aed i dŷ cyfagos, a dechreuodd y Gogleddwr gellwair parthed Cymraeg y Deheuwr; ac meddai yn chwareus: "'D oes yr un haul hefo chwi yn y *South* acw, mae'n debyg, Coslet?" "O's, cystal haul ag sydd genych chi yn y *North* yma, bob tamed," ebai Coslet. "Na, na; rhyw '*oil*' sydd genych yn y *South*." "O, aïe," meddai Coslet; "gwrando di; 'Deuwch yr awr hon, ac ymresymwn,' oedd dy destun dithau, ond 'Deuwch rwan' wedaist ti bob tro wedin." Chwarddodd y Gogleddwr yn iachus, wedi cael ei faeddu gan yr hen ôf o'r Dê.

Y mae nifer mawr o'i ffraeth-ddywediadau a'i atebion cyflym yn aros ar gof a chadw. Tramwyai unwaith yn Sir Benfro, ac ymddengys mai yr arwydd arferol yn y rhan hono o'r wlad y pryd hwnw, fod dyn wedi cael digon o dê, oedd troi y ddysgl wyneb i waered, a'i gadael felly. Nid oedd Coslet yn gwybod am y cyfryw ddefod, neu ynte, yr oedd yn rhy annibynol i'w harfer. Wel, yr oedd wedi darfod tê, ond heb droi y ddysgl. Aeth y lletywraig garedig i arllwys ychwaneg o dê. "Rhoswch," ebai Coslet; "yr w i wedi darfod." "Darfod," ebai hithau; "paham na fuasech yn troi y ddysgl ar ei gwyneb, Coslet? dyna'r ffasiwn yn y wlad hon." "O, dyna ffasiwn moch yn ein gwlad ninau, taflu y cafnau wedi llenwi eu boliau." Cafodd ei alw i Lundain un-

waith gan ryw achos masnachol. Dyddiau y cerbyd a'r ceffylau oedd y rhai hyny, cyn i'r agerbeiriant ddechreu rhuthro trwy y wlad. Yr oedd rhyw Sais yn cyd-deithio â Choslet, a thybiai y gallai wneyd difyrwch iddo ei hun a'r cwmni o'r hen Gymro. "Faint o *nannygoats* sydd yn Nghymru yn awr?" gofynai. "Nid cymaint ag sydd o ffyliaid yn Lloegr," oedd yr ateb.

Yr oedd cyfreithiwr ar ymweliad â boneddwr yn nghymydogaeth Casbach, a thra yno, clywodd lawer am ffraethineb yr hen ôf oedd yn y pentref, a bod agos yn anmhosibl i neb gael y trechaf arno. Meddai y cyfreithiwr hwn, fel aml un o'i frodyr, ffydd ddiderfyn ynddo ei hun, a phenderfynodd y gwnelai fesur nerth a'r gôf. Parodd i'r boneddwr wahodd Coslet i'r palas. Wedi iddo fyned, cyfarchai y cyfreithiwr ef gyda hyfdra sarhaus: "Yr ydych chwi yn myned o gwmpas i bregethu, yr wyf yn deall." "Odw, weitha, odw," meddai yntau. "Chwi fyddwch yn pregethu Saesneg weithiau?" "Bydda." "Sut y byddwch chwi yn gwneyd; a fyddwch chwi yn ysgrifenu eich pregethau yn llawn?" "Dw i yn ysgrifenu dim gair." "Felly, yn siwr; wel, os nad ydych yn ysgrifenu y bregeth yn ofalus, ac yn cadw at yr ysgrif yn fanwl, y mae yn rhaid eich bod yn gwneyd *mistakes* weithiau wrth bregethu?" "O odw; rw i yn gneyd *mistakes* yn amal." "Wel, pan fyddoch yn gwneyd *mistake*, a fyddwch chwi yn troi yn ol i'w wella?" "Bydda, os bydd ef yn *fistake* mawr," ebai Coslet; "ond os mâ *mistake* bach fydd e, yr w i yn pasio heibio, ac yn gadael iddo." "A pheth ydych chwi yn alw yn *fistake* bach?" "Wel," meddai Coslet, "pe y dygwyddai i mi yn ddamweiniol alw *lawyer* yn *liar*, *mistake* bach yr ystyriwn i hyny, ac mi awn yn y mlaen yn ddystaw." Nid rhaid ychwanegu i wynebpryd y cyfreithiwr syrthio, i'r rhai a wrandawent dori allan i chwerthin, ac i Coslet fyned adref yn goncwerwr.

Pan ar daith yn Sir Benfro, ceisiwyd ganddo gynal yr odfa drwyddi yn Saesneg. Nid oedd yn blasu ar hyny o gwbl, er y medrai siarad Saesneg bro Gwent gyda chryn rwyddineb. Yn y diwedd, modd bynag, ar ol hir berswadio, cafwyd ganddo gydsynio mewn rhan. "W i yn foddlon pregethu yn Sysnag," meddai; "ond weddïa i ddim yn Sysnag. Fe alla i weyd Sysnag wrthoch chi, ond wedes i air yn yr iaith hono wrth fy Nuw erio'd." Bu raid boddloni ar hyny. Nid yw hanes yr odfa ar gael, ond y mae yn sicr i'r efengyl gael mwy o gyfiawnder nag a gafodd gramadeg.

Ymddengys ei fod, er ei wladeiddiwch, a'i ymdeimlad a'i ddiffyg addysg, yn meddu yspryd digon annibynol. Arferai y Parch. Hezeciah Jones, offeiriad duwiolfrydig yn Mynwy, fynychu y Cyfarfodydd Misol, ac ymdroi cryn lawer yn mysg y Methodistiaid, fel amryw o offeiriaid rhagorol yr oes hono. Teimlai Mr. Jones, er ei dduwiolfrydedd, ei hun yn rhywbeth amgen i'r cynghorwyr diddysg a deithient o gwmpas gwlad. Ond nid oedd dim gwaseidddra yn Coslet; pan y teimlai ei fod ar yr iawn, yr oedd ei liniau mor anhyblyg a'r haiarn a forthwyliai. Un tro, dygai Mr. Jones gwyn yn ei erbyn, ei fod yn siarad gormod yn y Cyfarfod Misol. Dysgwyliai yr offeiriad iddo gwympo ar ei fai ar unwaith. Ond yr ateb a gafodd oedd: "Mr. Jones, fe gaiff y d——l garai o groen eich cefn cyn y cwympa i byth i chi." Gyda yr yspryd annibynol hwn, meddai lawer o dynerwch, a byddai gweled dyn mewn caledi yn toddi ei galon yn llyn ar unwaith. Yr oedd un o bregethwyr y sir unwaith mewn profedigaeth lem, a llawer yn curo yn drwm arno. Credai Coslet mai ei ddal gan brofedigaeth a gawsai y gŵr, ac nad oedd wedi pechu yn wirfoddol. "Beth yw eich meddwl chwi, Edward Coslet, am dano?" gofynai y cadeirydd. "Mi weda i chi'n union," ebai yntau; "ma'r brawd yn y ffwrnes gyda'r d——l, ond fe ddaw allan fel aur wedi ei buro trwy dân." Felly y bu; daeth y pregethwr allan o'r brofedigaeth gyda chymeriad mwy dysglaer nag erioed, a bu yn nodedig o ddefnyddiol dros weddill ei oes.

Fel amryw eraill o'r hen gynghorwyr, safai Coslet dros ddechreu yr odfaeon yn eu hamser priodol i'r fynyd, a threthid ei amynedd yn fawr gan hwyrfrydigrwydd y bobl i ddyfod i foddion gras yn brydlawn. Dywedir ei fod i bregethu mewn capel yn ei ardal ei hun un tro, a bod efe a'i briod wedi myned yno yn mhell cyn yr amser. Aethant i dŷ'r capel i aros yr adeg i ddechreu y gwasanaeth. Yn union pan ddaeth yr amser i ben dyma Coslet ar ei draed, ac yn amneidio yn gyffrous ar y wraig i'w ganlyn ef i'r capel. "'Does neb wedi dod eto, Etward," ebai'r wraig. Eisteddodd i lawr eilwaith, ond yn bur anniddig ac anesmwyth. Yr oedd ar ei draed yn bur fuan eilwaith, ac yn gwneyd ei

ffordd i'r capel. Hithau wedi gweled nad oedd modd ei dawelu yn hwy a'i canlynodd, gan ail ddweyd nad oedd yr un dyn yn y capel. "Na hidia di am hyny," ebe yntau, "mae tipyn o waith '*cymhwyso*' arnat ti, 'tai neb arall yn dod i'r capel." I'r capel yr aethant, a dechreuodd y gwasanaeth yn ddiymaros; ac er nad oedd ond efe a'i briod yn bresenol ar y cychwyn, daeth eraill i fewn ag yr oedd gwaith "cymhwyso" arnynt heblaw ei briod ei hun.

Cafodd lawer o'i erlid, ac o'r diwedd gorfodwyd ef, fel pregethwyr eraill y Methodistiaid, i apelio am drwydded, er cael nawdd y gyfraith dros ei berson. I'r Chwarter Sessiwn yr aeth. Pan welodd un o'r boneddigion olwg mor arw a gwladaidd arno, dywedodd mewn tôn ddirmygus: "*Ti* yn pregethu'r efengyl! Duw dy helpio di!" "Amen," ebai Coslet; "ei help e, a'ch ewyllys da chwithau, syr, a wnaiff y tro." Cafodd y drwydded yn ddiymaros. Cyfarfu â phrofedigaeth lem unwaith yn Sir Frycheiniog. Un noswaith, gwedi pregethu, aeth i ymweled ag un o'i geraint allan yn y wlad. Ond pan ddaeth i'r tŷ, deallodd fod ei berthynas wedi symud i ardal arall; ac yn y tŷ, yn lle ei gâr, yr oedd dyn wedi ei ddal am *forgery*. Hwn, pan welodd Coslet yn dyfod i mewn, a waeddodd: "Dyma y dyn fu yn gyfranog â mi yn y twyll!" Mewn canlyniad, ymaflwyd ynddo; yntau, mewn hunan-ymddiffyniad, a ddadleuai mai dyn dyeithr ydoedd ar daith yn pregethu trwy y wlad. Hwythau, wedi clywed mai pregethwr oedd mewn dalfa ganddynt, a ymddifyrent yn fwy yn ei wawdio. Parhausant i wneyd hyny trwy gydol y nos, er ddarfod iddynt eisioes gael digon o brofion fod ei hunan-ymddiffyniad yn gywir. Boreu dranoeth, modd bynag, gollyngasant ef yn rhydd. Mynai llawer iddo eu cospi, ond ni chydsyniai; nid oedd dialedd yn cael lle yn ei galon.

Dygwyddodd amryw o ddiwygiadau nerthol yn ystod oes bregethwrol Edward Coslet; cyfranogai yntau yn helaeth o yspryd yr ymweliad; a byddai ei weinidogaeth yn aml yn enyn tân moliant yn nghalonau ei wrandawyr. Un tro, pregethai yn Ty'nywlad, ffermdy cyfagos i Grughywel; yr oedd Duw yn arddel ei Air, y pregethwr mewn hwyl, a'r dyrfa yn gorfoleddu. Ar ganol y cyfarfod, dyma foneddwr yn taro i mewn, ac mewn yspryd tra afrywiog, gwaeddodd allan: "*Helwch daw ar y dynion.*" "Pe y tawai y rhai hyn," ebai Coslet yn ol, "fe lefai y cerig yn y fan." Teimlodd y boneddwr yr ergyd, plygodd ei ben, a chiliodd ar frys o'r lle.

Yr ydym wedi manylu ar hanes Edward Coslet, oblegyd ei fod, megys ei gydoesydd, yr hynod Siencyn Thomas, Penhydd, yn enghraifft dda o ddosparth o gynghorwyr y Methodistiaid perthynol i'r ail dô. Garw oedd eu hymddangosiad, gwladaidd oedd eu gwisg, ac anniwylliedig oedd eu hymddiddanion; ond meddent gyflawnder o ddawn naturiol; bwrlymai arabedd dros eu gwefusau mor naturiol a'r dwfr yn berwi i fynu yn y ffynhon; defnyddient eu ffraethder yn gwbl ddiofn yn y pwlpud, ac yr oedd eu dull o bregethu yn cyfateb i'r oes yn mha un yr oeddynt yn byw. Os na feddent ddysgeidiaeth athrofaol, na choethder dygiad da i fynu, yr oedd ganddynt galonau llawn o gariad at y Gŵr fu farw drostynt; poethai eu hysprydoedd o'u mewn wrth son am ei enw, ac yn aml buont yn offerynol i osod cynulleidfaoedd yn wenfflam. Anmhosibl peidio teimlo parch i'w coffadwriaeth; gwnaethant ddaioni nas gwyr neb ei faint yn eu cenhedlaeth. Nid y seren leiaf ei maintioli yn y cylch hwn oedd Edward Coslet; dysgleiriodd yn ffurfafen Methodistiaeth am oes faith, ac fel Seren Bethlehem gynt, arweiniodd lawer at y "Mab bychan." Ond daeth terfyn pob dyn byw i'w gyfarfod yntau, a bu farw yn y flwyddyn 1828, yn bedwar-ugain mlwydd oed namyn dwy, ac wedi bod yn pregethu gair y deyrnas am ddeuddeg-a-deugain o flynyddoedd.

# CARTREFI RHAI O ENWOGION METHODISTAIDD Y DEHEUDIR.

1



2



3



1.—Garth, ger Llanfair-muallt, Brycheiniog.
[Cartref Marmaduke Gwynne, Ysw.]

2.—Mandrowen, ger Abergwaun, Penfro.
[Cartref y Parch. David Jones, Llangan.]

3. Llwyngwair, ger Nefern, Penfro.
[Cartref James Bowen, Ysw.]

[Gwel cyf. i., tudal. 80, 474; cyf. ii., 485.]



PENGWERNHIR, GER PONTRHYDFENDIGAID.

*(Ar ganiatâd y Parch. John Williams, Lledrod, Sir Aberteifi.)*

# PENOD XXIX.

——:o:——

## JOHN WILLIAMS, PANTYCELYN; JOHN EVANS, CILYCWM; A MORGAN RHYS.

*John Williams yn ddysgwr rhagorol—Yn cyfarch Esgob Tyddewi ar yr heol—Yn cael ei urddo yn guwrad Llanfynydd—Ficer Llanfynydd a Jones, Llangan—John Williams yn symud i Langrallo—Yn cael ei benodi i beriglorìaeth Llanfair-muallt—Ei droedigaeth—Y mae yn ymwasgu at y Methodistiaid—Yn ymadael a'r Eglwys, ac yn cael ei benodi yn athraw Athrofa yr Iarlles Huntington—Ei lafur dirfawr—Yn symud i Bantycelyn at ei fam—Yn ymweled a Gogledd Cymru ddwywaith—Ei hynodion—Ei haelioni—Ei nodweddion fel pregethwr—Yn cymeryd rhan yn yr ordeiniad cyntaf—Ei hoffder o'r Methodistiaid—Ei farwolaeth a'i gladdedigaeth—Ychydig o hanes John Evans, Cilycwm, ar gael—Melusder arbenig ei ddawn—Efe yn un o'r cyntaf i bregethu yn y Wyddgrug—John Evans a Dafydd Morris—Tywyllwch yn gorchuddio boreu oes Morgan Rhys—Dim crybwylliad am dano yn nghofnodau seiat Cilycwm—Yn byw yn Llanfynydd—Yn emynydd nodedig, a'r agosaf at Williams—Ei gyfansoddiadau—Rhai o'i emynau annghyhoeddedig.*

YR oedd y Parch. John Williams yn ail fab i Beraidd Ganiedydd Cymru; felly, haeddai goffâd, pe na byddai ond am ei berthynas a'i dad; ond, ar wahan oddiwrth hyny, y mae efe ei hun, ar amryw gyfrifon, yn wrthddrych o gryn ddyddordeb. Cafodd ei eni yn Mhantycelyn, Mai 23, 1754. Dangosodd arwyddion talent yn gynar; dysgai bob peth a osodid o'i flaen; ymddengys hefyd y meddai hoffder dirfawr at y Beibl, nes peri i'w dad ddweyd am dano yn aml yn ei ddull cartrefol ei hun: "Fe fydd *Jack* yn ŵr cadarn yn yr Ysgrythyrau;" a chyflawnwyd y brophwydoliaeth i'r llythyren. Dywed y Parch. Maurice Davies, ei fywgraffydd, iddo dderbyn "cynsail egwyddorion ei ddysgeidiaeth" gan ei dad. Gan fod yr hen fardd trwy ystod ei oes yn deithiwr mor ddiorphwys, ac y byddai oddicartref yn fynych yn pregethu yr efengyl, ac yn gwerthu ei lyfrau, am wythnosau yn olynol, rhaid y byddai ei feibion yn fynych yn cael dysgu goreu y medrent wrthynt eu hunain, neu ynte, eu bod yn derbyn hyfforddiant gan eu mam. Yn gymharol ieuanc, aeth *Jack* i ysgol ramadegol oedd yn cael ei chynal mewn lle a elwir Coedcochion, gan un John Williams. Cafodd y John Williams yma gwedi hyn ei ordeinio yn offeiriad, a chyn ei farw, yr oedd yn beriglor Llandeilofan, Sir Frycheiniog. Yr oedd efe yn un o'r offeiriaid Methodistaidd a elai o gwmpas i bregethu yn deithiol, yn gyffelyb i Jones, Llangan, ac eraill. Hyd ddiwedd ei oes, meddyliai John Williams, Pantycelyn, yn uchel am dano, a phan y bu farw, ysgrifenai yn y modd a ganlyn at ei frawd, sef y Parch. W. Williams, ficer Truro: "Y mae Mr. Williams, periglor Llandeilofan, yr athraw cyntaf a goreu a gawsoch chwi a minau, wedi myned i ffordd yr holl ddaear. Cyfarfu ar ei bererindod â chroesau trymion, ac ag aml ddrygau; ond gwaredodd yr Arglwydd ef oddiwrthynt oll. Bu farw dan ganu:—

'Ffordd newydd wnaed gan Iesu Grist,' &c.

Gadawodd ar ei ol dri o feibion yn weinidogion yn yr Eglwys Sefydledig."

Pan o gwmpas pymtheg oed, symudodd John Williams i Ysgol Ramadegol Caerfyrddin, yr hon oedd yn ysgol Eglwysig, a than nawdd Esgob Tyddewi. Bu yma o gwmpas pedair blynedd, a'r fath oedd ei ddihewyd, a'i ymroddiad i'w efrydiau, fel nid yn unig y darfu iddo ragori yn mhell ar ei gydysgolorion, ond y daeth i gael ei ystyried yn gwbl gydradd a'i athrawon, ac y teimlent hwy eu hunain na feddent mwyach ddim hyfforddiant i'w gyfranu iddo.

Oddiyma aeth i Ysgol Ramadegol Ystradmeurig, yr hon oedd y pryd hwnw yn ei gogoniant, dan lywodraeth ei sylfaenydd, Edward Richard, dyn tra rhagfarnllyd, ond ysgolfeistr da, a bardd gwych. Nid yw y Parch. Maurice Davies yn crybwyll am arosiad John Williams yn Ystradmeurig, ond y mae pob sicrwydd iddo fod yno. Fel bechgyn ysgol yn gyffredin, arferai ysgrifenu ar ddail gwynion ei lyfrau, ac ar wyneb-ddalen un llyfr cofnoda ddarfod iddo ei brynu yn Nghaerfyrddin, yn y flwyddyn 1771. Dan hyny, yn ei lawysgrif ef ei hun, ceir a ganlyn: "*I came to Ystradmeurig to school, June 30th, 1773.*" Pa hyd yr arhosodd yma, nis gwyddom. Gwedi ymadael ag Ystradmeurig, ni wyddai beth i'w wneyd. Yr oedd yn rhy ieuanc i dderbyn urddau Eglwysig, ac yn rhy fywiog ac effro ei yspryd i dreulio ei amser mewn segurdod. Ryw brydnhawn-gwaith, wedi myned am dro i Gaerfyrddin, wrth edrych allan trwy y ffenestr, gwelai Esgob Tyddewi a'i wraig yn rhodio ar hyd yr heol; tan ddylanwad cynhyrfiad y foment aeth allan i'w cyfarfod, a chwedi moesgyfarch yr esgob mewn modd gweddus, gofynodd a wnelai efe wrando ar ei amgylchiad. Atebodd yr esgob yn garedig y gwnai. "Fy arglwydd," meddai y llanc dewr, "y mae yn hysbys i'ch arglwyddiaeth fy mod wedi dysgu yr oll a allaf yn y sefydliad hwn, a chan nad wyf yn ewyllysio treulio fy amser mewn segurdod, yr wyf mewn cyfyng-gynghor pa beth i'w wneyd, hyd oni ddelwyf i oedran i gael fy urddo." Ebai yr esgob yn ol: "Gellwch ddysgwyl clywed oddiwrthyf, John Williams, yn nghylch y pryd hwn y fory." Diolchodd yntau iddo yn barchus, a'r esgob a'i wraig a ymadawsant dan wenu. Canlyniad yr ymgom hwn oedd i'r llanc gael ei benodi yn is-athraw yr ysgol yn mha un y buasai yn ysgolor mor ddysglaer. Ymddengys i'r Bardd o Bantycelyn gael ei foddhau yn fawr yn ymddygiad ei fab ieuangaf; oblegyd fel hyn yr ysgrifena at ei gynfab: "Bydd wrol, *Billy;* y mae pregethwr heb wroldeb fel durlif heb ddanedd, fel cyllell heb awch, neu fel milwr heb galon. Aeth dy frawd *Jacky* ei hun i ymddiddan a'r esgob ar yr heol yn Nghaerfyrddin, a chafodd ei wobrwyo am ei wroldeb. 'Mae ofn dyn yn dwyn magl.'"

Ar yr 17eg o Hydref, 1779, sef ar ddydd Sabbath, cafodd ei urddo i fod yn guwrad eglwys Llanfynydd, yn Sir Gaerfyrddin, gan yr Esgob Warren. Cymerodd hyn le yn mhalas yr esgob yn Abergwili. Yr unig holiadau mewn duwinyddiaeth a ofynodd yr esgob iddo cyn ei urddo oedd a ganlyn: Beth yw cyfiawnhad? A pheth yw ffydd yn unig? I'r gofyniad cyntaf atebiad Mr. Williams ydoedd: "Wrth gyfiawnhad yr wyf yn deall fod pechadur euog yn cael hawl bersonol yn nghyfiawnder Crist trwy ffydd; 'Megys y mae Dafydd hefyd yn datgan dedwyddwch y dyn y mae Duw yn cyfrif cyfiawnder iddo heb weithredoedd;' 'Yr ydym ni yn cyfrif mai trwy ffydd y cyfiawnheir dyn heb weithredoedd y ddeddf.'" I'r ail, atebodd fel hyn: "Wrth ffydd yn unig, yr wyf yn deall, egwyddor ysprydol ag y mae yr Yspryd Glân yn ei phlanu yn enaid dyn yn yr adenedigaeth, yr hon egwyddor sydd yn ei ddysgu i synied yn addas am Dduw, ac am dano ei hunan; ac yn ei alluogi i ymorphwys ar gyfiawnder Crist am gymeradwyaeth gyda Duw; i ymddiried yn ei waed ef am faddeuant a glanhad, ac yn y cyflawnder sydd ynddo am bob trugaredd i fywyd tragywyddol." Hawdd gweled fod y gŵr ieuanc wedi cyflawni prophwydoliaeth ei dad, gan ddyfod yn "ŵr cadarn yn yr Ysgrythyrau;" ni welodd yr esgob yn addas ei gwestiyno yn mhellach, am y deallai fod yr hwn oedd ger ei fron yn meddu dirnadaeth dda o athrawiaethau crefydd, yn gystal ac yn iach yn y ffydd; a'r unig gynghor a roddodd iddo wrth ymadael ydoedd: "Byddwch wych, fy mab; gochelwch na wnewch ddim cyfeillach a'r Methodistiaid, a diamheu genyf y byddwch yn gysur i chwi eich hun, ac yn addurn i'r Eglwys." Nid annhebyg mai perthynas ei dad a'r Methodistiaid a barodd i'r esgob roddi y fath gynghor i John Williams. Eithr nid oedd efe yn blasu arno, ac wrth fyned adref, dywedai rhyngddo ac ef ei hun: "Nid yw fy arglwydd esgob yn adnabod y Methodistiaid cystal ag yr adwaen i hwynt, pe amgen, ni buasai yn fy anog i beidio cyfeillachu â hwynt. Arglwydd, na ddyro y pechod hwn yn erbyn dy was. Ac am danaf finau, byddaf waelach eto na hyn; byddaf ddirmygus yn fy ngolwg fy hun, a chyda'r llawforwynion" (sef y Methodistiaid y cyfeiriai yr esgob atynt) "y'm gogoneddir." Prawf yr ymson hwn fod egwyddorion ei dad wedi gwreiddio yn rhy ddwfn yn ei fynwes i Esgob Tyddewi allu eu tynu ymaith.

Llai na blwyddyn y bu y cuwrad ieuanc

yn Llanfynydd. Nis gwyddom nemawr o'i hanes yno, ond y mae genym le cryf i gasglu ei fod yn ymgyfeillachu cryn lawer a'r Methodistiaid. Er na ddechreuodd Dafydd Rees, Llanfynydd, bregethu hyd gwedi dwy flynedd ar ol ymadawiad John Williams, yr oedd Iefan Tyclai yn byw yn y lle; yr oedd Llwyd, o Gayo, hoff gyfaill Williams, Pantycelyn, heb fod yn nepell; ac nid oedd pellder mawr rhyngddo a John Evans, Cilycwm; felly, y mae yn bur sicr ei fod yn ymdroi llawer yn mysg pobl ei dad. Nid oedd ei ficer ychwaith, sef y Parch. Cornelius Cobner, er ei fod yn ddyn glwth a meddw, hollol anghymwys i wylio dros eneidiau, yn rhagfarnllyd o gwbl at y Methodistiaid. Lletyai feddwl mawr am ddoniau gweinidogaethol Daniel Rowland, ond credai lawn cymaint yn ei dalent ei hun; a dywedai yn aml mai dau offeiriad enwog oedd yn Nghymru, sef Rowland yn Sir Aberteifi, ac yntau yn Sir Gaerfyrddin. Ymddengys hefyd fod ganddo gryn barch i Jones, Langan. Yn ei amser, arferai clwb cleifion Llanfynydd fyned i'r eglwys bob Llun y Pasg, a thalent bum' swllt i'r offeiriad am wasanaethu ar yr amgylchiad. Un Llun y Pasg, yr oedd cyhoeddiad yr Efengylydd o Langan yn Llanfynydd, a thybiodd rhai o aelodau y clwb mai dymunol fyddai iddo ef draddodi y bregeth arferol. Aethant a'u cais at Mr. Cobner. "O'r goreu," ebai yntau, "mi siaradaf fi â Mr. Jones, yr wyf yn ei adwaen yn well na neb o honoch chwi." Ar yr amser appwyntiedig, daeth Mr. Jones yn ol ei addewid, ac aeth Mr. Cobner ato i drefnu yn nghylch y bregeth.

"Yr wyf fi, Mr. Jones," ebai, "i bregethu heddyw i ddeiliaid y clwb sydd yma. Y mae hyny yn arferiad gyson ar ddydd Llun Pasg." "O'r goreu," meddai Mr. Jones; "mi af fi heibio ynte, at yr odfa nesaf."

"O na, Mr. Jones,' ebai'r offeiriad; "y chwi sydd i bregethu, syr; yr wyf fi yma yn wastad, ac y mae y bobl yn gyfarwydd iawn â mi; ond er hyny, rhaid i mi gael y goron." "O na, Mr. Cobner," atebai Mr. Jones; "wertha i mo nghoron mor rhad a hyna; os y pum' swllt sydd yn eich golwg, chwi a'u cewch, a chroesaw, ond nid y goron!" Ac felly y trefnwyd pethau. Hawdd gweled na chafodd y cuwrad ei rwystro mewn un modd gan ficer Llanfynydd yn ei dueddfryd Fethodistaidd.

Yn mis Medi, 1780, ordeiniwyd John Williams i fod yn offeiriad gan yr Esgob Warren. Nid aeth yn ei ol i Lanfynydd; bu gartref yn Mhantycelyn am weddill y flwyddyn, yn gwasanaethu yn yr eglwysydd cymydogaethol, fel y byddai galw am dano, a dywedir iddo "ddarllen" droiau yn eglwys Llanfair-ar-y-bryn, ger Llanymddyfri, yn mynwent yr hon y claddwyd wedi hyny ei weddillion marwol ef, ac eiddo ei enwog dad. Ddechreu y flwyddyn ganlynol, sef Ionawr, 1781, symudodd i Langrallo, yn Mro Morganwg, i gadw ysgol. Pentref cymharol fychan yw Llangrallo, nid yn nepell o Langan; ar gais y Parch. David Jones, Llangan, y daeth i'r lle; ac nid annhebyg fod rhyw gysylltiad rhwng Mr. Jones a'r ysgol y cafodd ei benodi i fod yn feistr ynddi. Nid yw yn ymddangos y meddai guwradiaeth o gwbl; eithr gweinyddai yn y llanau cymydogaethol pan y caffai wahoddiad. Enillodd safle barchus yn mysg offeiriaid Morganwg; edrychid i fynu ato oblegyd ei ddysgeidiaeth, a'i wybodaeth athrawiaethol eang. Ceir prawf diamheuol o hyn yn y nodiad canlynol, ysgrifenedig yn ei ddydd-lyfr am Mai 30, 1781: "Heddyw, pregethodd yr Esgob Barrington a minau, y naill ar ol y llall, yn Nghymanfa Fisol yr offeiriaid yn Mro Morganwg; ei arglwyddiaeth yn Saesneg, a minau yn Gymraeg." Rhaid yr ystyrid ef yn bregethwr nid anenwog, cyn y cai ei osod i wasanaethu yn yr un cyfarfod ag Esgob Llandaf. Awgryma y nodiad yn mhellach fod Methodistiaeth yn dechreu cynyrchu cyfnewidiad daionus oddifewn i'r Eglwys; pan gychwynodd Howell Harris a Daniel Rowland, ofer fuasai ceisio cynhal cymanfa o offeiriaid i bregethu yr efengyl; testun gwawd a digrifwch fyddai y neb a gynygiai y cyfryw beth.

Arosodd Mr. Williams yn Llangrallo hyd Awst, 1782, pan y penodwyd ef i berigloriaeth Llanfair-muallt, a Llanddewi'r-Cwm. Rywle ar ei daith yn y Gogledd yr oedd ei dad pan y clywodd am y penodiad; eithr cyffrowyd ei awen gan y newydd, a chyfansoddodd gân ar yr amgylchiad, penill o ba un yn unig sydd ar gael, yr hwn a gofnodwyd genym eisioes:—

"Hed, y gwcw, hed yn fuan, hed, aderyn glas ei liw,
Hed oddiyma i Bantycelyn, d'wed wrth Mali 'mod i 'n fyw;
Hed oddiyno i Lanfair-muallt, d'wed wrth *Jack* am gadw 'i le,
Ac os na chaf ei weled yma, caf ei weled yn y ne'."

Er fod y Parch. John Williams yn ddyn dysgedig, yn nodedig o gydnabyddus a'r Ysgrythyr, yn uniongred o ran ei farn, ac yn meddu tueddfryd grefyddol, nid oedd, yn ol ei dyb ef ei hun, wedi ei achub pan y daeth i Lanfair-muallt. A mwy, yr oedd yn wahanglwyfus o ran ei gymeriad, gan y byddai yn fynych tan ddylanwad diodydd meddwol. Ymddengys y gwyddai ei dad am ei ffaeledd, ac mai siars iddo yw y cymal yn y penill a ddifynwyd :—

"D'wed wrth *Jack* am gadw 'i le."

O ran dim a wyddom, ni ddarfu i feddwdod y Parch. John Williams ei ddwyn dan fflangell esgobol ; ni ystyrid yfed i ormodedd yn anwiredd i'w gospi gan farnwyr yn yr Eglwys Wladol y pryd hwnw ; ffaeledd boneddigaidd braidd y cyfrifid y cyfryw beth. Rhaid cofio hefyd fod gwawr llwyrymataliaeth heb dori ar y wlad, ac yr ystyrid cwrw a gwirod mor anhebgor a bara ar gyfer llafurwaith. Ar ddiwrnod penodol, aeth yn fwy na haner meddw i gladdu un o'i blwyfolion, a thra yn sefyll ar fin y bedd, ac yn darllen y gwasanaeth : "Pridd i'r pridd, lludw i'r lludw," bu agos iddo a syrthio i'r beddrod ; hyny hefyd a wnaethai, oni buasai i gyfaill ymaflyd ynddo a'i achub. Ni chlywsom i'r rhai oedd yn bresenol dalu sylw o gwbl i'r anweddeidd-dra, a llai fyth achwyn arno wrth yr awdurdodau ; yr oeddynt yn rhy gynefin â drygfoes o'r fath. Ond effeithiodd yn ddifrifol ar John Williams ei hun : sobrodd ar unwaith ; aeth i'w lety dan wylo yn chwerw dost, ac ar ei union i'w ystafell, fel na welwyd ef hyd boreu danoeth. O herwydd dwysder ei ofid, a maint ei drallod, bu agos iddo a gwallgofi ; y mae y saethweddïau a'r cyfaddefiadau a ysgrifenwyd ganddo yn ei ddydd-lyfr ar y pryd eto ar gael, a dangosant fod ei enaid yn chwerw ynddo. Meddai : "Dywedaf wrth y pwll, tydi yw fy nhad ; ac wrth y pryf, fy mam a'm chwaer wyt. Fy ngheudod sydd anwireddau. Nid oes ynof fi ddim da yn trigo. Aflan, aflan. Mae fy nghalon fel Babilon, yn llety cythreuliaid, ac yn nyth pob aderyn aflan ac atgas. Rhyfedd, O Dduw, na buaset yn fy nghau i fynu mewn anobaith, ac mewn cadwynau tywyllwch gyda'r diafol, hyd farn y dydd mawr! Deuaf atat fel y publican, gan ddywedyd : 'O Dduw, bydd drugarog wrthyf, bechadur.' Y Duw sydd anfeidrol mewn trugaredd, trugarha wrthyf finau. O pura, sancteiddia, glanha, a dyro galon newydd i mi, O Dduw. Cefais galon arall genyt lawer gwaith, ond yr wyf heb y galon newydd. Calon newydd wyf yn ymofyn, pe byddai i mi gardota fy mara o ddrws i ddrws." Gallasem ychwanegu, ond y mae digon wedi ei gofnodi i ddangos chwerwder ei yspryd. Awgryma y gwahaniaeth a wna rhwng "calon arall" a "chalon newydd," y teimlasai yn flaenorol gyffroadau crefyddol, ac awyddfryd am fywyd uwch, ond nad ystyriai ei fod hyd yn hyn wedi cael ei greu o'r newydd yn Nghrist Iesu. Pa hyd y bu mewn ing enaid, nis gwyddom ; eithr datguddiodd yr Arglwydd ei drugaredd iddo, ac aeth ei gadwynau yn chwilfriw mân. Ysgrifena yn ei ddyddlyfr : "Diolch am radd o lonyddwch oddiwrth ofn drwg. O ! na fydded i mi mwyach dderbyn yspryd caethiwed i beri ofn, ond yspryd mabwysiad, trwy yr hwn y gallwyf lefain Abba Dad."

Dyna John Williams yn ddyn newydd yn Nghrist Iesu, a chafodd ei hun mewn byd hollol newydd. Os aeth pleserau y llawr yn ddiflas iddo, llifodd tangnefedd yr efengyl i mewn i'w enaid fel y môr. Haedda ei eiriau yn ei ddydd-lyfr eu hysgrifenu yn y graig dros byth, â phin o haiarn ac â phlwm. Fel hyn y dywed : "O na byddai yr holl fyd yn profi y fath sylwedd, ac yn teimlo y fath rym a chysur mewn crefydd, ag wyf fi yn deimlo yn bresenol. Mae yr Arglwydd wedi maddeu fy mhechod, ac yn darostwng fy llygredd. Mae yn tarfu fy ngelynion, ac yn symud fy ofnau. Mae yr ychydig brofais i o bethau'r nefoedd yma yn ei gwneyd yn nefoedd ar y ddaear ; ond beth am y nef ei hun, lle y mae gwyneb fy Mhriod i'w weled heb un llen, a'i holl berffeithiau yn ymddysgleirio heb un gorchudd ! O mor fawr fydd y wledd, mor rhyfedd y mwynhad, lle y caf oleuni tragywyddol, gweledigaethau tragywyddol, a thebygolrwydd tragywyddol i'r Duw tragywyddol!" Cafodd goncwest lwyr ar ei ffaeledd ; teimlodd y fath gasineb at ddiodydd meddwol fel na buont byth yn brofedigaeth iddo. Mewn llythyr at ei frawd, dyddiedig 1784, dywed : "I Dduw byddo'r diolch, yr wyf wedi cael y fath oruchafiaeth ar y pechod a wyddoch chwi oedd barod i fy amgylchu, fel nad oes neb o fy nghyfeillion yn fy nrwgdybied ; a thrwy drugaredd nid oes rhaid iddynt."

Canlyniad y cyfnewidiad a gafodd oedd peri iddo ymroddi i'w ddyledswyddau y tu fewn i'r Eglwys gyda mwy o ddyfalwch,

ac ymwasgu at y Methodistiaid, y rhai a gyfarfyddent yn nghapel Alpha. Darllenai y gwasanaeth, a phregethai dair gwaith bob Sul yn y llan, ac ar yr wythnos ymgymysgai â'r rhai oeddynt fel yntau wedi eu hargyhoeddi i fywyd. Cyflym hedodd y newydd trwy yr oll o Frycheiniog, a thros derfynau y sir, fod offeiriad Llanfair-muallt, mab yr anwyl emynydd, wedi cael crefydd, a chynyrchodd lawenydd annhraethadwy yn mynwesau canoedd. Yn mysg eraill clywodd yr Iarlles Huntington am y tro, ac o herwydd ei bod mor hoff o'i dad, a'i hadnabyddiaeth o hono yntau fel ysgolor gwych, ysgrifenodd ato i geisio ganddo gymeryd gofal ei hathrofa yn Nhrefecca, am ryw hyd, gan y byddai y prif athraw yn fynych yn absenol am fisoedd gyda ei ddyledswyddau eraill. Yr oedd hyn yn dygymod yn rhagorol a thueddfryd Mr. Williams; meddai hoffder arbenig at yr ieithoedd clasurol, ac yr oedd wedi cadw i fynu ei gydnabyddiaeth â hwy, yn nghyd â'i efrydiau eraill, er yr adeg y gadawsai Ysgol Ramadegol Caerfyrddin. Felly ufuddhaodd i'r alwad, a bu yn Nhrefecca o ddechreu Awst hyd ddiwedd Rhagfyr, 1784. Prin y rhaid dweyd iddo fod yn llwyddianus fel athraw; oblegyd ei dymher garuaidd, ei ymroddiad diflino, a'i gefnogaeth i'r ymdrechgar a'r diwyd, ymglymodd calonau yr efrydwyr am dano; gyda chryn anhawsder y cafwyd gan rai o honynt aros yn yr athrofa pan yr ymadawodd, am y chwenychent ei ganlyn i Lanfair-muallt, i fod yn efrydwyr dano yno. Mawr hoffwyd ef hefyd gan yr Iarlles, a gwobrwyodd ef yn hael wrth fyned ymaith.

Arosodd y Parch. John Williams yn Llanfair am flwyddyn yn ychwanegol, gan lafurio gyda'r efengyl hyd eithaf ei allu. Yn Ionawr, 1786, darfu i'r Iarlles ddiswyddo Mr. Phillips, prif athraw ei hathrofa, oblegyd iddo, yn groes i reolau y sefydliad, ymddadleu âg un o'r myfyrwyr ar bwnc duwinyddol, a methu rheoli ei hun yn y ddadleuaeth. Cynygiwyd ei le ganddi i Mr. Williams, ac yntau a'i derbyniodd. Bu yn Nhrefecca am bum' mlynedd, ac ymroddodd i'w waith gyda dihewyd na cheir yn aml ei gyffelyb. Ymddengys mai efe oedd yr unig athraw; efe ei hun fyddai yn rhoddi hyfforddiant mewn ieithoedd, ac mewn duwinyddiaeth; efe fyddai yn beirniadu yr holl bapyrau. Tua deuddeg o efrydwyr oedd yn yr athrofa ar y pryd, ac yr oedd rhai o honynt yn ysgolheigion gwych, fel nad heb drafferth a llafur y medrai yr athraw gadw y blaen arnynt. Dywedir na fyddai yn cysgu dros ddwy allan o'r pedair-awr-ar-hugain, ac y byddai wrth ei waith yn ddieithriad am bedwar o'r gloch y boreu. Gwedi llafurio fel hyn trwy ystod yr wythnos, nid oedd gorphwys iddo ar y Sabbath; pregethai dair gwaith yn gyffredin y dydd hwnw, a theithiai yn aml ddeugain milltir, rhwng myned a dychwelyd. Mewn llythyr at ei frawd, dyddiedig Mawrth, 1789, dywed: "Yr wyf fi, weithian, wedi cynefino a gweithio, debygwn, fel nad oes arnaf eisiau na gorphwys na chysgu, gan yr hyfrydwch fyddaf yn gael yn y gwaith, a'r cymhorth y mae yr Arglwydd yn ei roddi i mi ynddo, ond y mae fy rheswm yn fy hysbysu y caf deimlo oddiwrth hyn yn ol llaw. Yr ydym newydd gael galwad o'ch sir chwi *(Cornwall)*, oddiwrth ugeiniau o gynulleidfaoedd am bregethwyr, ac yr wyf finau wedi cael gorchymyn i barotoi cynifer a allaf yn ddioed. Onid yw hyn, fy anwyl frawd, yn profi eich esgeulusdra a'ch segurdod chwi, yr offeiriaid, yn y rhan yna o'r wlad?"

Gyda ei ymadawiad o Lanfair-muallt, daeth cysylltiad y Parch. John Williams â'r Eglwys Sefydledig i derfyn; ni esgynodd i'w phwlpudau mwy; eithr bwriodd ei goelbren gyda'r Methodistiaid, pobl ei dad, ac ymunodd â Chyfarfod Misol Brycheiniog. Manteisiodd crefydd yn Mrycheiniog yn ddirfawr ar ei ddyfodiad i Drefecca; pregethai yn ei chyrau pellaf, pa le bynag y byddai galw am dano. Cafodd tref Aberhonddu, yn arbenig, ei breintio â'i weinidogaeth. Meddai yr Iarlles gapel yn y dref wedi ei adeiladu ar ei thraul ei hun; cyffelyb o ran ffurf ydoedd i rai o'r hen gapelau Eglwysig, gyda dau bwlpud, un i'r offeiriad a'r llall i'r cynghorwr; ac yr oedd y pwlpudau, nid yn ymyl eu gilydd, gyda y naill yn is na'r llall, ond un yn mhob pen i'r capel. Felly hefyd yr oedd y trefniant yn nghapelau Llanlluan, Gyfylchi, y Creunant a lleoedd eraill. Yr amcan, mae'n debyg, oedd cadw cymaint o bellder ag oedd bosibl rhwng yr offeiriad urddedig a'i frawd diurddau. Fel rheol, gwasanaethai rhai o'r efrydwyr yma, neu ynte Mr. Williams ei hun, oddigerth fod gŵr dyeithr yn dyfod heibio ar ei daith. Adroddir am Mr. Williams y gwelai, un prydnhawn Sabbath wrth agoshau at y dref, haid o lanciau annuwiol yn chwareu mewn maes gerllaw. Penderfynodd yn y fan wneyd

cais ar eu gwasgar; a chyda'r amcan hyny gyrodd ei geffyl ar garlam i'r cae, ar wedd gŵr mewn awdurdod. Pan ei gwelwyd gan y bechgyn ffoisant oll ar ffrwst mawr, heb aros i edrych pwy ydoedd na pha beth a geisiai. Ataliodd yntau yr anifail; tynodd lyfryn allan o'i logell, gan gymeryd arno ysgrifenu eu henwau ynddo; a chredodd y llanciau mai ustus ydoedd, ac y caent oll wys i ymddangos o flaen eu gwell dranoeth. Ni fu dim felly; ond rhoddodd hyn derfyn ar chwareu ar y Sul yn y lle hwn.

Diau mai adeg ei breswyliad yn Nhrefecca oedd y tymhor mwyaf gweithgar yn mywyd y Parch. John Williams, ac efallai y mwyaf defnyddiol. Modd bynag, yn Ebrill, 1791, rhoddodd ei swydd fel prif athraw i fynu, er mawr alar a siomedigaeth i'r Iarlles, yn nghyd ag ymddiriedolwyr y sefydliad. Dau reswm a roddai dros ymadael. Yn gyntaf, marwolaeth ei dad, a'r rhwymedigaeth a deimlai i symud at ei fam i Bantycelyn, i fod yn gysur iddi yn ei gweddwdod a'i henaint. Yn ail, mawr awydd am ragor o hamdden i gyflawni ei hoff waith, sef pregethu yr efengyl. Yn mhen dau fis gwedi iddo ymadael bu Iarlles Huntington farw, ac yn mhen tua blwyddyn gwedi symudwyd yr athrofa o Drefecca i Cheshunt.

Pan y symudodd y Parch. John Williams i Bantycelyn at ei fam, cymerodd ei aelodiaeth fel hithau yn seiat Cilycwm. Er ddarfod i Howell Harris ymweled a'r dref ddegau o weithiau, ac er fod Per Ganiedydd Cymru yn byw yn gyfagos, nid oedd yr un seiat Fethodistaidd wedi cael ei sefydlu yn Llanymddyfri, os yw *Methodistiaeth Cymru* yn gywir, pan fu y bardd o Bantycelyn farw. Galwai rhai o bregethwyr y Cyfundeb heibio ar eu teithiau, megys Dafydd Morris, Dafydd Rees, Llanfynydd; a Llwyd, o Gayo; ond nid oedd yr un capel i'w derbyn; allan ar yr heol y pregethent, a cheisient gyrhaedd y dref ar ddydd marchnad neu ffair. Gwedi hyn bu yr Annibynwyr a'r Methodistiaid yn cydaddoli mewn tŷ anedd; eithr aelodau o seiat Cilycwm y cyfrifai y Methodistiaid eu hunain. Dyma sefyllfa pethau pan adawodd y Parch. John Williams Drefecca. Modd bynag, tua'r flwyddyn 1797, ymadawodd yr Annibynwyr i gapel o'u heiddynt eu hunain. Yn mhen pum' mlynedd gwedi, sef yn y flwyddyn 1802, penderfynodd Mr. Williams, mewn undeb â William Jones, Ysw., Ystrad Walter, a'r brodyr eraill, brynu y tŷ yn mha un yr arferid pregethu; a chwedi cael caniatad y Cyfarfod Misol, hyny a wnaed. Yn fuan adeiladwyd capel yma, a lliosogodd yr aelodau a'r gynulleidfa yn ddirfawr. Cymerodd Mr. Williams ei aelodiaeth bellach yn seiat Llanymddyfri, ond parhaodd mewn undeb â Chyfarfod Misol Brycheiniog tra y bu byw.

Ni fu erioed yn gymaint teithiwr a'i dad; cyfyngai ei lafur gan mwyaf i Siroedd Brycheiniog a Chaerfyrddin. Efallai mai gwendid ei iechyd oedd y prif reswm am hyn. Eto bu amryw droion yn ymweled â holl eglwysi y Deheudir; a bu ddwy waith hefyd yn y Gogledd. Aeth yno y tro cyntaf yn y flwyddyn 1800, a'i gyfaill oedd John Prytherch, Defynog. Fel hyn yr ysgrifena at ei frawd gwedi dychwelyd: "Yr ydwyf newydd ddychwelyd o daith o 600 o filltiroedd o leiaf. Pan ysgrifenasoch chwi eich llythyr diweddaf yr oeddwn yn Nolgellau, yn Sir Feirionydd, mewn Cymanfa. Yn y daith hon yr oeddwn yn llefaru yn gyffredin dair gwaith yn y dydd, yn gweinyddu Swper yr Arglwydd ddwy waith, ac yn trafaelu tua phymtheg milltir y naill ddiwrnod gyda'r llall. Yn fy holl daith ni chlywais am gymaint ag un gweinidog effro yn yr Eglwys Sefydledig! O mor drwm ydyw pan y mae yr Arglwydd yn dywedyd: 'Yr offeiriaid a ddywedent, Pa le mae yr Arglwydd? a'r rhai sydd yn trin y gyfraith nid adnabuant fi.' Ond y mae yr Arglwydd yn cyfodi iddo ei hun fugeiliaid o blith y crefftwyr a'r ffermwyr, y rhai sydd yn ei law ef yn aflonyddu y byd. Nid yw Satan yn cynhyrfu dim wrth bregethu moesoldeb, a rhinweddau da; iachawdwriaeth yr Iesu sydd yn ei gynhyrfu ef; dyna sydd yn cloddio ei allorau i lawr, yn gwaredu y caethion, yn datod gweithredoedd diafol, &c. Nid rhyfedd i'r apostol ddywedyd: 'Nid oes arnaf gywilydd o efengyl Crist.' Nid oedd arno gywilydd i'w chredu fel dyn, i'w phroffesu fel Cristion, i'w chyhoeddi fel apostol, nac i farw yn ei hachos fel merthyr."

Dengys y llythyr fod crefydd bron wedi llwyr ddarfod yn yr Eglwys Sefydledig ar y pryd. Nid oes genym un rheswm dros dybio fod Mr. Williams yn gorliwio; cawsai ei ordeinio yn offeiriad ei hun, ac offeiriad hefyd oedd ei frawd, at yr hwn yr ysgrifenai. Felly, nid oedd dan ddylanwad rhagfarn at yr Eglwys. Dengys y llythyr yn mhellach fod gweinyddiad Swper yr

Arglwydd yn mysg y Methodistiaid yn Ngwynedd yn dra afreolaidd, ac mai yn anfynych y caent y fraint, onide, ni fuasai gweinidog urddedig dyeithr, wrth ddyfod trwy y wlad, yn gorfod cyfranu ddwy waith yn y dydd, yn gystal a phregethu dair gwaith.

Yr ydym yn ei gael yn ymweled â Gogledd Cymru drachefn yn y flwyddyn 1802; ei gyfaill y tro hwn oedd William Bevan, Trecastell. Gwedi dychwelyd, ysgrifena eilwaith at ei frawd: "Teithiasom trwy holl siroedd Gogledd Cymru, a rhan helaeth o siroedd Amwythig a Chaerlleon. Yn Nghaer, cyfarfuom a'r Parch. Mr. Charles, o'r Bala. Mae yn ddrwg genyf ddywedyd fod y chwydd gwyn yn ei law ef, a bod y llawfeddygon yn barnu y rhaid ei thori ymaith. Yr achlysur o hono oedd cael anwyd wrth groesi un o fynyddoedd Sir Feirionydd. Yr ydwyf yn ofni y bydd i'r gwas ffyddlon hwn i Grist farw yn ferthyr, o herwydd ei fawr ymdrech yn yr achos goreu. Er gwaned oedd, darllenodd y gwasanaeth ddwy waith o fy mlaen i yn Nghaer. Pan glywoch fy mod wedi bod ar daith mor fawr trwy Wynedd, diau y dysgwyliwch i mi ddweyd rhywbeth am y mynyddoedd gwylltion, a'r golygfeydd anhygoel sydd yno; ond y gwir yw, yr oedd pwys y gwaith a lludded corph yn marweiddio yn llwyr bob ymofyniad ysgafn-fryd sydd mor naturiol i chwi a minau wrth natur. Er bod llawer o fynyddoedd yn y Gogledd, eto, y mae yno lawer o wlad dda odiaeth; ac y mae y trigolion yn bobl lanwaith, letygar, ac o ymddygiadau rhagorol."

Yr oedd Mr. Williams yn meddu llawer o hynodion. Ni fu erioed yn briod, ac nid yw yn ymddangos i'w serch erioed redeg ar ferch. Darlunia *Methodistiaeth Cymru* ef fel yn meddu casineb gwreiddiol at ferched a gwragedd, neu ynte, fod eu hofn arno, ac na wnelai ar unrhyw gyfrif gerdded gydag un o'r rhyw fenywaidd i'r capel. Cofnodir, yn mhellach, ei gasineb at un hen ferch, heb fod mor gall a phawb, yr hon a'i canlynai, ac a geisiai wthio clustog dan ei lin pan y byddai yn gweddïo. Credwn yn sicr fod y darlun yn anghywir, neu, o leiaf, ei fod wedi ei orliwio yn ddirfawr. Yr oedd y Parch. John Williams yn foneddwr. Hefyd, cawn ef ar delerau o gyfeillgarwch agos a'r Iarlles Huntington, yr Arglwyddes Jane Erskine, a gwragedd duwiol eraill. Meddai y fath syniad uchel am ddeall a chrefydd ei *housekeeper*, fel y gadawodd iddi yn ei ewyllys olaf holl lyfrau Cymraeg ei dad, a'i holl lyfrau Cymraeg ei hun. Tebygol i'r traddodiad disail gael ei gychwyn gan fenywod a geisient fyned yn rhy eofn arno. Naturiol iddo oedd teimlo gwrthnaws at hen ferch allan o'i phwyll yn gwthio ei hun i'w sylw.

Yr oedd hefyd yn nodedig o fanwl i gadw ei amser. Aeth unwaith i dŷ fferm, yn agos i'w gartref, lle yr arferai bregethu. Yr oedd yr odfa wedi ei chyhoeddi i ddechreu am chwech o'r gloch, fel arferol; ond pan ddaeth yr adeg i ben nid oedd un dyn yn y lle, oddieithr gŵr y tŷ yn unig. Modd bynag, esgynodd Mr. Williams i ben y gadair, a rhoes emyn allan i'w chanu. Gŵr y tŷ a geisiai ganddo aros, gan ofyn: "Pa le mae'r bobl, Mr. Williams? ofer dechreu eto." Yn mlaen, modd bynag, y mynai efe fyned, a dywedai, gyda mawr ddifrifwch: "Paham nad ydych chwi eich hun yn ddigon?"

Hynodrwydd arbenig ynddo oedd ei haelfrydedd a'i elusengarwch. Gan iddo dderbyn y rhan fwyaf o'r cyfoeth a berchenogid gan ei dad, ac i'w frawd farw yn ddideulu, yr oedd Mr. Williams yn gymharol oludog yn y byd; a chyfranai yntau o hono gyda llaw agored at bob achos teilwng. Croesawai i'w dŷ yr holl bregethwyr teithiol, o ba le bynag y deuent; ac anaml y caffai pregethwr tlawd gychwyn i'w daith boreu dranoeth heb ei fod yn rhoddi swm o arian yn ei law yn anrheg. Gwyddai holl dlodion y wlad yn brofiadol am ei gymwynasgarwch difesur. Am y gwnelai ei elusenau mor guddiedig, nid hawdd gwybod am helaethrwydd ei garedigrwydd, ond oddiwrth yr hyn a gafwyd yn mysg ei bapyrau gwedi iddo farw, bernir y cyfranai yn flynyddol tua dau-cant-a-haner o bunoedd at achos yr Arglwydd, ac mewn elusenau. Ceir y cofnodiad a ganlyn mewn hen lyfr o'i eiddo: "Mary Bartlet, wedi bod amryw Sabbathau heb fara i'w fwyta, &c." Tybir mai rhyw gymydoges dlawd iddo oedd Mary Bartlet, ag yr oedd ef, trwy chwilio allan y cwyn ni wyddai, wedi dod i wybodaeth o'i hangen. Coffai yn aml air yr Ysgrythyr, mai "dedwydd yw rhoddi yn hytrach na derbyn." "Yn lle fy anfon i'r byd i gardotta,' ebai, "y mae yr Arglwydd yn rhoddi modd i mi i gyfranu cardod i bob un sydd yn galw, os na bydd i fy nghalon ddrwg i fy lluddias." Yn ei ewyllys gadawodd gant punt yr un i Gymdeithas Genhadol Llundain, y Gymdeithas Gen-

hadol Eglwysig, a Chymdeithas yr Ysgol Sabbothol yn yr Iwerddon; a chant punt hefyd at dalu dyled capelau y Methodistiaid yn Mrycheiniog.

Ni ystyrid y Parch. John Williams yn bregethwr poblogaidd; ni feddai ddoniau areithyddol dysglaer; ni pherchenogai dynerwch Jones, Llangan, na nerth Ebenezer Morris; yn hytrach, edrychid arno fel yn safndrwm. Eto, yr oedd ei weinidogaeth yn dra chymeradwy. Mewn ysgolheigiaeth eang, ac mewn dirnadaeth o athrawiaethau dyfnion yr Ysgrythyr, y mae yn ammheus a oedd yr un o bregethwyr y Cyfundeb yn rhagori arno; yn ychwanegol, byddai ei eiriau bob amser yn addas, a'i feddwl yn oleu, fel nad hawdd fyddai i neb fyned o'r cyfarfod heb gael rhyw oleuni newydd ar y gwirionedd. Cyn darllen ei destun, dywedai bob amser: "Gair yr Arglwydd;" yna, darllenai yr adnod mewn cywair uchel a hyglyw ddwy neu dair gwaith trosodd; a phob tro y deuai at adnod o'r Beibl yn ei bregeth, dyrchafai radd ar ei lais. Wrth bregethu, eglurai ei destun yn fanwl; er ei wneyd yn oleu, tynai ar ei wybodaeth o'r ieithoedd gwreiddiol, ac o arferion a defodau cenhedloedd Dwyreiniol. Clywsom am dano droiau yn dweyd: "Fel ar fel y darllenir yn y Beibl Hebraeg, bum yn ei edrych heddyw cyn bwyta fy moreufwyd." Wedi esbonio yr adnod, sylwai ar yr athrawiaeth a gynwysai, a gorphenai gydag ychydig o addysgiadau ymarferol. Byr y pregethai fel rheol, tua haner awr o bellaf; ei gas bethau oedd pregethau hirion; ac arferai ddweyd nad oedd neb yn Mhrydain, wedi amser y Puritaniaid, yn meddu digon o ddawn i bregethu awr heb flino mwy na haner ei wrandawyr. Y mae yr ychydig ddywediadau o'i eiddo sydd yn aros yn profi ei fod yn feddyliwr clir, ac hefyd y medrai grynhoi sylwedd ymresymiad hir i frawddeg. Wrth ymdrin ag etholedigaeth gras, dywedai: "Nid yw arfaeth Duw fel ceiliog gwynt, yn cyfnewid ac yn troi o amgylch, fel y dygwydd i awel ewyllys rydd dyn chwythu." Eto: "Esgusoder fi os credaf dystiolaeth Crist yn hytrach na dadleuon cecrus Arminiaeth, ac yn hytrach na gwysio yr Hollalluog i gael ei brofi gerbron gorseddfainc ein syniadau ni, a gosod ein hunain i fynu yn farnwyr y Duwdod."

Yn mysg ei bapyrau, cafwyd yn ysgrifenedig amryw sylwadau byrion, ond yn cynwys toraeth o synwyr. Gyda golwg ar fedydd babanod, dywed: "Gweinyddu bedydd i blant rhieni annuwiol sydd foddion effeithiol i'w caledu mewn pechod; y mae yn ddirmyg mawr ar yr ordinhad, ac yn cryfhau breichiau y rhai a wrthwynebant fedydd babanod. Pe byddai pawb sydd o blaid bedyddio plant yn cadw o fewn cylch Gair Duw, ac yn gwrthod bedyddio neb ond had y ffyddloniaid, gan eu magu yn yr eglwys, a'u meithrin yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd, yn ol cynghor yr Apostol, ac yn ol arfer eglwysi Bohemia, ni chlywsem son am ail fedyddio yn mhen ychydig flynyddoedd." Parthed dynion rhyfygus o annuwiol ysgrifena: "Y mae rhai dynion yn pechu fel pe byddent yn meddwl y bydd porth uffern wedi ei gau cyn y cyrhaeddant hwy yno."

Gan na arferai fynychu y Cymdeithasfaoedd, ac nad ymhoffai mewn dadleuaeth, nid yw yn debyg iddo gymeryd unrhyw ran yn y drafodaeth flaenorol i neillduad gweinidogion yn y flwyddyn 1811. Ond y mae genym bob sicrwydd ei fod yn cyduno â'r cam a gymerwyd; nid oes ar gael ddim yn awgrymu iddo deimlo unrhyw wrthwynebiad at y peth pan y soniwyd am dano gyntaf. Am ei gydwelediad â hyn, nid rhaid wrth brawf cryfach, nag iddo gymeryd rhan bwysig yn y gwasanaeth ordeinio cyntaf yn Llandeilo-fawr. Y flwyddyn ganlynol ysgrifena at ei frawd: "Nid oes un offeiriad yn perthyn i gorph y Methodistiaid yn y sir hon (Brycheiniog) ond fy hunan; y mae y pellder rhyngom a'r Eglwys Sefydledig yn myned yn fwy bob dydd; ac y mae y bobl ieuainc yn cymeryd yn ganiataol nad yw yr Eglwys ond math o Gristionogrwydd gwladol. Gwir fod yr hen bobl o hyd yn meddu gradd fawr o ragfarn o blaid yr Eglwys; ond nis gwaeth gan y dosparth ieuainc o honom pe byddai yr holl offeiriaid wedi eu halltudio i'r ochr draw i'r Ganges. Ond er hyn i gyd, nid yw yr offeiriaid yn Neheudir Cymru wedi cyhoeddi dim yn erbyn ein corph ni, ac nid oes neb o honom ninau, yn ddirgel nac yn gyhoeddus, yn beiddio dweyd dim yn anmharchus am yr Eglwys Wladol." Tra yn bleidiol i'r Methodistiaid ymneillduo yn gyfangwbl, teg ydyw cydnabod na chollodd Mr. Williams ei serch at yr Eglwys Sefydledig yn llwyr, na'i barch i'w hoffeiriaid. Wrth ysgrifenu at ei frawd gyda golwg ar Gymdeithas y Beiblau, dywed: "Y mae yn ddrwg genyf weled cyn lleied o enwau yr offeiriaid wrth rês y cyfroddwyr. Y mae hyn yn dangos nad ydynt am i wybodaeth ysprydol ym-

daenu. A chan nad ydynt yn darllen dim o'r Beibl eu hunain, ond yr hyn sydd raid iddynt, nid ydynt am i neb arall ei ddarllen. Maddeuwch fy mod mor ëon ar fy hen frodyr, yr offeiriaid; cariad atynt ac eiddigedd drostynt yw yr achos fy mod yn dywedyd fel hyn. Na thybied neb fy mod yn elyn i fy mam-eglwys, ond nid wyf yn ddall i'r pethau beius ynddi. Gellwch ddeall fod genyf fi barch mawr, nid yn unig i berson yn yr Eglwys Sefydledig, ond hefyd i'w chyfansoddiad, pan y dywedwyf wrthych fy mod yn darllen *bob dydd*, y peth cyntaf yn y boreu, y Salmau gosodedig yn yr Eglwys." Amlwg yw nad oedd y Parch. John Williams wedi llwyr golli ei barch i'r Eglwys Wladol a'i gweinidogion; a rhydd hyn rymusder ychwanegol yn ei gondemniad o offeiriaid ei ddydd fel rhai llawn gwrthnaws at y Beibl, a difater am ledaeniad gwybodaeth ysprydol.

Parthed ei deimlad at y Methodistiaid difynwn a ganlyn: "Fy unig gyfeillion ar y ddaear yw pobl grefyddol; yr wyf yn caru y rhai hyn gyda pha blaid bynag o Gristionogion y byddont. Ar yr un pryd, yr wyf yn teimlo mwy o anwyldeb at fy mrodyr y Methodistiaid na thuag at neb arall; nid am fy mod yn meddwl eu bod yn fwy duwiol nac eraill, ond am fy mod wedi arfer mwy o honynt, a chael cymaint prawf o'u ffyddlondeb. Yr wyf fi mor ddall i'm camsyniadau fy hunan, fel yr wyf yn ei chyfrif yn fraint fy mod gyda chorph o bobl a ddywedant am fy ngholled wrthyf, ac na oddefant bechod ynof." Pan gofiwn mai tlodion oedd y Methodistiaid gan mwyaf, a'u bod yn bobl gymharol annysgedig, dengys y frawddeg olaf o'r difyniad y fath yspryd rhagorol na cheir yn aml ei gyffelyb, yn enwedig gan fod Mr. Williams yn berchen ar lawer o feddianau, a'i fod efallai y dyn mwyaf dysgedig yn y Cyfundeb ar y pryd.

Nid yw yn ymddangos fod unrhyw ran ganddo yn nghyfansoddiad *Cyffes Ffydd* y Cyfundeb; nid diffyg cymhwysder oedd y rheswm am hyny, ond gwendid iechyd a gwaeleddau henaint fel gwŷr arfog wedi ei orchfygu. Eithr pan gyhoeddwyd y *Cyffes Ffydd* yr ydoedd wrth fodd ei galon. Fel hyn yr ysgrifena: "Heddyw y darllenais *Gyffes Ffydd* y Methodistiaid Calfinaidd. Erioed ni chymerodd dynion llai eu dysg, a llai eu rhagfarn, arnynt gyfansoddi Cyffes Ffydd; ond y mae gwendid Duw yn gryfach na dynion, a ffolineb Duw yn ddoethach na dynion. Mae yr *Eurgrawn Efengylaidd* yn rhoddi canmoliaeth iddo; ond pe cawsai ei feirniadu gan lu y nef, mi a debygwn mai eu dedfryd fuasai: 'Gwir eiriau Duw yw y rhai hyn.'" Nid annhebyg fod Mr. Williams, yn ei unigrwydd yn Mhantycelyn, pan yn gwbl analluog i gynorthwyo ei frodyr yn y gorchwyl pwysig a pha un yr oeddynt wedi ymgymeryd, yn teimlo pryder dwfn am gynyrch eu cydymgynghoriad, yn enwedig gan y gwyddai na pherchenogent ysgolheigdod a dysgeidiaeth fel eu cyfrifir gan y byd. A diau genym, wedi i'r *Gyffes Ffydd* ddyfod i'w law, ac iddo yntau gael hamdden i'w darllen a'i hastudio, fod ei yspryd yn gorfoleddu ynddo, oblegyd yr arweiniad amlwg a roddasid i'r rhai fu yn ei ffurfio.

Fel y sylwasom, treuliodd y Parch. John Williams ei oes, wedi ei ymadawiad a Threfecca, mewn dinodedd cymharol. Pregethai gyda chysondeb yn Siroedd Brycheiniog a Chaerfyrddin; yr oedd yn dra llafurus gyda gwaith yr efengyl yn ei holl ranau o fewn y cylch hwn; a gwnelai lawer o ddaioni mewn ffordd ddystaw o gwmpas ei gartref. Ond, fel y darfu i ni sylwi, ychydig a deithiodd, a phrin y gellir dweyd iddo gymeryd y rhan a ddylasai, wrth ystyried ei wybodaeth a'i gymhwysder, yn arweiniad y Cyfundeb mewn adegau ystormus. Nid oedd hyn yn gyson â'i dueddfryd. Rhaid cofio hefyd fod ei iechyd yn dra ammharus. Eithr cyflawnodd wasanaeth gwerthfawr wrth gasglu, yn nghyd ac argraffu, emynau anfarwol ei dad, gan eu hadfer i'w purdeb gwreiddiol, ar ol i'r cyfnewidwyr eu camdrin yn gywilyddus. Yr unig waith llenyddol arall o'i eiddo, mor bell ag y gwyddis, oedd cyfieithiad o lyfryn Saesneg ar athrawiaeth y Drindod. Tybia rhai fod y ddawn brydyddol yn eiddo iddo yntau, megys i'w dad; ceir cadarnhad i'r dybiaeth yn y cyfieithiad llithrig a melus a wnaeth o'r emyn—

"*O'er the gloomy hills of darkness,*" *&c.*

Eithr pan y gofynai ei gyfeillion paham na wnelai yntau gyfansoddi hymnau, atebai, braidd yn swta: "Y mae fy nhad wedi canu digon."

Hyderwn fod gan y darllenydd, erbyn hyn, syniad pur gywir fath un oedd y Parch. John Williams; ei fod a llygad ei feddwl yn ei weled yn ŵr dysgedig tu hwnt i nemawr, yn tueddu at fod yn feudwyaidd, ond yn nodedig o foneddigaidd, ac

yn dra gofalus am y tlodion; ei fod yn ei ganfod yn mhellach yn cilio oddiwrth ddadleuon, ac eto yn meddu barn glir ar y pynciau a pha rai yr ymdrinid, ac yn medru datgan y farn hono pan fyddai galw, mewn gair a gweithred yn gwbl ddiamwys. Gwelir ef yn mhellach yn llafurus, hyd eithaf ei allu, gyda phob ffurf ar waith yr efengyl o fewn y cylch a benodasai iddo ei hun. Tuag at gwblhau y darlun, rhaid i ni gyfeirio at ddwy linell arall yn ei gymeriad. Un oedd addfwynder nodedig ei yspryd. Yn Nghyfarfod Misol ei sir ychydig a ddywedai; rhoddai y flaenoriaeth i frodyr llawer llai eu cymhwysder; ond pan y llefarai byddai ei gyngor mor addas fel ag i beri i bawb ymostwng iddo. Os gwnelai rhyw un gyfeiriad anmharchus ato, ni chymerai ei gythruddo, ac ni atebai air. Ychydig cyn marw dywedai: "Y mae yn gysur genyf feddwl na bûm i, trwy wybod i mi, yn achos o ofid i neb erioed am un mynyd; naddo, mwy nag y bûm yn achos o'r diffyg diweddar a fu ar y lleuad; ac ni bûm yn euog o un dichell-dro brwnt yn holl ystod fy mywyd." Cydnabyddai pawb a'i hadwaenent nad arferai ormodiaith wrth lefaru fel hyn.

Yr elfen arall y cyfeiriwn ati, oedd ei dduwiolfrydedd. Heblaw ei fywyd pur, a'i ymadroddion ysprydol, ceir amryw nodiadau, draw ac yma, yn ei ddydd-lyfrau yn profi ei fod yn ystyried ei hun yn gwbl gysegredig i Grist. Ar ddechreu blwyddyn ysgrifena fel y canlyn: "Yr wyf yn awr yn cael y fraint rasol o ddechreu blwyddyn newydd; pa un a gaf fi byth weled ei diwedd, nis gwn. Pa un bynag am hyny, bydded yr amser a ganiataer i mi ychydig neu lawer, ond i'r Arglwydd roddi gras i mi fod yn ffyddlon. Mae arnaf eisiau help a chymhorth, ac yr wyf yn eu gofyn gan y nef ei hun, i dreulio yr hyn sydd yn ol o'm dyddiau, yn fwy nag erioed, er gogoniant y Gwaredwr bendigedig hwnw, yr hwn a wnaed yn felldith dros fyd melldigedig. Nerth i gyflwyno fy hunan yn hollol, gorph ac enaid, ac oll sydd ynof, i'w ogoniant ef. Ac yr wyf fel hyn yn addaw ac yn addunedu i gysegru gweddill fy nyddiau i Dduw, ac i'w ewyllys ef, tra y parhawyf i dynu yr anadl fywiol hon. Nid wyf yn beiddio meddwl y cyflawnaf yr addunedau hyn, gan ymddiried yn fy nigonoldeb fy hun, ond gan weddïo ar i Dduw, o'i helaeth a'i anfeidrol ras, fy nghynorthwyo i redeg yr yrfa a osodwyd o'm blaen; ar iddo fy nghynorthwyo i'w ofni yn wastadol â pharchedig ofn; fy nerthu i'w garu ef, ac ef yn unig, tra fyddwyf yn ymdaith yn y byd daearol hwn; ac yn y diwedd cael o honof ei ogoniant tragywyddol ef, trwy Alpha ac Omega, iachawdwriaeth dynion. Fel prawf o'm cydsyniad â'r pethau uchod, yr wyf yn ewyllysgar iawn yn gosod fy enw wrth yr ysgrif hon. John Williams."

Fel yr oedd ei ddyddiau yn tynu tua'r terfyn, yr oedd yn amlwg ei fod yn addfedu yn gyflym i wlad well. Ychydig cyn ei farw ysgrifenai at gyfaill yn y modd a ganlyn: "Am fy iechyd, go ganolig yw; yr wyf yn gweddïo Duw yn ddifrifol ar iddo fy ngwneuthur yn ymostyngar i'w ewyllys ef, a pheidio mewn un modd bod yn anfoddlawn i'w driniaethau. O, pa fath bechod mawr yw bod yn annyoddefgar dan wialen Tad nefol! Yr wyf fi yn gwbl analluog i fyned i un man oddicartref yn awr; ond yr wyf yn parhau i bregethu ychydig yn fy nhŷ fy hun, ac y mae fy nghymydogion yn dyfod yn nghyd, ac yn ei lenwi yn dda." Meddai, dro arall: "O na byddai fy enaid mor debyg i'r nef ag yw fy nghorph i'r ddaear; nid yw yr hen babell briddlyd yn ateb dim dyben i mi y dyddiau hyn, ond i fod yn hin-ddangosydd i arwyddo cyfnewidiad y tywydd. Ond y mae rhyw dynfa yn fy yspryd at y rhai sydd wedi eu perffeithio." Ceir a ganlyn yn un o'i ysgrif-lyfrau: "Mae yr hen —— wedi gorphen ei yrfa. Dywedodd ar ei wely angau: 'Yr wyf yn cofio yr amser pe y dywedasid wrthyf nad oedd ond un dyn o blwyf —— i fyned i uffern, buaswn yn sicr mai fi oedd hwnw; ond yn awr, trwy drugaredd, pe dywedid wrthyf nad oes ond un i fyned i'r nefoedd, gwn mai myfi yw efe.'" Tebygol y cymhwysai Mr. Williams eiriau yr hen ŵr, yr hwn a adwaenai efe yn dda, ato ei hun.

Teimlai i'r byw wrth golli ei frodyr yn y weinidogaeth o un i un. Dwys alarodd ar ol Mr. Llwyd, o Gayo, cyfaill ei dad, a'i gyfaill yntau. Mewn llythyr at ei frawd, dyddiedig Hydref 14, 1814, cyfeiria yn hiraethus at farwolaeth y Parch. Thomas Charles, a dywed: "Mawr y golled a gafodd Cymru oll, ac yn enwedig Corph y Methodistiaid. Yr oedd ef yn ddefnyddiol mewn llawer ffordd. Cyhoeddodd amryw o lyfrau rhagorol. Efe a gyhoeddodd, ar fy nymuniad i, hanes bywyd ein tad; myfi a roddais yr ysgerbwd iddo, ac yntau a'i gwisgodd â chroen; myfi a ddanfonais y defnyddiau, ac yntau a gododd yr adeilad. Pan gofiwyf am ei ddefnyddioldeb yn ein

plith, a'n bod wedi cael ein hamddifadu o hono, yr wyf yn dychymygu nad oes genyf ond dywedyd: 'Arbed dy bobl, O Arglwydd, ac na ddyro dy etifeddiaeth i warth.'" Diau y bydd yr ychwanegiad canlynol, allan o'r un llythyr, yn ddyddorol i'r darllenydd: "Ni chaniata fy iechyd i mi fyned nemawr oddicartref i bregethu yr efengyl, yr hyn sydd ofid mawr i mi. Ac yr wyf yn esgeuluso ambell i Gyfarfod Misol, o herwydd nas gallaf nacâu fy nghyhoeddiad, gan daerineb y cyfeillion, a minau yn gwybod fy mod yn analluog i fyned ato. Nid gwiw i mi ddywedyd wrth fy mrodyr anwylaf am fy afiechyd, ni wnant ond chwerthin am fy mhen, gan feddwl nad oes dim ond yr *hip* yn fy mlino, canys felly y galwant hwy bob peth nad ydynt yn ddeall; ac ni chredant fod un clefyd ar bregethwr ond yr *hip*, nes clywed ei fod wedi marw. Yna dywedant wrth eu gilydd: 'Mae yn debyg ei fod yn afiach er ys blynyddoedd, er nad oeddym yn ei gredu.' Pan fyddwyf gartref, yr wyf yn treulio y rhan fwyaf o'm hamser yn darllen y Beibl, a sylwadau Dr. Gill arno. Yr wyf yn hoffi canlyn y *Doctor* i bob man ond i'r afon. Pwy bynag a gymero boen i ddarllen gwaith y *Doctor*, caiff ei wobrwyo yn gyflawn am ei lafur, ac i'm tyb i, a gaiff gymaint o wybodaeth ddefnyddiol a phe y darllenai yr holl lyfrau a ysgrifenwyd." Dan gofio, yr oedd Christmas Evans yn coleddu y cyffelyb syniad am Dr. Gill, a dywedai unwaith wrth y diweddar Barch. Robert Hall: "Yr wyf yn gwynfydu na buasai wedi ysgrifenu ei esboniad yn Gymraeg." Ond yr oedd barn Mr. Hall yn gwbl wahanol, ac atebai: "Yr wyf finau yn dymuno yr un peth; yna ni fuasai yn poeni darllenwyr Saesnig; nid yw ond cyfandir o laid, syr."

Bu y Parch. John Williams farw Mehefin 5, 1828, yn 74 mlwydd oed, gwedi bod yn y weinidogaeth am naw-a-deugain o flynyddoedd. O'r rhai hyn treuliasai ddwy-a-deugain mewn undeb â'r Methodistiaid Calfinaidd. Cyn ei farw yr oedd wedi trefnu pob peth perthynol i'w gladdedigaeth. Dymunasai gael ei gladdu yn mynwent Llanfair-ar-y-bryn, yn ymyl ei rieni, ond, yn gyffelyb i'w Waredwr, mewn bedd newydd, yn yr hwn ni ddodasid dyn erioed. Medrwyd cario allan ei ddymuniad trwy ddadwreiddio hen sycamorwydden oedd gerllaw. Yr oedd wedi trefnu yn mhellach fod y Parchn. William Havard a Maurice Davies, i bregethu yn ei gladdedigaeth; ond gan na allwyd anfon gwybodaeth iddynt mewn pryd, ni chafodd y deisyfiad hwn o'i eiddo ei gyflawni. Modd bynag, cafodd gladdedigaeth anrhydeddus. Yn Mhantycelyn, cyn cychwyn, darllenwyd a gweddïwyd gan y Parch. John Jones, Llanddeusant; yna llefarodd y Parch. Joshua Phillips, Bancyfelin, yn Gymraeg, oddiar Phil. i. 21; a'r Parch. W. Griffiths, Browyr, yn Saesneg, oddiar Ioan x. 9. Wedi hyn, hebryngwyd ei weddillion marwol, gan dorf fawr a galarus, i fynwent Llanfair-ar-y-bryn. Ar ei feddfaen y mae yr ysgrif a ganlyn yn gerfiedig:—

"SACRED
TO THE MEMORY
OF THE
REV. JOHN WILLIAMS,
PANTYCELYN,
IN THIS PARISH,
IN WHOM
LEARNING, PIETY, AND BENEVOLENCE,
WERE UNITED.
He devoted a considerable part of his wealth
to the transmission of the
glorious gospel to all lands.
HE DIED JUNE 5, 1828.
AGED 74 YEARS.

*Stranger! should'st thou approach this awful shrine,*
*The merits of the honoured dead to seek;*
*The friend, the son, the Christian, the divine,*
*Let those who knew him, those who loved him, speak.*
A SINNER SAVED."

Gweddus cofnodi ddarfod i'r ymadrodd diweddaf, "*A sinner saved*," gael ei osod ar y beddfaen ar ddymuniad Mr. Williams ei hun. Cyfansoddwyd marwnad iddo gan ei gyfaill a'i fywgraffydd, y Parch. Maurice Davies, o ba un difynwn ychydig benillion:—

"Beth yw enw'r fynwent yma?
Mynwent Llanfair-ar-y-bryn;
O mor llonydd lle yw'r gladdfa,
Beth yw'r argraffiadau hyn?
William Williams, Pantycelyn,
Ow, ai dyma ei feddrod ef?
Sant a fedrai chwareu'i delyn,
Braidd fel angel yn y nef.

Gŵr o ddysg, a dawn, ac ysbryd,
Digyffelyb yn ei oes;
Do, fe ganodd odlau hyfryd,
Hymnau mawl am waed y groes;
Gwelodd deyrnas y Messiah,
Canodd am ei llwyddiant hi;
Theomemphus, ow, ai dyma
'R fan lle rhoddes angau di?

* * * * *

Pwy sydd yma eto'n gorwedd,
Dan y gareg lydan hon,
Wrth dy ymyl yn y ceufedd?
Beth yw'r enw cyntaf? John!

Ië'n wir, John Williams ydyw,
Mab yr hen Ganiedydd per,
Mae ei enaid yntau heddyw
'N iach a siriol uwch y sêr.

Gŵr dysgedig iawn, a doniol,
Ydoedd yntau, fel ei dad,
Nid oedd un dyn mwy rhinweddol
Nag efe, o fewn y wlad;
Tyst ei ddychlyn, sanctaidd fywyd,
Tyst ei bur athrawiaeth ef,
Tyst ei elusenau hefyd,
I dylodion gwlad a thref.

Cafodd urddau llawn, esgobaidd,
Pan yn bump-ar-hugain oed;
Urddau gwell a mwy nefolaidd,
Gyda hyny iddo rhoed;
Dawn yr Yspryd o'r uchelder
Oedd yr urdd a gafodd ef,
I draddodi mewn eglurder
Genadwri fawr y nef."

Yn ol tystiolaeth unfryd yr hen bobl, yr oedd John Evans, Cilycwm, yn bregethwr rhagorol iawn. Ond o herwydd esgeulusdra ysgrifenwyr ei oes, esgeulusdra a ymddengys yn bresenol yn gwbl anesgusodol, nid oes nemawr o'i hanes ar gael. Pa bryd ei ganwyd; pwy oedd ei rieni; dan weinidogaeth pwy y cafodd ei argyhoeddi; pa bryd y dechreuodd bregethu, a pha adeg y gorphenodd ei weinidogaeth, ydynt gwestiynau na rydd hanesiaeth unrhyw atebiad iddynt. Ond ddarfod i'r cyfryw bregethwr fodoli yn mhen uchaf Sir Gaerfyrddin, ac iddo gael ei arddel yn arbenig gyda Duw er dychweliad pechaduriaid ac adeiladaeth y saint, ydynt ffeithiau nas gellir eu gwadu. Yr oedd yn gydoeswr ac yn gydlafurwr â Williams, Pantycelyn, a Llwyd, o Gaio; yr ydym yn cael ei fod yn y Gogledd yn y flwyddyn 1768; felly y mae yn bur debyg ei fod yn ffurfio dolen gydiol rhwng y tô cyntaf o'r cynghorwyr Methodistaidd a'r ail.

Pentref bychan, llwydaidd ei wedd yw Cilycwm, tua phedair milltir o dref Llanymddyfri, ac yn gorwedd yn Nyffryn Towi, ond wrth draed y gyfres fynyddoedd a wahanant Sir Gaerfyrddin oddiwrth Sir Aberteifi. Gwreiddiodd Methodistiaeth yma yn foreu, a hyny yn ol pob tebyg trwy i rai o'r trigolion fyned i wrando Rowland i gapel Ystrad-ffin, yr hwn sydd tua chwech milltir yn uwch i fynu'r dyffryn. Os yw y dyddiad sydd ar ffrynt y capel presenol yn gywir, cafodd y capel cyntaf ei adeiladu yn y flwyddyn 1740. Felly, efe yw y capel Methodistaidd cyntaf y cawn grybwylliad am dano. Yr ydym wedi cyfeirio yn flaenorol at gapel Maesgwyn,* yn Sir Faesyfed, fel y cyntaf; yn y flwyddyn 1742 y ceir crybwylliad flaenaf am hwnw; rhaid felly ein bod yn gyfeiliornus, ac mai i Gilycwm y perthyn yr anrhydedd o adeiladu tŷ i'r Arglwydd, mewn cysylltiad â'r Methodistiaid, gyntaf o bawb. Yn y seiat hon, fel yr ydym wedi nodi yn barod, yr ymaelodai Williams, Pantycelyn; ond ychydig o sôn sydd am dano ef mewn cysylltiad â'r achos yn y lle; John Evans a flaenorai yma, am fod y bardd yn fynych oddicartref ar ei deithiau.

Meddai *Methodistiaeth Cymru:* "O ran ei weinidogaeth safai John Evans yn uchel yn mhlith ei frodyr. Teithiai lawer ar Ddê a Gogledd, a gadawodd arwyddion lawer ar ei ol am yr efengyl a bregethid ganddo, nad ofer fu. Ysgrifenai un gŵr am dano fel hyn: 'Am John Evans, Cilycwm, dywedir ei fod o ddawn melus anghyffredin; fod rhyw swyn yn ei lais peraidd, nes bod yn abl i hudo'r gwenyn o'r cwch, braidd. Yr oedd ei athrawiaeth yn dyferu fel gwlaw; fel gwlith-wlaw ar îr-wellt, ac fel cawodydd ar laswellt.' Arferai Mr. Llwyd, o Gayo, ddweyd am dano fod ei weinidogaeth yn hynod o fuddiol i ddyfrhau a dyddanu y saint."

Yr ydym yn ddiolchgar am gymaint a hyna o ddesgrifiad, er byred ydyw. Trwy gyfrwng ei oleuni canfyddwn mai mab dyddanwch oedd John Evans; mai Garizim ac nid Ebal oedd y mynydd yr hoffai sefyll arno; mai nid taranu melldithion ar anwir fyd a wnelai, ond rhodio yn nghanol bendithion yr efengyl, gan ddyferu balm i glwyfau pechaduriaid colledig. Cyfeirir hefyd at swyn ei lais. Yr oedd hyn yn nodwedd arbenig prif bregethwyr yr ail gyfnod. Meddai Jones, Llangan; Roberts, Clynog; ei frawd, John Roberts, Llangwm; ac yn bendifaddeu, Dafydd Morris, a'i fab, Ebenezer Morris, leisiau llawn o fiwsig. Cawsai John Evans yn ogystal ei freintio â llais peroriaethus; a bu melusder ei ddoniau yn gyfrwng aml i dro, tan fendith yr Arglwydd, i gludo rhinwedd grasol yr iachawdwriaeth i fynwesau rhai ar ddarfod am danynt.

Darllenwn am bereidd-dra ei acenion yn atal erledigaeth greulon unwaith. Yr oedd efe a Mr. Llwyd, o Gayo, ar daith, a hyny yn ol pob tebyg yn y Gogledd. Cyhoeddasid hwy i bregethu mewn rhyw fan, yr hyn a barodd i'r erlidwyr gyffroi yn enbyd. Yn neillduol, yr oedd offeiriad y plwyf wedi ymlenwi o gynddaredd. Casglodd hwn yn nghyd yr oferwyr a gwehilion y bobl, gan

* *Tadau Methodistaidd*, cyf. i., tud. 247.

eu hanog i ymosod ar y ddau bregethwr; ac er eu cymhwyso yn well at y cyfryw orchwyl, rhoddodd iddynt helaethrwydd o ddiod gref. Tra yr oedd y dyhiriaid yn ymlenwi o'r cwrw, yr oedd gweision Duw wedi cyrhaedd, a John Evans wedi dechreu pregethu. Yn fuan dyma yr erlidwyr, yn llawn dig, yn rhuthro tua'r lle. Canfuwyd hwy gan Mr. Llwyd; ac ofnai, wrth weled ffyrnigrwydd eu gwedd, y byddai yn derfysg, os nad tywallt gwaed. Ond er syndod iddo ef, ac i bawb eraill, dyma yr erlidwyr yn arafu, ac yn fuan yn sefyll. Yr oedd John Evans wedi ymddyrchafu i uchder ei ddawn, a'i lais fel cân cariad yn orlawn o swyn; ac mor fuan ag y syrthiodd ei acenion peraidd ar glustiau y gwrthwynebwyr, pallodd eu nerth, ac heb unrhyw ymgynghoriad â'u gilydd, dechreuasant ymwrando. Ond yr oedd yno un nad oedd dim yn effeithio arno, a gofidiai yn ddirfawr oblegyd i'r erledigaeth fethu. Er mwyn dyrysu y cyfarfod, a boddi llais y pregethwr, cyrchodd badell brês o rywle, a dechreuodd drystio arni. Ond rhyw ddyn cryf a ddygwyddodd fod yn mhlith y bobl, gyda darn o haiarn yn ei law, a aeth at y terfysgwr; a chan ddal yr haiarn wrth ei ben, dywedodd: "Oni thewi di a dy stŵr, mi a'th darawaf yn llech â'r haiarn yma, nes y byddi yn swp marw." Dychrynodd yr erlidiwr, a chafwyd llonydd i orphen y cyfarfod mewn tawelwch.

John Evans oedd un o'r Methodistiaid cyntaf a bregethodd yn y Wyddgrug. Llefarai yn nhŷ un Sarah Howel. Pan wnaed yn hysbys fod un or "Cradocs" i bregethu yn y dref, cyffröwyd chwilfrydedd llanc ieuanc, a ddaeth yn dra adnabyddus yn y Cyfundeb yn ganlynol fel Edward Jones, Prion. Clywsai lawer o son am y "Cradocs o'r Dê," nad dynion oeddynt, ond cythreuliaid, a bod eu traed fel traed bustych. Cododd hyn ysfa arno i fyned i'r cyfarfod; nid yn gymaint i wrando John Evans, ond i gael gweled ei draed. I'r odfa yr aeth; ychydig iawn oedd yn bresenol, rhyw ddeunaw neu ugain ar y mwyaf; eithr er ei ddirfawr siomedigaeth, nis gallai gael golwg ar draed y pregethwr gan ei fod yn gwisgo botasau. Modd bynag, yr oedd y llanc o feddwl tra phenderfynol; a chan faint ei awydd am weled traed bustach gan greadur ar ddull dyn, arhodd o gwmpas gwedi i'r odfa orphen, yn y gobaith y byddai i'r "Cradoc" dynu ei fotasau, ac y medrai yntau rywsut gael golwg ar yr hyn a guddid ganddynt. Llwyddodd yn ei amcan; trwy rigol oedd yn y cauad a osodasid ar y ffenestr, canfu draed John Evans; ac wele, yr oeddynt yn gyffelyb i'w draed yntau. Sylwodd hefyd fod ganddo hosanau rhesog, ac ni orphwysodd nes cael rhai tebyg ei hun. Dygwyddodd hyn rywbryd cyn y flwyddyn 1768, a rhydd olwg i ni ar y rhagfarn oedd yn y wlad yn erbyn y Methodistiaid, a'r fath anwireddau a daenid ac a gredid am danynt.

Traddodiad a ddywed y tueddai John Evans at fod yn isel yspryd. Unwaith yr oedd ef, a Dafydd Morris, ar daith yn Sir Fôn, ac yn pregethu yn Cerig-lleithir, cartref Sion Rolant. Gwedi yr odfa, yr oedd John Evans yn bur ddywedwst; eisteddai gyda Dafydd Morris a Sion Rolant wrth y tân yn un pen i'r ystafell, yn hynod bruddglwyfus ei wedd. Ar yr un pryd, yr oedd nifer o ferched yn y pen arall i'r ystafell, ac yn y man dyma hwy yn tori allan i ganu y penillion canlynol:—

"Wrth weled mor saled fy mywyd,
  Meddyliais mai ofer fy ngwaith;
Bwriedais i beidio'th glodfori,
  Nes myned o'r drysni maith, maith.

Pan welwyf dy wyneb yn tywynu,
  Mae'n rhaid i mi ganu bob dydd;
O garchar, a meddiant gelynion,
  Daeth f' enaid yn union yn rhydd."

Cyffrodd y canu John Evans, a dyma ef yn cyfodi, ac yn myned atynt, gan ymuno yn y gân. Dyblwyd a threblwyd y penillion; nid hir y bu y canu cyn troi yn folianu, a braidd nad y pregethwr pruddglwyfus oedd yr uchaf ei lais. Ar hyn, troai Dafydd Morris at Sion Rolant, gan ddweyd: "Dyna *Jack* o'r rhwyd."

Dyma yr oll o hanes y gwas enwog hwn i Grist sydd yn ein meddiant. Sicr yw iddo lafurio yn galed, gan ddyoddef mil a myrdd o erledigaethau; iddo gael odfaeon effeithiol liaws, yn mha rai yr oedd braich yr Arglwydd yn amlwg; ac iddo fod yn offeryn yn llaw Duw i droi llawer i gyfiawnder. Ond nid yw y pethau hyn wedi cael eu croniclo ar lyfrau dynion, er eu bod yn ddiau ar lyfrau'r nef. Pa bryd y bu farw, a pha le y mae man fechan ei fedd, nid yw yn hysbys i ni; ond y mae yr oll yn hysbys i'r gŵr a ddywedodd: "A mi a'i hadgyfodaf ef y dydd diweddaf."

Diau mai un o emynwyr melusaf y diwygiad Methodistaidd yn Nghymru ydyw Morgan Rhys, gŵr ag y bydd ei goffadwriaeth yn barchus gan y genedl Gymreig, tra y parhaont i ddatgan mawl

i Dduw yn iaith eu tadau. Gwir mai Williams, o Bantycelyn, ydyw brenin emynwyr Cymru; y mae hwn yn wirionedd a gredir yn ddiamheu genym oll, ond pwy sydd agosaf ato, sydd ymholiad ag sydd hyd yma yn fater agored. Nis bwriadwn geisio penderfynu hyn, am na pherthyn i ni, a hefyd am na chyrhaeddid un amcan buddiol wrth ymdrin ag ef; ond gweddus mynegu fod rhai o feirdd galluocaf yr oes a aeth heibio, a rhai o feirdd yr oes hon, yn tybied nad yw Morgan Rhys fel emynwr yn ail i neb ond i'r "Peraidd Ganiedydd" ei hun.

Blin iawn genyn ein bod mor amddifad o ddefnyddiau i geisio gwneyd coffhad teilwng o'r emynydd enwog hwn. Nis gwyddom am yr un o'r tadau a ddaeth i enwogrwydd mor fawr, ag y mae mor lleied o hysbysrwydd yn ei gylch. Y mae llwybr Morgan Rhys yn y byd hwn, fel "ffordd eryr yn yr awyr, neu ffordd llong yn nghanol y môr," ac yn rhy guddiedig i'w adwaen. Nis gellir dilyn ol ei droed ef, o herwydd prin rhyfeddol yw yr hanes am dano. Ymddengys ei fod yn enedigol o ardal Llanymddyfri; ond yr ydym yn amddifad hollol o bob manylion am le ei enedigaeth. Nis gwyddom enwau ei rieni, enw y plwyf, na'r tŷ yn y plwyf lle y ganed ef. Nis gwyddom ychwaith amseriad ei enedigaeth, ac y mae tywyllwch fel y fagddu yn gorchuddio tymhor ei ieuenctyd ef, ac nid yw amgylchiadau ei fywyd, wedi iddo ddyfod i oedran gŵr, nemawr yn eglurach; o herwydd yr ydym wedi methu cael gwybodaeth a oedd efe yn ŵr priod ai peidio, ac a ddarfu iddo adael teulu i alaru ar ei ol. Hyd y gwyddom, nid oes neb yn fyw yn hawlio perthynas ag ef. Y lle a gysylltir gyntaf â hanes Morgan Rhys ydyw pentref gwledig Cilycwm, o fewn pedair milltir i dref henafol Llanymddyfri; ond nid yw yn hysbys a oedd efe yn enedigol o'r pentref hwnw, ai nad oedd. Dywedir iddo gael ei argyhoeddi i fywyd dan weinidogaeth Howell Harris neu Daniel Rowland, ac y mae hyny yn dra thebygol, o herwydd talodd y ddau ddiwygiwr aml ymweliadau â Chilycwm, ac Ystrad-ffin, yr hwn le nid yw yn nepell, yn dra boreu.

Os mai brodor o Gilycwm ydoedd, ac iddo gael ei ddwyn at grefydd yn moreu ei oes, y mae yn ffaith pur hynod nad oes grybwylliad am dano yn nghofnodion cyntaf yr eglwys hono. Yn "nghofnodion Trefecca" am y flwyddyn 1742, dywedir: "Y mae yma gymdeithas fechan, ond heb ei threfnu yn rheolaidd." Dywedir hefyd fod eglwys Cilycwm, yn nghyd â phump o eglwysi cymydogaethol, dan ofal cynghorwr o'r enw Siams Williams, a bod John Thomas yn gynghorwr anghyoedd o'i mewn, ac Isaac Dafydd yn oruchwyliwr. Y mae genym felly enwau swyddogion cyntaf eglwys Cilycwm, ac yn ychwanegol, y mae enwau wyth o'r aelodau ar gael, sef Sion Thomas Sion, Ochrfforest; Richard Sion, Coed-Ifan; William Lloyd, Dygoedydd; Isaac Prytherch, Dolgynon; Ifan y panwr; Rhys Thomas Sion, y *glover;* Betti, yr Eithun-duon; ac Ann Siams, Dolfallt. Gan nad enwir Morgan Rhys fel swyddog, nac fel aelod, y mae yn naturiol casglu mai yn ddiweddarach y darfu efe ymuno a'r eglwys, oddigerth ei fod yno yn fachgenyn ieuanc a dinod. Ymunodd y bardd o Bantycelyn a'r eglwys hon, yn fuan ar ol Cymdeithasfa Watford yn 1743; ac y mae yn dra sicr ddarfod i Morgan Rhys fod yn aelod o honi hefyd. Pa bryd, a thros ba gyfnod o amser, y bu y ddau emynwyr enwog hyn yn gydaelodau yma, y mae yn anhawdd penderfynu. Bu Morgan Rhys yn byw mewn amryw o leoedd heblaw Cilycwm, ond parhaodd Williams i aneddu yn yr un ardal hyd ei farwolaeth.

Gellir casglu i Morgan Rhys gael rhyw gymaint o ysgol, gan fod lle i gredu ddarfod iddo fod yn ysgolfeistr ar un o ysgolion Cymraeg cylchynol y Parch. Griffith Jones, Llanddowror. Fel yr holl ysgolfeistri hyny, yr oedd yn cael ei symud o ardal i ardal, fel y byddai galwad am ei wasanaeth. Am ba gyhyd o amser y parhaodd ei gysylltiad a'r ysgolion hyn nis gwyddom, nac ychwaith yn mha leoedd y bu yn gwasanaethu ynddynt. Dywedir fod amryw o lyfrau yr emynydd yn nghadw gan ŵr yn ardal Llanfynydd hyd yn bur ddiweddar, a bod yn ysgrifenedig arnynt: "Morgan Rhys, Llansadwrn," ond aeth tŷ y perchenog ar dân, a dinystrwyd y llyfrau. Os yw hyn yn gywir—ac nid oes genym le i amheu—gall mai Llansadwrn ydoedd lle ei enedigaeth, ac mai oddiyno yr aethai i Gilycwm; ond nid oes air o son am dano yn nglyn ac hanes boreuol eglwys Llansadwrn, mwy na'r eglwys arall. Wedi gwasanaethu am flynyddoedd gyda'r ysgolion cylchynol, darfu iddo sefydlu ysgol ar ei gyfrif ei hun yn ardal Capel Isaac, gerllaw Llandeilo Fawr, ac oddiyno sym-

udodd i Lanfynydd, a phreswyliai yn niwedd ei ddydd mewn tŷ bychan ar dir Cwm-gwaun-hendy, yn y lle hwnw. Yn y tŷ hwnw y bu yr emynydd farw, a chladdwyd ef yn mynwent eglwys Llanfynydd. Dywedir fod ei fedd ar y tu gogleddol i'r eglwys, o dan y ffenestr ganol, ond y mae yn gywilydd genym orfod mynegu nad oes yno gymaint a "chareg arw a dwy lythyren" yn dangos "man fechan ei fedd!" Diau y dylid symud ymaith yn ebrwydd y gwaradwydd hwn. Yn nghofrestr y claddedigaethau yn yr eglwys ceir y geiriau hyn: *Morgan Rhys, August 9th, 1779.*" Yn anffodus, nid yw y nodiad byr hwn yn hysbysu ei oedran, felly, yr ydym yn analluog i benderfynu a gafodd efe hir ddyddiau ar y ddaear, neu ynte, a gafodd ei symud i'r wlad well y canodd mor rhagorol am dani, yn gymharol ieuanc.

Tebygol iddo fyw yn Llanfynydd am flynyddau lawer; ac os oes anghen cysylltu enw lle ag enw yr emynydd, diau mai gan bentref Llanfynydd y mae yr hawl flaenaf i hyny. Yn hanes eglwys y Methodistiaid y lle hwn yn unig y mae ei enw ef yn cael ei goffhau. Dywed *Methodistiaeth Cymru* "fod yn yr eglwys hono liaws o ddynion da eu gair, eiddigeddus eu hyspryd, a ffyddlawn eu gwasanaeth; megys Morgan Rhys, awdwr yr hymnau; William Morgan Thomas, Gallt-llan; Thomas Lewis, Pantgwineu; Thomas Lewis, Pentre-felin; Rhys Rhys, a'i fab, John Rhys, tad a brawd y Parch. Dafydd Rhys; Dafydd William, y saer; a Thomas Jones." Y mae yn ymddangos ei fod yn rhyw gymaint o brydydd pan y daeth i gartrefu i Lanfynydd, o herwydd y mae penill o'i eiddo ar gôf un o flaenoriaid presenol ardal Llanfynydd; ond gan ei fod wedi bod cyhyd o amser heb ei ysgrifenu, hwyrach nad yw yn hollol fel y cyfansoddwyd ef:—

"Rhyfeddais, pan gwelais i b'le,
De's iddo i wneuthur fy nghartre';
Mae dial yn galw o rywle,
Neu beth ddaeth a fi i'r fath le?"

Rhaid fod Llanfynydd y pryd hwnw yn bur wahanol i'r hyn ydyw yn awr, neu ni fuasai yr emynwr yn cyfansoddi y penill hwn; o herwydd y mae yn awr yn un o'r pentrefi tlysaf yn Sir Gaerfyrddin. Gwelir fod y penill yn profi nad brodor o Lanfynydd ydoedd efe.

Tueddir ni i gredu mai yn Llanfynydd y gwnaed ef yn flaenor, ac yn gynghorwr gyda'r Methodistiaid, ac mai yn y lle hwn y cyfansoddodd y rhan fwyaf, os nad yr holl o'i emynau. Mae traddodiadau ardal Llanfynydd yn cyduno mai yno y gwnaed ef yn flaenor; ac y mae yn naturiol casglu mai wedi hyny y cafodd gomisiwn i gynghori, ac y mae genym resymau dros feddwl mai yno hefyd y dadblygodd ei awen ysprydoledig. Dywedir gan y diweddar Mr. Morris Davies, Bangor, yn ei erthyglau gorchestol ar "Emynyddiaeth," yn *Nhraethodydd*, 1872: "Y tybir iddo gael ei eni yn agos i ddechreu y 18fed ganrif," yr hyn a'i gwna yn hynach na Williams, Pantycelyn, o ddeg neu ddeuddeg mlynedd; ond tueddir ni i feddwl nad oedd yn hynach nag efe mewn dyddiau. Boed hyny fel y byddo, y mae yn debyg ei fod yn ieuangach fel emynwr na Williams. Cyhoeddodd y bardd o Bantycelyn ei *Aleliwia* yn y flwyddyn 1744, lawn un-ar-bymtheg o flynyddau cyn i gynyrchion Morgan Rhys ymddangos drwy y wasg. Y mae un ffaith arall yn y cysylltiad hwn ag y dylid ei nodi allan. Y mae yn hysbys, bellach, fod amryw o'r emynau a gyhoeddodd Williams yn y chwechfed rhifyn o'r *Aleliwia*, yn gyfansoddiadau cyfeillion y bardd; sef Morgan Dafydd, o Gaio; J. J., William Edward, Morgan Dafydd, ac eraill; ond nid oes yr un o eiddo Morgan Rhys yn eu plith, yr hyn, feddyliem, sydd yn awgrymu nad oedd ei awen ef eto wedi ei deffro. Pan ddeffrôdd, cawn ei fod yn adrodd ei emynau wrth Williams, er mwyn cael ei farn arnynt; a dywedir pan ddarfu i Morgan Rhys adrodd hymn newydd o'i waith wrth y prif emynydd un tro, iddo ddweyd wrtho, yn ei ddull ffraeth ei hun: "Wel, y mae genyt ti yn hona, beth bynag, brofiad Cristion-a-haner da." Y meddwl oedd ei fod gryn lawer uwchlaw cyrhaeddiad y cyffredin o gredinwyr.

Yr ydym eisioes wedi cyfaddef ein bod yn dra anwybodus am Morgan Rhys a'i hanes, fel nad ydym yn alluog i nodi amseriad a lle ei enedigaeth, ei argyhoeddiad i fywyd, ei dderbyniad i'r eglwys, a'i neillduad i'r weinidogaeth; eto, y mae genym ddefnyddiau wrth law i allu penu amser ei ymddadblygiad fel emynwr, yr hyn, yn nglyn âg efe, yw y prif bwynt. Gellir dweyd iddo flodeuo fel emynwr rhwng y blynyddoedd 1760 a 1779, sef yn ystod y pedair-blynedd-ar-bymtheg olaf ei oes. Rhaid ychwanegu at hyn, yr amser y bu efe yn cyfansoddi y llyfryn cyntaf a gyhoeddwyd ganddo, yn y flwyddyn 1760.

Ni chynwysai ond 22 o hymnau, a gwerthid ef am ddwy geiniog; ond y mae yn anhawdd gwybod, hyd sicrwydd, yn mha flwyddyn neu flynyddoedd y cyfansoddodd ef, eto, y mae yn amlwg mai yn mhrydnawn ei fywyd y cyfansoddodd Morgan Rhys ei emynau nefolaidd a melus. Yn wir, gellid casglu hyny pe na buasai genym ddim i'n harwain ond nodwedd yr emynau eu hunain; o herwydd nid ceinciau cerdd yr ieuanc ydynt, ond yn hytrach dadganiad profiad gŵr ag oedd wedi dal pwys a gwres y dydd. Ond dichon na ddylid pwyso llawer ar yr ystyriaeth hon.

Nid ydym yn cael iddo ddwyn dim drwy y wasg ond hymnau a marwnadau. Aeth y cynyrchion barddonol hyn drwy amryw



PENTREF LLANFYNYDD, SIR GAERFYRDDIN.

[*Cartref, a lle claddedigaeth Morgan Rhys, yr Emynydd; a'r Parchedig Dafydd Rees.*]

argraffiadau yn ystod bywyd yr emynydd, yn gystal ag ar ol ei farwolaeth ef. Wele restr o'i gyfansoddiadau:—

HYMNAU.

1. Golwg o ben Nebo ar wlad yr addewid.
2. Golwg ar ddull y byd hwn yn myned heibio, a thragywyddoldeb o hapusrwydd yn nesâu i holl wareddigion Seion.
3. Golwg ar y Ddinas Noddfa, mewn casgliad o Hymnau, i ddifyru y pererinion sydd yn teithio trwy Lyn Wylofain i'r breswylfa lonydd, 1770.
4. Y Frwydr Ysprydol; mewn casgliad o Hymnau newydd, ar amryw fesurau, gan Morgan Rhys a Thomas Dafydd.
5. Griddfanau'r Credadyn am berffeithrwydd ac anllygredigaeth, ar fesur newydd.

MARWNADAU.

1. Marwnad, neu goffadwriaeth o ddedwydd farwolaeth rhai o weinidogion ffyddlawn yr efengyl, a ymadawodd a'r byd hwn yn ddiweddar, yn Neheudir Cymru; sef y Parchedig Howell Davies, yn Sir Benfro; Mr. William Richard, yn Sir Aberteifi; a Mr. Sion Parry, yn Sir Gaerfyrddin, yn nghyd âg amryw eraill o'r saint a fu yn cydaddoli Duw gyda rhai o honom yn y byd presenol, sydd heddyw yn holliach yn y byd tragywyddol. Gan Morgan Rhys. Argraffwyd gan J. Ross, Caerfyrddin, 1770.
2. Hanes byr o fywyd dichlynaidd, a dedwydd farwolaeth Morgan Nathan, yn Llandeilo Fawr, yn Sir Gaerfyrddin.

Prif waith yr awdwr yw y *Golwg o ben Nebo*. Daeth yr argraffiad cyntaf o hono allan dan enw arall yn y flwyddyn 1760. Ymddangosodd ail-argraffiad o hono, wedi ei ychwanegu yn fawr, yn 1764. Daeth y trydydd argraffiad allan yn 1773. Mae amryw emynau oedd yn y ddau argraffiad cyntaf wedi eu gadael allan yn hwn; ac eraill wedi eu hychwanegu yn eu lle. Ymddangosodd y pedwerydd yn 1775, a hwn oedd yr olaf yn oes yr awdwr. Argraffwyd y llyfr amryw weithiau yn y ganrif

bresenol; yn Nghaerfyrddin yn 1808; yn Merthyr yn 1831; ac yn Aberystwyth yn 1841; ac y mae pigion o'i hymnau wedi eu cyhoeddi mewn mân lyfrau ar wahanol amserau. Dengys hyn i hymnau Morgan Rhys ddyfod i arferiad cyffredinol gyda chyflymder mawr, ac y maent yn parhau yn eu blâs a'i melusder hyd y dydd hwn. Ceir lliaws o'i hymnau ef yn mhob casgliad Cymreig ag sydd mewn arferiad gan holl enwadau efengylaidd Cymru, ac mewn rhai o'r casgliadau hyn ceir nifer mwy o honynt na nemawr awdwr, ond y prif emynydd ei hun. Enwn yma yr emynau mwyaf arferedig o eiddo Morgan Rhys yn ein dyddiau ni:—

1. Pechadur wyf, O Arglwydd.
2. Wel, dyma un sy'n maddeu.
3. O gariad! O gariad!
4. Cadben mawr ein hiachawdwriaeth.
5. Peraidd ganodd sêr y bore.
6. Fe welir Seion fel y wawr.
7. Mae'r bwrdd yn llawn danteithion.
8. O rhedwn bawb yr yrfa.
9. Ar fyr caf rodio'r llwybr.
10. Fyth, fyth, rhyfeddai'r cariad.
11. Fe dderfydd imi bechu.
12. Henffych i'r bore hyfryd.
13. O gwyn eu byd y dyrfa.
14. Yna derfydd fy nghystuddiau.
15. Dyddiau blin fy mhererindod.
16. Pan sycho'r dyfroedd dyfnion, maith.
17. Dewch, hen ac ieuanc, dewch.
18. Mae palldod yn naturiaeth.
19. Beth sydd imi yn y byd.
20. Gwnes addunedau fil.
21. Y pethau darfodedig.
22. I'r Aipht daeth Iesu i'm gwared.
23. Mae gwedd ei wyneb yn iachâu.
24. 'Rwy'n teimlo f'enaid 'nawr yn caru.
25. Fe syrth y sêr i lawr o'r nen.
26. Er gwaetha'r maen a'r gwylwyr.
27. Gwnaed concwest ar Galfaria fryn.
28. O agor fy llygaid i weled.

Mae yr emynau hyn, debygem, yn enghreifftiau teg o athrylith Morgan Rhys ar ei goreu; a buasai yn hawdd enwi amryw eraill ag ydynt mor brydferth a dim a ysgrifenwyd erioed ar lun emyn. Dywed Mr. Morris Davies am ei gynyrchion, "mai eu prif ragoriaeth ydyw eu gwreiddiolder a'u melusder. Nid ydym yn canfod dim tebyg i gyfieithiad nac efelychiad yn ei waith, fel y gellir edrych ar ei waith yn wreiddiol Gymreig. Mae ei destynau yn Ysgrythyrol, ac ansawdd y brydyddiaeth yn efengylaidd a phrofiadol. Mae yn gorfoleddu yn yr amlygiad o anfeidrol gariad Duw, a chyfoeth ei ras, yn iachawdwriaeth ei bobl trwy yr Arglwydd Iesu. Mae yn tynu ei gynhaliaeth a'i gysuron ar daith yr anialwch, a than orthrymderau a gormes gelynion ei enaid, allan o drysorau yr addewidion, a ffyddlondeb y Gwaredwr; ac yn yr olwg ar freuder oes dyn ar y ddaear, ac 'ar ddull y byd hwn yn myned heibio,' mae yn edrych yn mlaen tu hwnt i derfyn amser, i'r tragywyddolfyd mawr, yn esgyn i ben Nebo i syllu drwy yspienddrych ffydd ar Wlad yr Addewid, y Ganaan nefol, etifeddiaeth y saint tu draw i angau. Mae yn fynych yn pyncio yn hyfryd am ogoneddiad a gwynfyd y briodasferch, gwraig yr Oen, ond yr hyn sydd yn tanio ei serchiadau mewn clodforedd gorfoleddus a buddugol, ydyw gogoniant Person y Gwaredwr fel DUW-DDYN, teilyngdod ei aberth, llwyddiant ei eiriolaeth y tu fewn i'r llen, ei dra dyrchafiad ar ddeheulaw y Mawredd yn y goruwch leoedd, ei ail ddyfodiad i farnu y byd, ac fel Alpha ac Omega yr holl oruchwyliaethau dwyfol, mewn creadigaeth, rhagluniaeth, ac iachawdwriaeth yr eglwys." Nis gallem ymatal rhag gosod un neu ddwy o emynau anarferedig Morgan Rhys yn ddiweddglo ar ein coffhad byr am dano:—

"CYFRAITH CRIST YN HYFRYD.

"O cadw fi yn dy dŷ,
A'th winllan beraidd, lawn:
Rho yspryd gweithio im',
Fy Nuw, o'th rasol ddawn;
Tan hyfryd wlith y nefol wlad,
Nes dod i mewn i dŷ fy Nhad.

Boed dy dangnefedd gwir,
I'm llawn ddyddanu mwy,
Sy'n tarddu bob yr awr,
O'th werthfawr ddwyfol glwy' ·
Cysuron a bendithion f'oes,
Sy'n tarddu oll oddiwrth dy groes.

Pe pallai'r meusydd maith
Ei ffrwythau hyfryd, gwiw,
Ac i'r creaduriaid oll
Fy ngadael, o bob rhyw,
Mi allwn beunydd lawenhau,
Byth yn yr hwn sy'n trugarhau.

Rho imi galon friw,
Ac yspryd bob yr awr,
Lle bynag byth y b'wyf,
I ganmawl d'enw mawr;
A boed dy gyfraith sanctaidd di,
Yn fwyd a diod mwy i mi.

Fe ddaw'r diwrnod mawr,
Rhaid sefyll o dy flaen;
O gwisg fy enaid noeth,
Yn dy gyfiawnder glân:
A gaf fi, bryfyn, gwaela'i gyd,
Wisgo dy haeddiant gwerthfawr drud!"

"Y WLAD WELL.

'Awn drwodd ar ein cyfer,
Tua'r wlad, tua'r wlad;
Tu draw i bob cyfyngder,
Tua'r wlad:
I nofio mewn dyddanwch,
Llawenydd byth heb dristwch,
Uwch cyrhaedd aflonyddwch,
Tua'r wlad, tua'r wlad;
Dewch, etifeddion heddwch,
Tua'r wlad.

Mae gwaredigaeth Seion
Yn nesâu, yn nesâu,
O canwn, bererinion,
Mae'n nesâu;
Mae'r haul yn rhifo'r dyddiau,
Daw terfyn i'n blinderau;
Y wlad tu hwnt i angau
Sy'n nesâu, sy'n nesâu;
Yr etifeddiaeth oreu
Sy'n nesâu.

Mae'r dyrfa mewn gorfoledd,
Yno'n awr, yno'n awr;
Yn syrthio o flaen yr orsedd,
Yno'n awr:
Rhai sydd erioed heb bechu,
Bob mynyd yn molianu;
I ninau gyda'r rheiny,
Doed yr awr, doed yr awr,
Wel'd grasol wyneb Iesu,
Doed yr awr."



# PENOD XXX.

——:o:——

## THOMAS CHARLES, B.A., BALA.

*Rhieni Thomas Charles—Helyntion ei ieuenctyd—Mater ei enaid yn dyfod i wasgu arno yn foreu—Rhys Hugh—Thomas Charles yn myned i athrofa Caerfyrddin—Yn gwrando Daniel Rowland yn Capel Newydd, ac yn cael ei ddwyn i oleuni yr efengyl—Yn myned i Rydychain—Rhagluniaeth yn cyfryngu ar ei ran—Ei ymweliad cyntaf a'r Bala—Ei urddiad i fod yn guwrad yn Ngwlad yr Haf—Difyniadau o'i ddydd-lyfr—Ei newynu allan o Queen Camel—Y mae yn symud i guwradiaeth Milbourn Port—Ei briodas a Miss Sarah Jones—Yn ymsefydlu yn y Bala—Yn cael ei droi allan o ddwy eglwys—Ei yru o Lanymawddwy—Apelio yn ofer at Esgob St. Asaph—Ei bryder—Y mae yn ymuno a'r Methodistiaid—Na edifarhaodd byth—Yn gweled yn hyn arweiniad amlwg Rhagluniaeth.*

YR ydym yn dyfod yn awr at hanes un y peri ei enw yn glodfawr tra byddo haul; un, er ddarfod ei gasglu at ei dadau er ys dros bedwar ugain mlynedd, y teimlir ei ddylanwad trwy yr holl fyd adnabyddus y dydd hwn; ac un y rhaid ei restru yn mysg prif gymwynaswyr Cymru, os nad yn wir ei osod ar flaen y rhês, fel y penaf o honynt oll. Pe y ceisid penderfynu trwy bleidlais gyffredinol i ba dri y mae y genedl Gymreig fwyaf dyledus, o bosibl y gallai amrywiaeth barn fodoli gyda golwg ar ddau; ond credwn y byddai y wlad yn unfryd, unfarn, dros nodi Thomas Charles fel un. Nid mewn un cylch y rhagorai, ond mewn llawer. Yr oedd yn bregethwr da; nid yn aml y gwelwyd hafal iddo fel trefniedydd; ac yr oedd yn addysgydd o'r fath fwyaf effeithiol trwy gyfrwng y gwahanol sefydliadau a gychwynwyd ganddo, a thrwy y wasg. Nis gellir ei restru yn mysg sylfaenwyr Methodistiaeth; yr oedd y diwygiad wedi cychwyn ac wedi rhedeg ei gwrs am ugain mlynedd lawn cyn iddo ef gael ei eni; ond os nad efe a osododd y sylfaen, bu iddo ran helaeth yn yr oruwch-adeiladaeth. Efe, yn anad neb, a ddyogelodd ffrwyth yr adfywiad i Gymru, ac, yn lle bod yn gyffro amserol dros ychydig yn ymddangos, ac wedi hyny yn diflanu, a barodd iddo fod yn ddylanwad byth-barhaol yn ein gwlad. Gellir olrhain yr oll o brif elfenau y cyfansoddiad Methodistaidd yn ol, naill ai i Howell Harris, neu ynte i Thomas Charles. Yn rhagluniaethol, nid ydym mewn prinder defnyddiau tuag at ysgrifenu ei hanes; y mae amryw fywgraffiadau iddo ar gael, a chadwodd ef ei hun ddydd-lyfr hyd nes y gorfodwyd ef gan amledd gorchwylion i ymatal oddiwrth hyny.

Tua chanol y ganrif ddiweddaf preswyliai gŵr cyfrifol, Rice Charles wrth ei enw, yn Pant-dwfn, ffermdy cymharol ddiaddurn, yn mhlwyf Llanfihangel, Sir Gaerfyrddin. Saif Pant-dwfn tua deng milltir o Gaerfyrddin, rhwng hyny a'r môr; y pentref nesaf ato yw St. Clears; ac y mae y tu aswy i'r brif-ffordd a arweinia o St. Clears i Lacharn. Y mae y tŷ yn mha un y cartrefai Rice Charles yn adfeilion er ys blynyddoedd; yr oedd hwn mewn pantle, a'i enw yn cyfateb i'w safle; ond saif y tŷ presenol ar ryw gymaint o godiad tir. Ychydig a wyddom am Rice Charles, ac nid yw enw ei briod genym; ond cawn brofion eu bod yn amddifad o grefydd, er o bosibl yr aent i'r eglwys gyda chysondeb ar y Sul. Bu i'r ddeuddyn hyn ddau fab; yr hynaf oedd Thomas, gwrthddrych hyn o ysgrif; yr ail oedd David, sef y diweddar Barch. David Charles, Caerfyrddin, yr hwn a ddaw dan ein sylw eto.

Cafodd Thomas Charles ei eni Hydref 14eg, 1755. Nis gwyddom nemawr am helyntion dyddiau ei ieuenctyd, heblaw a groniclir ganddo ef ei hun yn ei ddydd-lyfr; yno hefyd y mae y nodiadau yn fyrion, ac yn ymwneyd yn benaf ag agwedd ysprydol ei feddwl. Gallwn gasglu yn ol yr hyn a

ddywed, ei fod pan yn blentyn o dymher fwyn a difrifol; ychydig o yspryd chwareu oedd ynddo, ac ni fyddai un amser mewn ysgarmes. Ond yr oedd yn ddysgwr cyflym, ac yn hoff o'i lyfr. Hyn a barodd i'w rieni osod eu bryd ar ei ddwyn i fynu i'r weinidogaeth. Yn llawn o'r cyfryw fwriad, anfonasant ef, pan oedd rhwng deg a deuddeg mlwydd oed, i'r ysgol yn Llanddowror, sef tua dwy filltir o Pant-dwfn. Y mae yn amheus a ddarfu iddo weled na chlywed yr Hybarch Griffith Jones erioed; nid oedd ond chwe' mlwydd oed pan fu y gŵr enwog hwnw farw; ond yr oedd yr ysgol a sefydlasid gan Mr. Jones, yn Llanddowror, er parotoi dynion ieuainc i fod yn offeiriaid ac yn ysgolfeistri, yn cael cyflwr arswydus y rhai ydynt yn aros o dan y cyfamod o weithredoedd. "Parodd i mi wylo yn chwerw lawer gwaith," meddai.

Pan yr oedd ei yspryd wedi ei ddifrifoli, a bod yn gymeradwy gerbron Duw wedi llenwi ei fryd, awyddai yn naturiol am gymdeithas rhai yn meddu y cyffelyb deimlad. Yn ei ddiniweidrwydd tybiai fod pawb a gyrchent i'r eglwys, gyda gradd o gysondeb, yn ddynion gwir grefyddol; ond daeth i ddeall gwell yn fuan. Wrth wrando ar eu hymddiddanion, hyd yn nod ar y Sabbath, cafodd mai ar y byd yr oedd eu meddwl, ac mai am y byd y siaradent; ni wnaent gymaint a chyfeiriad at y pethau a berthynent i'w tragywyddol heddwch.



ADFEILION PANT-DWFN, GER ST. CLEARS, SIR GAERFYRDDIN.

*(Lle gendligaeth y Parchedigion Thomas Charles, B.A., Bala, a David Charles, Caerfyrddin.)*

ei chadw yn mlaen. Daeth mater ei enaid i wasgu yn bur drwm ar feddwl y llanc Thomas tua'r adeg hon; nis gwyddai ef ei hun yn iawn beth a gyffrôdd hyn o'i fewn. Cyrchai gyda phob dyfalwch i wrando yr efengyl; os clywai fod pregeth mewn rhyw dŷ o fewn pellder cymhedrol, nid oedd dim a'i hataliai rhag myned i'r odfa, ac fel rheol, elai wrtho ei hun. Yr oedd yn llawn awch hefyd am ddarllen y Beibl, a phob llyfr da y deuai o hyd iddo. Meddai: "Nid oedd unrhyw amser yn rhy faith genyf wrth ddarllen llyfrau da." Tarawodd y pryd hwn wrth draethawd John Bunyan ar y "Ddau Gyfamod," ac effeithiodd ei ddarlleniad yn ddwys arno, yn neillduol yr adran sydd yn dangos Rhaid fod siomiant ei galon ieuanc yn ddirfawr. Meddai: "Nid oedd genyf, am beth amser, gymaint ag un gŵr o egwyddor ysprydol i ymddiddan ag ef." Ac yr oedd hyn, cofier, yn Llanddowror, y fan lle y bu yr Hybarch Griffith Jones am gynifer o flynyddoedd yn llewyrchu ac yn goleuo! Rhaid i ddirywiad enbyd gymeryd lle yno, a hyny yn bur fuan gwedi i'r hen Apostol farw. I'r dirywiad hwn dygir tystiolaeth yn *Methodistiaeth Cymru*. Meddai Mr. Hughes: "Bu farw y Parch. Griffith Jones yn y flwyddyn 1761, ac nid ydym yn cael fod nemawr ymosodiad wedi cael ei wneyd er chwalu tywyllwch y fro, nac i arwain y trigolion at Geidwad dyn am 35 o flynyddoedd ar ol ei farwolaeth ef. Yr oedd yr

ardal, gan hyny, wedi disgyn i'w hen agwedd gyntefig, a chenhedlaeth arall wedi codi, y rhai nad adwaenent Griffith Jones, ac na chlywsent ei leferydd." Ond medd y tebyg allu rhyfedd i ddod o hyd i'w gilydd, a rywsut daeth Thomas Charles i gyffyrddiad â hen ŵr nodedig o dduwiol, o'r enw Rhys Hugh. Un o ddysgyblion Griffith Jones oedd Rhys Hugh, tlawd o ran ei amgylchiadau, ac heb nemawr talent na gwybodaeth, oddieithr am bethau crefydd. Meddai Mr. Charles: "Yr oedd yn byw ychydig filltiroedd oddiwrthyf; byddwn yn arfer galw yn ei dŷ unwaith neu ddwy yn yr wythnos, ac yr oedd ei gymdeithas yn dra bendithiol i mi. Weithiau, tra y byddem yn ymddiddan, efe a lenwid â chysur a gorfoledd; a phan y byddai felly gydag ef, ni byddwn inau un amser heb ran o'r effeithiau. Mi a'i cerais ef, tra bu byw, fel fy enaid fy hun; yr oeddwn bob amser yn edrych arno fel fy nhad yn Nghrist; a'r coffa am dano fydd yn hyfryd genyf tra byddwyf ar y ddaear." Golygfa effeithiol oedd gweled hogyn deuddeg oed, oedd yn dipyn o ysgolor, a swynion bywyd yn ymagor o'i flaen, yn ymddiddan â hen ŵr dysyml am bethau ysprydol; a gogoniant trefn yr efengyl yn llewyrchu ar eu meddyliau, nes peri iddynt ganu a gorfoleddu ill dau.

Ychwanega Mr. Charles: "Yn yr holl amser hwn nid oedd fy adnabyddiaeth o ddirgelwch yr efengyl ond bychan iawn; yr oedd fy nghrefydd yn gynwysedig, yn benaf, mewn hiraeth awyddus, a dymuniadau cryfion am rywbeth nad oeddwn eto wedi ei gyrhaedd, yn nghyd ag ymroddiad llawnfwriadol i barhau mewn arferiad o bob moddion apwyntiedig tuag at ei gaffael. Y cam cyntaf oedd gwneyd proffes gyhoeddus o grefydd, a chyfranogi o'r sacrament. Y cam nesaf oedd ceisio dwyn crefydd i mewn i'r teulu. Yn mysg pethau eraill golygai hyn sancteiddiad y Sabbath, cysondeb yn y moddion crefyddol cyhoeddus, gofyn bendith ar yr ymborth a fwyteid, a chynal dyledswydd deuluaidd gyda chysondeb." Llwyddodd yn ei amcan yn rhyfedd; daeth y bachgenyn ysgol yn frenin y tŷ yn Pant-dwfn; ac er fod y teulu yn gynwysedig o tua deunaw o bersonau, plygent oll, mewn pethau yn perthyn i grefydd, i'w farn a'i olygiadau. Priodola ef yr awdurdod a feddienid ganddo, pan yn laslanc dibrofiad fel hyn, i larieidd-dra a thynerwch ei dymher, yn nghyd â difrifwch angerddol ei yspryd.

Pan o gwmpas pedair-ar-ddeg oed anfonodd ei dad ef i athrofa Caerfyrddin. Yr oedd ei fynwes ieuanc yn llawn ofn wrth fyned oddicartref am y tro cyntaf. Pryderai Rhys Hugh hefyd lawer ar ei ran. Cyn ymadael bu y ddau yn cydgymysgu eu dagrau a'u deisyfiadau wrth orsedd gras, a phriodola Mr. Charles y cadw fu arno yn y dyfodol mewn rhan i weddïau taerion ei hen gyfaill drosto. Nid hir y bu yn Nghaerfyrddin cyn ymaelodi yn y seiat Fethodistaidd oedd yn y dref. Nid yw yn ymddangos ei fod wedi dyfod i gysylltiad â'r Methodistiaid yn flaenorol, oddieithr gwrando yn achlysurol ar rai o'u pregethwyr tua chymydogaeth Bancyfelin. Bwriodd ei goelbren yn eu mysg yn awr, am mai gyda hwy y gwelai fwyaf o fywyd crefydd. Cyfarfyddodd yno a nifer o bobl gwir dduwiol, ymddiddanion pa rai a fu yn fendithiol i'w enaid. Ond, ysywaeth, nid aur yw pob peth sydd yn dysgleirio, ac yr oedd yn seiat Caerfyrddin broffeswyr cnawdol, y rhai a garent wagedd y byd; a bu y rhai hyn agos a hudo y gŵr ieuanc dibrofiad, gan ei arwain ar gyfeiliorn. "Ond," meddai, "yr Arglwydd yn rasol a agorodd fy llygaid, ac a'm hachubodd allan o'u magl." Tra yma daeth i gydnabyddiaeth helaethach ag athrawiaethau yr efengyl, yn benaf wrth ddarllen llyfrau da, yn neillduol *Ymddiddanion* Mr. Hervey. Trwy y moddion hyn, yn nghyd â chyfeillach pobl dduwiol, eangwyd ei syniadau a dyfnhawyd y bywyd ysprydol ynddo.

Yr ydym yn dyfod yn awr at drobwynt ei fywyd, a chaiff adrodd yr hanes yn ei eiriau ei hun: "Ionawr 20, 1773, aethum i wrando y Parch. Daniel Rowland, oedd yn pregethu yn Nghapel Newydd. Ei destun oedd Heb. iv. 15, á bydd y diwrnod yn dra chofiadwy genyf tra byddwyf byw. O'r diwrnod cysurol hwnw, cefais fath o nef newydd a daear newydd i'w mwynhau. Y cyfnewidiad a brofai dyn dall wrth dderbyn ei olwg, nid ydyw yn fwy na'r cyfnewidiad a brofais i y pryd hwn yn fy meddwl—

'Ciliodd daear, aeth o'r golwg,
Nef a ymagorai'n amlwg;
Sain angylaidd oedd i'm clustiau
Adsain nefol bêr ganiadau.'

Dyna'r pryd yr argyhoeddwyd fi gyntaf o'r pechod o anghrediniaeth, neu o gynwys meddyliau culion, bychain, a chaled am yr Hollalluog. Gyda hyny, cefais y fath olwg ar Grist fel ein Harchoffeiriad; ar ei

gariad, ei dosturi, ei allu, a'i holl-ddigonedd, ag a lanwodd fy enaid â syndod; ïe, â llawenydd annhraethadwy a gogoneddus. Yr oedd fy meddwl wedi ei orthrechu a'i orchfygu gan syndod; yr oedd y gwirioneddau a osodwyd ger fy mron yn ymddangos yn rhy anfeidrol rasol i'w credu; nis medrwn gredu gan lawenydd. Bydd y golygiadau gogoneddus a gefais y pryd hwnw yn llawn ddigoniad i fy enaid, yn y myfyriaeth arnynt, yn mhen myrdd o oesoedd i ddyfod. Yr oedd genyf o'r blaen ryw ddarluniad o wirioneddau yr efengyl, megys yn nofio yn fy mhen; ond erioed hyd y tro hwn ni threiddiasant i fy nghalon gydag effeithiolrwydd a nerth dwyfol. Arosodd effaith y bregeth hon ar fy meddwl am fwy na haner blwyddyn; ac yn y misoedd hyny yr oeddwn, yn gyffredin, mewn agwedd gysurus a nefolaidd. Yn fynych wrth rodio yn y meusydd mi a godwn fy ngolwg yn llawen tua'r nef, fel un yn edrych tua'i gartref, a than hiraethu yn wresog am ymddangosiad fy Iachawdwr gogoneddus, i'm cymeryd am byth ato ei hun."

Dydd i'w gofio byth yn hanes Thomas Charles oedd y diwrnod hwn. Rhaid edrych arno yn flaenorol fel un heb fod yn nepell o deyrnas nefoedd, os nad aethai trwodd, yn wir, o farwolaeth i fywyd; ond yn awr y daeth am y tro cyntaf i feddiant o ryddid gogoneddus yr efengyl, ac yr oedd y goleuni a dywynodd ar ei enaid mor llachar fel y "ciliodd daear" allan o'i olwg. Rhoddodd heibio yn hollol geisio dyfod i fynu ar dir y ddeddf; ni ychwanegodd mwy wnïo hunangyfiawnderau wrth eu gilydd, er cuddio ei noethni gerbron Duw; ei gri gwastadol o hyn allan ydoedd: "Ac a'm caer i ynddo ef." Glaslanc deunaw mlwydd oed ydoedd yr adeg yma, ond ni anghofiodd byth mo acenion Daniel Rowland; neu yn hytrach, ni anghofiodd lais Duw yr hwn a glywodd trwy Rowland. Yn ei ddydd-lyfr, ac yn ei lythyrau, cyfeiria at yr ugeinfed o Ionawr fel dydd na fu ei fath iddo ef. Yn mhen pum' mlynedd gwedi hyn ysgrifena: "Y mae heddyw yn ddiwrnod neillduol, ac i'w fawr gofio. Mor ogoneddus oedd y datguddiad o wirioneddau dwyfol ar gyfenw y dydd hwn! Trwy drugaredd y maent yr awr hon mor ogoneddus a gwerthfawr ag erioed; y maent bob amser yn newydd, bob amser yn adfywiol. O, bydded i ni fyw ac ymborthi arnynt fwyfwy!" Dro arall ysgrifena ar gyfer yr un diwrnod: "O ddedwydd ddychweliad y dydd daionus hwn! Dydd i'w lawen gofio, o herwydd mai arno y bu i'r tywyniad cyntaf o ogoniant yr efengyl lewyrchu gyda dysgleirdeb ar fy enaid, yn ngwyneb Iesu Grist. Ar ddychweliad y dydd cysegredig hwn bydded i bob meddwl arall roddi lle i ddiolchgarwch a moliant." Nid oedd y cyfarfyddiad â'r Arglwydd Iesu wrth fyned i Damascus yn llanw mwy o fryd yr Apostol Paul, nag y gwnelai y gogoniant a dywynodd ar ei enaid yn odfa ryfedd Capel Newydd, eiddo Thomas Charles.

Yn ol pob tebyg, bu yn athrofa Caerfyrddin am agos i chwech mlynedd, sef hyd nes cyrhaedd ei ugain mlwydd oed. Ni sonia yn ei ddydd-lyfr am ei gynydd mewn dysgeidiaeth, ond pan y cymerir i ystyriaeth gryfder ei alluoedd meddyliol, a'i ddiwydrwydd fel efrydydd, y mae yn sicr ei fod wedi dyfod cyn ymadael yn ysgolor gwych. Nis gwyddai beth i'w wneyd yn ganlynol. Yr oedd ei rieni wedi trethu eu hunain yn drwm i'w gadw cyhyd yn Nghaerfyrddin; ni oddefai eu hamgylchiadau iddynt wario rhagor arno; ac felly, yr oedd drws yr offeiriadaeth yn ymddangos yn glöedig yn ei erbyn. Ond torodd gwawr o ganol y tywyllwch. Fel hyn yr ysgrifena yn ei ddydd-lyfr: "Yn y flwyddyn 1775, darfu i Ragluniaeth, yn dra annysgwyliadwy a rhyfeddol, agorid fy ffordd i fyned i Rydychain; yr hyn nid oedd fy rhieni, na minau, na neb o fy mherthynasau, wedi cynwys mo'r meddyliau lleiaf am dano hyd y pryd hwn. Ond yn awr yr oedd y rhwystrau oll wedi eu symud, a phenderfynwyd ar i mi fyned yno. I minau, yr oedd yn foddlonrwydd mawr edrych ar y moddion trwy ba rai yr agorasai yr Arglwydd fy ffordd i fyned; ac yr oedd yr un ystyriaeth yn magu ynof hyder cryf y byddai i mi gael fy nghadw, trwy ras Duw, rhag cael fy llosgi yn y ffwrn danllyd hono." Awgryma ei eiriau yr edrychid ar Rydychain y pryd hwn, megys yn nyddiau Howell Harris, fel lle llawn o anfoesoldeb; ac felly, yn debyg o roddi crefydd unrhyw un dan brawf caled. Pwy a'i cynorthwyodd i fyned yno, ni ddywed; nid annhebyg mai rhyw foneddwr cyfoethog, llawn o haelioni a natur dda, a deimlodd drosto. Tua mis Mai, cawn ef yn cychwyn; y tebygolrwydd yw mai ar ei draed y teithiai; nid oedd y ffyrdd haiarn eto wedi dyfod i fod, ac ni allai ei logell yntau fforddio y cerbyd. Naturiol meddwl ei fod yn dra phryderus;

ond cafodd arwyddion eglur fod Duw yn llawn dyddanwch. Meddai: "Ar y ffordd rhoddodd yr Arglwydd i mi olygiadau tra chysurlawn arno ei hun, fel fy Nhad yn Nghrist; ïe, mai Tad Crist yw fy Nhad inau, a'i Dduw ef yw fy Nuw inau! Pa beth yn ychwaneg a allwn ei chwenych? Yr oedd yma allu llawn, a thosturi digonol. Yr oedd y geiriau canlynol megys yn seinio yn beraidd yn fy nghlustiau: 'Yr wyf yn dyrchafu at fy Nhad i a'ch Tad chwithau, at fy Nuw i a'ch Duw chwithau.' Cefais fy ngalluogi trwy ras i orchymyn fy hunan i gadwraeth fy Nhad nefol, ac i ymroddi yn siriol ac ymostyngol i arweiniad ei Yspryd a'i Ragluniaeth ef." Nid yn aml y cyfarfyddir a'r fath dduwiolfrydedd dwfn, a'r fath addfedrwydd syniadaeth, mewn llanc heb fod yn gyflawn ugain mlwydd oed.

Yn mis Mai, 1775, y cyrhaeddodd Thomas Charles Rydychain, a derbyniwyd ef yn aelod o Goleg yr Iesu. Daeth i gyffyrddiad yn y Brif-ysgol â nifer o ddynion ieuainc gwir grefyddol, y rhai a ymroddent i ddefosiwn, ac a gydgynullent i weddïo ac i ymddiddan am bethau ysprydol. Teimlodd ei hun gartref yn eu mysg ar unwaith, a bu eu cymdeithas o ddirfawr gysur a budd iddo. Yn eu plith yr oedd amrai Gymry; ag un o'r cyfryw, sef Mr. Simon Lloyd, o'r Bala, ffurfiodd gyfeillgarwch a barhaodd tra y buont byw ill deuoedd. A'r teimlad cyfeillgar hwn, fel y cawn weled eto, a benderfynodd gwrs bywyd Mr. Charles. Ychydig o'i hanes yn Rhydychain sydd genym; eithr gallwn fod yn sicr iddo, trwy ystod y tair blynedd y bu yno, lynu yn ddyfal wrth ei efrydiau, a gwneyd ei oreu i ymgymhwyso ar gyfer gwaith pwysig y weinidogaeth. Yn mhen oddeutu dwy flynedd gwedi ei fynediad i'r Brif-ysgol, dygwyd ef i gyfyngder meddwl dirfawr. Yn hollol annysgwyliadwy, atalíwyd oddiwrtho y cynorthwy arianol a dderbyniai o Gymru. Nis gwyddom yr achos; ai y cymwynaswr, a addawsai ofalu am dano, a fu farw; ynte, a ddarfu i'r gŵr hwnw, fel y dygwydd yn hanes meibion dynion weithiau, newid ei feddwl, gan adael y llanc tlawd i ymdaro goreu y medrai yn mysg estroniaid. Modd bynag, o herwydd rhywbeth neu gilydd, sychodd y ffynonhell, ac nid oedd gan Thomas Charles un man i droi iddo am ymwared. Yr oedd ar y pryd hefyd mewn ugain punt o ddyled i'r coleg. Bu yn cael ei guro yn nhrigfa dreigiau am o gwmpas pythefnos, heb wybod beth i'w wneuthur. O'r diwedd, gwnaeth ei feddwl i fynu i ymostwng i ewyllys yr Arglwydd, ac i hysbysu awdurdodau y coleg o'i sefyllfa, a myned i'r wlad i enill ei fywioliaeth rywfodd y medrai. Ond methai ddeall trefn Rhagluniaeth, yn agor y ffordd o'i flaen i'r coleg mewn modd oedd agos yn wyrthiol, ac yna yn ei chau i fynu o'i flaen drachefn megys â drain. Trwy y cwbl, teimlai ryw hyder y byddai i'r Arglwydd ei ddwyn trwodd. "Un boreu," meddai, "tra yr oeddwn yn ysgrifenu at fy mhobl yn Nghymru, gan fynegu iddynt am fy nghyfyngder a'm bwriad canlynol, daeth cyfaill anwyl i mewn; minau yn fuan a ddatguddiais fy helynt iddo, a'r modd yr oeddwn wedi ymroddi i adael y Brif-ysgol. Yntau a atebodd nad oedd efe yn amheu na chawn fy nghynorthwyo trwy ryw foddion neu gilydd; a dymunodd arnaf roddi fy meddwl mewn esmwythdra llawn yn yr achos. Ychydig ddyddiau ar ol hyny, anfonodd boneddwr am danaf i giniawa gydag ef; a chyn fy myned o'i dŷ, er fy mawr syndod, efe a estynodd i mi yr ugain punt yr oeddwn yn fyr o honynt; ac ar yr un pryd, dywedodd wrthyf na chai diffyg fod arnaf tra y byddwn yn Rhydychain. Yr oeddwn yn llawen iawn, ac yn dra diolchgar am hyn, a bu y boneddwr gystal a'i air. Bu hyn yn achlysur i'm dwyn i gydnabyddiaeth newydd, ac i helaethu cylch fy nghymdeithas mewn gradd go fawr."

Awgryma y frawddeg ddiweddaf nad Cymro oedd y boneddwr, a'i fod, yn wir, yn gwbl ddyeithr i Mr. Charles yn flaenorol. Gwelir iddo wneyd rhagor na chynorthwyo y llanc tlawd ag arian; iddo ei groesawu i'w dŷ fel ymwelydd cymeradwy, a'i gyflwyno i sylw ei gyfeillion a'i gydnabod. Ond trefn Rhagluniaeth a welai Thomas Charles yn benaf yn yr amgylchiad. Dywed yn ei ddydd-lyfr iddo dreulio gwyliau haf 1797 yn Olney, gyda Mr. Newton. Clerigwr efengylaidd oedd John Newton; y mae ei enw yn gwbl adnabyddus y dydd hwn fel cyfansoddydd amryw emynau melus; ond yn benaf, fe'i hadnabyddir fel cyfaill mynwesol y bardd enwog Cowper. Bu cymdeithas gynhes rhwng yr efrydydd a'r hen offeiriad, a chyfeillion mynwesol a fuont hyd ddydd eu marwolaeth. O Olney, ysgrifena Mr. Charles at gyfaill iddo yn Llundain: "Trwy fod genyf Newton i'm haddysgu, gyda phregethau adeiladol yn y pwlpud, ac ymddiddan yn yr ystafell, pa sefyllfa mwy

hapus a allwn ddymuno? Yr oedd genyf syniadau uchel am dano yn flaenorol; ond mewn gwirionedd, y mae wedi myned tuhwnt i'm dysgwyliadau penaf. Er, yn ol fy marn i, y rhagora yn yr ystafell, nid yw mewn un modd yn wael yn y pwlpud. Sonia Mr. M—— am i chwi ddyfod i lawr. Byddai yn dda genyf pe y deuech; gwn yr hoffech y bugail a'r praidd. Nid wyf byth yn treulio fy amser yn fwy hapus nac yn fwy buddiol na phan yn ymddiddan â Christionogion tlawd a dysyml, y rhai na chymerant arnynt fod yn gwybod nemawr ddim, heblaw ychydig am eu calonau eu hunain, ac am ffordd iachawdwriaeth trwy Grist. Y mae rhywbeth hoff a chysurus yn ngwedd y rhai yr ydych yn gobeithio treulio tragywyddoldeb dedwydd yn eu mysg. Nid pleser bychan genyf yw eich hysbysu i'r enwog Romaine aros yma ddeuddydd, ac iddo draddodi i ni ddwy bregeth ardderchog ar ogoniant Crist yn ei berson a'i swyddau, ac yn ei werth i bechadur colledig pan y mae yn gallu gafaelu ynddo trwy ffydd. Boddhawyd fi yn ddirfawr yn ei ddull o bregethu; yr hwn, er ei fod yn neillduol, a ymddengys y symlaf a'r mwyaf cyfaddas ar gyfer yr annysgedig. Am gynwys ei weinidogaeth, yr oedd yn ardderchog mewn gwirionedd, ac yn cael ei draddodi gyda y fath deimlad a'r fath dynerwch, fel yr oedd hyd yn nod fy nghalon galed ac oer i yn gorfod cynhesu ychydig wrth wres ei dân. Pe byddai genyf y cyfansoddiad cryfaf a'r manteision penaf i wneyd fy hun yn feistr ar bob cangen o lenyddiaeth ddynol, ïe, o bob dysgeidiaeth, cysegredig ac anghysegredig, yr wyf yn gwbl argyhoeddedig y byddai hyn yn llawer rhy fach i'm gwneyd yn bregethwr efengylaidd. Siarad llawer a allai un, a hyny yn gwbl uniongred; ond oni byddai ganddo ychydig o'r eneiniad hwnw oddiwrth yr Yspryd Glân, ar ddim a wn i, byddai gystal iddo fod yn ddystaw. Dyma sydd arnaf eisiau yn fy ngweddïau, yn fy efrydiau, ac yn fy myfyrdodau. Ac ar i Dduw ganiatau cyfran helaeth o hono i chwi ac i minau, pan y gelwir ni i safleoedd cyhoeddus, a fydd gweddi wastadol eich cyfaill diffuant, THOMAS CHARLES."

Yr ydym wedi croniclo y llythyr hwn agos ar ei hyd, am ei fod fel ffenestr oleu yn dangos teimladau dirgel yr Ysgrifenydd, a'r syniadau a feddai parthed cymhwysder gweinidogaethol. Ni ddirmygai Thomas Charles ddysgeidiaeth ddynol; y mae yn sicr ei fod yn zelog yn ei ymchwil am dani; ond er yr holl swyn a feddai awdwyr clasurol iddo, edrychai ar yr eneiniad oddiwrth y Sanctaidd hwnw fel y prif gymhwysder i'r pwlpud. Aeth yn ei ol i Rydychain wedi cael adnewyddiad i'w gorph a'i yspryd. Tua diwedd y flwyddyn 1777, ysgrifenodd y llythyr canlynol, yr hwn a deifl radd o oleuni ar ystâd ei feddwl:—"Yr wyf yn hiraethu am weled Seion yn ogoniant yr holl ddaear, ac nid wyf yn bryderus iawn gyda golwg ar y moddion a ddefnyddia Duw i helaethu ei therfynau. Yn hytrach, teimlaf yn ffafr tra anhaeddianol, er yr wyf yn gobeithio y gallaf ddweyd mai dyna fy holl ddymuniad, cael llafurio mewn rhyw gongl i estyn ei ffiniau. Drwg genyf eich hysbysu ddarfod i awdurdodau Coleg y Trwyn Pres wrthod graddau i Mr. R—— druan, oblegyd ei egwyddorion Methodistaidd. Darfu i hyn ei amddifadu ar unwaith o anrhydedd y Brif-ysgol, ac hefyd o'r Gymrodoriaeth *(Fellowship)*, o ba un yr oedd yn sicr mor fuan ag y cymerai ei raddau. Efallai iddo ymddwyn yn annoeth mewn rhai pethau, ond nis gall hyn byth gyfiawnhau llymder erlidgar eu hyspryd hwy. Oddiwrth yr hyn a ddywedodd wrthyf, ymddengys iddo gyflawni yr hyn a olygai ef yn ddyledswydd arno mewn modd gonest, difrifol, a chydwybodol; er nad oeddwn i yn teimlo rhwymau arnaf i weithredu fel y gwnaeth ef." Canfyddwn ddau beth yn bur glir yn y llythyr hwn: (1) Nad oedd Mr. Charles yn rhoddi pwys mawr ar enwadaeth grefyddol, fod ei yspryd yn gallu ymddyrchafu yn mhell uwchlaw plaid. Pan y dywed nad yw yn bryderus gyda golwg ar y moddion a ddefnyddiai Duw i helaethu terfynau Seion, yr hyn a olyga, feddyliem, yw, mai cymharol ddibwys ganddo pa un ai trwy gyfrwng yr Eglwys Sefydledig, ynte ar wahan oddiwrthi, y byddai i waith mawr y diwygiad gael ei gario yn mlaen. Ac awgryma yn mhellach nad pwysig iawn ganddo pa un ai y tu mewn iddi, ynte y tu allan iddi, y caffai efe lafurio, ond iddo gael bod yn nglyn â'r deyrnas. (2) Fod Methodistiaeth yn parhau yn gasbeth yn Rhydychain. A'r un peth yw hyn a bod crefydd ysprydol yn gasbeth yno, oblegyd nod angen efrydydd Methodistaidd, yr hyn a'i gwahaniaethai oddiwrth efrydwyr eraill y Brif-ysgol, oedd ei fod yn ddyfal mewn darllen y Beibl, ac mewn gweddi, yn nghyd â'r dyledswyddau eraill a orchymynir i bob cristion yn y Testament Newydd. Am y pechod hwn o fod yn dduwiol, dyma un dyn

ieuanc yn cael ei rwystro i dderbyn graddau, a chymrodoriaeth ei goleg, a'r hyn, heblaw bod yn anrhydedd, a fyddai yn ffynonell elw, yn cael ei wahardd iddo. Nid rhyfedd y teimlai Thomas Charles ei yspryd yn cynhyrfu.

Yn haf 1778, daeth tymhor Mr. Charles yn Rhydychain i fynu, a chan mai ar gyfer yr offeiriadaeth yr oedd wedi ymddarpar, rhaid iddo oedd edrych allan am guwradiaeth. Nid oes un amheuaeth yn bosibl mai yn Nghymru yr hoffai ymsefydlu, ond yma nid oedd un drws yn agor. Bu rhyw son hefyd am le iddo yn Nghaerwrangon (*Worcester*), ond ni ddaeth dim o hyny. O'r diwedd, modd bynag, derbyniodd guwradiaeth Queen Camel, Gwlad-yr-Haf. Y rheithor oedd un Mr. Newman. Y mae ei deimlad ar yr achlysur yn haeddu cael ei groniclo; fel hyn yr ysgrifena yn ei ddydd-lyfr: "Mehefin 14, 1778, cefais fy urddo yn ddiacon yn Rhydychain. Yr oeddwn yn teimlo dymuniad cryf am i'r Arglwydd fy ngalluogi i gysegru fy hun yn gwbl i'w wasanaeth ef, dros yr hyn oedd yn ol o'm dyddiau ar y ddaear; ac yr oedd ystyriaeth am fawr bwys y gorchwyl a gymeraswn mewn llaw, ac o'm mawr anallu i'w gyflawni mewn modd ffyddlawn a dyladwy, yn gwasgu yn ddwys arnaf. Bydded i Yspryd yr Arglwydd fod arnaf, a chyda fi, hyd byth." Datgana y cyffelyb deimlad wrth ysgrifenu at gyfaill yn mhen pythefnos gwedi ei ordeiniad: "Y mae yn bleser genyf eich hysbysu fy mod mewn urddau er Sul y Drindod diweddaf. Fy anwyl gyfaill, dyma yr amser mwyaf ofnadwy a difrifol yr wyf eto wedi cael byw i'w weled. Fy meddyliau pryderus gyda golwg ar y swyddogaeth sanctaidd wyf wedi gymeryd arnaf, a'r gwaith tra phwysig yr wyf yn ymwneyd ag ef, yn fynych a lethant fy yspryd. Y mae cynghor a siars ddifrifol St. Paul, yn Actau xx. 28, yn taranu yn fy nghlustiau ddydd a nos. A ydyw yr eglwys mor anwyl ac mor werthfawr gan Grist fel y darfu iddo ei phwrcasu â'i werthfawr waed? Y fath ymysgaroedd o dosturi a thrugaredd a ddylwn i ddangos at bob un, hyd yn nod y gwaelaf! Mor ofalus y dylwn fod am eu llwyddiant ysprydol! Mor bryderus gyda golwg ar eu hiachawdwriaeth! Bydded i Dduw o'i ddaioni anfeidrol fy nghynorthwyo i fod yn ffyddlawn. Ar yr un pryd, y mae fy nghalon yn llawn o gysur, pan feddyliwyf am ymddygiad grasol yr Arglwydd tuag ataf, yn gosod meddwl a siarad am drefn ardderchog yr iachawdwriaeth, ac am ei Hawdwr, yn orchwyl beunyddiol i mi. Pa bwnc mor ysprydol ac mor arddunol! Bydded i'm calon, a'm tafod, a phob aelod a feddaf, uno â St. Paul, a holl angelion y nef, i ymffrostio yn nghroes Crist, ac i benderfynu peidio gwybod dim arall." Nid yn fynych y gwelwyd gweinidog ieuanc yn cychwyn ar ei waith gyda syniad mor aruchel am y weinidogaeth.

Nid oedd raid i Mr. Newman wrth wasanaeth ei guwrad hyd Wyl Mihangel; felly derbyniodd Mr. Charles wahoddiad ei gyfaill, Mr. Simon Lloyd, i fyned ar ymweliad a'r Bala. Ychydig a feddyliai wrth edrych ar lyn Tegid am y tro cyntaf, oddiar y mynydd-dir uwchlaw, ac ar y dref fechan a orweddai mewn tawelwch yn ei hymyl, mai yno yr oedd i gyflawni cenhadaeth ei fywyd; ond felly y trefnasai dwyfol Ragluniaeth. Bu y ddau gyfaill yn y Bala am tua phum' wythnos, gan wneyd oddiyno frysdeithiau i wahanol ranau Gogledd Cymru. Yr adeg hon daeth Mr. Charles i gydnabyddiaeth â Miss Sarah Jones, llysferch Mr. Thomas Foulkes. Aeth y ddau yn hoff o'u gilydd ar unwaith; a therfynodd yr ymdrafodaeth, fel y cawn weled eto, mewn glân briodas. O'r Bala aeth y ddau ŵr ieuanc i'r Deheudir, tua chartref Mr. Charles. Ar eu ffordd galwasant yn Llangeitho, ac arosasant yno dri neu bedwar diwrnod. "Yn yr yspaid hwnw," meddai Mr. Charles, "cawsom wrando dwy bregeth gan Mr. Rowland, er ein cysur anhraethol." Ar y 13eg o Awst cyrhaeddasant Pant-dwfn. Y mae teimlad yr offeiriad ieuanc wedi cyrhaedd cartref ei febyd yn haeddu ei groniclo. Wedi dweyd iddynt gael pawb yn iach, ac yn myned yn mlaen braidd bawb yn y dull a arferent, ysgrifena: "Minau a edrychwn ar y conglau bychain yn y tŷ, ac ar y gwrychoedd encil yn y meusydd, gydag hyfrydwch sydd yn anhawdd ei adrodd; lleoedd y buasai fy enaid gynt mewn ymdrech â Duw ynddynt, ac mewn gweddi yn caffael y fendith. Nis gallwn lai nag edrych ar y conglau a'r manau hyny, y buaswn ynddynt yn mwynhau cymdeithas adfywiol â Duw, fel lleoedd cysegredig. Yr oedd tyddyn fy nhad megys yn gwisgo gwedd baradwysaidd; a'r coffa am yr amryw fendithion a gyfranwyd arnaf, ar amryw amserau, oedd yn llenwi fy nghalon â llawenydd a mawl."

Ar ddydd Iau y cyrhaeddodd Mr.

Charles a'i gyfaill Pant-dwfn; a threfnwyd iddo y Sul canlynol i bregethu yn Llanfihangel, eglwys blwyfol ei dad. Yn ol pob tebyg dyma ei bregeth gyntaf. Cafodd gymhorth neillduol i lefaru; yr oedd rhyw ddifrifwch fel o dragywyddoldeb wedi ei feddianu ef a'r gynulleidfa. Yn y dorf, wedi dyfod i wrando ar ei ddysgybl gynt, yr oedd yr hen bererin Rhys Hugh. Meddai Mr. Charles: "Medraswn agos wylo o lawenydd." Y mae yn sicr fod llawenydd Rhys Hugh yn gyfartal, a'i fod yn barod i ddefnyddio geiriau Simeon gynt: "Yr awrhon y gollyngi dy was mewn tangnefedd, yn ol dy air," ar ol gweled y gŵr ieuanc, y buasai yn cyfeirio ei gamrau tua'r nef, yn cymeryd ei le yn y pwlpud fel gweinidog Crist, a phob arwyddion ei fod wedi ei fendithio yn helaeth a chymhwysderau gweinidogaethol. Dyma y tro diweddaf i'r ddau gyfarfod ar y ddaear. Yn mhen tua mis diangodd enaid Rhys Hugh i'r nefoedd.

O gwmpas Gwyl Mihangel dechreuodd Mr. Charles ar ei waith fel cuwrad yn Queen Camel. Cadwai ddydd-lyfr manwl yr adeg hon, ond ychydig iawn, y nesaf peth i ddim, yn wir, a gronicla am ei helyntion amgylchiadol; y pethau sydd yn cael sylw ganddo yw ei gyflwr gerbron Duw, llygredigaeth ei galon, a threfn yr efengyl i'w lanhau. Dengys y sylwadau a wna onestrwydd llwyr, difrifwch angerddol, a chydnabyddiaeth helaeth â gwahanol weddau trefn yr efengyl. Buasai yn hyfrydwch genym osod y dydd-lyfr i mewn yn ei gyfanrwydd; ond gorfodir ni i ymfoddloni ar ychydig ddifyniadau, y rhai ydynt yn esiampl deg o'r gweddill.

"Tachwedd 8, 1778. Profais fy enaid yn dra gwasgedig gan y teimlad o'm hanallu a'm hannigonolrwydd i waith y weinidogaeth, a than ofn rhag i un enaid gyfrgolli trwy fy anwybodaeth neu fy esgeulusdra i, a rhag i mi ddwyn gwaradwydd ar yr efengyl ogoneddus. Ond yr Arglwydd a welodd yn dda gymhwyso y geiriau canlynol gyda grym mawr at fy enaid: 'Cyfarwyddaf di, a dysgaf di yn y ffordd yr elych, a'm llygad arnat y'th gynghoraf.' Cynorthwya fi, O Arglwydd, i bwyso ar air sicr dy addewid, ac yn mhob peth i edrych atat ti, yr hwn wyt yn perffeithio dy nerth yn ngwendid dy bobl, ac oddiwrth yr hwn yn unig y mae digonedd i bob gwaith da.

"15. Y boreu hwn yr oedd fy meddyliau yn aros, er fy adeiladaeth a'm cysur, ar gadernid a diysgogrwydd y cyfamod gras, ac hefyd ar yr addasrwydd sydd ynddo, yn mhob golygiad, at amryw anghenion pechadur syrthiedig. Y mae wedi ei luniaethu yn hollol ac yn sicr. Wrth ddychwelyd o'm cuwradiaeth i'm llety, yr oedd fy enaid diffygiol yn hiraethu yn daer am dŷ fy Nhad nefol, fy nghartref tragywyddol. O! pa bryd y caf fyned yno? Pa bryd y caf ei weled fel y mae, a bod yn gyffelyb iddo? Pa bryd y caf eistedd yn swper priodas yr Oen? Yr wyf wedi blino ar bechod, ac yn ofni syrthio iddo.

"21. Mae fy enaid mewn hiraeth ac ymostyngiad taer am burdeb calon, ac nid oes dim ond ysprydoliaeth yr Yspryd Glân a ddichon lanhau meddyliau fy nghalon aflan. Y mae pentwr o ddrygau oddimewn, a Duw yn unig a ddichon fy ngwaredu rhagddynt. Am wneyd fy *hun* yn lân nid yw yr ymgais ond llafur ofer; eto cysurus yw meddwl ddarfod i'r Jehofa gymeryd y gwaith i'w law ei hun. 'Mi a'u puraf hwynt,' medd efe. Pe byddai i mi fy newis o fendithion goreu y nef a'r ddaear, fy enaid a ddywedai, 'Calon lân, O Arglwydd; argraffa dy ddelw ar fy enaid.'

"25. 'Fel y brefa yr hydd am yr afonydd dyfroedd, felly yr hiraetha fy enaid am danat ti, O Dduw.' Cymhorth fi, fy Iachawdwr, i ddysgwyl yn amyneddgar, hyd oni weli di yn dda lewyrchu arnaf lewyrch dy wyneb. Mae Rhagluniaethau yn bresenol yn ymddangos yn dywyll; ond tydi, O Dduw, yw fy nerth a'm rhan. Atat ti y mae i mi droi fy ngolwg, a thydi wyt bob amser yn fy ngweled. Mewn iawn bryd fe ddadddyrysir pob peth; nertha fi i wylio a gweddïo."

Rhaid i ni ymatal er mor felus y difyniadau. Nid yn aml y gwelir gweinidog ieuanc yn teimlo mor ddwfn ei ddibyniaeth ar Dduw, ac yn meddu profiad mor helaeth o ddrygedd ei galon, a chymhwysder trefn yr efengyl ar ei gyfer. Ardal wledig yw Queen Camel; nid oedd galwad felly am holl amser Mr. Charles mewn gwasanaeth i'r plwyf, a chafodd gyfleustra i ymroddi gydag egni i'w efrydiau. Ond y mae yn sicr na chyfyngodd ei hunan tra yno i'w fyfyrgell ac i'w bwlpud. Yr oedd ei yspryd yn nodedig o ymarferol, a diau iddo ymroddi i gateceisio yr ieuanc, ac i gynghori o dŷ i dŷ. Rhwng hyn, a bod ei bregethau mor efengylaidd eu tôn, nis gallai lai na chael ei ddrwgdybio o fod yn Fethodist, a

chynyrchodd hyny deimlad erlidgar tuag ato. Ceir ymadroddion yn ei ddydd-lyfr sydd yn profi hyn, er mai yn dra chynil y cyfeiria at ei brofedigaethau. Ar y 29ain o Ragfyr ysgrifena: "Yr wyf yn llawen am fod fy enw yn cael ei 'fwrw allan megys aflan, er mwyn Mab y dyn.' Yr wyf yn gobeithio fy mod yn cael fy ngalluogi i '*ddewis* yn hytrach oddef adfyd gyda phobl Dduw, na chael mwyniant pechod dros amser.' Fy nymuniad yw cael nerth i ymdrechu ymdrech deg, cadw y ffydd, a gorphen fy ngyrfa mewn llawenydd a gorfoledd." Ar yr 22ain o Fawrth, y flwyddyn ganlynol, ysgrifena yn y modd a ganlyn: "Yr wyf yn cael fod yr Arglwydd, o'i ras, yn bwriadu fy nhynu o bob peth i fyw yn unig arno ef. Mi a bwysais ar gorsen ddrylliedig, yr hon a'm gwanodd hyd y galon. Yn bresenol nid oes genyf gyfaill ond yr Hollalluog. Ac onid yw ef yn ddigon? Ydyw, ni chais fy enaid neb ond efe." Eto, ar y 4ydd o Ebrill: "Yn ddiau nid oes ofn Duw yn y lle hwn. Mor hyfryd fydd y nefoedd, lle ni ddaw anghydfod byth!" Eto, ar y 19eg o'r un mis: "Yn ddiweddar, mae y gelyn wedi cael caniatad i ruthro arnaf o bob tu. Enw da, bri daearol, ac elw daearol, maent oll mewn perygl. Ond bendigedig fyddo yr Arglwydd, yr wyf yn llawen a boddlon i ymadael â hwynt oll. Croesaw, waradwyddiadau, ond i'm ffydd gael ei chadarnhau yn addewidion Duw, ac i mi gael awyr oleu i ganfod yr etifeddiaeth addawedig. Y mae tragywyddol bwys gogoniant yn pwyso yn drymach na phob gofidiau yma isod." Ar y 23ain o Fai, gwna sylw nad yw ei ystyr yn hollol glir: "Heddyw yr wyf wedi newid fy llety; a gwelais law yr Arglwydd yn amlwg nodedig yn nhrefniad y lle hwn i mi. Yr oeddwn mewn ofn a chyfyngder wrth fod heb le i fyned iddo; ond y mae calonau pawb yn llaw yr Arglwydd." Ai y meddwl yw fod yr offeiriad ieuanc mewn ofn rhag na dderbynid ef i dŷ oblegyd y drygair a daenid am dano? A oedd pregethu yr efengyl yn ei phurdeb, a chydag angerddoldeb teimlad, yn bechod mor fawr yn Eglwys Loegr y pryd hwn, fel yr oedd perygl i'r cuwrad a wnelai hyny gael ei esgymuno o gymdeithas? Nid yw hyn mewn un modd yn annhebyg.

Ymddengys i ryw gyfaill gynyg lle iddo fel cuwrad iddo ef, ond ni fynai Mr. Charles droi ei gefn yn nydd y frwydr. Fel hyn yr ysgrifena yn ei atebiad: "Ni byddai arnaf byth ddiffyg cymhellion dros adael fy lle presenol, tra y byddai rhagolwg genyf am gael byw yn agos i chwi. Eto, fel gwas i Feistr mawr a da arall, dylwn ymddihatru oddiwrth bob hunangais, a chadw ei ogoniant ef gerbron fy meddwl yn fy holl actau. Pan fyddo person wedi ymsefydlu mewn rhyw le, a hyny, fel y tybia, dan dywysiad Rhaglunieth oll-ddoeth, dylai, yn ol fy marn i, fod yn dra gochelgar mewn newid am le arall, er y geill fod yn fwy dymunol i gig a gwaed, ac yn llawer mwy enillfawr. Nid yw fy lle presenol mewn un modd yn ddymunol ar hyn o bryd. Nid oes genyf yr un cyfaill Cristionogol i ymddiddan ag ef o fewn cylch pymtheg milltir. Y mae ymddygiad annysgwyliadwy Mr. N. (sef Mr. Newman, rheithior y plwyf) wedi cynyrchu oerfelgarwch rhyngom. Tuedda yr holl amgylchiadau hyn, yn nghyd a'r rhagolygon teg a ddeliwch o fy mlaen, i beri i mi dueddu o blaid derbyn eich cynygiad. Ond ai cyfodi y groes a fyddai hyny? Ai dyma y prawf o'r glewder diildio y dylai pob gweinidog efengyl mewn modd arbenig ei feddu? Yn hytrach, ai nid ysgwyd ymaith y groes a fyddai, yr hon a osododd Duw arnaf, yn ei anfeidrol ddoethineb? Pan fyddo rhagluniaethau yn ymddangos yn dywyll a dyrys, nid ydym i lwfrhau a grwgnach; ond i ddysgwyl yn ddyfal wrth yr Arglwydd, yr hwn a ŵyr oreu pa fath hîn sydd yn ateb ein cyfansoddiadau. Yr wyf yn sicr fod eisiau ychydig o ystormydd geirwon i'm cyffroi i; er y gŵyr yr Arglwydd yn dda mor wan ydwyf i'w dwyn. Y mae wedi addaw rhoddi nerth yn ol y dydd; dyma fy nghynaliaeth a'm cysur. Am y rhesymau hyn yr wyf yn cael fy hun, gwedi dwys ystyriaeth a gweddi, ac o leiaf rhyw gymaint o ymgais at weddïo, yn tueddu i wrthod y cynygiad, rhag, tan ddylanwad cymhellion hunangeisiol, y byddai i mi ddianrhydeddu Duw, a gadael y lle a osododd efe i mi."

Dengys y llythyr yspryd gwronaidd, a chydwybodolrwydd na cheir yn fynych ei gyffelyb. Glynu wrth ei ddyledswyddau a wnaeth y cuwrad ieuanc trwy bob ystorm, ac yr oedd ei feddwl yn fynych yn llawn tangnefedd, heb gymaint a thòn yn ei derfysgu. Fel hyn yr ysgrifena ar gyfer y dydd cyntaf o'r flwyddyn 1780: "Pe na buaset ti, Arglwydd, gyda mi, buasai raid i mi fod wedi syrthio, ac wedi darfod am danaf. Ond, bendigedig fyddo dy enw, yr oedd y breichiau tragywyddol odditanodd. O Dduw, dyro i mi y fraint a'r dedwydd-

wch o fyw i ti. Yr wyf yn hyderu fy mod yn dy deulu er ys saith mlynedd (sef er y pryd y clywodd Daniel Rowland yn pregethu yn Capel Newydd); ac ni fynwn newid fy Meistr er saith mil o fydoedd. Y mae ei wasanaeth yn berffaith ryddid, a'r unig ddedwyddwch o fewn y byd." Yr oedd yr hwn a deimlai fel hyn yn mhell uwchlaw cyrhaedd saeth erlidwyr Queen Camel, a thu hwnt i allu y rheithior digrefydd i'w niweidio. Ymddengys fod Mr. Newman wedi penderfynu gyru ei guwrad ymaith; a chan fod arno gywilydd rhoddi rhybudd iddo i ymadael, penderfynodd ei newynu i ffwrdd, a gostyngodd ei gyflog o bum'-punt-a-deugain i ddeg-punt-ar-hugain, swm ag yr oedd yn anmhosibl i neb fyw arno gyda dim cysur. Yn gynar yn 1780, teimlodd Mr. Charles nad oedd dim i'w wneyd ond rhoddi ei le i fynu. Dylasem grybwyll ddarfod iddo, yn ngwanwyn y flwyddyn flaenorol, gymeryd y gradd o B.A. yn Mhrif-ysgol Rhydychain.

Gyda bod un drws yn cau, cawn Ragluniaeth yn agor drws arall iddo; ac yn mis Mawrth, ymsefydlodd yn Milbourn Port fel cuwrad i un Mr. Lucas. Adwaenai Mr. Lucas pan yn Rhydychain, ac yr oedd ganddo syniad uchel am dano, fel clerigwr efengylaidd. "Yn mysg ein brodyr, y clerigwyr," ysgrifena Mr. Charles, "edrychir arnom fel adar brithion; ond, trwy ras Duw, yr wyf yn gobeithio na bydd i ni ofni eu galluoedd gwagsaw, na'u gwen ddiystyr." Pan gofiom addfwynder tymher Mr. Charles, ac mor anmharod ydoedd i dybio y gwaethaf am neb pwy bynag, rhaid credu fod y clerigwyr o gwmpas Milbourn Port wedi dangos teimlad tra annghristionogol at y ficer a'i guwrad. Desgrifia y lle fel yn dra annuwiol, a chwbl amddifad hyd yr adeg hon o weinidogaeth efengylaidd. "Y mae y wlad yn mha un y preswyliwn," meddai, "yn gwisgo gwedd o'r fath fwyaf athrist; gwedd ddigon trist i gyffroi cydymdeimlad y mwyaf calongaled. Dyffryn ffrwythlawn ydyw, ond fel hwnw yn ngweledigaeth Ezeciel, y mae yn llawn o esgyrn meirwon, y rhai ydynt yn aml iawn, ac yn sychion iawn. Dyeithr beth i'r trigolion yw swn bywiocaol efengyl yr iachawdwriaeth. Crefydd sydd megys wedi ei halltudio er ys blynyddoedd, ac anwiredd sydd wedi dyfod i mewn fel llifeiriant, nes gorchuddio yr holl wlad. Gobeithio y galluoga yr Arglwydd ni i gyfodi baner yn ei erbyn, ac y llwydda yr Ysbryd ein hymdrechion gweiniaid i atal y llif."

Pa ymdrechion a wnaed ganddo i efengyleiddio y wlad, nis gwyddom; y mae agos yn gwbl ddystaw yn ei ddydd-lyfr, ac yn ei lythyrau, am ei lafur; ond gallwn gasglu yn sicr, oddiwrth yr hyn a wyddom am dymheredd ei yspryd, a'i hanes ar ol hyn, na fu yn ol o lafurio hyd eithaf ei allu. A ganiatawyd iddo eneidiau yn wobr am ei waith, sydd anhysbys. Nid yw yn debyg iddo fod yn gwbl aflwyddianus; nid yw yr Arglwydd yn arfer gadael llafurwaith ei weision heb raddau o'i fendith; a phrin y gallwn dybio y buasai yn aros yno am bedair blynedd, heb ei fod yn cael ei galonogi trwy weled yr had a hauai yn egino ac yn tyfu. Ond y mae llen drwchus yn cuddio yr oll, ac nid oes obaith bellach, wedi can' mlynedd o amser, am ei theneuo. Yr ydym yn cael iddo gael ei lawn urddau, Mai 21. "Nid yw yn ymddangos," meddai Mr. Hughes, Llanuwchlyn, yn mywgraffiad Mr. Charles, "pa fodd y bu am ddwy flynedd yn urdd diacon." Ai nid anmharodrwydd yr esgobion i ordeinio clerigwyr efengylaidd yw y rheswm am hyn? Y mae ei deimlad gyda golwg ar ei urddiad yn haeddu ei groniclo. Fel hyn yr ysgrifena: "Y boreu hwn, cefais fy llawn urddau Eglwysig, pryd y darfu i mi yn y modd mwyaf difrifol, ac a'm holl galon, roddi fy hun, ac oll a feddwyf, at wasanaeth Duw. Amser, talentau, a chwbl, yr wyf yn gobeithio ddarfod i mi gael fy ngalluogi i'w rhoddi wrth ei draed ef. Ac yn fy mynydau mwyaf difrifol, a than yr ystyriaeth ddwysaf, ni ddymunwn alw yn ol yr un gair a ddaeth o'm genau. O Dduw, Hollalluog, yr hwn a roddaist i mi yr ewyllys, caniata allu hefyd i gyflawni hyny. Dwg i ben y gwaith a ddechreuaist ynof. Cynysgaetha fi a deuparth o'th Yspryd, a gwisg fi a nerth o'r uchelder. Cynydda fy nghariad at eneidiau. Argraffa yn ddwys a pharhaus ar fy meddwl ystyriaeth am y cyfrif tra phwysig y rhaid i mi ei roddi i ti ryw ddiwrnod o fy ngoruchwyliaeth. Nertha fi i arfer y doniau a roddaist i mi; cyfod i fynu fy nwylaw pan fyddont yn llaesu; cadarnha fy ngliniau gweiniaid. Cymhorth fi i fod yn dy law megys clai yn nwylaw y crochenydd, yn foddlon i gael fy ffurfio, fy rheoli, a'm defnyddio gan dy ddoethineb ddwyfol di, yn y modd ac i'r gorchwyl a weli di yn dda. Nid wyf ond dim ynof fy hun; y mae fy llygaid arnat ti, yn yr hwn y mae yr am-

ddifad yn cael trugaredd. O! na âd fi byth; tydi, yr hwn wyt Dduw ffyddlawn, ac nad wyt byth yn gadael y sawl a ymddiriedant ynot." Yn sicr, ni chychwynodd yr un offeiriad ar waith mawr y weinidogaeth gyda theimlad mwy gweddus.

Buasai yn dda genym allu difynu yn helaeth o'i ddydd-lyfr am y pedair blynedd y bu yn Milbourn Port, ond ni oddef ein terfynau. Ar y cyfan ymddengys fod ei amgylchiadau yn ddigon cysurus; ond yr oedd ei galon yn Nghymru, a theimlai ddymuniad angerddol am gysegru ei alluoedd i wasanaeth ei genedl ei hun. Yn mhellach, yr oedd arno awydd priodi, a sefydlu cartref, ar ol bod yn cymdeithasu â'r ferch ieuanc oedd wedi enill ei serch am bum' mlynedd. Trwy garedigrwydd y Parch. John Newton, ficer Olney, yr hwn yn barhaus a deimlai ddyddordeb ynddo, cynygiwyd iddo guwradiaeth yn Neheudir Cymru, a bu ar fedr ei derbyn. "Ond," meddai, "wrth ymgynghori a'm hanwyl Miss Jones, cefais na wnelai y tro. Hi yw unig blentyn rhiaint tyner ac anwyl. Pan y daeth i'r pwynt, deallais y byddai yn waeth nac angau iddynt i gael eu gwahanu oddiwrthi, tra y byddont byw, gan bellder mawr. Yn wir, pan welais fel yr oedd y meddwl am y peth yn effeithio arnynt, rhoddais heibio y syniad yn hollol; ni fynwn er dim fod yn offeryn i ddwyn eu penwyni i'r bedd mewn tristwch. Rhaid i bob peth felly aros fel y maent hyd nes y cyfarfyddaf â lle yn Ngogledd Cymru, heb fod yn nepell o'r man lle y maent yn trigianu."

Ond er pob ymdrech nid oedd argoel iddo gael cuwradiaeth yn Ngwynedd. Tybiodd ragor nag unwaith ei fod yn cael ei ddymuniad. Daeth cuwradiaeth yn wag yn Nghroesoswallt, ac er pelled ydoedd o'r Bala, yr oedd yn foddlawn ei chymeryd, a llawenhäi ei galon o'i fewn wrth ganfod gobaith y byddai yn llwyddianus yn ei gais. "Ond," meddai, "pan glywodd y ficer fy mod wedi cael fy lefeinio gan yr hyn a alwent yn egwyddorion Methodistaidd, ni fynai siarad gair yn mhellach â mi." Yr oedd Methodistiaeth yn bechod anfaddeuol yn ngolwg y clerigwr hwn. Tebyg y gallasai basio heibio i feddwdod, a halogiad y Sabbath, ac ymroddiad i rysedd cnawdol; ond yr oedd bod yn ddifrifol am y pethau a berthyn i dragywyddol heddwch dyn, oblegyd mor belled a hyn yn unig y cyrhaeddai Methodistiaeth Mr. Charles ar y pryd, yn drosedd nas gallai ei oddef. Daeth cuwradiaeth Mallwyd, yn Sir Feirionydd, yn wag; ymddiriedodd yntau i rywun a gymerai arno fod yn gyfaill iddo i gario y drafodaeth am dani yn mlaen drosto; ond esgeulusodd hwnw gyflawni ei ymddiriedaeth. Eithr ni ffromodd Mr. Charles; yr oll a ddywed yw: "Buaswn wedi digio wrth Mr. —— oni bai i mi weled llaw Duw yn yr amgylchiad."

Pallodd ei amynedd o'r diwedd, a phenderfynodd ddychwelyd i Gymru. Fel hyn yr ysgrifena ar gyfer Mehefin 23, 1783: "Y boreu hwn gadewais Milbourn Port, gan gwbl farnu mai ewyllys yr Arglwydd ydoedd i mi wneuthur felly, pa beth bynag fyddo y canlyniad." Heblaw ei awydd am ddychwelyd i'w wlad ei hun, a sefydlu cartref, ymddengys ei fod yn cael ei rwystro yn ei ymdrechion gyda ei ddyledswyddau gweinidogaethol, oblegyd cyfeiria ato ei hun fel yn rhwym mewn llyfetheiriau y methai eu hysgwyd ymaith, a gofyna, "Pa les yw byw yn y byd oni fydd ein bywyd o ryw ddefnydd?" Dyma Mr. Charles wedi gadael Lloegr, a'r Saeson, ac wedi dychwelyd yn ol i fysg ei bobl ei hun, i beidio eu gadael mwy hyd nes y byddai ei Arglwydd yn ei alw i'r baradwys fry.

Ar yr 20fed o Awst, yr un flwyddyn, priodwyd ef â Miss Sarah Jones, llysferch Mr. Thomas Foulkes, ac ymsefydlodd yn y Bala. Cafodd yn ei briod gymhares o'r fath oreu, yn llawn awydd fel yntau am wasanaethu yr Arglwydd, ac yn barod i gymeryd pwys gofalon teuluaidd ar ei hysgwyddau, er mwyn i'w ddwylaw ef fod yn gwbl ryddion at ei waith mawr. Ychydig ddyddiau yn flaenorol i'w briodas aeth Mr. Charles i Gymdeithasfa Llangeitho. Yr hyn a'i cymhellai yn benaf oedd awydd am glywed Daniel Rowland, ar yr hwn yr edrychai fel ei dad ysprydol. Fel hyn yr ysgrifena: "Yr oedd yn y Gymdeithasfa tuag ugain o offeiriaid, a rhwng tri ugain a phedwar ugain o bregethwyr lleyg, er nad oll yn perthyn i'r Cyfundeb. Gellwch dybio mor falch oeddwn i glywed unwaith yn ychwaneg yr hen Elias benllwyd (Daniel Rowland) yn cyhoeddi dyfnion bethau Duw, gyda y tynerwch, yr eglurder, a'r nerth sydd mor nodweddiadol o hono. Clywais ef ddwywaith, a thri offeiriad heblaw efe, yn nghyd ac amryw bregethwyr lleyg, wedi eu cynysgaethu â doniau rhagorol. Dechreuodd y pregethu ddydd Sadwrn, a pharhaodd hyd ddeg ar gloch foreu Mercher. Ni ychwanegaf

ddim, ond mai da oedd bod yno." Gwelir mor uchel oedd syniadau Mr. Charles am y Methodistiaid, ac hyd yn nod am eu pregethwyr diurddau, pan yr oedd eto o fewn cylch yr Eglwys Sefydledig, ac yn bwriadu treulio ei holl oes ynddi.

Nid yw yn ymddangos i bryder parthed bywioliaeth wasgu ar feddwl Mr. a Mrs. Charles; cwbl ymddiriedai y ddau yn rhagluniaeth Duw, yr hwn a'u dygasai at eu gilydd, ac a roddasai y naill i'r llall. Agorasant siop fechan yn y Bala; gofalai Mrs. Charles am hono, tra yr oedd ystafell arall yn y tŷ wedi ei threfnu yn llyfrgell iddo ef. Ond yr oeddynt yn bryderus am i Mr. Charles gael lle i weinidogaethu. A chan y credai y pryd hwn mai i weinidogaeth yr Eglwys Sefydledig y cawsai ei alw, edrychai allan am guwradiaeth. Nid oedd swm y gyflog a addewid iddo ond dim yn ei olwg, ei bwnc mawr oedd cael cyfleustra i gyhoeddi yr efengyl i bechaduriaid, i'r hwn orchwyl y credai fod Duw wedi ei alw. Ymddengys nad hir y bu cyn cael yr hyn a geisiai; ond dau Sabbath y cafodd wasanaethu cyn i lythyr maith gael ei anfon ato, yn ei esgusodi rhag myned yno drachefn. Awdwr y llythyr yn ddiau oedd offeiriad y plwyf. Yn nesaf, aeth i gynorthwyo ei hen gyfaill, y Parch. Simon Lloyd, yr hwn ar y pryd oedd yn wael ei iechyd. Nid hir y bu yma ychwaith cyn i'r ystorm ymdori arno. Fel hyn yr ysgrifena: "Y Sul diweddaf daeth yr holl blwyf ataf, yn cael eu blaenori gan ddau neu dri o'r trigolion penaf, gan fy nghyfarch mewn dull garwach na dim a arferwyd ataf yn flaenorol. Rhoisant orchymyn caeth i mi na phregethwn drachefn yn eu heglwys; 'canys,' meddent, 'yr ydych wedi melldithio digon arnom yn barod.'" Pe buasai Mr. Charles o dymher boeth, yn arw ei foes, ac yn cael ei gario dros derfynau gweddeidd-dra gan wresogrwydd ei zêl, gallem dybio ei fod yn ei weinidogaeth wedi condemnio pechodau y plwyfolion yn rhy lym, ac felly iddynt gael achos cyfiawn o dramgwydd. Ond y mae ei gymhesuredd a'i foneddigeiddrwydd yn gwahardd tybiaeth o'r fath; a phe amgen, byddai ei dystiolaeth bendant ef ei hun yn ddigonol ar y mater. Meddai: "Cymerais ofal na chai dim ond y gwirionedd yn ei symledd a'i eglurder roddi tramgwydd; ac nid oes dim arall yn cael ei osod yn fy erbyn." Yr hyn nas gellid ei oddef yn yr Eglwys Sefydledig, yn Ngwynedd, yr adeg hono oedd gwirionedd Duw, yn cael ei gyhoeddi mewn modd gonest, gan un o'r dynion mwyaf addfwyn a boneddigaidd ei yspryd a rodiodd y ddaear. Pechod y pechodau oedd dynoethi anwiredd, a chynghori pechaduriaid, gyda phob difrifwch, i ffoi rhag y llid a fydd. Am y trosedd hwn dyma ni yn barod yn cael drysau dwy o eglwysydd wedi eu cau yn erbyn Mr. Charles; dim arall ni ellid roddi yn ei erbyn.

Er pob gwrthwynebiad nid oedd am roddi i fynu ei fwriad gwreiddiol o wasanaethu o fewn cylch yr Eglwys Sefydledig. Mewn llythyr at gyfaill, dyddiedig Medi 29, 1783, ysgrifena yn y modd a ganlyn: "Yr wyf yn awr yn aros i weled beth a wna yr Arglwydd â mi, gan ddefnyddio pob moddion yn fy ngallu i geisio rhyw le i wasanaethu o fewn yr Eglwys Sefydledig; nid er mwyn unrhyw dâl a allwn gael, ond o herwydd cydwybod. Gallwn fyw yn annibynol ar yr Eglwys; ond yr wyf yn Eglwyswr o gydwybod, ac felly ni adawaf hi ar unrhyw gyfrif oddieithr i mi gael fy ngorfodi i hyny. Ond gallwch yn hawdd ddeall pa mor anniddan ac anghysurus yw peidio gwneyd dim. Ni theimlais erioed o'r blaen, i'r un graddau, nerth y geiriau, 'Gwae fi, oni phregethaf yr efengyl.' Yr wyf yn teimlo fod angenrhaid wedi ei osod arnaf, ac y byddai fy mywyd yn berffaith druenus, heb fy mod yn ymdaflu i'r gwaith gyda phob gallu ag a feddaf." Yn nglyn â'r llythyr hwn, gallwn sylwi: (1) Nid ydym am gelu y ffaith mai fel Eglwyswr yr edrychai Mr. Charles arno ei hun y pryd hwn, y meddai gryn serch at yr Eglwys, ac mai ynddi y bwriadai aros os caffai gyfleustra i weithio o'i mewn. Yn hyn safai yn hollol ar yr un tir a'r Tadau Methodistaidd cyntaf. Nid anghymeradwyaeth o'i ffurflywodraeth, ac nid diffyg cred yn articlau ei ffydd, a barodd iddynt hwy droi eu cefnau ar yr Eglwys, a myned allan i'r prif-ffyrdd a'r caeau; eithr cael eu rhwystro i weithio o'i mewn a wnaethant. Oni bai am draha yr esgobion, a llid y clerigwyr digrefydd, nid annhebyg mai plaid weithgar efengylaidd o fewn yr Eglwys a fuasai y Methodistiaid hyd y dydd heddyw. Gobeithiai Mr. Charles yn ddiau y byddai i egwyddorion y diwygiad Methodistaidd, â'r hwn y meddai y cydymdeimlad mwyaf trwyadl, lefeinio yr Eglwys Sefydledig, fel y gallai yntau weithio ynddi, a chadw cydwybod bur. (2) Y mae mor glir a'r haul nad edrychai ar adael yr Eglwys Sefydledig fel sism, os byddai amgylchiadau yn

gwneyd hyny yn angenrhaid; fod yspryd y weinidogaeth yn llawer cryfach yn ei fynwes na'r teimlad Eglwysyddol; a'i fod yn rhagweled y pryd hwn y posiblrwydd o orfod gweithio y tu allan i'w chorlan; yn wir, ei fod wedi penderfynu ar hyny yn hytrach nac arwain bywyd o segurdod. Awgrymir hyny yn glir gan y pwyslais a rydd ar y geiriau: "Gwae fi, oni phregethaf yr efengyl." (3) Gwelwn ei fod ef, neu yn hytrach ei briod, yn llwyddo mewn masnach yn y Bala, fel nad oedd raid iddo wasanaethu yr efengyl er mwyn bywioliaeth.

Tua chanol mis Hydref, cafodd le am dymhor fel cuwrad yn Shawbury, Sir Amwythig. Yr oedd Mr. Mayor, ficer y plwyf, yn ddyn o syniadau efengylaidd, ac yn mawr werthfawrogi ei lafur. Yn y Bala y preswyliai Mr. Charles; ond yn hytrach na chael ei amddifadu o gyfleustra i gyfranu Gair y bywyd, yr oedd yn barod i wasanaethu eglwys oedd haner can' milltir o bellder o'i gartref. Ymddengys iddo aros mewn cysylltiad â Shawbury hyd tua chanol Ionawr, y flwyddyn ganlynol. Achlysur ei ymadawiad oedd ei fod wedi cael cuwradiaeth Llanymawddwy, plwyf tua phedair-milltir-ar-ddeg o'r Bala. Y mae y ffordd rhwng y ddau le hyn efallai y fwyaf fynyddig a pheryglus yn y Dywysogaeth; felly, o leiaf, y desgrifia Pennant y darn o honi sydd rhwng Llanuwchlyn a Dinas Mawddwy; ond trafaelai Mr. Charles i'w eglwys trwy bob tywydd, weithiau ar geffyl, ond fynychaf ar ei draed. Nid oedd trymder gwlawogydd, lluwchfeydd o eira, na thrwch o iâ yn ddigon i'w atal, er mai gwanaidd o gyfansoddiad ydoedd. Taflodd ei holl enaid i'r gwaith yn Llanymawddwy; nid yn unig traddodai bregethau ffyddlawn yn cynwys hufen yr efengyl, ond dechreuodd, ar brydnhawn Suliau, gateceisio yr ieuenctyd yn ngwirioneddau mawrion y Beibl. Bendithiodd yr Arglwydd ei ymdrechion; dechreuodd cyffro gymeryd lle yn mysg yr esgyrn sychion; amryw a argyhoeddwyd i fywyd, ac yr oedd y nifer amlaf o'r plwyfolion yn teimlo yn garedig ato. Ond gwrthwynebai eraill yn ffyrnig. Fel hyn yr ysgrifena at ei briod: "Yr wyf yn iach ac yn gymharol ddedwydd; mor ddedwydd ag y gellir dysgwyl, a chymeryd fy amgylchiadau i ystyriaeth. Cefais fesur o bresenoldeb Duw y Sul diweddaf wrth bregethu. Ymddangosai y bobl hefyd fel pe byddai y gwirioneddau dwyfol yn effeithio arnynt i raddau. Yr wyf yn deall fod y nifer amlaf o honynt yn tueddu i glywed ychwaneg o'r pethau hyn, er fod rhai yn gwrthddywedyd. Rhai hefyd a fygythiant ddelio â mi yn y modd gwaethaf posibl; ond y mae yr oll yn llaw yr Arglwydd. Yr wyf yn llawer gwell nag y dysgwyliwn ar ol cerdded ddydd Sadwrn trwy yr eira. Y mae yr Arglwydd yn dda iawn wrthyf. O bydded i ni ei folianu."

Tri mis y goddefwyd iddo wasanaethu yn Llanymawddwy. Cariodd y rhai gwrthwynebus eu bygythiad allan, ac anfonasant rês o gwynion yn ei erbyn at reithior y plwyf. Nis gwyddom yn hollol natur y cyhuddiadau; ond gallwn ddyfalu mai Methodistiaeth y cuwrad oedd y peth yr achwynid arno fwyaf; ac nid anmhosibl ddarfod i falais a gelyniaeth gamliwio pethau, a llunio nifer o gyhuddiadau celwyddog. Yn ddioedi, heb chwilio i mewn i wirionedd y cwynion, na rhoddi cyfle i Mr. Charles i amddiffyn ei hun, anfonodd y rheithior rybudd iddo i ymadael. Teimlodd y bobl a dderbyniasent fendith trwyddo; a thynasant i fynu ddeiseb i'w hanfon at y rheithior, yn dymuno na fyddai i'r cuwrad effro gael ei anfon i ffwrdd. Ymddiriedwyd cyflwyniad y ddeiseb i un o'r plwyfolion; yntau, yn cael ei ddylanwadu gan y gwrthwynebwyr, a'i dinystriodd yn lle ei chyflwyno i'r clerigwr. Cyfaddefwyd hyn gan y gŵr ei hun yn ganlynol. Nid digon gan yr erlidwyr oedd troi Mr. Charles o'i guwradiaeth; ceisient gynhyrfu teimlad y wlad i'w erbyn. Fel hyn yr ysgrifena efe: "Yr wyf yn deall mai Sul y Pasg yw y diweddaf i mi yma; terfyna fy nghwarter y pryd hwnw. Bwriada fy olynydd fod yma dranoeth, sef y 25ain o Ebrill. Gwnaed ymdrechion gan y gwŷr mawr o gwmpas y Ddinas i gyffroi y plwyfolion yn fy erbyn; ond, ar y cyfan, yn ddieffaith. Digon i ni mai yr Arglwydd sydd yn teyrnasu, a chofio, pan yw tad a mam yn ein gwrthod y gwna yr Arglwydd ein derbyn. Yr wyf yn ddedwydd yn yr Arglwydd. Gweddïwch trosof; ac yn nghanol yr oll ymlawenychwch yn yr Arglwydd." Nid yn fynych y cyfarfyddir â'r fath addfwynder yspryd yn nghanol profedigaethau mor danllyd. Gwelir hefyd oddiwrth y llythyr mai y mawrion o gwmpas Llanymawddwy oeddynt flaenaf yn y camwri o erlid gŵr Duw; i ba raddau eu cynhyrfid i hyny gan yr offeiriaid cymydogaethol, nis gwyddom.

Eithr ymddengys na adawodd Mr.

Charles ẏ mater i orphwys gyda rheithior Llanymawddwy, ond iddo ei godi i lys yr esgob. Yn y bywgraffiad iddo a ysgrifenwyd gan y Parch. W. Hughes, Ficer Llanuwchllyn, ceir a ganlyn: "Yr oedd gan Mr. Charles hawl i apelio at yr esgob, braint yr ymddengys iddo ei defnyddio. Ceir cyfeiriadau yn ei lythyrau at apel a wnaed o gwmpas y pryd hwn at yr Esgob Shepley, yr hwn ar y pryd a eisteddai yn y gadair esgobol yn St. Asaph. Cafodd pob dylanwad oedd at alwad Mr. Charles ei harfer o'i blaid gyda yr esgob. Ond fel yr ymddengys, i ddim pwrpas. Nid oedd dim cydymdeimlad rhwng yr esgob a'r praidd Cymreig a gawsai ei ymddiried i'w ofal; nid oedd y defaid, o'r tu arall, yn adwain llais y prif fugail." Eithr brysia Mr. Hughes i geisio rhyddhau y blaid grefyddol i ba un y perthyna oddiwrth bob cyfrifoldeb yn y mater. "Pa mor ddwfn bynag," meddai, "y bydd i ni alaru oblegyd ymddygiad rheithior Llanymawddwy, nis gellir dal yr Eglwys, fel corph, yn gyfrifol am yr ymddygiad anghyfiawn hwn." Beth? Yr Eglwys ddim yn gyfrifol? Dyma yr offeiriaid trwy holl Wynedd yn gwrthod gwasanaeth clerigwr dysgedig a gwerthfawr oblegyd ei onestrwydd a'i ffyddlondeb i Grist; dyma yr ychydig offeiriaid ddarfu, mewn anwybodaeth, ei gyflogi fel cuwrad, yn cau drysau eu heglwysydd yn ei erbyn mor fuan ag y daethant i wybod ei fod yn cydymdeimlo â'r yspryd Methodistaidd; a dyma eu gwaith yn cael eu gymeradwyo gan y gŵr urddasol a eisteddai yn y gadair esgobol; ac eto dywedir wrthym nad yw yr Eglwys, fel corph, yn gyfrifol! Os nad yw, yna y mae yn gyfryw gorph awyrol nas gellir ei dal yn gyfrifol am unrhyw beth. Os nad yw yr Eglwys i'w chael yn ei hesgobion, ac yn nghyfangorph ei hoffeiriaid, a hyny i'r fath raddau fel y gellir ei dal yn gyfrifol am eu gweithrediadau, nis gwyddom pa le y gellir dod o hyd iddi. Y gwir yw, nad oes dim digon o ddwfr yn afon yr Iorddonen i olchi yr Eglwys Sefydledig yn wỳn am ei hymddygiad at Mr. Charles.

Gwedi ei droi allan o Lanymawddwy, ac heb un cylch arall yn yr Eglwys Sefydledig yn agor iddo, yr oedd Mr. Charles mewn petrusder dirfawr gyda golwg ar beth i'w wneyd. Yn ei benbleth ysgrifenodd at y Parch. John Newton, ficer Olney, yr hwn, fel y gwelsom, a fuasai yn gyfaill iddo yn flaenorol, gan ddeisyf ei weddïau a'i gynghor. O herwydd rhyw reswm, nas gwyddom ei natur, ni chafodd Mr. Newton y llythyr, ond clybu am dano ac am ei gynwys, trwy Eglwyswr arall o'r enw Mr. Wilkinson; ac ysgrifenodd ateb, yr hwn sydd wedi ei ddyddio Mehefin 26ain, 1784. Barnai Mr. Newton mai dyledswydd y Parch. T. Charles oedd gadael y Bala, a Chymru, ac ymorol am guwradiaeth yn Lloegr. Ni fuasai anhawsder iddo gael lle fel cuwrad yno, oblegyd dylanwad yr Iarlles Huntington, ac eraill o fonedd y deyrnas a gydymdeimlent â'r adran efengylaidd yn yr Eglwys. Ond ni fynai efe adael y Dywysogaeth. Ymwelodd droion â Mr. Mayor, ficer Shawbury, dan yr hwn y buasai yn gwasanaethu yn flaenorol. Fel hyn yr ysgrifena at ei briod ar ei ymweliad cyntaf, tua dechreu Mai, 1784: "Byddai yn dda gan Mr. Mayor fy nghyflogi fel o'r blaen, ond yr wyf wedi gwrthod, oblegyd canfyddaf yn eglur y rhaid i mi gyfyngu fy hun naill ai i Gymru neu i Loegr, neu ni wnaf ddim da yn y naill na'r llall. Ac yr wyf yn cael fy nhueddu yn gryf i gymeryd Cymru, fel y cymerais fy ngwraig, 'er gwell er gwaeth, hyd oni'n gwahano angau.'" Ar ymweliad arall yn yr un flwyddyn cawn ef yn ysgrifenu eto at ei wraig: "Nid oes hanes am eglwys. Ond y mae yr holl gyfeillion yn ymddangos yn fy rhoddi i fynu i'r capelau yn Nghymru, tra ar yr un pryd y maent yn dra boddhaol ar fy ymddygiad yn aros mor hir. Yr oll a allaf ddweyd ydyw, fy mod yn dymuno, fel yn ddiffuant y gobeithiaf, bod yn y lle y myn yr Arglwydd i mi. Nis gallaf gario cydwybod euog yn hwy yn fy mynwes, yr hyn y rhaid i mi ei wneyd os treulir fy nyddiau mewn oferedd."

Teifl y llythyrau hyn ffrwd o oleuni ar deimladau ei fynwes. Y mae yn amlwg gyda golwg ar y cyfeillion a'u rhoisent ef i fynu i'r capelau yn Nghymru, mai cyfeillion o fewn yr Eglwys oeddynt. Gwelir felly fod hyd yn nod yr Eglwyswyr, o syniadau efengylaidd, yn argyhoeddedig mai dyledswydd Mr. Charles oedd gadael y Llan, a bwrw ei goelbren gyda'r Methodistiaid; ac iddynt ddatgan eu barn ar y mater wrtho cyn iddo ef wneyd ei feddwl i fynu. Eithr anmhenderfynol a phryderus yr oedd efe yn parhau. Fel hyn yr ysgrifena at ei gyfaill Wilkinson, Mehefin 12fed, 1784: "Y mae'n gyfyng arnaf o'r ddeutu—rhwng gadael yr Eglwys a pharhau ynddi. Wedi cael fy nhroi allan o dair eglwys yn y wlad hon, heb argoel am un



Y PARCH. THOMAS CHARLES, B.A., BALA.

*(Copi o'r Darlun Lliwiedig sydd yn meddiant y Gymdeithas Feiblaidd, yn Llundain.)*

arall, beth a wnaf? Yn yr eglwys ddiweddaf y bûm, mi arosais dri mis. Cafodd yr efengyl ei bendithio yn ddirfawr, fel y gellid meddwl ar y pryd. Y mae y bobl yn galw arnaf, gyda dagrau, am eu porthi â bara'r bywyd. Beth a wnaf? Swnia geiriau Crist yn gyson yn fy nghlustiau—'Portha fy ŵyn.' Credaf fy mod yn teimlo fy nghalon yn foddlawn i ymgymeryd a'r gwaith, bydded y canlyniadau y peth y b'ont. Ond dyna, dylwn fod yn sicr yn fy meddwl fod Duw yn fy ngalw i bregethu o gwmpas. Hyn a'm cyffroa i wneyd prawf o bob moddion i geisio aros yn yr Eglwys, ac i ddysgwyl am ychydig yn ychwaneg beth a wna yr Arglwydd. Diolch i Dduw, nid oes arnaf eisiau dim ond gwybod ei ewyllys, a chael nerth i'w chyflawni. Y mae yr efengyl yn ymledu yma, a miloedd yn tyru i'w gwrando; a chredaf fod miloedd yn yr holl gymydogaethau gwedi ei derbyn yn ei grym. Yr wyf yn crynu rhag i'r Arglwydd fy nghael yn anffyddlon, pan y canfyddaf gymaint o waith i'w wneyd. Aml y tybiaf fy mod yn clywed fy anwyl Feistr yn dweyd wrthyf: 'Paham y sefi yma yn segur ar hyd y dydd?' A y meddylddrych yn llymach pan yr ystyriaf fod y nos yn dyfod yn gyflym, yn yr hon ni ddichon neb weithio. Dywed eich teimladau eich hun wrthych y rhaid i fy meddwl gael ei esmwythâu y naill ffordd neu y llall. O! am gael fy ngwisgo â nerth oddiuchod, a bod yn ffyddlon hyd angau. Gweddïwch drosof, fy anwyl gyfaill. Dyna y gymwynas fwyaf a ellwch wneyd â mi. Yr wyf yn ceisio rhoi fy hun i Dduw, gan fod yn foddlon iddo wneyd â mi fel y gwelo yn dda. Pe y rhoddai i mi i droi y glorian, ofnwn fwrw gwelltyn i mewn, rhag i mi wneyd hyny i'r tu chwith."

Gwelir oddiwrth y llythyr pwysig hwn fod pethau yn dyfod yn gyflym i argyfwng. Heblaw y diflasdod at segurdod oedd yn naturiol i Mr. Charles, a'r tân oedd yn ei yspryd am bregethu yr efengyl, awgryma ei eiriau fod rheswm arall yn dylanwadu yn gryf arno, i beri fod ei awydd am ymdaflu i waith y weinidogaeth, beth bynag a allai y canlyniadau fod, ar ymffurfio yn benderfyniad didroi-yn-ol. Y rheswm hwn oedd fod diwygiad nerthol wedi tori allan yn y Bala a'r cylchoedd yn mysg y Methodistiaid; fod yr holl wlad yn cyfodi, fel un gŵr, i wrando y Gair, a bod miloedd yn cael eu hachub i fywyd tragywyddol. Ni phetrusai efe gyda golwg ar natur y cyffro; gwelai yn amlwg ei fod o Dduw. Nid rhyfedd, felly, fod ei enaid yn flin ynddo o herwydd cael ei gadw yn gaeth o fewn y Sefydliad Gwladol, heb fedru ymryddhau fel ag i allu cymeryd rhan yn y gwaith da.

Ar un olwg y mae yn syn ei weled mor ymlyngar wrth yr Eglwys. Profa ei lythyrau, a'i ymddygiadau blaenorol, nad pleidgarwch dall yn ffafr yr Eglwys oedd yn ei gadw rhag gadael ei chymundeb. Cawn brofion amlwg ei fod yn ŵr rhyddfrydig, a'i fod yn credu fod gan Dduw braidd y tu allan i'r cylch Eglwysyddol. A thrwy un a gawsai ei fwrw allan o'r Llan, sef Daniel Rowland, y dygasid ef ei hun gyntaf i ryddid gogoneddus yr efengyl. Ymddengys i ni mai yr hyn a'i cadwai rhag cymeryd y cam terfynol, oedd awydd am fod yn gwbl sicr beth oedd ewyllys Duw. Ymgyflwynasai ef i weinidogaeth yr Eglwys Sefydledig yn moreu ei oes; o fewn y cylch hwn y ffurfiai ei holl obeithion; dyma oedd o flaen ei feddwl yn yr ysgolion ac yn Rhydychain; ac ni ddaethai amheuaeth i'w feddwl, hyd nes gweled drysau yr eglwysydd yn cael eu cau yn ei erbyn, nad hyn oedd y cynllun dwyfol tuag ato. Wedi ffurfio cynllun, nid ychydig o anhawsderau a barent iddo ei roddi i fynu. Un o brif nodweddion ei gymeriad oedd dyfal-barhad; glynu wrth ymgymeriad hyd nes gweled yn glir na thyciai. Felly, er methu cael cuwradiaeth, a hyny er ei fod yn foddlon gwasanaethu yn ddidâl, nis medrai gefnu ar holl freuddwydion ei ieuenctyd, hyd nes gweled tu hwnt i gysgodion amheuaeth mai yn y cyfeiriad hwnw yr oedd y golofn yn symud. Ond yr oedd un peth yn benderfyniad arosol yn ei feddwl, sef y rhaid iddo dreulio ei einioes i gyfranu bara'r bywyd. Gwelai ei fod wedi ei gymhwyso at hyny; llosgai gair yr Arglwydd yn ei yspryd megys tân; ac o'u cymharu a phwysigrwydd cael gwasanaethu Duw yn efengyl ei Fab nid oedd y ffiniau Eglwysyddol, yn ei olwg, ond megys dim.

Tra fel hyn yn betrusgar, mewn blys tori trwy, ac eto yn methu ymryddhau oddiwrth ofn, gwasanaethai mewn unrhyw eglwys lle y caffai ganiatad. Dywedir iddo fod droion yn Llanwddyn yn llanw lle rhywun. Amlwg mai ychydig y pryd hwn fuasai yn ddigon i droi y fantol yn ei feddwl, a daeth yr ychydig hyny iddo yn y ffurf o freuddwyd. Yn ei freuddwyd gwelai ddydd mawr y farn wedi dyfod,

gyda ei holl fawrhydi a'i ddychrynfeydd. Ar orsedd wen fawr eisteddai Barnwr byw a meirw, mewn gogoniant digyffelyb. Ger ei fron gwelai filiynau ar filiynau wedi eu cydgynull. Ar y pryd, yr oedd prawf y gwas drwg a diog, y ceir ei hanes yn y bumed-benod-ar-hugain o Matthew, yn myned yn mlaen; ac, fel y gallesid dysgwyl, yn ei erbyn yr oedd y treial yn myned. Ar y terfyn dyma y Barnwr yn cyhoeddi y ddedfryd ofnadwy: "Bwriwch allan y gwas anfuddiol i'r tywyllwch eithaf: yno y bydd wylofain a rhincian danedd." Llanwyd meddwl Mr. Charles, nid yn unig â dychryn, ond hefyd ag argyhoedd-iad, fod y condemniedig yn bortread o hono ef. Braidd na welai y Barnwr yn troi ato, gan ddweyd yn ngeiriau Nathan wrth Dafydd: "Ti yw y gŵr!" Gwedi iddo ddeffro nis gallai ymryddhau oddiwrth arswyd y weledigaeth; teimlai fod y peth yn rhagor na breuddwyd cyffredin, fod ynddo genadwri uniongyrchol oddiwrth Dduw ato; ac yr oedd adsain condemniad y gwas anfuddiol yn taranu yn ei glustiau. Penderfynodd ar unwaith na arosai yn segur yn hwy, ond yr ymdaflai i ryw waith dros ei Brynwr. Y peth nesaf at law a welai oedd dysgu pobl ieuainc y Bala yn egwyddorion crefydd. Cawsai flâs ar gateceisio pan yn gwasanaethu yn Llanymawddwy, ac adwaenasai ei gymhwysder arbenig ei hun at y cyfryw orchwyl, felly ail-gydia yn hyny. Gwahoddodd yr ieuenctyd anwybodus i'w dŷ ar brydnhawn Sabbathau; ac mor garedig oedd ei ddull, ac mor ddyddorol ei hyfforddiant, fel yr aeth y tŷ yn fuan yn rhy fychan. Erbyn hyn yr oedd Methodistiaid y Bala wedi adeiladu capel; a chan na chynhelid moddion yno brydnhawn dydd Sul, cynygiasant y lle i Mr. Charles. Yntau yn ddiolchgar a'i derbyniodd. O hyny allan llenwid yr addoldy diaddurn bob Sabbath gan ddynion awyddus am wybodaeth grefyddol, ac yr oedd yr athraw parchedig wrth fodd ei galon pan yn eu canol, yn egluro iddynt ddyfnion bethau Duw. Braidd nad allwn edrych ar y cateceisio yma fel y gwraidd oddiar ba un y tyfodd yr Ysgol Sul. Felly medd Mr. Charles fwy o hawl i gael ei ystyried yn dad iddi na hyd yn nod Mr. Joseph Raikes. Trwy fyned i gyfranu addysg i adeilad heb dderbyn cysegriad esgobol, a thrwy ei fod, yn ddiau, yn ychwanegol yn dal ar y cyfleustra i gynghori a rhybuddio yr anystyriol, yr oedd Mr. Charles wedi croesi dros ragor na haner y ffordd oddiwrth yr Eglwys at y Methodistiaid. Nid yw yn ymddangos iddo uno yn ffurfiol â'r seiat Fethodistaidd yn y Bala, a myned o gwmpas i bregethu yn nghapelau y Cyfundeb, hyd ddechreu y flwyddyn ganlynol, sef 1785. Y pryd hwnw torwyd yr edefyn olaf a'i cysylltai â'r Eglwys Wladol, ac ymdaflodd â holl yni ei yspryd i waith yr Arglwydd gyda'r Trefnyddion Calfinaidd.

Gyda golwg ar y cam hwn a gymerodd, y mae yn hollol glir i'r darllenydd nad gweithred fyrbwyll ydoedd; nid siomiant a barodd iddo roddi naid sydyn; bu yn ystyried, yn petruso, yn ymgynghori â chyfeillion, ac yn arbenig yn ymgynghori â Duw mewn gweddïau taerion, cyn ffurfio penderfyniad terfynol ar y mater. Braidd na theimlwn iddo fod yn araf i adnabod llaw Rhagluniaeth. Nid oes hanes am neb wedi gweithredu yn fwy dan argyhoeddiad o ddyledswydd, a chyfrifoldeb i'w Farnwr, ac yn fwy rhydd oddiwrth unrhyw gymhellion hunanol, nag y gwnaeth Mr. Charles wrth fwrw ei goelbren yn mysg y Methodistiaid. Nid gobaith am anrhydedd a'i cymhellai, a llai fyth y dychymygai am elw bydol. Gwyddai ei fod yn ymuno â phobl dlodion, yn cael eu herlid gan fonedd y tir, ac nad oedd dim ond gwawd a lludded yn ei aros yntau wrth ymaelodi yn eu mysg. Ond trwy hyn caffai un peth, sef cyfleustra i wneyd ei oreu dros ei Waredwr, ac i arwain ei gydwladwyr tlodion ac anwybodus ato. Gweithred o farn bwyllog, ac o ystyriaeth ddifrifol, oedd ymuniad Mr. Charles â'r Methodistiaid, a gweithredai dan ddylanwad y cymhellion mwyaf pur.

Y mae lawn mor sicr na edifarhaodd Mr. Charles byth am y cam hwn o'i eiddo. Pan mewn henaint cymharol yn adolygu ei einioes, ac yn edrych yn ol ar ei fywyd bron o derfyn y daith, yr oedd yn gwbl argyhoeddedig nad camgymeriad oedd ei waith yn myned trosodd at y Methodistiaid, ond ei fod yn cael ei arwain gan y golofn. Fel hyn yr ysgrifena yn y flwyddyn 1810, sef yn mhen rhagor na phum'-mlynedd-ar-hugain gwedi iddo ymuno â'r Cyfundeb, at ŵr ieuanc mewn petrusder: "Yr wyf yn teimlo dros eich penbleth. Ond nid oes ynwyf amheuaeth os edrychwch i fynu yn syml at yr Arglwydd, y bydd iddo yn rasol eich cyfeirio yn y ffordd y dylech fyned. Ond nid yw yn perthyn i mi benderfynu. Yr wyf yn gwbl argyhoeddedig mai Rhagluniaeth a'm harweiniodd i i'r ffordd ar hyd pa un

yr wyf yn ymsymud, canys ni feddyliais erioed am dani. Heb gael eich dylanwadu gan ragfarn, hunan-les, na'r anrhydedd sydd yn dyfod oddiwrth ddynion, dyrchefwch eich llygaid i'r mynyddoedd, o'r lle y daw ein cymhorth, a'r Arglwydd a'ch arweinia yn ddyogel; ac yn ei amser da ef chwi a welwch y ffordd yn glir o'ch blaen. Teimlaf yn ochelgar wrth gynghori gwas un arall. Yr Arglwydd yn unig a ŵyr at beth y mae wedi eich bwriadu a'ch cymhwyso. Yr oedd llawer gynt yn barod i'm

Eithr y mae llythyr arall a ysgrifenwyd ganddo tua'r un adeg, yn fwy anghamsyniol fyth. Fel hyn y dywed: "Y mae yn dda genyf fod ar eich meddwl wneyd daioni, ac i geisio, trwy bob moddion yn eich gallu, iachawdwriaeth yr eneidiau anfarwol sydd yn cael eu difetha o'n cwmpas. *Gwaith* y weinidogaeth yw ein hanrhydedd, ac nid ei helw; a hyn yn benaf a ddylai fyned a'n sylw. Gallaswn i gael fy nyrchafu yn yr Eglwys; cafodd hyny ei gynyg i mi trosodd a throsodd;



PARCH. T. CHARLES, B.A., BALA.
[*Allan o'r "Evangelical Magazine,"* Medi, 1798.]

cynghori i; ond y mwyaf blaenllaw oeddynt y pellaf oddiwrth y nôd. 'Gwell pwyll nag aur.' 'Ond dan enw pwyll fe ddaw twyll.' Diarebion Cymreig nodedig o ddoeth yw y rhai hyn." Prawf y cysylltiadau, mai y cynghorwyr blaenllaw, pell oddiwrth y nôd, oedd y rhai hyny a'i cynghorent i lynu wrth yr Eglwys Wladol. A braidd nad yw yr olaf o'r ddwy ddiareb yn awgrymu fod Mr. Charles yn teimlo, wrth adolygu yr argyfwng, ddarfod iddo gario pwyll braidd yn rhy bell.

ond llawer gwell genyf ddarfod i mi dreulio y tair-blynedd-ar-hugain olaf o'm bywyd fel y gwnaethum, gan grwydro i fynu ac i lawr ein gwlad oer a diffrwyth, na phe y cawswn fy ngwneyd yn archesgob. Pa dda a gyflawnais nis gwn, ond y mae yn wirioneddol fwynhad cael amcanu ato, a chael llafurio heb unrhyw lyfethair. Nid dewisiad o'm heiddo i ydoedd; Rhagluniaeth a'm harweiniodd." Nis geill dim fod yn fwy pendant a phenderfynol. Yn Lloegr, ac wedi iddo ddyfod i fri fel gŵr

da, a threfnydd a dyngarwr digymhar, y gwnaed y cynygiadau yma o ddyrchafiad Eglwysig iddo, yn ddiau; nid oes hanes i Eglwyswyr Cymru, yn glerigwyr na boneddwyr, ddangos iddo unrhyw arwydd o ffafr. Gwelir hefyd fel y mae yn ymogoneddu yn ei ryddid oddiwrth y llyfethair Eglwysig a fuasai yn rhwystr anorfod iddo pe yr arosasai yn y Llan; ac fel y mae yn gwerthfawrogi y fraint a gafodd, o gael gweithio allan ei wahanol gynlluniau, heb fod unrhyw awdurdod allanol yn ei rwystro.

Teg cydnabod nad amcanai Mr. Charles, pan yn dechreu teithio yn mysg y Methodistiaid, adael yr Eglwys yn gyfangwbl; tybiai y posiblrwydd iddo ddychwelyd rywbryd yn y dyfodol. Fel hyn yr ysgrifena: "Pan y dechreuais deithio, yr oedd hyny oblegyd na ddefnyddient fi yn yr Eglwys yma. Bwriadwn symud i Loegr, mor fuan ag y byddai amgylchiadau yn caniatau, heb gael fy lluddias i hyny gan ychydig deithiau o gwmpas. Yn raddol, modd bynag, aethum mor bell i'r gwaith, fel nas gallwn yn gydwybodol droi fy nghefn a'i adael. Nid yw arweiniad Rhagluniaeth i mi yn un rheol i eraill." Oddiwrth y difyniad hwn gwelwn fod Mr. Charles yn ystyried ei hun dan dywysiad uniongyrchol y nefoedd, nid yn unig pan yn ymuno â'r Methodistiaid, ond wrth barhau i lafurio yn eu mysg hyd ddiwedd ei oes. Bwriadau Duw tuag ato a gyflawnwyd, ac nid ei fwriadau ef ei hun. A daeth yntau i deimlo yn falchach o'i safle, ac o'r cyfleustra a rodded iddo i weithio yn ddirwystr, na phe y cawsai ei ddyrchafu i fod yn archesgob.

Darfu i ymuniad gŵr o ddysgeidiaeth a safle Mr. Charles â hwy effeithio er dyrchafu y Methodistiaid yn fawr yn ngolwg y wlad, a sicr yw ddarfod i'r goreuon o honynt, ac yn wir eu corph, ei dderbyn â breichiau agored. Gwelwn eu parodrwydd, dan arweiniad John Evans a Thomas Foulkes, yn cynyg eu capel iddo yn y Bala. Ond ymddengys fod rhai yn teimlo yn rhagfarnllyd. Meddai y Parch. Lewis Edwards, D.D.: * "Mae yn naturiol meddwl iddo gael y derbyniad mwyaf croesawus yn ebrwydd. Ond nid felly y bu; oblegyd yr oedd llawer o'r Methodistiaid ar y cyntaf yn edrych arno fel un balch, diaddurn, a diddefnydd. Ond yr oedd y rhai callaf o angenrheidrwydd yn ei barchu." Nis gwyddom yn awr ar ba awdurdod yr ysgrifenai Dr. Edwards; tebyg fod ganddo sail ddigonol i'w eiriau; ond nis gallwn lai na chredu mai eithriadau oedd y rhai rhagfarnllyd. Efallai y gwneyd hwy i fynu o ddau ddosbarth, sef y rhai a awyddent am lywodraeth, ac a ofnent fod hyny allan o'u cyrhaedd mewn cymdeithas o ba un y byddai Mr. Charles yn aelod; a'r rhai a ddychrynent rhag dysgeidiaeth, trwsiad addas, a boneddigeiddrwydd moes, fel arwyddion o falchder. A chan fod ei iaith yn bur wrth bregethu, a'i fod yn ymgadw yn y pwlpud rhag yr hyn a ystyriai yn wres anghymedrol, ac na feddianai hyawdledd areithyddol digyffelyb rhai o'r pregethwyr diurddau, nid annaturiol fod rhywrai nas gallent weled yn îs na'r arwyneb yn tynu cymhariaeth anffafriol rhyngddo ef a'r rhai hyny. Ond yn fuan adnabyddwyd ei ostyngeiddrwydd, a'i diriondeb, yn nghyd a'i gymhwysder at waith yr efengyl. Yn mis Awst, 1785, aeth i Gymdeithasfa Llangeitho. Yr oedd Daniel Rowland y pryd hwnw yn fyw, ac yn gwybod hanes Mr. Charles yn dda, a diau y teimlai gariad ato fel un a gawsai ei arwain trwyddo at Grist. Felly, cafodd Mr. Charles ei osod i bregethu i'r miloedd oedd wedi cydymgynull. Boddhawyd yr hen Apostol yn fawr yn y bregeth, nis gallai lai na theimlo yn llawen fod gŵr o'r fath wedi ymuno a'r Methodistiaid yn Ngwynedd, a dywedai ar y terfyn yn ei ffordd neillduol ei hun: "Rhodd yr Arglwydd i'r Gogledd ydyw Charles." Tua mis Medi yn yr un flwyddyn, aeth am daith y tro cyntaf i Sir Gaernarfon, ac i'r cynulleidfaoedd yr oedd ei weinidogaeth efengylaidd wresog fel gwlith ar irwellt, ac fel cawodydd ar laswellt. Ar y daith hon cyfarfyddodd a'r Parch. Thomas Jones, Dinbych, a ffurfiwyd cyfeillgarwch rhyngddynt a barhaodd tra y bu y ddau byw. Cofnoda Mr. Jones iddo gael y fath syniad am Mr. Charles, o ran ei symledd, ei ddiwydrwydd, ei agweddau Cristionogol, yn nghyd a'i yspryd deffrous a'i ddoniau rhagorol fel pregethwr, nes cael ei enill i'w garu a'i barchu o hyny allan. Ychydig ar ol hyn cafodd odfa ryfedd yn y Lôn Fudr, yn Lleyn; ymddengys mai nid nerth oedd yn cael ei deimlo ynddi yn gymaint â rhyw swyn hyfryd a gorchfygol; eithr yr oedd y perarogledd mor nefol ac mor rymus, fel y llanwodd yr holl wlad. Yn nyddiau Nadolig, yr un flwyddyn, pregethai mewn Cymdeithasfa yn y Bont Uchel, nid yn nepell o Ruthin. Ei destun oedd, Gal. iv.

* *Traethodau Llenyddol*, tudal. 269.



PARCH. T. CHARLES, B.A., BALA.
[*Oddiar gopi yn meddiant W. Morgan, Pant.*]

4, 5; a'i fater oedd, person dwyfol y Gwaredwr, yn nghyd a'i ufudd-dod gweithredol a dyoddefol. Dywed y Parch. Thomas Jones, yr hwn oedd yn bresenol ac yn gwrandaw, ei fod yn traddodi "gyda'r fath eglurdeb, awdurdod, ac effeithiau nefolaidd, ag a roddodd y gynulleidfa mewn syndod deffrous a diolchus, ac mewn ymdoddiad serchiadol ac ysprydol, na welwyd y cyffelyb ond anfynych." Buan y diflanodd pob rhagfarn o eiddo y culaf o'r Methodistiaid at Mr. Charles, fel eira tan belydrau yr haul; cyn pen blwyddyn gwedi ei ymuniad, yr oedd yr olion olaf o hono wedi cilio; ac yn bur fuan, cymerodd yntau ei le fel arweinydd yn Ngwynedd, i'r hon safle y cawsai ei gymhwyso gan natur, dysgeidiaeth, a gras.



# PENOD XXXI.

——:o:——

## THOMAS CHARLES, B.A., BALA—*(parhad).*

*Llafur Mr. Charles wedi ymuno a'r Methodistiaid—Ei ymdrech i gael capel yn Nolgellau—Thomas Pugh, Brynbella—Sul cymundeb yn y Bala —Yr eglwysi yn dewis blaenoriaid am y tro cyntaf—Mr. Charles yn cael ei erlid yn Nghorwen —Esgob Llanelwy yn bygwth cyfraith arno—Y mae yn dyfod yn arweinydd yn Ngwynedd—Desgrifiad y Parch. Roger Edwards o hono fel pregethwr—Sefydlu yr ysgolion cylchynol Cymreig—Yn dilyn yn ol traed Griffith Jones—Lewis Williams, Llanfachreth—Sefydlu yr Ysgol Sabbothol—Mr. Charles yn dad y symudiad—Gwrthwynebiad yr hen bobl dda—Eu rhagfarn yn cilio yn raddol—Y Cymanfaoedd Ysgolion—Eu dylanwad ar y wlad.*

YR oedd Mr. Charles tua deg-ar-hugain mlwydd oed, ac wedi bod mewn urddau sanctaidd am ryw saith mlynedd, pan y darfu iddo, yn gynar yn y flwyddyn 1785, ymuno a'r Methodistiaid. O hyn allan, cawn ef ar ei eithaf yn llafurio yn mhlaid yr efengyl gydag ymroddiad diball, a thu hwnt i'w allu. Gellir rhanu ei ymdrechion i dri dosparth, sef ei lafur cyffredinol fel gweinidog, ei ymdrech gyda gwahanol sefydliadau dyngarol ac addysgol, a'i wasanaeth trwy yr argraffwasg. Nis gallwn ymdrin a'r pethau hyn yn gwbl ar wahan, oblegyd eu bod wedi eu cydwau yn ei fywyd. Eithr credwn nad yw y gwasanaeth a gyflawnodd yn ei gymeriad o weinidog, ac fel arweinydd doeth i'r Cyfundeb pan y cymerai ffurf barhaol, wedi cael dim tebyg i gyfiawnder oddiar ddwylaw haneswyr, oblegyd gogoniant mwy rhagorol y sefydliadau a gychwynwyd ganddo, a'r daioni a effeithiodd trwy y wasg. Ac ofnwn nas gellir gwneyd tegwch bellach a'i lafur gweinidogaethol. Yr oedd y Bala yn fath o ganolbwynt i Fethodistiaid Gwynedd pan yr ymunodd Mr. Charles â hwy. Yr ydym yn amheus a feddai y Cyfundeb na chynghorwr na phregethwr yn yr oll o Sir Feirionydd ar y pryd, ond y rhai a gyfaneddent yn y Bala a'i chylchoedd. Yma y preswyliai y synwyrgall John Evans, y boneddigaidd Thomas Foulkes, y doniol a'r cofus Dafydd Cadwaladr, yr efengylydd melus William Evans, y Fedwarian, yn nghyd ag amryw gynghorwyr eraill, megys Humphrey Edward, a'r ddau frawd, Sion ac Evan Moses. Yr oedd Cymdeithasfaoedd y dref hefyd yn dechreu dyfod y rhai mwyaf poblogaidd yn y Gogledd; ymgasglai tyrfaoedd iddynt o bob rhan o'r wlad, ac ynddynt y penderfynid pob mater o bwys. Effeithiodd ymuniad Mr. Charles a'r Cyfundeb er rhoddi pwysigrwydd ychwanegol i'r Bala mewn ystyr Fethodistaidd.

Nid yw yn ymddangos iddo ymyraeth llawer â seiat y Bala; yr oedd yr achos yma dan arweiniad John Evans a Thomas Foulkes, ac nid hawdd fuasai dod o hyd i rai mwy medrus; felly, taflodd Mr. Charles ei hun ar unwaith i'r gwaith cyffredinol yn Sir Feirionydd. Ymroddodd nid yn unig i gadarnhau yr achosion oeddynt yn barod wedi eu sefydlu, ond hefyd i blanu rhai newyddion, ac i adeiladu capelau. Pedwar capel a feddai y Methodistiaid yn holl Sir Feirionydd yr adeg hon, sef y Bala, Penrhyndeudraeth, Dolyddelen, a Blaenau Ffestiniog; ond, trwy offerynoliaeth Mr. Charles, ychwanegwyd amryw at eu rhifedi yn fuan. Gallwn gyfeirio, fel esiampl, at Dolgellau. Yr ydym wedi galw sylw yn barod at ffyrnigrwydd yr erledigaeth yno, a'r modd yr oedd y Methodistiaid, yn gyffelyb i'r Crynwyr yn flaenorol, wedi cael eu hanos megys defaid gan gŵn. Dolgellau, er nad ynddi y cedwid y brawdlysoedd, oedd y dref fwyaf pwysig yn y sir mewn ystyr fasnachol, ac un o benderfyniadau cyntaf Mr. Charles oedd meddianu y lle hwn i Grist. Gwnaeth ymgais at hyny o fewn corph y flwyddyn yn mha un yr ymunodd a'r Methodistiaid. Ceir ganddo ef ei hun

adroddiad am dano yn ceisio pregethu yn yr ardal; allan yn yr awyr agored y llefarai; ond prin yr oedd wedi codi ei destun cyn iddo weled yr erlidwyr yn dyfod yn llu, yn fygythiol eu gwedd, a chyda thyweirch neu gerig yn eu dwylaw, ar fedr eu lluchio ato. Pan eu gwelwyd gan un o'r gynulleidfa, gŵr tal a chadarn o gorph, a gwrol o yspryd, neidiodd rhwng y pregethwr a'r perygl, gan ddweyd wrtho am fyned rhagddo yn ddiofn, a thraethu ei genadwri i'r dyrfa, y gwnelai ef ofalu am y terfysgwyr. Felly y bu, ac ymddengys i genad Duw gael llonydd. Yn nechreu y flwyddyn 1786, llwyddodd Mr. Charles i gael tŷ ardrethol yn Nolgellau i gynal moddion; perchen y tŷ oedd Dr. Henry Owen, un o'r Crynwyr, a breswyliai ar y pryd yn Llwyngwril. Yn mis Mai, yr un flwyddyn, prynodd y lle, yn cynwys tri o dai bychain a gerddi; y pris oedd 121 punt, a deg swllt; a dyddiad cwblhad y weithred yw Hydref, 1786. Gwelir felly na chollodd ddim amser yn y peth. Efe ei hun a dalodd arian y pryniad; efe hefyd a aeth yn gyfrifol am draul y capel a adeiladwyd ar y darn tir; nid oedd neb yn y dref yn barod i ymuno ag ef yn hyn o gyfrifoldeb. * Enwau yr ymddiriedolwyr cyntaf ydynt Thomas Charles, Thomas Foulkes, a John Evans, oll o'r Bala, a dau ŵr ieuanc, o gwmpas pump-ar-hugain oed, o Dolgellau, sef Hugh Lloyd a John Lewis. Teg hysbysu ddarfod i gryn gymhorth at y capel ddyfod o'r Deheudir, trwy offerynoliaeth Jones, Llangan; cyfranodd Cymdeithasfa y Gogledd hefyd yn haelionus, oblegyd yn ei chofnodau am Mehefin 13, 1787, ceir a ganlyn: "Talwyd i glirio capel Dolgellau, 17*p.* 4*s.* 9½*c.*" Awgryma y term "clirio," yn nghyd a'r arian mân yn y cyfraniad, i'r holl draul gael ei thalu, naill ai ar agoriad y capel, neu yn fuan gwedi hyny. Hynod o ddiolwg oedd yr adeilad hwn; pridd oedd y llawr, moelion oedd y muriau, a'r unig ddodrefn o'i fewn oedd meinciau digefn i eistedd arnynt, a math o bwlpud diaddurn at wasanaeth y pregethwr. Ond diau fod ei gael fel yr ydoedd yn destun llawenydd annhraethol i'r ychydig grefyddwyr tlodion; nid hir ychwaith y buwyd cyn gosod eisteddleoedd cysurus ynddo, a chwedi iddo fyned yn rhy fychan, ychwanegwyd oriel gyfleus.

Y mae agos yn sicr fod holl ofal cario yr achos yn mlaen yn Nolgellau yn gorphwys ar y cyntaf ar Mr. Charles; o leiaf, felly y bu hyd y flwyddyn 1793, pan y llwyddodd i godi pregethwr ieuanc o fysg y frawdoliaeth, sef y Parch. John Griffith; o hyny allan, ymddiriedodd lawer o'r gofal iddo ef. Arferai hen Fethodistiaid Dolgellau ddweyd mai Mr. Charles oedd y gweinidog cyntaf a fu ar yr eglwys yno. Trwy ei yni, yn nghyd a'i drefniadaeth ddoeth ef, a gwaith Pen yr eglwys yn helaeth fendithio ei lafur, llwyddodd yr achos yn rhyfedd. Pan y gwnaed y casgliad cyntaf yno at Gymdeithas Genadol Llundain, yn y flwyddyn 1799, sef yn mhen tairblynedd-ar-ddeg wedi adeiladiad y capel, cyrhaeddodd y swm rhagorol o £16 12s. 6d.; prawf fod y gynulleidfa wedi cynyddu yn ddirfawr mewn rhifedi a chyfoeth. Cyn pen ugain mlynedd yr oedd y capel, er yr oriel a ychwanegasid, wedi myned yn llawer rhy fychan; llygadai y brodyr am le i adeiladu capel mwy; ond, meddai *Methodistiaeth Cymru*: "Nid oedd un llygedyn o dir yn y golwg, yn un man cyfleus, ac yr oedd y gobaith i'w gael i'r dyben hwn yn brin iawn, er talu ei lawn bris am dano."

Yn anuniongyrchol bu gan Mr. Charles ryw gymaint o ddylanwad i gael y darn tir angenrheidiol. Cyn diwedd y ganrif byddai galwad mynych am ei wasanaeth yn Llundain. Lletyai yno yn nhŷ masnachwr o'r enw Mr. Thomas Pugh. Yn fynych cymerai Mrs. Charles gydag ef, ac arosai y ddau weithiau am wythnosau yn olynol yn nhŷ Mr. Pugh. Medrodd Mr. Charles berswadio y masnachwr i adael y Brifddinas, ac agor masnach yn Nolgellau. Llwyddodd yr ymgymeriad tuhwnt i ddysgwyliad neb. Anfonai Mr. Pugh lwyth llong o lechau ymaith, a derbyniai yn ol yn gyfnewid wenith, rhyg, a blawd. Mewn canlyniad daeth yn gyfoethog, adeiladodd dŷ gwych iddo ei hun yn Brynbella, ac ymgymysgai â mawrion y dref a'r gymydogaeth. Yr oedd fod gŵr o'r fath safle yn perthyn i'r Methodistiaid yn gosod parchusrwydd arnynt yn yr ardal. Yn awr, y Mr. Pugh hwn a lwyddodd i sicrhau tir at gapel, ac fel hyn y bu: Cyhoeddwyd fod lle i gael ei werthu, yr hwn, os gellid ei gael, a fyddai yn nodedig o gyfleus. Ofnid ar yr un pryd, os deallai mawrion y gymydogaeth y dyben mewn golwg, na cheid mo hono heb roddi mwy o lawer am dano nag a dalai. Aeth Mr. Pugh i'r arwerth-

* Gweithred gyfreithiol yn meddiant Mr. Edward Griffith, U.H., Dolgellau.

iad, a brawd cyfrifol arall o'r enw Mr. Edward Jones, yn gydymaith iddo. Yr oeddynt ill dau yn dra phryderus, a'r brodyr eraill a weddïent yn daer am lwyddiant ar eu neges. Cynhelid yr arwerthiad mewn tafarndy; yr oedd llu o foneddigion yn bresenol, ac yr oedd y cynygion yn myned i fynu gyda chyflymdra. Eithr pan y cododd Mr. Pugh i £235, ni thueddai neb i gynyg mwy; a chyhoeddodd yr arwerthwr yn groch, oni chaffai gynyg arall cyn pen deg mynyd fod y tir i gael ei daro i lawr iddo ef. Gyda hyn aeth dau gi i ymladd; anghofiodd y boneddwyr yr arwerthiad yn y difyrwch o edrych ar y ffrwgwd rhwng y cŵn; yr oedd pymtheg mynyd wedi pasio cyn i lonyddwch gael ei adfer; a chyda hyny dyna Mr. Pugh, yr hwn a gadwai ei lygaid ar ei oriawr, yn galw sylw yr arwerthwr at yr amser, ac yn hawlio y tir yn ol yr addewid a wnaethid iddo. Cyfaddefodd yr arwerthwr ei hawl, a tharawodd y tir iddo. Ebai yntau: "Dyna dir i'r Methodistiaid i adeiladu capel." "Pe gwybuaswn i hyny," meddai rhyw foneddwr, "mi a godaswn gan' punt yn ychwaneg yn ei bris."

Trwy ymdrechion Mr. Charles hefyd yr adeiladwyd capel yn Ngorwen, ac ni chymerodd hyny le hyd ddechreu y bedwaredd-ganrif-ar-bymtheg. Ychydig a thlodion oedd y crefyddwyr yma ar y pryd; ystyrid y capel yn llawer gormod wrth ystyried maint y gynulleidfa; ond ateb Mr. Charles i'r holl achwynion ydoedd: "Nyni a'i gwnaethom trwy ffydd." Chwarddai llawer ar ben ei ffydd; galwent yr adeilad yn "dŷ mawr heb ddodrefn," yr hyn, yn ddiau, oedd yn cyfeirio at ei foelni tufewnol yn gystal ag at ei faintioli; a soniai rhai mwy eu ffraethineb na'u gras am ei droi yn "ysgubor ddegwm." Ond cynyddu yn raddol a wnaeth y gynulleidfa, a phrofwyd am ffydd Mr. Charles, mai "menter â'i llygad yn ei phen," ys dywedai yr hen John Evans, ydoedd." Pe y gellid dod o hyd i weithredoedd cyfreithiol capelau cyntaf Gwynedd, yn enwedig eiddo Sir Feirionydd, y mae yn sicr y ceid allan mai trwy ei offerynoliaeth ef y cafodd lliaws o honynt eu hadeiladu.

Nid hir y bu Mr. Charles gwedi gadael yr Eglwys heb gymeryd cam arall, a hwnw o'r pwysigrwydd mwyaf, gan ei fod yn ddangoseg fel yr oedd ei feddwl yn cyflym ymsymud, ac yntau yn magu beiddgarwch digonol i ymagweddu i ateb yr amgylchiadau. Yr ydym yn cyfeirio at ei waith yn cychwyn gweinyddu y sacramentau yn nghapel y Bala. Yr oedd yr offeiriaid Methodistaidd yn y Deheudir, er ys llawer o flynyddoedd, wedi arfer cyfranu mewn lleoedd penodol, na chawsant eu cysegru gan unrhyw esgob; gwnelent hyny yn Woodstock, yn Capel Newydd, yn nghapel Llangeitho, ac efallai mewn lleoedd eraill; ond, hyd y gwyddom, nid oedd neb o honynt, hyd y pryd hwn, wedi gwneyd hyny yn y Gogledd. Elai llawer o'r Methodistiaid ar Sul y Cymundeb i Langeitho; ac am y rhai a fethent, cymunent yn eu heglwysydd plwyfol, er bod derbyn o ddwylaw offeiriaid annuwiol yn boen i gydwybodau llawer o honynt Mewn canlyniad i ymddygiad Mr. Charles daeth Sul y Cymundeb yn y Bala yn sefydliad pwysig yn mysg Methodistiaid Gwynedd; cyrchai tyrfaoedd yma o bob rhan o'r wlad, a hyny nid yn unig o Sir Feirionydd, ond yn mhell tuhwnt i'w therfynau; daeth y dref yn ail Langeitho, yn gasgliad pobloedd. Nid yn unig deuai yr aelodau cyffredin yno, er mwyn cael y fraint o gofio angau eu Gwaredwr; eithr cadwai y cynghorwyr "Sul pen mis" yn rhydd, ac ymunent â'r gynulleidfa o gwmpas y bwrdd. Nid ydym yn gwybod ddarfod i nerthoedd mor gryfion gael eu teimlo yn y Bala ag a brofid yn Llangeitho, adeg Daniel Rowland; ond sicr yw ddarfod i'r Arglwydd roddi gwedd ei wyneb yma hefyd yn helaeth. Daeth canoedd i gyffyrddiad â'r Arglwydd Iesu pan oedd Thomas Charles yn cyfranu, ac aeth eu rhwymau oll yn rhyddion, fel y tystiai eu dagrau a'u caniadau mewn canlyniad.

Esgorodd hyn ar sefydliad arall o gryn bwys. Gan fod llu mawr o'r cynghorwyr yn arfer dyfod i'r Bala, ar Sul y Cymundeb, dechreuodd yr eglwysi trwy wahanol ranau y wlad anfon personau yno i ofyn cyhoeddiadau ganddynt; ac felly, heb unrhyw ragfwriad ar ran neb, daeth y Sul hwn i wasanaethu fel math o Gyfarfod Misol. O herwydd rhyw reswm nas gwyddom yn bresenol, yn yr adran Orllewinol o'r sir y cedwid y Cyfarfodydd Misol yn flaenorol; yn ganlynol, ystyrid Sul yr ordinhad yn y Bala fel Cyfarfod Misol yr adran Ddwyreiniol. Yn wir, o herwydd pwysigrwydd y cynulliad, a mawr ddylanwad Mr. Charles, nid ceisio cyhoeddiadau yn unig a wneid arno; aed i ymdrafod â materion, ac ystyrid y penderfyniadau a fyddai yn cael eu pasio lawn



Capel Bryncrug, ger Towyn, Meirionydd.

*[Tucefn i'r Capel hwn y mae bedd Mary Jones.]*




Darlun o Feddau y Parch. Thomas Charles, B.A., a'r Parch. Lewis Edwards, D.D., yn Mynwent Llanycil, Bala.

mor bwysig a phe buasent yn drefniadau Cymdeithasfa.

Yn fuan daeth medr arbenig Mr. Charles fel trefniedydd i'r golwg, trwy fesurau doeth o duedd i adeiladu yr eglwysi. Un o'r rhai hyn a ddaliai berthynas â'r blaenoriaid. Nid yw yn ymddangos fod unrhyw drefn i ddewis blaenoriaid mewn arferiad yn Ngwynedd; y personau a agorent eu tai i'r efengyl fel rheol a elent i'r Cyfarfodydd Misol i geisio cyhoeddiadau. Y rhai hyn hefyd a gadwent seiadau yn eu tai, ac a weithredent fel arweinwyr. Tegwch â hwy yw cydnabod fod llawer o honynt yn ddynion ardderchog, yn rhagori nid yn unig mewn zêl, a gweithgarwch, a ffyddlondeb, ond hefyd mewn gwybodaeth o ddyfnion bethau Duw, ac mewn medr i arwain y frawdoliaeth i'r porfeydd gwelltog, ac at y dyfroedd tawel. Ond yr oedd eraill, er eu bod hwythau o yspryd rhagorol, oblegyd diffygion naturiol, ac oblegyd iddynt gael eu galw at grefydd pan mewn gwth o oedran, yn gymharol anwybodus, a rhai o honynt heb fedru deall gair ar lyfr. Cawsent eu gorfodi gan amgylchiadau i ymgymeryd â'r swydd, am nad oedd neb arall a wnelai. Teimlai Mr. Charles yn ddwys oblegyd yr anhrefn hwn, a gwelai ei fod yn rhwystr dirfawr ar ffordd cynydd yr eglwysi. Ac mewn un Cyfarfod Misol cododd ar ei draed, a datganodd y meddai yr eglwysi hawl i lais yn newisiad eu swyddogion; fod cymhwysderau y cyfryw swyddogion wedi cael eu gosod i lawr yn eglur yn y Testament Newydd; mai nid swyddogion priodol neb ond y rhai a ddewisid; ac mai nid y rhai a ddygwyddent gael eu hunain trwy ddamwain yn y swydd, neu oeddent wedi ymwthio iddi trwy haerllugrwydd, a haeddai gael eu hystyried yn flaenoriaid, ond y rhai ar sail meddiant o'r cymhwysderau gofynol a osodasid yn y swydd gan yr eglwysi. Cydiodd y Cyfarfod Misol yn y syniad ar unwaith, a phenderfynwyd ei gario i weithrediad. I'r pwrpas hwn, yn unol âg awgrym Mr. Charles, rhanwyd y wlad yn ddosparthiadau, a phenodwyd pregethwr i ymweled ag eglwysi bob dosparth, er eu cynorthwyo i ddewis swyddogion priodol. Rhoddwyd ar yr ymwelydd i hyfforddi yr aelodau yn fanwl am natur cymhwysderau blaenoriaid, ac i ddangos pa mor bwysig er llwyddiant y gwaith oedd iddynt ddewis dynion teilwng. Yn mhellach, yr oedd i roddi arbenigrwydd ar fod pob swyddog yn meddu dirnadaeth glir o brif wirioneddau yr efengyl, ac nad oedd neb i gael ei ddewis oddieithr ei fod o leiaf yn medru darllen. Gyda golwg ar y rhai oeddynt yn y swyddogaeth yn barod y cyfarwyddyd ydoedd, os oeddynt yn ffyddlawn hyd eithaf eu gallu, yn caru y gwaith ac yn dymuno ei lwyddiant, er y gallent fod yn ddiffygiol mewn amryw gyfeiriadau, nad oeddynt i gael eu diswyddo, ond fod eraill i gael eu dewis yn gynorthwywyr iddynt. Hyn oll a wnaed; aeth dewisiad yr eglwysi heibio ar y cyfan yn gwbl ddidramgwydd, a daeth y blaenoriaid newyddion i'r Cyfarfod Misol i gael eu holi am eu gwybodaeth Ysgrythyrol, eu profiad, a'u cymhellion i'r swydd. A dyma y drefn sydd yn aros hyd y dydd hwn.

Y mae yn sicr ddarfod i'r trefniant yma gael ei fendithio yn ddirfawr er adeiladaeth yr eglwysi, a rhoddi i'r diwygiad ffurf sefydlog a pharhaol. Ymdeimlodd y blaenoriaid a'u cyfrifoldeb ar unwaith; ymroddasant i ddarllen ac efrydu y Beibl, a llyfrau eraill yn ymwneyd â bywyd crefydd, a daethant mewn canlyniad yn ddynion cryfion, galluog i arwain. Y mae yn amheus a gafodd eglwys Crist erioed ei bendithio â galluocach duwinyddion, ac â dynion mwy medrus i gymhwyso y gwirionedd er budd a maeth dychweledigion ieuainc, na blaenoriaid cyntaf y Methodistiaid. Daeth rhai o honynt yn ddynion o bwys yn y Gymdeithasfa, a medrent gymeryd rhan flaenllaw mewn ymdriniaeth, naill ai ar bwnc o athrawiaeth, neu ynte ar fater o drefniadaeth a dysgyblaeth. Yr oedd meddu diaconiaid teilwng yn fwy pwysig y pryd hwnw nag hyd yn nod yn bresenol, gan fod y pregethwyr, fychain a mawrion, gan amlaf ar eu teithiau, yn cyhoeddi yr efengyl dragywyddol, ac felly disgynai gofal y seiadau, a'r gwaith cartrefol, agos oll ar y blaenoriaid. Ac yn ardderchog y cyflawnasant eu hymddiriedaeth; nid gormod dweyd fod y llwyddiant a fu ar Fethodistiaeth yn y wlad, o'r pryd hwnw hyd yn awr, i'w briodoli i raddau mawr, dan fendith Duw, i ymdrechion blaenoriaid ffyddlawn. Dengys y trefniant yma hefyd wahaniaeth hanfodol rhwng Mr. Charles a Howell Harris, fel cynllunwyr. Canfyddasai Harris, gyda ei olygon eryraidd, yr angenrheidrwydd am gael blaenoriaid i gymeryd gofal y seiadau; a chafodd y cyfryw eu sefydlu dan ei arolygiaeth. Yr enw a roddai efe arnynt oedd stiwardiaid. Ei gynllun ef oedd penodi y rhai hyn yn y Cymdeithasfaoedd; oddiyno yr oeddynt i dderbyn eu hawdurdod; nid yw

yn ymddangos y meddai y seiadau unrhyw lais yn eu dewisiad; yr unig beth a ddisgynai ar yr eglwysi oedd ufudd-dod. Esgobol, i raddau mawr, oedd trefniant Harris, pwysleisiai ar awdurdod y Gymdeithasfa, ac yna ar ei awdurdod ei hun, fel "tad y Gymdeithasfa." O'r ochr arall, pwysleisiai Mr. Charles ar hawl yr eglwysi; yn yr eglwys y gwelai efe wraidd yr awdurdod, ac arni hi y taflai y cyfrifoldeb. Ni wnelai ymaith a hawlfraint y Cyfarfod Misol yn hyn o fater yn llwyr, oblegyd gwelai y posiblrwydd i eglwys weithiau, dan ryw amgylchiadau, fyned ar gyfeiliorn; felly trefnai ar i'r blaenoriaid ddyfod yno i gael eu profi; ond fel hawlfraint yr eglwysi yr edrychai efe ar ddewisiad blaenoriaid. Ceir yn nhrefniadau presenol corph y Methodistiaid elfen Gynulleidfaol gref, a chredwn y gellir olrhain tarddiad yr elfen yma i Mr. Charles.

Cyn iddo ef ymuno a'r Cyfundeb, yr oedd erledigaeth ar ran y werinos wedi llwyr ddarfod yn y Deheudir; yr ydoedd yn graddol ddiflanu hefyd yn y Gogledd, a'r Methodistiaid yn dechreu dyfod yn barchus yn ngolwg cymdeithas. A chymaint o erledigaeth ydoedd yn aros, ychydig o hyny a syrthiodd i'w ran ef. Yr oedd ei fod wedi derbyn urddau sanctaidd yn yr Eglwys Sefydledig, ac yn cael ei gydnabod fel gŵr dysgedig; a'i fod yn mhellach yn nodedig o foneddigaidd o ran ymagweddiad, ac yn hynod enillgar ei ffordd, yn sicrhau iddo lonyddwch a gwrandawiad braidd pa le bynag yr elai. Eto, syrthiodd rhyw gymaint o gynffon y gawod arno yntau. Yr ydym wedi cyfeirio yn barod at yr erlidwyr yn cynyg ymosod arno yn Nolgellau. Eithr yn Nghorwen, bu mewn perygl am ei fywyd. Ymddengys na fedrwyd cael drws agored yma i bregethu yr efengyl hyd tua'r flwyddyn 1790. Y pryd hwnw daeth cyfrwywr crefyddol, o'r enw John Cadwaladr, i breswylio i'r lle; yn fuan, aeth i ymorol am bregethwyr, a llwyddodd i gael cyhoeddiad Mr. Charles i ddyfod i'w dŷ i lefaru. Cyffrodd hyn y gwŷr mawr yn enbyd; cadwyd cynghor pa fodd i'w rwystro; ac o'r diwedd, ymddiriedwyd i ôf annuwiol, o'r enw Dafydd Hughes, yr hwn a arferai gyflawni pob bryntwaith drostynt, i godi terfysg ac aflonyddu y cyfarfod. I'r pwrpas hwnw mynodd y gŵr fenthyg tabwrdd o ryw balas, er casglu yn nghyd yr oferwyr, a gwneyd swn fel ag i foddi llais y pregethwr. Daeth gŵr Duw at ei gyhoeddiad yn brydlawn; ymgasglodd gweision y diafol hefyd dan arweiniad y gôf. Gyda fod yr odfa yn dechreu yn y tŷ, cychwynodd y terfysg ar yr heol; mawr oedd y twrf, uchel oedd y rhegfeydd, ac alaethus y llwon. Bygythiai y terfysgwyr gyda chableddau lawer y tynent y tŷ i lawr; a thybiodd Mr. Charles mai gwell iddo oedd myned allan, a phrysuro ymaith, gan nad oedd rhith o obaith cael seibiant i addoli. Allan yr aeth, ac ychydig o gyfeillion gydag ef. Gyda hyny, dyma yr erlidwyr yn dechreu eu lluchio; anelent yn arbenig at y pregethwr oedd wedi dyfod yno i gyhoeddi Gair yr Arglwydd; lladratasant ei fantell, a tharawodd un o honynt ef â chareg yn ei wyneb, nes dryllio rhai o'i ddanedd, a pheri i'w waed lifo. Ffodd yn ei waed felly dros y bont, a throdd allan o'r ffordd i'r meusydd, ac felly y dihangodd.

Eithr dilynwyd yr erlidwyr â dialedd Rhagluniaeth. Am y dyn ddarfu daro Mr. Charles, dyn o gyfansoddiad cadarn, ac yn arfer enill ei fywioliaeth trwy ddyrnu, yn bur fuan gadawodd ei ffust a'r ysgubor heb reswm na rhaid, gan grwydro y wlad i gardota ei fara, a chardotyn dibarch y bu am weddill ei oes. Am y gôf, mab anwiredd, yr hwn a flaenorai yn yr erledigaeth, ychwanegodd at ei ddrygfoes arferol ladrad. Daliwyd ef am yspeilio eiddo, a chwedi ei brofi yn euog, anfonwyd ef yn ei henaint i'r carchar. Pan ddaeth allan, yr oedd yn ddirmygus yn ngolwg pawb; nid oedd neb a roddai orchwyl o waith iddo, nac a ymgyfeillachai ag ef. A chardotyn crwydrol a fu yntau o hyny allan.

Eithr nid gŵr i ddigaloni, ac i gymeryd ei orchfygu gan rwystrau, oedd Mr. Charles. Heb fod yn hir, meiddodd, mewn undeb a'i frodyr, gynal Cyfarfod Misol yn nghymydogaeth Corwen. Yr oedd y cyfarfod neillduol mewn amaethdy, o'r enw Bodhaulog, lle y preswyliai gŵr da, llawn o ffydd, o'r enw Richard White; a'r odfaeon cyhoeddus allan yn Nghorwen ei hun. Pregethid gan Mr. Charles, Lewis Morris, a dau gynghorwr nas gwyddom eu henwau. Yr oedd llid y werinos at y Methodistiaid erbyn hyn wedi gwanychu; dechreuai argyhoeddiad cyffredinol gael ei deimlo mai dynion Duw oeddynt, a bod amddiffyniad y nefoedd drostynt; ac felly, a hyny am y tro cyntaf mewn hanes, cafwyd llonyddwch hollol yno i bregethu Crist. Eithr nid oedd cyfrwysdra y diafol eto wedi ei ddihysbyddu; a chan na allai

mwy ddefnyddio y werin bobl fel offerynau creulondeb, cyffrodd foneddwyr yr ardal i erlid pobl yr Arglwydd mewn ffordd arall. Canlyniad gwaith Richard White yn agor drws ei dŷ i'r Cyfarfod Misol oedd cael rhybudd i ymadael a'i dyddyn oddiwrth ei feistr tir. Pan ddaeth yr adeg i fynu, rhoddwyd iddo ei ddewis, naill ai ymadael o'r fferm, neu ynte peidio gadael i'r Methodistiaid ddyfod dan ei gronglwyd mwy i gynal cyfarfodydd. Pan osodwyd y telerau ger ei fron, efe a atebodd yn hyf, a geiriau Iesu Grist yn ddiau yn llond ei feddwl: "Wel, ynte, nid Bodhaulog i mi." Mewn canlyniad, prynodd yr *Harp*, yn Nghorwen, a chwedi symud yno i fyw, trodd oruwch ystafell helaeth oedd mewn cysylltiad a'r tŷ yn lle i gynal moddion, ac yno y buwyd yn addoli nes i gapel gael ei adeiladu.

Gŵr arall, a geisiodd arllwys phiol ei ddigofaint ar y Parch. T. Charles, oedd Esgob Llanelwy. Ymddygai y prelad hwn yn gyffelyb i'r ddiareb am y ci yn y preseb; ar y naill law, ni fu gwiw ganddo symud llaw er cael lle i Mr. Charles lafurio o fewn cylch yr Eglwys Sefydledig, pan y mawr ddymunai am hyny; ar y llaw arall, pan y gwelodd ef wedi bwrw ei goelbren gyda y Methodistiaid, ac yn dyfod yn ŵr o ddylanwad yn eu mysg, ac o ddylanwad yn y wlad, dyma ef yn dechreu chwyrnu a dangos ei ddanedd. Yn fuan, anfonodd rybudd cyfreithiol i Mr. Charles, yn gwahardd iddo bregethu gyda "y sismaticiaid," ac onide, y byddai iddo ei orfodi trwy gyfraith. Ymddengys fod deddf yn gorwedd yn farw ar lyfrau Prydain gyda golwg ar bwy bynag a dderbynio urddau sanctaidd yn yr Eglwys Sefydledig, yn gwarafun i'r cyfryw, dan boen dirwy a charchar, weini mewn cysylltiad ag unrhyw gyfundeb crefyddol arall. Tua haner can' mlynedd yn ol, gosodwyd y gyfraith yma mewn grym gan esgob Exeter, a bwriwyd Mr. Shore, oblegyd ei throseddu, i'r carchar. Erbyn hyn, y mae wedi cael ei dileu. Y gyfraith yma, na wyddai nemawr am ei bodolaeth, ac na feddai neb galon i'w gosod mewn grym, oblegyd ei chreulondeb, a fygythiwyd gan esgob anrasol St. Asaph ar Mr. Charles. Wedi derbyn y rhybudd, aeth yntau i Lundain, ac hysbysodd yr Arglwyddes Erskine am yr helynt. Anfonodd hithau yr hanes i'w brawd, yr hwn oedd gyfreithiwr enwog, ac yn un o brif lys-ddadleuwyr y deyrnas, sef yr Anrhydeddus Thomas Erskine, a wnaed wedi hyn yn Arglwydd Ganghellydd. Danfonodd y gŵr hwn at yr esgob, os ceisiai efe roddi y ddeddf hono mewn grym yn erbyn Mr. Charles, y byddai iddo yntau yn ddioedi ddwyn mesur yn mlaen yn y senedd er ei diddymu. Ar hyn, ciliodd yr esgob o'r maes, a chafodd Mr. Charles lonydd i gyflawni ei waith.

Braidd na ellir dweyd mai gyda ei ymuniad a'r Methodistiaid y cychwynodd gyrfa lafurus y Parch. T. Charles; dyma y pryd yr ymagorodd gwaith mawr ei fywyd o'i flaen, ac yr ymdaflodd yntau iddo. Ni fedrwn roddi hyd yn nod grynodeb o'i lafur gweinidogaethol; nid oes genym ddefnyddiau at hyny, ac nis gallem fforddio gofod, pe byddai. Dechreuodd deithio o gwmpas i bregethu yr efengyl yn ddioedi; nid hir y bu cyn ymweled â phob cwr o Wynedd, a cheid ef yn fynych hefyd yn y Deheudir, yn arbenig yn y Cymdeithasfaoedd. Marchogaeth neu gerdded oeddynt yr unig gyfleusderau teithio yr adeg hono; geirwon oedd y ffyrdd, anaml a digysur fyddai y lletyau fel rheol, a chaled yr ymborth. Ni feddai y Methodistiaid ond nifer fechan o gapelau; felly, rhaid iddo oedd pregethu mewn tai anedd, mewn ysguboriau, neu ynte allan ar yr heol. Eithr ni lesghaodd yspryd Mr. Charles o'i fewn; ni chymerodd ei ddychrynu gan anhawsderau; ni wnelai gyfrif o gwbl o'r caledi yr elai trwyddo; yn hytrach, llawenhai ei galon am y rhyddid a gaffai i gyhoeddi efengyl y deyrnas i'w gydwladwyr tlodion. Bychan ganddo oedd marchogaeth i fynu y mynyddoedd ar hyd llwybrau disathr, yn wlyb ei groen; rhoddi i fynu mewn bwthyn tô gwellt diolwg; cael ychydig fara ac ymenyn, gyda meipen wedi ei berwi, yn giniaw; gorwedd mewn ystafell fechan ddigysur ar wely caled o wellt; ac ymdroi yn mysg pobl gymharol anwybodus ac anniwylliedig, ond yn meddu rhyw gymaint o gariad at yr Arglwydd Iesu. Yn ei holl lythyrau, ni cheir cymaint a nodyn grwgnachlyd oblegyd y pethau hyn; yn wir, nid yw yn cyfeirio atynt o gwbl; prin y mae yn ymddangos ei fod yn eu teimlo, gan fel yr oedd brwdfrydedd y gwaith wedi meddianu ei enaid; os teimlai hwynt, y mae yn sicr ei fod yn ymorfoleddu ynddynt, oblegyd eu bod yn dyfod i'w ran er mwyn Iesu. Gallwn yn hawdd gasglu y byddai aml i grefyddwr tlawd, ar hyd cymoedd anghysbell y Gogledd, yn teimlo iasau o ddychryn yn ei

feddianu wrth feddwl am dderbyn i'w fwthyn diaddurn ŵr o safle a dysgeidiaeth Thomas Charles; ond pan ddeuai efe, byddai mor ostyngedig a llariaidd, ac mor ddiolchgar am y croesaw a gaffai, fel y diflanai pob arswyd ar unwaith, ac y llenwid y meddwl â pharchedigaeth ato.

Trwy ei lafur a'i ymroddiad, coethder a phwysigrwydd ei weinidogaeth, yn nghyd â'i allu trefniadol arbenig, daeth yn fuan i gael ei ystyried fel arweinydd y Cyfundeb yn Ngwynedd. Ni chwenychai efe y cyfryw safle; tra gostyngedig y byddai efe yn mysg ei frodyr ac yn mhob man; ond canfyddid ei gymhwysder, a rhaid iddo oedd eistedd yn y brif gadair. Edrychai pawb i fynu ato fel tywysog Duw. Diwrnod dysglaer yn hanes Methodistiaeth y Gogledd, ac yn wir yn hanes Methodistiaeth Cymru, oedd y dydd yr ymunodd Mr. Charles â'r Cyfundeb. Nid ydym am briodoli yr holl lwyddiant a gymerodd le yn ganlynol i'w offerynoliaeth ef; rhaid cymeryd i'r cyfrif nerth gweinidogaeth Roberts, Clynog; Jones, Edeyrn; John Elias, John Roberts, Evan Richardson, ac eraill, y rhai a fuont yn foddion, o dan fendith Duw, i droi miloedd o gyfeiliorni eu ffyrdd; ond eto y mae agos yn sicr y buasai llawer o ffrwyth llafur yr enwogion hyn yn cael ei golli yn llwyr i'r Cyfundeb oni bai am fedr trefniadol Thomas Charles. Os rhagorai y gwŷr grymus a nodwyd arno mewn gallu areithyddol, a medr i ddylanwadu ar gynulleidfa, yr oedd yntau yn mhell uwchlaw iddynt mewn dysgeidiaeth, mewn cydnabyddiaeth â gwahanol syniadau duwinyddol, ac mewn cynghor. Oblegyd hyn, ac hefyd i raddau oblegyd ei fod yn offeiriad urddedig, daeth y dylanwad cryfaf yn y Cyfundeb yn Ngogledd Cymru, ac i gael edrych arno fel oracl. Nid bychan ychwaith oedd ei ddylanwad yn y Deheudir, er fod yma nifer o offeiriaid enwog yn perthyn i'r Methodistiaid.

Rhydd y Parch. Roger Edwards ddarluniad byw o Mr. Charles fel pregethwr, yr hwn, yn ddiau, a dynwyd ganddo ar sail adroddiad a gawsai gan rywun oedd yn gwrando.* Mewn Cyfarfod Misol y pregethai y Parch. T. Charles, a mawr oedd y dysgwyliad am dano yn flaenorol; daethai nifer o Eglwyswyr i'r gynulleidfa i wrando oblegyd ei fod yn offeiriad, yn ysgolhaig gwych, ac yn ŵr o ymddangosiad boneddigaidd. Ei destun ydoedd, Esaiah xxviii. 20: "Canys byrach yw y gwely nag y galler ymestyn ynddo, a chul yw y cwrlid i ymdroi ynddo." I gychwyn, eglurodd fod y geiriau yn ymadrodd diarebol yn Israel am arfer moddion annigonol i gadw ac amddiffyn; yna, gyda medr mawr, trodd hwy i ddangos oferedd yr holl bethau y mae pechaduriaid yn ymddiried ynddynt am ddyogelwch a chysur, tu yma i'r iachawdwriaeth sydd yn Nghrist. Dangosodd y deuai nos adfyd ar lawer, a nos angau ar bawb, pryd y gwelid gwerth gwely i orwedd ynddo, a chwrlid i ymlapio dano. Sylwai fod plant dynion yn gyffredin yn tybio fod ganddynt wely a chwrlid a wnelai y tro iddynt. Gobeithiai rhai yn naioni cyffredinol Duw; eraill a bwysent ar fywyd bucheddol; ymorphwysai rhai ar ddefosiynau a chyflawniadau crefyddol, ac eraill ar argyhoeddiadau a theimladau cyffrous oeddynt wedi dderbyn mewn odfaeon. Ond gyda golwg ar y pethau hyn, a llawer o hunangyfiawnderau eraill a grybwyllwyd ganddo, dywedai y pregethwr parchedig, gyda difrifwch angerddol: "Dyna wely rhy fyr; dyna gwrlid rhy gul!"

Yn nechreu y bregeth ymddangosai Mr. Charles braidd yn afrwydd; yr oedd yn araf ac yn haciog; eto yr oedd synwyr a sylwedd yn mhob gair a ddywedai. Ond yn mhell cyn dyfod at haner y bregeth yr oedd pob afrwydd-der wedi ffoi ymaith; ei lais oedd yn rymus ac yn beraidd; ei wyneb yn dysgleirio fel gwyneb angel, a'i sylwadau dwysion a difrifol yn gafaelu ac yn bachu yn nghydwybod pob gwrandawr. Adroddai llawer yn ganlynol, eu bod yn narn cyntaf y bregeth yn teimlo fel pe byddent wedi cael eu dihatru o'r oll oedd ganddynt, ac y byddai angau a'r farn yn eu cael yn noethion, ac heb ddim. Llewygai rhai yn llythyrenol gan fel yr oedd y gwirionedd yn dylanwadu arnynt. Ond wedi cydgau ei holl wrandawyr fel hyn, dyma y gweinidog ffyddlawn yn agor drws ffydd. "A oes yma rywrai," gofynai, "yn barod i ddweyd gyda y rhai hyny ar ddydd y Pentecost, 'Beth a wnawn ni?' Nis medrwn ymgynal ein hunain; rhaid i ni gael rhywbeth i bwyso arno ac i orwedd ynddo; a dyma chwi wedi gwneyd yn ofer bob gwely a chwrlid ag a feddem! Gwrandewch, fy mrodyr anwyl, mi wn am wely y gall un a fyddai yn gymaint pechadur a Manasseh ymestyn ynddo, heb berygl cyffwrdd a'r traed; mi wn am gwrlid, pe y deuech bob un i ymdroi ynddo, sydd yn ddigon llydan i'ch cuddio;

* *Y Tri Brawd a'u Teuluoedd.*

ïe, yn ddigon i gysgodi byd o bechaduriaid: IAWN A CHYFIAWNDER MAB DUW!" Yna efe a arweiniodd y gynulleidfa i Galfaria, a chyda ei fod yn dweyd y gair "Gorphenwyd," dyma y dorf yn arllwys eu teimladau yn un fanllef gref o ddiolch i Dduw, nes y gellid meddwl fod muriau y capel yn chwalu gan nerth y floedd.

Ond nid oedd y pregethwr hybarch wedi gorphen eto; yr oedd am glensio y gwirionedd, a throi y teimlad i gyfeiriad ymarferol. Dyna ef yn amneidio a'i law am osteg, ac yn dweyd gyda thynerwch a serchawgrwydd odiaeth: "Anwyl gyfeillion, aroswch; ffrwynwch eich teimladau, a chlustymwrandewch; y mae genyf air eto i'w ddywedyd wrthych dros Dduw. Ewch bawb o honoch, yn hen ac yn ieuainc, yn broffeswyr ac yn ddibroffes, cyn diwedd y dydd hwn, i rywle dirgel, bydded yn yr ystafell neu yn y maes, a syrthiwch ar eich gliniau gerbron Duw, taflwch eich hunain ar ei drugaredd faddeuol yn Nghrist, a gweddïwch gyda'r Apostol Paul, 'Ac y'm ceir ynddo ef!'" Ychwanegai, gyda'r dagrau yn llifo o'i lygaid: "Y mae yn amlwg, anwyl bobl, fod y gwynt nerthol oddi fry yn chwythu yma heddyw; ac os ymollyngwch gyda'r awel nefol, gallaf ddysgwyl eich gweled yn y Gaersalem uchod yn y man; ond oni wnewch iawn ddefnydd o'r adeg anmhrisiadwy hon, 'Wele, pechu yr ydych yn erbyn yr Arglwydd, a gwybyddwch y goddiwedda eich pechod chwi.'"

Erbyn hyn yr oedd yr odfa wedi myned yn lle ofnadwy; teimlai pawb eu bod yn mhresenoldeb Duw. Nid oedd yno neb yn gwaeddi allan, ond pawb yn wylo; llifai y dagrau yn nentydd gloywon dros bob grudd. Ar y terfyn, wedi gweddi gynhes, rhoes Mr. Charles yr emyn ganlynol allan i'w chanu:—

"O gyfiawnder pur trag'wyddol,
O gyfiawnder maith didrai!
Rhaid i'm henaid noeth, newynllyd,
Gael yn fuan dy fwynhau:
Rho dy wisg ddysgleirwen, oleu,
Cuddia'm noethni hyd y llawr,
Fel nad ofnwyf mwy ymddangos
Fyth o flaen dy orsedd fawr."

Cychwynodd y dechreuwr canu un o hen donau nefolaidd y diwygiad; ceisiodd y gynulleidfa yn nghanol ei dagrau ymuno; ond yr oedd y swn yn gymysgedig o ganu a chrïo. Yr oedd agos pawb a'u llaw dan eu pen, a'u penelin ar ymyl yr eisteddle, a'r ffrydiau dagrau yn llifo dros eu gwynebau. Swniai rhai y llinell yma o'r penill, eraill y llinell arall; rhoddai eraill drachefn ebychiadau ychwanegol o weddi neu fawl. Yn briodol y gallesid galw y lle yn Bochim, "canys y bobl a ddyrchafasant eu llef, ac a wylasant." Dywedir i rai ugeiniau, o leiaf, ddechreu gweddïo Duw o ddifrif y diwrnod hwnw; tystiai llawer fod y bregeth hono yn un o'r rhai mwyaf effeithiol hyd yn nod o bregethau effeithiol Mr. Charles; ac nis gallent son am dani heb dori allan i wylo yn adnewyddol.

Rhaid i ni bellach ddyfod at rai o'r sefydliadau daionus a gychwynwyd ganddo. Wrth deithio ar hyd Cymru ymholai yn barhaus am gyflwr y werin, parthed moesgarwch, crefyddoldeb, ac yn arbenig gwybodaeth am bethau mawrion Duw. Deallodd yn fuan fod y bobl gyffredin yn dra anwybodus; mai ychydig iawn oedd yn alluog i ddarllen, ac mai bychan oedd dirnadaeth llawer o bobl grefyddol am athrawiaethau yr efengyl. Cawsent eu tori i lawr yn y diwygiad, a'u dwyn i gredu yn y Gwaredwr; ond ychydig a wyddent am dano, ac yr oedd mawr angen am eu dysgu yn fanylach. Cyffrodd ei enaid ynddo, a phenderfynodd ar unwaith sefydlu ysgolion fel ag i wasgar y tywyllwch. Fel hyn yr adrodda efe, mewn llythyr at gyfaill yn Llundain, a gafodd ei ysgrifenu yn y flwyddyn 1808, gyda golwg ar gychwyniad yr ysgolion cylchynol.

"Yn fy nheithiau trwy amryw ranau o Ogledd Cymru, oddeutu tair-blynedd-arhugain yn ol, mi a welais fod cyflwr tlodion y wlad yn gyffredin mor isel, o ran gwybodaeth grefyddol, fel nad oedd ond prin un o ugain, mewn amryw fanau, yn medru darllen yr Ysgrythyrau; ac mewn ambell barth, yn ol ymofyniad penodol, anhawdd oedd cael cymaint ag un wedi ei ddysgu i ddarllen. Cefais brofion beunyddiol y pryd hwnw, ac yr wyf eto yn eu cael, o anwybodaeth y trueiniaid sydd heb fedru darllen, ac heb erioed gael eu dysgu yn egwyddorol; ïe, er nad oes yn y lleoedd hyny ddiffyg pregethu cyson. Gweled hyn a'm gwnaeth yn fwy poenus nag y medraf adrodd, ac a barodd i mi chwilio mewn dwys fyfyr am ryw feddyginiaeth ebrwydd ac effeithiol at symud yr aflwydd hwn.

"Yn ganlynol, rhoddais y cynyg o flaen ychydig gyfeillion am ddechreu ar gydgynorthwyad, at dalu cyflog i ysgolfeistr, a hwnw i gael ei symud o le i le ar gylch, i ddysgu y tlodion i ddarllen, a'u hyfforddi yn mhrif egwyddorion Cristionogaeth,

trwy eu cateceisio. Yn y flwyddyn 1785 y dechreuodd y gwaith hwn. Ar y cyntaf ni roddwyd ond un ysgolfeistr ar waith; ond fel y cynyddodd y cynorthwyon yr oedd amlhad ar yr ysgolion, hyd onid oeddynt yn ugain o nifer. Bu raid i mi fy hun ddysgu rhai o'r ysgolfeistriaid cyntaf; hwythau wedi hyny a fuont ddysgawdwyr i eraill, a anfonais atynt i ddysgu bod yn ysgolfeistriaid. Ffrwyth yr ysgolion cylchynol hyn yw ein Hysgolion Sabbothol sydd yn lliosog ar hyd a lled y wlad; o herwydd heb y rhai cyntaf rhy anhawdd fuasai cael dysgawdwyr i ddwyn y lleill yn mlaen. Yn bresenol, er nad yw yr ysgolion cylchynol mor llwyr angenrheidiol a chynt, gan amledd cyffredinol yr Ysgolion Sabbothawl, y rhai sydd yn cael eu cynal gan addysgwyr heb ddim cyflog; eto, er hyn, yr wyf yn cael prawf na allwn fyned yn mlaen heb rai o honynt. Y mae hyd heddyw lawer o leoedd tywyll, mewn amryw ranau o'r wlad, yn mha rai nad oes dynion addas, ac ewyllysgar hefyd, i osod Ysgolion Sabbothawl ar droed. Am hyny, fy unig feddyginiaeth ydyw anfon ysgolion cylchynol i'r cyfryw leoedd, gyda golwg, yn raddol, i godi Ysgolion Sabbothawl i gymeryd eu lle, a dal yn mlaen a chynyddu moddion addysg ar ol iddynt gael eu symud.

"Yn bresenol y mae trysorfa yr ysgolion yn isel iawn, yn llai na digon at haner y draul yr wyf tani y flwyddyn hon. Ar y cyntaf yr oeddwn yn cyflogi meistriaid am wyth punt yn y flwyddyn, yn awr yr wyf yn talu pymtheg; felly yr oeddwn yn gallu cadw ugain y pryd hwnw agos ar yr un gost a deg yn bresenol. Y mae yn ofid arnaf nad yw yn fy ngallu i osod mwy o ddysgawdwyr ar waith. . . Y rhodd leiaf, neu gynorthwy blynyddol, a dderbynir yn ddiolchgar, ac a ddefnyddir gyda ffyddlondeb."

Y mae y llythyr yn dra dyddorol ar amryw gyfrifon. Nid yn unig teifl oleuni ar yr achosion a gyffrodd feddwl Mr. Charles i sefydlu yr ysgolion cylchynol, ac ar y modd y cychwynodd, ond hefyd noda yr adeg. Gwelir wedi iddo ddyfod yn wybyddus o'r angen na adawodd y glaswellt i dyfu o dan ei draed; cychwynodd ar yr anturiaeth o fewn corph y flwyddyn yr ymunodd â'r Cyfundeb. Ymddengys bychander cyflogau yr athrawon yn syn. Gwir nad oeddynt yn ddynion dysgedig, ac mai ychydig o fanteision a gawsent; ond y mae meddwl y gellid cael athraw ysgol i roddi ei holl amser a'i lafur am gyflog o wyth punt yn y flwyddyn, gan' mlynedd yn ol, bron yn anghredadwy yn bresenol. Teflir ychwaneg o oleuni ar rai pethau perthynol i'r ysgolion gan y difyniad canlynol allan o lythyr a ysgrifenwyd ganddo at bendefiges yn Lloegr, tua'r flwyddyn 1797. Fel hyn yr ysgrifena: "Pa ymgais bynag o'r natur hon a wnaethom, fe lwyddodd yn rhyfedd, nes llenwi y wlad o ysgolion o ryw fath neu gilydd, ac yr oedd pawb yn cael eu dysgu ar unwaith. Yr effeithiau daionus oeddynt gyfatebol; difrifwch cyffredinol yn nghylch pethau tragywyddol a gymerodd le mewn ardaloedd helaeth; llawer o gantoedd a gawsant eu deffroi i deimlo eu pechod a'u heisiau o Grist; ac y mae genyf bob rheswm dros goelio eu bod heddyw yn ddylynwyr ffyddlawn iddo. Y mae yr ysgolion eto ar droed, a'r effeithiau yr un, mewn agwedd fwy neu lai. Y mae nifer yr addysgwyr hefyd yn cynyddu, neu yn lleihau, yn ol y moddion a fyddo genyf. Y cwbl o'r elw sydd yn dyfod oddiwrth gapel yr wyf yn gweinyddu ynddo yr wyf yn ei roddi yn llwyr at eu cynal hwynt, tra yr wyf fy hun yn cael fy nghynal trwy ddiwydrwydd fy ngwraig. Yr wyf yn talu yn bresenol i bob ysgolfeistr ddeuddeg punt y flwyddyn. Maent yn aros am haner blwyddyn, neu naw mis, yn yr un fan, ac yna yn cael eu symud i barth arall. Yr ydym yn cael fod naw mis yn llawn ddigon i ddysgu i'n plant ddarllen eu Beiblau yn dda yn yr iaith Gymraeg. Yr wyf fy hun yn ymweled â'r ysgolion, ac yn eu cateceisio ar gyhoedd; yr wyf yn cael y boddlonrwydd annhraethol o weled agwedd gyffredinol y wlad wedi newid yn dra rhyfedd; gweled yr anialwch yn blodeuo fel rhosyn, a'r sychdir yn ffynhonau dyfroedd. Trwy yr ysgolion, a phregethiad yr efengyl, y mae taeniad gwybodaeth grefyddol yn ymhelaethu yn mhob man."

Yn nglyn â'r ysgolion cylchynol nis gellir priodoli i Mr. Charles wreiddioldeb cynllun; canlyn a wnaeth yn hyn o fater yn ol traed y Parch. Griffith Jones. Gwnaethai ysgolion y gŵr enwog hwnw fyd o les; ond erbyn hyn yr oedd efe wedi cael ei gasglu at ei dadau, a'r hon a'i cynorthwyai yn ei ymgymeriad pwysig, sef Madam Bevan, wedi huno i'w ganlyn. Yr oedd yr ysgolion wedi peidio am fod perthynasau y foneddiges yn ceisio tori ei hewyllys, ac felly mewn cysylltiad â darllen yr oedd y Dywysogaeth yn prysur suddo

yn ol i'w chyflwr cyntefig. Yn y cyfwng yma y darfu i'r Parch. T. Charles sefydlu ysgolion ar gyffelyb gynllun. Cychwynodd yr un fath, sef trwy addysgu dau neu dri o ysgolfeistri ei hun, ac yna anfon eraill at y rhai hyny i gael eu cymhwyso at yr un gorchwyl. Gweddus cadw mewn cof fod gan Mr. Charles anhawsderau i ymladd yn eu herbyn na chyfarfyddent â'r Parch. Griffith Jones. Yr oedd yr olaf yn parhau i weinidogaethu yn y Llan; mewn cysylltiad â'r Eglwys Sefydledig, a than nawdd offeiriad y plwyf yr amcanai gario yn mlaen bob ysgol; felly yr oedd mantell y Sefydliad Gwladol yn daenedig drosto yn ei ymgymeriad, ac yn gymhorth iddo i gael cyfraniadau, er y rhaid addef mai ychydig o gefnogaeth a dderbyniodd oddiwrth esgobion a chlerigwyr Cymru. Ond am Mr. Charles yr oedd efe wedi cefnu ar y Llan; fel *sismatic* yr edrychai llu o Eglwyswyr crefyddol arno; ar wahan yn gyfangwbl oddiwrth yr Eglwys y gosodai ei holl ysgolion i fynu, ac felly yr oedd y gwrthwynebiad iddynt yn fwy ffyrnig, a'r anhawsder i gasglu at eu cynal yn fwy.

Ond ni phallodd ei wroldeb. Os nad efe a luniasai y cynllun, dangosodd allu gweinyddol arbenig wrth ei weithio allan. Efe yn bersonol oedd yn gyfrifol am yr holl draul, ac nid yw yn ymddangos fod ganddo unrhyw foneddiges gyfoethog i syrthio yn ol arni. Gwelir ei fod yn y llythyr diweddaf yn hysbysu y rhoddai yr holl elw a dderbyniai oddiwrth y capel yn mha un y gweinyddai at yr ysgolion. Cyfeirio y mae at arian y sacrament yn nghapel y Bala. Nid oedd casgliad at y weinidogaeth wedi ei sefydlu y pryd hwnw; eithr cyfranai y rhai a ddeuent at fwrdd yr Arglwydd yn hael ar derfyn y gwasanaeth, ac ystyrid mai eiddo yr offeiriad a weinyddai oedd yr offrwm. Byddai yr offrwm diolch yma yn fynych, yn arbenig pan fyddai cyfoethogion crefyddol yn cyfranogi, yn cyrhaedd swm anrhydeddus. Nis gellir yn bresenol wybod ei swm yn y Bala, ond y mae genym dystiolaeth bendant Mr. Charles nad aeth dimai o hono i'w logell ef; ei fod yn ei gyflwyno yn ei gyfanrwydd at gynhaliaeth yr ysgolion. Fel y dywed, yr oedd ei gynal ef a'r teulu yn gorphwys ar Mrs. Charles. Meddai hi ddawn arbenig at fasnachu; a chwedi i'w mam farw, yr hyn a gymerodd le yn mhen tua dwy flynedd gwedi ei phriodas â Mr. Charles, rhoddodd Mr. Thomas Foulkes ei fasnach i fynu iddynt hwy. Felly yr oedd ei gofal yn rhwym o fod yn fawr, a'i masnach yn helaeth. A haeddai y ddynes ragorol yma fwy o sylw nag y mae wedi gael, oblegyd iddi lafurio gyda'r fath egni, ac ymgymeryd â'r fath gyfrifoldeb, er rhoddi dwylaw ei phriod yn rhydd i weithio gydag achos yr efengyl. Ar yr un pryd, y mae profion ar gael ddarfod i Mr. Charles ei hun, neu ryw rai drosto ac yn ei enw, ymgymeryd a rhai anturiaethau masnachol. * Ceir fod cwmni o Sir Feirionydd wedi cymeryd prydles ar waith aur yn nghymydogaeth Gwynfynydd, nid yn nepell o'r fan lle y cloddir am aur yn bresenol; un o'r cwmni oedd Mr. Charles, ac un arall oedd Mr. Pugh, yr hen flaenor yn Nolgellau. A dalodd yr ymgymeriad iddynt nis gwyddom; y tebygolrwydd yw, gan leied y son am y peth, ac iddo ddarfod yn fuan, mai yn golled y trodd; ond os bu rhyw elw o hono y mae yn sicr mai achos addysg, ac achos yr efengyl, a gafodd y fantais.

Ond yr ydym wedi crwydro i raddau oddiwrth y Parch. T. Charles a'r ysgolion cylchynol. Nid oedd ei foddion ef yn caniatau iddo allu eu cynal yn gyfangwbl; felly, anfonodd at bersonau caredig a adwaenai yn ngwahanol ranau y deyrnas, gan egluro natur y symudiad, ac apelio am gymhorth. Tueddodd yr Arglwydd rai i gyfranu yn helaeth. Yn yr *Evangelical Magazine*, am Mawrth, 1798, cawn ef yn cydnabod yn dra diolchgar haelioni un G. T. G., yr hwn a ddanfonodd iddo y swm anrhydeddus o haner can' punt at yr amcan. Yr oedd hwnw yn swm eithriadol; ond y mae yn bur sicr, er nad oes unrhyw gyfrif ar gael yn awr, iddo gael ei gynorthwyo i raddau pell gan garedigrwydd Cristionogol cyfeillion ac ewyllyswyr da. Oni bai am hyn buasai yn anmhosibl cynal tuag ugain o'r ysgolion yma ar yr un pryd, yn ngwahanol ranau y wlad, ar draul o yn agos i dri chant o bunau, yr hyn a olygai bymtheg cant o bunoedd yn bresenol. Parhaodd yr ysgolion yn flodeuog am agos i ugain mlynedd; y mae yn amheus a ddarfuant yn llwyr yn ystod oes Mr. Charles. Gwanychwyd hwy gan ddau achos. Un oedd cyfodiad yr Ysgol Sabbothol, yr hyn mewn rhan a'u gwnaeth yn ddiangenrhaid. Y llall oedd i ffrwd haelioni y rhai yr oedd yr ysgolion yn dibynu ar eu caredigrwydd sychu. Meddai Mr. Charles yn y flwyddyn 1808: "Er pan

* Gweithred gyfreithiol yn meddiant Mr. E. Griffith, Dolgellau.

wnaed y casgliadau helaeth yn Nghymru tuag at y Gymdeithas Frytanaidd a Thramor, y mae y cynorthwyon blynyddol a'r rhoddion oll o Loegr wedi pallu i ni, oddieithr yn unig ddau gini o gymhorth blynyddol oddiwrth y Gwir Anrhydeddus Arglwydd Barham, trwy fod ein cymwynaswyr tirion wedi barnu, yn debygol, nad oedd dim angen cymhorth lle y casglwyd cymaint o arian, yn rhwydd, at un dyben penodol. Ond priodol sylwi mai achos tra neillduol oedd hwnw, ac fod meddyliau y cyffredin mewn mawr syndod o herwydd newydd-deb y gwaith ardderchog, yn gystal a than effeithiad o herwydd ei bwysigrwydd." Yn sicr, teimlai Mr. Charles ei fod yn bur galed ar y genedl Gymreig, ei bod yn cael ei chospi am gyfranu uwchlaw ei gallu yn mhell at Gymdeithas y Beiblau, trwy atal oddiwrthi y cynorthwy a arferai dderbyn at yr ysgolion.

Ysgolion Cymreig oedd y rhai hyn. Cymry uniaith oedd y werin bobl agos yn gyfangwbl, ac yr oedd Mr. Charles yn llawer rhy synwyrol i syrthio i'r arferiad a ddaeth i fod yn ddiweddarach, sef dysgu y bobl i ddarllen mewn iaith nad oeddynt yn ei deall. Y mae yn sicr y buasai yn fendith i'r genedl pe buasai y Gymraeg wedi cael ei chadw yn yr ysgolion dyddiol hyd y dydd hwn, yn ol cynllun y Parch. T. Charles; nid fel ag i gau allan y Saesneg, ond gyda yr iaith hono, yn cael ei chydnabod yn gyfartal â hi mewn gwerth, yn gystal ac yn risiau i ddringo iddi. Yr oedd yr ysgolion yma yn grefyddol eu tôn; dysgid prif athrawiaethau yr efengyl ynddynt, a byddai y plant yn cael eu cateceisio yn fanwl er profi eu gwybodaeth o'r Ysgrythyr. Nid yw yn ymddangos y gwnelid un ymgais i addysgu mewn ysgrifenu a rhifo; nid i amcanion masnach y bwriedid yr ysgolion. Fel offeryn i grefyddoli y bobl gyffredin, a'u dwyn i wybodaeth o Dduw, trwy eu galluogi i ddarllen ei Air, y bwriadai Mr. Charles iddynt fod. Er mwyn y rhai oeddynt wedi tyfu i fynu, ac a fyddent gyda eu gorchwylion yn ystod y dydd, cynhelid ysgolion y nos, fel ag i wneyd pawb yn ddiesgus. Byddai yr ysgolion yn cael eu cynal yn mhob math o leoedd; mewn capel os byddai, neu ynte mewn tai anedd, neu mewn ysguboriau. Nid oedd ysgoldai o unrhyw fath i'w cael yn y wlad yr adeg hono, oddieithr yn rhai o'r prif drefydd. Byddai Mr. Charles, pa le bynag yr elai, mewn ymchwil am ddau beth, sef lle i osod ysgol i lawr, a dyn ieuanc yn meddu cymhwysder ysgolfeistr. Dangosodd graffder dirfawr, a medr arbenig i adnabod cymeriad, yn ei ddewisiad o ysgolfeistriaid. Daeth rhai o honynt, megys Richard Jones, y Bala; John Ellis, Abermaw; Robert Evans, Llanidloes; ac eraill, yn ganlynol, yn bregethwyr cymeradwy.

Teifl y difyniad canlynol allan o bapyrau Lewis Williams, Llanfachreth, ryw gymaint o oleuni ar hanes yr ysgolion cylchynol.* "Holai Marchog y sir, a pherchen y rhan fwyaf o'r plwyf (Syr Robert W. Vaughan, Nannau), lawer arnaf am hanes y Methodistiaid, a gofynai faint o gyflog oeddwn yn gael y cwarter am gadw yr ysgol. Gwyddai mai ysgol rad oedd i'r plant. Dywedais wrtho mai tair punt oeddwn yn gael ar y cyntaf, ond i'r gyflog godi i bedair gwedi hyny. Fe fyddai yn rhyfeddu pa fodd yr oeddwn yn cael bwyd a dillad. Dywedwn wrtho fy mod yn ceisio bod yn bur gynil, a bod y bobl yn bur ffeind wrthyf, ambell un yn rhoddi i mi haner pwys o fenyn neu lai, ac eraill yn fy ngwahodd i'w tai i gymeryd pryd o fwyd. Byddwn yn dywedyd y buasai yn well genyf gadw ysgol am ddim pe byddwn yn gallu, na bod heb gadw ysgol, gan y pleser fyddwn yn gael yn y gwaith. Gofynai i mi o ba le y derbyniwn fy ngyflog, sef hyny oeddwn yn gael. Atebwn mai gan Mr. John Griffith, o'r Abermaw, a'i fod yntau yn ei chael oddiwrth Mr. Charles, a bod gan Mr. Charles ddeuddeg neu bymtheg o athrawon fel finau, a rhagor weithiau, dan ei ofal. Yna, holai y boneddwr o ble yr oedd Mr. Charles yn cael yr arian. Atebwn inau fod ganddo amryw ffyrdd; fod y Methodistiaid yn Sir Feirionydd yn gwneyd casgliad unwaith y cwarter, ac yn gofyn ewyllys da o geiniog gan bob un; a bod rhai yn gyfoethog, ac yn cyfranu mwy na'r gofyn. Methai yntau ddeall pa fodd yr oedd hyn yn ddigon i wneyd i fynu fy ngyflog i a'r lleill. Dywedwn wrtho yn mhellach fod y Methodistiaid yn lliosog, a bod y naill geiniog at y llall yn dyfod yn llawer; fod Mr. Charles, oblegyd ei fawr awydd am weled plant tlodion yn cael eu dysgu, yn cyfranu llawer ei hun; ei fod yn myned yn fynych i drefydd Lloegr, ac i Lundain, i gynhal cyfarfodydd mawr, lle y byddai boneddigion cyfoethog, fel y chwi, syr, yn bre-

* Papyrau anghyhoeddedig Lewis Williams.



CAPEL Y BALA,

FEL Y MAE YN BRESENOL.

[*Yma yr adeiladwyd y Capel Methodistaidd cyntaf yn Sir Feirionydd.*]

senol, ac o'r cyfryw yspryd i wneyd daioni ag ef ei hun; ei fod yn rhoddi achos Cymru, ac yn arbenig achos Sir Feirionydd, ger eu bronau, ac y byddent hwythau yn aml yn cyfranu yn haelionus i'w gynorthwyo yn ei amcan. Canmolai y boneddwr y gwaith yn fawr, a'r modd yr oedd yn cael ei gario yn mlaen."

Teifl y difyniad ffrwd o oleuni ar ddull cynhaliad yr ysgolion, ac ar y modd y byddai yr ysgolfeistriaid yn medru cadw corph ac enaid wrth eu gilydd. Gwelwn mai dynion cartrefol oeddynt, yn ymgymysgu a'r bobl gyffredin, ac yn ymweled a'u tai; ac nad oeddynt uwchlaw derbyn caredigrwydd oddiwrth amaethwyr y fro yn y ffurf o ymenyn, neu gaws, neu laeth. Nid yw yn ymddangos fod hyn mewn un modd yn lleihau eu dylanwad; yn hytrach, parai i anwyldeb a chyfeillgarwch ffynu rhyngddynt a'r bobl yn mysg pa rai y preswylient. Adrodda Lewis Williams yn mhellach am y dull a gymerai ef, pan oedd yn ysgolfeistr, mewn undeb â dynion crefyddol eraill, i osod terfyn ar lygredigaethau y gwahanol ardaloedd. Fel hyn y dywed: "Pan y clywem am ryw gyfarfod llygredig, byddem yn cyhoeddi cyfarfod gweddi i fod yr un noswaith; a dywedem yr ai rhai o honom i'r cyfarfod llygredig, i gael gweled pwy fyddai mor ffyddlon i'r yspryd drwg, fel ag i'w ddal i fynu. Buom mewn rhai o honynt, a'r canlyniad fyddai iddynt roddi i fynu yn y man. Brydiau eraill, pan y cyhoeddem y cyfarfod gweddi, a'r achlysur o hono, yn nghyd a'r drwg y byddem yn gweddïo yn ei erbyn, atebai rhai o'r cyfryw ag a gefnogent y cyfarfodydd llygredig nad oedd y cyfarfod i fod. Atebem ninau y cynhaliem y cyfarfod gweddi i ddiolch i'r Arglwydd am dueddu eu meddwl i'w roddi heibio. Felly, rhoddwyd y cyfryw gyfarfodydd heibio cyn hir." Y mae yn sicr ddarfod i'r ysgolfeistri duwiol a gyflogwyd gan Mr. Charles, yn nghyd ag addysg a dylanwad yr ysgolion oeddynt yn gadw, chwareu eu rhan mewn rhoddi i lawr hen arferion llygredig Cymru. Dengys yr hanesyn canlynol a adroddai hen bererin duwiol, o'r enw Evan Roberts, yr hwn a breswyliai yn Brynygath, ger Abergeirw, dywyllwch y wlad yn adeg Mr. Charles, yn nghyd a'i fawr awydd yntau am sefydlu ysgolion. *"Yr wyf yn cofio," ebai Evan Roberts, gyda ei lais crynedig, a'i ddull arafaidd o siarad, "yr wyf yn cofio gystal a dim Mr. Charles yn pregethu o flaen y tŷ yma, ar ddiwrnod teg yn yr haf. Ei fater oedd, Iesu Grist yn dysgu Nicodemus am ailenedigaeth. Yr oedd llawer wedi dyfod yn nghyd o ryw lafnau o'r cymoedd rhwng yma a Llanfachreth, ac oddiwrth Drawsfynydd, a'r rhai hyny yn gwrando ar eu lledorwedd ar yr ochr o flaen y tŷ yma. Yr oeddwn inau yn hogyn wedi myned y tu ol iddynt. A phan oedd Mr. Charles yn dweyd fod yn rhaid geni dyn drachefn, ebai y llanciau wrth eu gilydd: 'Glywi di, glywi di y dyn yn dweyd fod yn rhaid geni dyn ddwy waith?'" Ar ol y bregeth hon, gofynai Mr. Charles i ŵr y tŷ: "Oes yma ddim lle y gallwn anfon dyn iddo i gadw ysgol?" "Ryfeddwn i ddim nad oes," ebai yntau, "yn Brynygath Isaf." Cytunwyd ar y lle y pryd hwnw, a'r gauaf canlynol, sef yn y flwyddyn 1790, daeth John Ellis, o'r Abermaw, yno i'r pwrpas. A chydag ef, yn Mrynygath Isaf, y cafodd yr hen bregethwr hynod Lewis Morris yr unig dair wythnos o ysgol ddyddiol ag a syrthiodd i'w ran.

Yr ydym wedi ymhelaethu parthed yr ysgolion cylchynol, oblegyd eu bod y cyntaf o'r sefydliadau da a gychwynodd Mr. Charles, ac oblegyd i'w dylanwad fod yn fawr, yn arbenig yn Ngwynedd, er cynyrchu gwybodaeth o Air Duw, a chrefyddoli y wlad. Meddai y Parch. Lewis Edwards, D.D.: "Pe na buasai wedi gwneyd dim ond a wnaeth gyda'r ysgolion dyddiol, buasai hyn yn unig yn gymaint ag a wnaeth rhai yr ysgrifenwyd cyfrolau am danynt yn Lloegr. Gwnaeth yn y ffordd hon gymaint ag oedd yn ddichonadwy iddo ei wneuthur, a phe buasai llawer yn gweithredu yn gyffelyb, buasai golwg arall ar Gymru heddyw."

Eithr fel y cuddir llewyrch y sêr gan lewyrch tanbeidiol yr haul, felly y mae enwogrwydd yr ysgolion cylchynol yn cael ei dywyllu gan ogoniant mwy rhagorol yr Ysgol Sul. Ac am Ysgol Sabbothol Cymru yr ydym yn hawlio i Mr. Charles yr holl anrhydedd o fod yn dad y symudiad; yn ei feddwl ef y cymerodd y syniad ffurf, efe a'i cyhoeddodd i'r byd, ac efe, gyda'r penderfyniad a'r deheurwydd oedd mor nodweddiadol o hono, a'i gweithiodd allan, ac a ddygodd farn i fuddugoliaeth. Y mae y Saeson yn edrych ar Robert Raikes fel cychwynydd yr Ysgol Sabbothol; ac nid ydym heb wybod fod

* *Hanes Methodistiaeth Gorllewin Meirionydd*, gan y Parch. Robert Owen, M.A.

y gŵr da hwnw wedi dechreu rhoddi addysg i blant tlodion yn ninas Caerloyw, ar y Sul, mor fuan a 1782, neu 1783, ac felly ei fod ar y maes tua phedair blynedd o flaen Mr. Charles. Ond nid ar gynllun Raikes y gweithiai efe; eithr yn unol â meddylddrych oedd yn wreiddiol iddo ef ei hun. Meddai y Parch. Lewis Edwards, D.D.: "Y mae Ysgolion Sabbothol yn Lloegr, ac yr oeddynt wedi dechreu yno yn nghynt nag yn Nghymru; a chan fod yr un enw arnynt, y mae llawer yn tybied eu bod yr un peth mewn gwirionedd. Ond y mae cymaint o wahaniaeth rhyngddynt ag oedd rhwng goruchwyliaeth Moses a goruchwyliaeth y Testament Newydd. Dyben yr Ysgol Sabbothol yn mhob gwlad arall ond Cymru yw dysgu plant yn unig; ac nid dysgu plant ychwaith fel y cyfryw, ond plant tlodion, y rhai sydd yn analluog i gael addysg mewn ffordd arall. Nid yw'r gweinidog, na'r diacon, nac un aelod parchus o'r gynulleidfa, yn meddwl am anfon ei blant yno. Y canlyniad yw fod yr Ysgolion Sabbothol yn anadnabyddus lle y mae cyflawnder o ysgolion dyddiol, a'r rhai hyny o fewn cyrhaedd plant tlodion, megys yn y rhan fwyaf o Scotland; ac fel y bydd addysg ddyddiol yn dyfod yn fwy cyffredin yn Lloegr, mae yn dra thebyg y bydd yr Ysgolion Sabbothol yn darfod, os na osodir hwynt i sefyll ar egwyddor uwch. Hyd yn hyn, pa fodd bynag, y mae cyfarfod i bob oedran, ar ddydd yr Arglwydd, i chwilio yr Ysgrythyrau, yn beth anarferol yn mhob gwlad oddieithr yn unig yn Nghymru. Efallai na chyfeiliornid pe y dywedid mai dyma brif ragoriaeth ein cenedl; ac mai dyma y penaf o holl weithredoedd Charles, o'r Bala." Ië, yn ddiau, yn Nghymru yn unig y gwelir hen wŷr a hen wragedd ar bwys eu ffyn, â'u gwydrau ar eu llygaid, wedi cyfarfod mewn dosparth i sefyll uwchben Gair Duw, ac i geisio deall ei ystyr; tra y ceir yn eu hymyl ddosparthiadau o ieuenctyd a phlant, o bob rhyw, ac oedran, a sefyllfa, wedi ymroddi i'r un a'r unrhyw orchwyl. Dyma elfen arbenig ein Hysgolion Sul, ac o feddwl Mr. Charles y tyfodd.

Mor bell ag y gallwn gasglu, dechreuodd yr Ysgol Sabbothol yn Nghymru tua'r flwyddyn 1787. Yr oedd awydd am i'w gydwladwyr ddyfod yn gydnabyddus a'r Ysgrythyr wedi myned yn nwyd anorchfygol yn yspryd y Parch. T. Charles. Pan y cyfarfyddai â hen ŵr neu hen wraig ar ei daith yn nghanol mynyddoedd Meirionydd neu Arfon, nis gallai eu pasio heb holi a wyddent rywbeth am y Beibl. Ataliai y llanc ar yr heol, a'r herlodes yr un modd, a'r un fyddai ei gwestiwn yn wastad, nes yr aeth yn ddiareb gwlad. Adroddir am dano yn cyfarfod a hynafgwr ar bwys ei ffon yn mhell oddicartref; cyfarchodd Mr. Charles ef ar unwaith: "Yr ydych yn hen ŵr, ac yn agos iawn i fyd arall." "Ydwyf," ebai yntau; "ac yr wyf yn gobeithio fy mod yn myned i'r nefoedd." "A wyddoch chwi y ffordd yno—a ydych yn gydnabyddus â Gair Duw?" Yn lle ateb y gofyniad, dyma yr hen ŵr yn troi arno gyda chwestiwn arall: "Ai chwi yw Mr. Charles?" Credodd ar unwaith y rhaid mai dyma y gŵr a arferai ofyn y fath holiadau. Tyfiant oddiar yr ysgolion cylchynol oedd yr Ysgol Sul; oni bai am danynt hwy buasai y diweddaf yn anmhosibl; nis gellid ei chychwyn oblegyd diffyg athrawon.

Yn adgofion yr hen bregethwr hynod, Lewis Morris, ceir esiamplau amryw o'r anwybodaeth trwch a orchuddiai y wlad yn flaenorol i gyfodiad yr Ysgol Sabbothol. Gofynai unwaith i hen ŵr a gyfarfyddodd yn ngwlad Môn: "Pa beth yw eich oedran, fy ewythr?"

"Dwy flwydd a phedwar ugain," oedd yr ateb.

"A ddarllenasoch chwi lawer ar y Beibl yn eich oes?"

"Ni chefais i ddim ysgolheigdod erioed," ebai yr hen ŵr; "ond a ydych chwi yn gapelwr?"

"Byddaf," ebai Mr. Morris, "yn arfer myned i'r capelau."

"Chwychwi, pobl y capelau," ebe yr hen ŵr, "a ŵyr am yr Ysgrythyr; ond nyni, pobl yr eglwysi, ni wyddom fawr am dano; ond y mae genyf finau weddi dda iawn, ac yr wyf yn ei dweyd hi hwyr a boreu."

Wedi ceisio ganddo ei hadrodd, beth ydoedd ond rhyw gyfarchiad ar Mair Wen y Forwyn!

"Gweddi Babaidd yw hona,' meddai Lewis Morris; "thal hi ddim."

"Yn wir," ebai yr hen ŵr, "dyna yr oreu a feddaf fi."

Gofynai yr un gŵr i hen wraig yn Sir Drefaldwyn, yn nghymydogaeth pedwar ugain mlwydd oed: "A ddarllenasoch chwi lawer ar y Beibl?"

"Ni fedraf fi ddarllen," ebai hithau, "ac ni wnaethum ddrwg i neb erioed, ac ni fum yn gwrando yn un man ond eglwys y plwyf."

"Yr ydych chwi fel finau, modryb, yn bechadur, ac wedi troseddu gorchymynion Duw."

Ebai hithau: "Wn i ddim beth yw bod yn bechadur; ond os ydwyf yn un, pechadur da iawn ydwyf fi."

Gellid ychwanegu enghreifftiau lawer er dangos pa mor dywyll oedd y bobl gyffredin. I raddau bychan mewn cymhariaeth yr oedd pregethu yr efengyl hyd yn nod yn gallu chwalu y tywyllwch; gwrandawai dynion rywsut ac heb ddirnad; teimlent Meddai y Parch. Lewis Edwards, D.D., gyda golwg ar Mr. Charles: "Dyoddefodd ferthyrdod moesol am faith flynyddoedd, a hyny oddiwrth ei gyfeillion. Ond yn mlaen yr aeth yn dawel a diwyd, heb drwst ac heb ffrwst. Yr oedd rhyw fywyd na fynai farw yn yr Ysgolion Sabbothol."

Ymunai rhai o weinidogion yr enwadau eraill, gyda y rhai rhagfarnllyd perthynol i'r Methodistiaid, i wrthwynebu yr Ysgol Sul. * Sefydlwyd yr Ysgol yn mhlwyf Llanfrothen ar y cyntaf yn Hafotty, am y



TY Y PARCH. T. CHARLES YN Y BALA.

yn aml ryw gyffroad dan y Gair, ond i raddau bychan yr oedd eu deall yn cael ei oleuo.

Yn syn iawn, cyfarfyddodd yr Ysgol Sul a gwrthwynebiad cryf ar y cychwyn. Erlidiai yr enwadau crefyddol eraill, ac yr oedd llu o'r Methodistiaid yn hollol groes i'r newyddbeth. Credent fod dysgu darllen, ie, dysgu darllen y Beibl ar ddydd Duw yn halogiad ar y dydd; ystyrient fod hyn yn hollol ar yr un tir a dysgu rhyw gangen wyddonol, megys cerddoriaeth, neu arlunio. pared a phreswylfod y Parch. John Jones, o Ramoth. Yr oedd yntau yn wrthwynebwr ffyrnig, a dywedai bethau chwerwon yn ei herbyn. Arferai ddweyd mai yr un peth ganddo ef fuasai gweled dynion yn myned i'r maes gyda chaib a rhaw ar ddydd yr Arglwydd, a'u gweled yn defnyddio y dydd hwnw i gadw ysgol i ddysgu darllen. Yr oedd teimlad cryf yn erbyn y sefydliad yn Penrhyndeudraeth. Ni

* *Hanes Methodistiaeth Gorllewin Meirionydd.*

chaniateid i'r Ysgol gael myned i'r capel ar un cyfrif, am yr ystyrid ef yn rhy gysegredig. Adroddid y chwedlau mwyaf disail am amcan cefnogwyr yr Ysgol. Elai rhai mor bell a dweyd mai eu prif ddyben oedd gwneyd y bechgyn oll yn filwyr, a'u hanfon oll i ffwrdd i'r rhyfel; ac meddent: "Y mae yn beth peryglus iawn, a dylem godi fel cymydogaeth yn ei erbyn!" Hyd yn nod yn Nolgellau, lle yr oedd dylanwad Mr. Charles agos yn ddiderfyn, cymaint oedd gwrthwynebiad y blaenoriaid a phobl flaenaf y capel i'r Ysgol Sabbothol, fel y bu gorfod ei rhoddi i fynu ar ol ei chychwyn unwaith. Pan ddaeth Lewis Williams, Llanfachreth, i'r dref yn y flwyddyn 1801, penderfynodd wneyd ymdrech egniol i'w hail sefydlu. Yr oedd cryn anhawsder cael awr i'w chynal. Byddai seiat am naw yn y boreu; gwasanaeth yn y Llan am un-ar-ddeg, pryd na feiddiai neb o'r Ymneillduwyr gynal moddion; a chyfarfod gweddi neu bregeth am ddau ac am chwech. Penderfynodd yntau ei chadw am chwech yn y boreu. Eithr nid oedd neb o'r brodyr a'i cynorthwyai; efe oedd yr arolygwr a'r athraw; efe oedd yn dechreu ac yn diweddu yr Ysgol; efe a roddai emyn allan i'w chanu ac a gychwynai y dôn, ac efe a holwyddorai y plant. Aeth y gwrthwynebiad yn fwy fyth. Symudwyd y seiat o naw i chwech yn y boreu; symudodd Lewis Williams yr Ysgol i bedwar o'r gloch y boreu. Deuai o dri-ugain i bedwar-ugain o blant iddi ar yr oriau plygeiniol hyn. Ond o'r diwedd, llwyddodd Mr. Charles, drwy fawr daerni, i gael yr Ysgol Sul fel moddion rheolaidd am naw yn y boreu.

Modd bynag, darfyddodd pob rhagfarn yn raddol; gwelid fod yr ysgol yn cael ei dwyn yn mlaen mewn modd tra chrefyddol; nad oedd dysgu darllen ond y porth nesaf allan ynddi; fod lle mawr yn cael ei roddi i weddi, a mawl, a chynghori, a rhybuddio; fod yr ieuenctyd yn dysgu penodau o'r Beibl ar dafod leferydd, ac yn cael eu holwyddori ar gyhoedd yn yr hyn a ddarllenent ac a ddysgent. Mewn gair, fod llawn cymaint o wedd seiat ag o wedd ysgol ar y sefydliad. Yn fuan daeth ei dylanwad i gael ei deimlo trwy fod yr ieuenctyd yn cael eu difrifoli, ac arferion llygredig yn cael eu darostwng.

Darlunia Lewis Williams, Llanfachreth, y frwydr rhwng cefnogwyr yr Ysgol Sul a'i gwrthwynebwyr. Meddai: "Byddai y rhai a allai (o'r gwrthwynebwyr) yn myned i ryw ardaloedd eraill i'r moddion (ar adeg yr Ysgol) hyd yn mhell, os na chaent y cyfryw yn agos. Nid oeddynt yn cyfrif yr Ysgol Sabbothol yn foddion gras, nac yn foddion crefyddol. Mawr fu yr ymdrech i brofi hyny; ond o dipyn i beth daeth yn amlwg ei bod yn foddion i roi gras, a'i feithrin; ei bod yn cynwys addoliad i Dduw, ac hefyd yn foddion manteisiol iawn ddyfod i feddiant o'r wybodaeth hono sydd yn abl i wneuthur rhai yn ddoeth i iachawdwriaeth, yn gystal ag yn gynorthwy hynod o effeithiol i weinidogaeth yr efengyl. Profwyd hyn yn ngwaith Duw yn ei harddel, nes y codwyd zêl ati mewn rhai yn uwch nag at unrhyw foddion arall, ac y darostyngwyd rhagfarn ati bron yn mhawb. Wedi i'r Ysgol lwyddo, a'i deiliaid gael y fath adeiladaeth ynddi a thrwyddi, aethant i ddweyd mai crefydd y coesau oedd gan y rhai a'i hesgeulusent, ac a aent yn mhell i'r moddion yn ei hamser; ac mai crefydd ddiles oedd gan y rhai a arosent gartref. Gwnaeth yr Ysgol les mawr yn Llanfachreth trwy ddarostwng a gorchfygu arferion llygredig oedd yn uchel iawn eu bri, yr hyn nad oedd pregethu wedi gallu ei wneyd cyn hyny."

Y mae yn amheus a effeithiwyd cyfnewidiad moesol a deallol mor gyflym ac mor drwyadl yn y werin bobl mewn unrhyw wlad dan haul, ag a wnaed yn Nghymru trwy gyfodiad yr Ysgol Sabbothol; gellir edrych ar y cyfnewidiad fel chwildroad. Fel hyn yr ysgrifena Mr. Charles yn y flwyddyn 1808, a gwyddis ei fod yn nodedig o gymhedrol yn ei ymadroddion: "Y mae yspryd dysgu wedi ymledu yn gyflym yn mysg y bobl ieuainc a'r plant yn y lleoedd poblog, lle yr oedd hyn yn cael ei lwyr esgeuluso yn flaenorol; ac y mae y diwygiad yn eu moesau yn amlwg ac yn foddhaol i bawb. Y maent wedi gadael halogi y Sabbath trwy chwareu, neu ei dreulio yn y tafarndy; treuliant eu Sabbathau yn awr yn yr Ysgolion, neu mewn ymarferiadau crefyddol. Mewn rhai amgylchiadau gwybyddus i mi, sefydlir eu meddwl mor llwyr, fel y treuliant y rhan fwyaf o'r nos i ddysgu penodau, neu ynte i chwilio yr Ysgrythyrau ar faterion a roddasid iddynt i'w heglurhau drwy adnodau. . . Yr wyf yn adwaen dynion ieuainc ddarfu ymddyrchafu megys ar unwaith, o ystad o segurdod, halogedigaeth, ac anwybodaeth, i ddiwydrwydd, difrifwch, a sylw boddhaol ar bethau

dwyfol. Y maent yn hoff o'r gwaith; a gellwch wahaniaethu rhwng y rhai sydd yn llafurio ynddo, oddiwrth y segur a'r anwybodus, trwy y cysur a'r llawenydd sydd yn amlwg ar eu gwynebau."

Wrth ysgrifenu at Gymdeithas y Traethodau Crefyddol, rhydd fanylion ychwanegol: "Miloedd o bobl ieuainc dros yr holl wlad sydd a'u sylw wedi cael ei dynu at bethau dwyfol. Dysgant gatecismau a phenodau o'r Beibl gyda chyflymdra rhyfeddol. Fy ngwaith pleserus bob Sul, er pan adewais Lundain yn Rhagfyr diweddaf, yw cateceisio, a chlywed yr ieuenctyd yn adrodd penodau yn ngwydd miloedd o bobl; heblaw pregethu ddwy waith bob Sabbath, ac weithiau dair gwaith mewn gwahanol leoedd. Mewn trefn i chwi gael rhyw syniad am y gwaith, nodaf ychydig o fanylion, y rhai ydynt yn berffaith wir. Teuluoedd cyfain, yn hen ac yn ieuainc, y rhai sydd yn llywodraethu, a'r rhai danynt, a gyd-ddysgant y catecismau a phenodau o'r Beibl. Y maent wedi ymddangos yn gyhoeddus, ac wedi adrodd ar yn ail yr hyn a ddysgasent. Yn rhai o'r seiadau, y mae yr holl bobl ieuainc ydynt wedi tyfu i fynu wedi gwneyd yr un peth. Bechgyn a merched, o wyth i un-ar-bymtheg, a ddysgant lyfrau cyfain o'r Beibl, megys yr Epistol at yr Ephesiaid, at yr Hebreaid, &c., gan adrodd i ni gymaint ag y geill amser ganiatau i ni ei wrando. Eraill a ddysgant benodau neillduol yn rhyfedd, megys deg, ugain, deg-ar-ugain, &c. Un ferch fechan a ddysgodd ddeuddeg-a-thriugain o salmau a phenodau, ac un arall bedwar-ugain-a-deuddeg; rhestr o ba rai sydd yn fy meddiant. 'Yn awr, yr ydym am borthi y tân hwn, sydd wedi cael ei gyneu yn eu meddyliau, trwy roddi yn eu dwylaw ychydig o draethodau defnyddiol yn yr iaith Gymraeg. Y pum' mil difyniadau o'r Ysgrythyr a ddanfonasoch i mi a wasgarwyd bron mewn diwrnod; ac y mae ein dynion ieuainc wrthi yn brysur yn eu dysgu. Yr wyf newydd ddod o'r capel, lle y clywais ddwy benod o'r difyniadau Ysgrythyrol yn cael eu hadrodd yn gyhoeddus. Mewn ychydig wythnosau dysga ein plant yr oll o'r traethodyn."

Rhaid priodoli llwyddiant cyflym yr Ysgol Sabbothol trwy y wlad i raddau mawr i ddylanwad personol Mr. Charles. Yr oedd amryw yn fwy eu dawn nag ef yn y pwlpud, ond unwaith y gosodid ef yn nghanol nifer o bobl ieuainc, byddai fel brenin ar ei orsedd. Gyda llewyrch byw ei lygad, serchawgrwydd ei wên, tynerwch ei oslef, a deheurwydd nodedig ei gwestiynau, atynai y plant, a pharai iddynt ateb bron uwchlaw yr hyn a wyddent. Daeth yn ddefod iddo gateceisio ar derfyn pob odfa; a theimlai llawer mai y rhan olaf oedd y mwyaf bendithiol o'r cyfarfod. Cyrchai canoedd yn nghyd i wrando yr holi a'r ateb; ac nid anaml teimlent fod eu calonau yn gwresogi yn gystal a'u deall yn cael ei oleuo yn yr ymdriniaeth â'r gwirionedd. Dyma wraidd "holi y pwnc" a fu o'r fath fudd i Gymru. Bu i Mr. Charles olynwyr medrus gyda hyn, megys Owen Jones, y Gelli; Ebenezer Richard, ac eraill, ond ni ragorodd neb arno ef.

Yr ydym eisioes wedi cyfeirio at ddylanwad yr Ysgol Sabbothol, a'r holwyddori, er darostwng llygredigaeth. Byddai y Parch. T. Charles weithiau yn cyfansoddi pynciau ar ddrwg arferion y wlad, gan ddangos gwrthuni y cyfryw; neu ynte, byddai yn troi yr holi i'r cyfeiriad hwnw. Adroddir am un dref benodol, yr hon a ymddangosai fel yn ymlygru fwyfwy. Ar ffeiriau yn neillduol byddai y trigolion, yn hen ac yn ieuainc, yn ymroddi i bob rhysedd; ac nid oedd y weinidogaeth fwyaf daranllyd yn tycio i arafu dim ar eu camrau. Penderfynodd Mr. Charles ymosod ar y drygfoes mewn dull arall. Tua dau fis cyn y ffair flynyddol anfonodd at athrawon yr Ysgol Sul, gan eu cyfarwyddo i beri i'r plant chwilio am adnodau yn dangos drygedd meddwdod, puteindra, a dawnsio; ac addawai ddyfod i'w holwyddori cyn hir. Daeth pwnc y plant yn adnabyddus, a pharodd gryn gyffro a siarad. Y diwrnod cyn y ffair cyrhaeddodd yntau yno yn ol ei addewid; yr oedd y plant wedi ymgasglu yn llu, a daethai torf fawr i wrando. Wedi canu a gweddïo dechreuodd yr holwyddori. Gofynai Mr. Charles: "A ydyw dawnsio yn bechod, fy mhlant i?" "Ydyw," ebai un yn bwysleisiol, "oblegyd dawnsio merch Herodias y torwyd pen Ioan Fedyddiwr." "A ydyw yr Ysgrythyr yn ei gondemnio?" "Ydyw," ac yna adroddodd yr adnodau: "Gwae y rhai a gyfodant yn foreu i ddilyn diod gadarn, a arosant hyd yr hwyr, hyd oni enyno y gwin hwynt. Ac yn eu gwleddoedd hwy y mae y delyn, a'r nabl, y dympan, a'r bibell, a'r gwin; ond am waith yr Arglwydd nid edrychant, a gweithred ei ddwylaw ef nid ystyriant." Yn y modd hwn aed tros amrywiol lygred-

igaethau o un i un. Holai Mr. Charles gyda gwres; atebai y plant gyda phriodoldeb; ac yn fuan dyna y gwrandawyr euog yn dechreu cywilyddio, ac yn gostwng eu penau. Ar y terfyn, cynghorodd hwy, gyda serchawgrwydd diderfyn, i adael eu ffyrdd, ac i chwilio am bleserau uwch. Yr oedd yr effaith yn orchfygol. Dranoeth yr oedd y ffair gwedi ei gweddnewid; gwedi gorphen eu masnach aeth y bobl adref yn sobr a difrifol; y chwareuwyr a adawyd yn unig yn y tafarndai, ac nid oedd neb i wrando ar y delyn. Yn fuan gwelid y telynwyr yn gadael y lle yn siomedig, gan felldithio y 'ffeiriad a'r cap du oedd wedi rheibio y bobl.

Yn nglyn â'r Ysgol Sabbothol sefydlodd y Gymanfa Ysgolion, yr hon a ddaeth ar unwaith yn boblogaidd, ac yn nesaf ei dylanwad at y Gymdeithasfa. Ymddengys mai yn y flwyddyn 1808 y cychwynwyd gyda hyn. Yn y modd a ganlyn yr ysgrifena Mr. Charles: "Cynaliasom y flwyddyn hon Gymdeithasfaoedd o wahanol ysgolion. Cyfarfyddent mewn rhyw fan canolog i gael eu cyd-arholi. Cynaliwyd tri chyfarfod o'r natur yma yn Ngogledd Cymru, a thri yn y Dê. Rhoddir pwnc i bob ysgol, yn yr hwn y maent i gael eu holi, a'r hwn y maent i egluro trwy adrodd rhanau priodol o'r Ysgrythyr. Ar yr adeg apwyntiedig, yn gyffredin y Sabbath, bydd plant y gwahanol ysgolion yn ymgasglu gyda eu hathrawon. Bydd ambell ysgol wedi cerdded deng milltir erbyn wyth o'r gloch y boreu. Gan fod y plant yn wasgaredig, ac nad ydynt yn preswylio mewn pentrefydd, fel yn Lloegr, trefnant i gyfarfod mewn man neillduol; a chwedi gweddïo a chanu emyn, gorymdeithiant yn drefnus tua'r lle sydd wedi ei drefnu. Gan nad oes un adeilad yn ddigon eang i gynwys y torfeydd sydd yn ymgasglu ar achlysuron fel hyn, yr ydym yn gorfod codi esgynloriau ar y maes—un fawr i'r plant, i ddal dwy neu dair ysgol ar yr un pryd; ac un arall, gyferbyn ag eiddo y plant, i'r holwyddorwyr, a thua phymtheg neu ddeunaw llath o bellder rhwng y ddwy. Y cyfwng hwn a lenwir gan y gynulleidfa. Yr ydym yn dechreu ar y gwaith yn y boreu, a threulir yr holl ddiwrnod mewn arholi. Bydd pob odfa yn parhau am o dair i bedair awr, a therfynir hi fel rheol gydag anerchiad i'r plant a'r bobl. Rhwng y cyfarfodydd arweinir pob ysgol gan yr athrawon i ystafell, i gyfranogi o'r ymborth sydd wedi ei ddarpar; yna cymerir hwy yn eu holau drachefn. Ar achlysuron fel hyn yr ydym wedi cael o bymtheg i ugain o ysgolion wedi ymgasglu. Rhydd rhagddarpar waith am ddau fis i'r ieuenctyd o'r ddau ryw, yn yr hwn yr ymaflant gyda brwdfrydedd a phleser. Hyd yn hyn y mae y Cymanfaoedd wedi bod o ddirfawr fendith. Y mae yr holi hefyd, yn ol fel yr ydym yn credu, yn dra llesiol i'r gwrandawyr. Profir hyn gan y sylw a dalant, a'r teimladau a gynyrchir gan atebion y plant. Yr wyf wedi gweled tynerwch dirfawr, a llawer o ddagrau, yn eu plith. Pan fyddo gwaith y dydd trosodd arweinir y plant yn eu holau gan yr athrawon, neu ynte cyflwynir hwy i ofal eu rhieni. Hyd yn hyn y mae pob peth yn cael ei gario yn mlaen yn weddaidd ac mewn trefn; ac y mae defnyddioldeb yr ysgolion wedi cael ei brofi tuhwnt i amheuaeth. Trwy yr arddangosiadau cyhoeddus hyn y maent yn enill poblogrwydd, ac yn dyfod yn fwy adnabyddus. Y maent yn cynhyrfu yr athrawon a'r plant. Dygant eraill i mewn oeddynt yn esgeuluswyr o'r blaen, a chyffroant y bobl i osod i fynu ysgolion lle nad oes rhai yn barod."

Dyma yr hanes a rydd Mr. Charles am sefydliad y Cymanfaoedd Ysgolion, y rhai y mae eu coffadwriaeth yn fendigedig yn Nghymru hyd y dydd hwn. Gadawsant eu hargraff yn ddwfn ar fywyd y genedl. Yn nesaf at bregethu yr efengyl, a thu hwnt i hyny hyd yn nod mewn rhai ardaloedd, profasant eu hunain y moddion mwyaf effeithiol i ddarostwng ofergoeledd a llygredigaeth, ac i ddwyn pechaduriaid at Geidwad dyn. Trwy bob ardal yn y Dywysogaeth yr oedd diwrnod "adrodd y pwnc" yn ddydd o uchel wyl; edrychid yn mlaen tuag ato am fisoedd yn mlaen llaw. Byddai y cyfarwydd yn astudio y gwahanol faterion, ac yn troi dail yr Ysgrythyr mewn ymchwil am adnodau cyfaddas; y merched ieuainc a gyfarfyddent mewn gwahanol dai yn y gymydogaeth er dysgu cyd-adrodd; ac yn y pentrefydd byddai y gwragedd yn myned yn aml dros eu rhan hwy o'r "pwnc" wrth wau hosanau yn ngoleuni tân mawn. Nid bychan fyddai y gystadleuaeth rhwng gwahanol ysgolion, a gwahanol ddosparthiadau, gyda golwg ar berffeithrwydd adroddiad, priodoldeb goslef, cywirder aceniaeth, ac yn arbenig gyda golwg ar ateb y cwestiynau. Ond pan ddeuai y cyfarfod, yn bur fynych disgynai Yspryd Duw yno mor amlwg, nes y byddai cyd-ddweyd

wedi cael ei angofio, a'r gelfyddyd wedi myned yn ddrylliau. Ddegau o weithiau yn y Cymanfaoedd hyn gwelwyd yr holwr mewn dagrau, y plant mewn hwyl, y gynulleidfa yn dal ei hanadl oblegyd ardderchogrwydd a gogoniant y gwirioneddau â pha rai yr ymdrinid; ac nid anfynych torent i fynu mewn gorfoledd ac mewn cân.

Yn fuan wedi cychwyn yr Ysgol Sabbothol, sef tua'r flwyddyn 1787, ysgydwyd Gogledd Cymru o ben bwy gilydd gan ddiwygiad grymus. Disgynai yr Yspryd Glân i'r odfaeon gyda nerth fel ar y Pentecost; llewygai annuwiolion gan ofn; canoedd a waeddent: "Pa beth a wnawn fel y byddom gadwedig?" a saint y Goruchaf a dynent eu telynau oddiar yr helyg. Gellid meddwl nad oedd dim ond mater enaid yn mryd trigolion y gwahanol ardaloedd. Fel hyn y desgrifia Mr. Charles y diwygiad mewn llythyr at gyfaill: "Yr ydych yn holi am ansawdd yr eglwysi yn Nghymru. Nid oes genyf ddim i'w adrodd ond sydd ffafriol. Cawsom Gymdeithasfa gysurus iawn yn ddiweddar yn Pwllheli; yr oedd yno amryw filoedd wedi cydymgynull, mwy nag a welwyd o'r blaen. Ac yma yn y Bala yr ydym wedi cael tywalltiad helaeth, grymus, a gogoneddus, o'r Yspryd ar y bobl yn gyffredinol, yn arbenig ar y plant a'r ieuenctyd. Bu eu hargyhoeddiadau mor glir a nerthol, ac mewn rhai amgylchiadau mor ddwys, fel ag i'w dwyn i fin anobaith. Y mae eu cysur wedi bod lawn mor gryf. Os gwel yr Arglwydd yn dda barhau y gwaith, fel y mae wedi llwyddo yr wythnosau diweddaf, bydd teyrnas y diafol yn adfeilion yn y gymydogaeth hon. Marchog yn mlaen, ti Frenin y Gogoniant, ydyw gwaedd fy enaid nos a dydd. Yr wyf yn credu mewn gwirionedd fod yr Arglwydd yn bwriadu rhoddi ysgydwad ofnadwy i deyrnas y tywyllwch, oblegyd y mae yn cymeryd ymaith ei cholofnau. Y rhai oeddynt flaenaf yn ngwasanaeth Satan, ac mewn gwrthryfel yn erbyn Duw, sydd yn awr fwyaf blaenllaw mewn ceisio iachawdwriaeth trwy waed yr Oen. Gwaith hawdd yw pregethu efengyl y deyrnas yma yn bresenol. Y gwirioneddau dwyfol sydd yn gwasgu yn eu hanfeidrol bwysigrwydd ar feddwl y bobl. Pelydrau o oleuni nefol, yn nghyd â nerth dwyfol anorchfygol, sydd yn cydfyned â phob gwirionedd a draddodir. Gogoneddus yw canfod fel y mae y calonau dewraf yn plygu, a'r caletaf yn toddi. Ni fynwn fod heb weled y peth wyf wedi weled yn ddiweddar, na fynwn am y byd. . Ceir plant ieuainc o chwech i ddeuddeg oed wedi eu synu a'u gorchfygu. Llenwir eu meddyliau ieuainc ddydd a nos â'r hyn sydd yn perthyn i'w henaid. Y mae yr oll wyf yn ddweyd yn ffaith. Nid wyf wedi arfer gormodiaith mewn un gradd; ac nid wyf wedi adrodd ond ychydig allan o'r cyfan. Yr Arglwydd a wnaeth i ni bethau mawrion, ac iddo ef y byddo yr holl ogoniant."

Gwelodd gweinidog enwog yn Scotland y llythyr uchod, ac ysgrifenodd at Mr. Charles i ofyn am ganlyniadau y diwygiad, gan awgrymu yr hoffai gael profion mai llaw yr Arglwydd oedd yn gweithio. Fel hyn y mae yntau yn ateb yn mhen agos i flwyddyn: "Mai gwaith Duw ydoedd nid oes ynof y gradd leiaf o amheuaeth. Caria gydag ef bob tystiolaeth Ysgrythyrol a allwn ddymuno, megys argyhoeddiad dwfn o bechod, o gyfiawnder, ac o farn; diwygiad trwyadl mewn moes ac arferion; cariad mawr at Air yr Arglwydd, ac ymhyfrydiad ynddo; hoffder at weddi, at ymddiddanion crefyddol, ac at foddion gras. Yn yr ieuanc, yn arbenig, cymer y pethau uchod i fynu yr amser a arferai gael ei dreulio mewn chwareuon gwageddus. Nid oes delynau wedi cael eu chwareu yn y gymydogaeth hon er ys amryw fisoedd bellach, ond y telynau aur y sonia Ioan am danynt. Y mae y gelfyddyd, nid yn unig mewn perygl, ond wedi ei chwbl ddystrywio a'i dileu. Ar yr un pryd, yr wyf yn mhell o ddysgwyl fod pawb sydd wedi teimlo y dylanwadau hyn wedi cael eu hachub. Pe felly, buasai yr holl wlad wedi ei hargyhoeddi; oblegyd un amser ychydig oedd na theimlent ryw argraffiadau oddiwrth yr Arglwydd ar eu meddyliau, yn cynyrchu ynddynt ofn parthed eu dyfodol mewn byd arall. Adeg ddifrifol ydoedd mewn gwirionedd. Ni welais erioed bortread mwy byw o ystâd meddyliau dynion yn nydd y farn, yn ol eu gwahanol gyflyrau. Ni pharhaodd yr oruchwyliaeth frawychus hon ond am ychydig wythnosau. Ond y mae gweinidogaeth y Gair yn parhau yn fywiog a nerthol; a thyr adfywiadau newyddion allan, er nad mor lliosog ag ar y cyntaf."

Y mae tystiolaeth gŵr o graffder, cymhesuredd meddwl, a thegwch barn Mr. Charles, gyda golwg ar y diwygiadau Cymreig, o werth dirfawr. Barnai ef y pren wrth ei ffrwyth; astudiai natur y cyffro-

adau yn ngoleuni eu canlyniadau ymarferol. Ar y naill law ni chymerai ei gario ymaith gan y brwdfrydedd a'r dylanwad; nid oedd yn tybio fod pawb oedd yn bloeddio wedi eu hachub; ar y llaw arall nid oedd mor fursenaidd a chondemnio cyffroad crefyddol oblegyd fod rhyw gymaint o annhrefn yn nglyn âg ef. Gwelai ef fod y diwygiad yn gyru yr ieuenctyd at y Beibl, ac at orsedd gras; ei fod yn peri iddynt gefnu ar eu hen bleserau a'u hen arferion; ei fod yn cynyrchu ynddynt ofn digio yr Arglwydd, ac yn dwyn tragywyddoldeb mor agos at eu meddyliau nes yr oedd y byd a'i helynt yn myned yn ddiflas ganddynt. Oblegyd hyn barnai ei fod o Dduw. Ac i ba benderfyniad arall y gallai ddyfod? Os nad yw buchedd newydd yn brawf o ddylanwad dwyfol nis gwyddom beth sydd. Barner y diwygiadau Cymreig wrth eu ffrwythau; wrth yr hyn a wnaethant er darostwng drwg arferion, ac er cynyrchu dynion pur eu moes, galluog o feddwl, a chadarn yn yr Ysgrythyr; yna rhaid eu cydnabod fel cynyrch uniongyrchol Ysbryd Duw.

Yn ei fywgraffiad i'r Parch. T. Charles, sylwa Mr. Hughes, Llanuwchllyn, fel y canlyn: "Tra yr oedd y cyffroadau crefyddol hyn yn myned yn mlaen, yr oedd y rhan fwyaf o glerigwyr Cymru yn aros yn edrychwyr yn unig. Peth i ofidio o'i herwydd ydyw hyn. Pe buasai y clerigwyr wedi cymeryd yr arweiniad gallai y rhyferthwy hwn o frwdfrydedd crefyddol gael ei ddihatru o'i elfenau dichwaeth, a'i gadw o fewn ffiniau yr Eglwys, yn lle goddef iddo ddianc, agos oll, i redwelyau Ymneillduaeth. Y mae y diwygiadau crefyddol a gynyrchir trwy gyfrwng rhai o'r '*missions*,' sydd yn awr mor gyffredin yn mysg Eglwyswyr Saesnig, yn gyffelyb gyffroad i'r diwygiadau Cymreig gynt, gyda hyn o wahaniaeth, fod y diwygiadau crefyddol yn Lloegr yn llai cynhyrfus, ac yn fyrach eu parhad o'u cymharu ag effeithiau y diwygiad yn Nghymru."

Nid awn i ymddadleu â Mr. Hughes gyda golwg ar yr hyn a ystyria oedd yn ddichwaeth yn y diwygiadau Cymreig; er mai priodol iddo fyddai cofio nad yw y goruchwyliaethau dwyfol un amser yn ymlunio i ateb chwaeth fursenaidd, ffugfoneddigaidd dyn. Nid ydym ychwaith am eistedd mewn barn ar pa un ai mantais ynte anfantais i'r diwygiad fuasai iddo gael ei gadw o fewn terfynau yr Eglwys Sefydledig. Ond gallwn sylwi, fod yr hyn a ddymunai ef, sef i'r clerigwyr gymeryd yr arweiniad yn y diwygiad, yn gwbl anmhosibl. Nid oeddynt wedi deffro eu hunain; yr oedd gogoniant pethau yr efengyl yn nghudd oddiwrthynt; yr oeddynt yn llawer mwy cartrefol ar aelwyd y tafarndy nag yn y pwlpud; ac yn fwy galluog i arwain gyda y gwahanol chwareuon nag mewn ymdrech i achub eneidiau. Ond am y sylw fod diwygiadau Cymru yn dwyn cyffelybrwydd i "*missions*" Eglwyswyr y dyddiau hyn, y mae yn hollol gyfeiliornus a chamarweiniol. Y mae lled y nefoedd o wahaniaeth rhwng y ddau. Yr oedd un yn ddwyfol, y mae y llall yn ddynol. Nid ydym am gondemnio yr hyn a elwir "*missions;*" mor bell ag y maent yn gynyrch awydd am ddwyn dynion at Grist y maent yn dda. Ond dynol ydynt wedi y cyfan; nodweddir hwy gan ymdrech i ddylanwadu ar y teimlad; ceisir, trwy ganu a thrwy anerchiadau cyffrous, godi dynion i hwyl. Nid rhyfedd felly fod Mr. Hughes yn eu desgrifio fel pethau byrbarhaol o ran dylanwad. Derfydd y cyffro pan beidia y moddion, fel y byddai yr awel at nithio yn yr ysgubor yn peidio gyda therfyn ysgydwad y garthen. Buasai yr hen Fethodistiaid yn ei ystyried yn rhyfyg ofnadwy i geisio "gwneyd diwygiad" trwy foddion felly. Rhywbeth goruwchnaturiol; gwynt cryf yn chwythu lle y mynai, yn disgyn yn fynych yn annysgwyliadwy, ond gyda dylanwad anorchfygol, ac heb un ymgais at ei gynyrchu ar ran neb, oedd y diwygiad Cymreig. Nerth ydoedd yn cydfyned a moddion arferol o ras. Torai allan weithiau mewn cyfarfod gweddi, a phryd arall dan weinidogaeth pregethwr di-nod; ymledai trwy y wlad fel tân gwyllt, a chynyrchai effeithiau digyffelyb. Byddai y gwamal yn cael ei sobri, y rhyfygus yn ceisio crefydd, yr hwn a arweiniai mewn drygioni yn gwaeddi am ei fywyd, a'r wlad, yn lle bod yn llawn o dyngu a chablu, yn llawn o foliant. Nid oedd dim a allai gynyrchu y fath gyfnewidiad ond dylanwad uniongyrchol Ysbryd Duw.

# PENOD XXXII.

——:o:——

## THOMAS CHARLES, B.A., BALA—*(parhad).*

*Newyn am Feiblau yn Nghymru—Y Gymdeithas er Taenu Gwybodaeth Gristionogol yn gwrthod argraffu ychwaneg o Feiblau Cymraeg—Ystori Mary Jones—Y ferch fechan yn y Bala—Mr. Charles yn penderfynu cael Cymdeithas i ddiwallu Cymru a Beiblau—Gosod y mater gerbron Cymdeithas y Traethodau Crefyddol—Sefydliad Cymdeithas y Beiblau—Mr. Charles yn dad y Gymdeithas—Ei lafur dibaid—Ei afiechyd peryglus—Gweddi am arbed ei oes bymtheg mlynedd—Ei lafur llenyddol—"Y Drysorfa Ysprydol"—"Y Geiriadur Ysgrythyrol"—Taith Mr. Charles i'r Iwerddon—Dadl yr ordeiniad—A edifarhaodd Mr. Charles?—Helynt Peter Williams—Diwedd oes Mr. Charles—Ei farwolaeth.*

CANLYNIAD uniongyrchol sefydliad yr Ysgol Sabbothol, yn nghyd â'r diwygiadau a gynhyrfent y wlad fel daeargryn, oedd cynyrchu awydd yn y werin am ymgydnabyddu â'r Ysgrythyrau. Ond, yn anffodus, nid oedd Beiblau Cymreig i'w cael am arian. Llwyddasai y Parch. Griffith Jones, Llanddowror, i gael gan y Gymdeithas er Taenu Gwybodaeth Gristionogol ddwyn allan ddau argraffiad o'r Beibl Cymraeg; un yn y flwyddyn 1746, a'r llall yn 1752. Cawsai y rhai hyny eu gwerthu gan mwyaf yn y Deheudir; ychydig o Feiblau oedd i'w cael yn Ngwynedd, a chyn diwedd y ganrif yr oedd y Dê wedi myned yn hynod lwm o honynt. Gwnaeth Peter Williams ymdrech ganmoladwy i gyflenwi y diffyg; ond yr oedd ei Feiblau yn rhy uchel eu pris i'r werin, ac o herwydd y cyfnewidiadau a wnaed ganddo yn Meibl John Canne, a'r ddadl rhyngddo a'r Methodistiaid, ni wnelai y rhai a allent fforddio brynu yr eiddo ef am dymhor. Teimlai Mr. Charles yn ddwys oblegyd y newyn hwn am Air Duw, a cheisiai ddarganfod moddion i'w ddiwallu. Mor foreu a'r flwyddyn 1787 yr ydym yn ei gael mewn gohebiaeth a'r Parch. Thomas Scott, yr hwn ar y pryd a breswyliai yn Llundain, ac yn ceisio dylanwadu ar y gŵr da hwnw i ddwyn allan argraffiad o'r Beibl Cymraeg. Methiant fu ymdrech Mr. Scott. Fel yr oedd yr ysgolion cylchynol yn cynyddu yr oedd y waedd am Feiblau yn myned yn uwch; o bob parth o'r wlad dylifai ceisiadau am gopïau o'r Ysgrythyrau at Mr. Charles, ac yr oedd ei enaid yntau yn flin ynddo am nad oedd ganddo un ffordd i'w cyfarfod.

Yn ei gyfyngder, meddyliodd am y Gymdeithas er Taenu Gwybodaeth Gristionogol. Nid gwiw iddo ef fuasai apelio yn bersonol at y gymdeithas hon, oblegyd cymdeithas Eglwysig ydoedd, ac ofer i ŵr wedi troi ei gefn ar y Llan ddysgwyl unrhyw ffafr ganddi. Felly, ymohebodd a'r Parch. T. Jones, cuwrad Creaton, â'r hwn yr oedd ar delerau tra chyfeillgar. Yr oedd Mr. Jones wedi ymweled â Chymru tua diwedd y flwyddyn 1791, ac wedi dyfod yn gydnabyddus a'r unrhyw angen. Ymddengys ei fod yntau, felly, yn ceisio dyfeisio cynllun i ddwyn cyflenwad o Air yr Arglwydd o fewn cyrhaedd ei gydgenedl. Mewn canlyniad, ysgrifenodd at y gymdeithas uchod, gan osod ger ei bron angen Cymru, a'r wanc am Feiblau oedd yn y werin. Erfyniai arni argraffu deng mil o gopïau, a chynygiai dalu am bedair mil gyda eu bod allan o'r wasg. Ni chafodd un ateb oddiwrth y gymdeithas am yspaid; eithr parhaodd i guro wrth ei drws; ac o'r diwedd, ar yr 17eg o Orphenaf, 1792, derbyniodd lythyr yn ei hysbysu fod ei ddymuniad wedi cael ei ganiatau. Ond dyma y pwyllgor yn ail betruso; a thua chanol y flwyddyn ganlynol y maent yn ysgrifenu at Mr. Jones, gan ddatgan annghrediniaeth fod angen Cymru mor fawr ag yr oedd efe wedi ei ddarlunio; nid oeddent o'r farn y gellid gwerthu cynifer o gopïau, a dangosent

duedd gref i gilio yn ol oddiwrth eu haddewid. Ysgrifenodd Mr. Jones yn ganlynol at Esgob Peterborough, a thrwy ei ddylanwad ef llwyddodd i gael gan y gymdeithas ddwyn allan argraffiad o ddeng mil o Feiblau, a dwy fil o'r Testament Newydd ar wahan. Yn y flwyddyn 1799 yr argraffwyd hwn. Cyn pen ychydig fisoedd nid oedd cymaint a chopi wedi ei adael; eto, nid oedd un rhan o bedair o'r wlad wedi ei diwallu; "yr oedd llawenydd y rhai a dderbynient Feiblau yn cyrhaedd i orfoledd, a thristwch y rhai na fedrent gael Beiblau yn annarluniadwy." Aed at y gymdeithas i erfyn am argraffiad arall, cefnogwyd y cais yn gryf gan Esgob Peterborough, y Parch. Thomas Scott, Mr. Wilberforce, ac eraill o brif ddynion y deyrnas; ond wedi hir ohebu, penderfyniad y gymdeithas ydoedd na wnai argraffu ychwaneg o Feiblau Cymraeg. Beth a ddylanwadai arni i beri iddi weithredu yn y dull hwn, nis gwyddom; ond yn y pen draw goruwchlywodraethwyd y gomeddiad er daioni, gan iddo arwain i sefydliad y Feibl Gymdeithas.

Nis gellir rhoddi hanes dechreuad Cymdeithas y Beiblau heb adrodd ystori effeithiol Mary Jones. Merch ydoedd i wehydd, o'r enw Jacob Jones, a breswyliai mewn bwthyn wrth droed Cader Idris, o'r enw Ty'nyddol, yn mhlwyf Llanfihangel-y-Pennant. Ganwyd hi yn y flwyddyn 1784. Perthynai ei rhiaint i'r seiat Fethodistaidd a gawsai ei sefydlu yn yr ardal. Ni chai plant y pryd hwnw fyned i'r cyfryw gyfarfod; ond arferai Mary fyned gyda ei mam ar nosweithiau tywyll y gauaf i gludo ei llusern; ac fel tâl am y gwasanaeth hwn goddefid iddi eistedd wrth ochr ei mam yn y cyfarfod eglwysig. Pan oedd o gwmpas deg oed, daeth John Ellis i gynal un o'r ysgolion cylchynol yn mhentref Abergynolwyn; yn nglyn â hyn sefydlodd yno hefyd Ysgol Sabbothol; ac er fod gan Mary Jones dros ddwy filltir o ffordd gerigog i'w cerdded, hi oedd un o'r rhai ffyddlonaf yn y ddwy ysgol. Dysgodd ddarllen mewn ychydig amser, a daeth yn enwog yn fuan am drysori Gair Duw yn ei chof, ac am adrodd allan. Nid oedd gan Jacob Jones yr un Beibl yn ei dŷ; mewn ffermdy, tua dwy filltir o bellder, yr oedd y copi agosaf o Air Duw y gwyddai Mary Jones am dano; yn ffodus, cafodd ganiatad i ddarllen hwnw, a gwelid hi bob wythnos yn cerdded tuag yno, fel yr hydd at yr afonydd dyfroedd, er ei ddarllen a'i drysori yn ei chof. Parhaodd i wneyd hyn am chwech mlynedd. Ond yr oedd awydd cael Beibl iddi ei hun wedi dyfod yn nwyd angerddol ynddi. Pob dimai a dderbyniai gan y cymydogion yn dâl am wasanaeth, gosodai hi heibio yn ofalus, yn y gobaith y deuai ei thysorfa yn ddigon ryw ddiwrnod i bwrcasu y Perl gwerthfawr. Wedi blynyddoedd o gasglu, daeth i feddu y swm y clywsai oedd pris yr argraffiad diweddaf o'r Beibl. Aeth ar ei hunion at yr hen gynghorwr, William Hugh, o'r Llechwedd, i ofyn am y lle yr oedd Beiblau yn cael eu gwerthu. Atebai yntau nad oedd Beibl ar werth yn un lle nes na'r Bala, gan Mr. Charles; ac ei fod yn ofni fod yr oll a dderbyniasai y gŵr da hwnw wedi eu gwerthu.

Ar foreu teg yn ngwanwyn y flwyddyn 1800, dacw Mary Jones yn cychwyn tua'r Bala; y mae ganddi dros bum'-milltir-ar-hugain o ffordd anhygyrch o'i blaen; yn droednoeth y cerdda, ac ar ei chefn y mae gwaled a gawsai fenthyg i gludo y Beibl yn ol, yr hon a ddefnyddia yn awr er dwyn ei hesgidiau. Erbyn ei bod yn agoshau at y Bala yr oedd y dydd yn hwyrau; gwisgodd hithau ei hesgidiau, ac fel y cawsai ei chyfarwyddo, holodd am dy Dafydd Edward, y pregethwr. Toddodd calon hwnw wrth wrando ei hystori; dywedodd wrthi ei bod yn rhy hwyr i weled Mr. Charles, am ei fod yn myned i'w wely yn gynar, ond y byddai yn ei fyfyrgell dranoeth gyda thoriad y wawr. "Cei gysgu yma heno," ebai yr hen bregethwr caredig; "ac mi ddof fi gyda thi at Mr. Charles boreu yfory." Yn blygeiniol iawn dranoeth, y maent wrth ddrws tŷ y gŵr parchedig; efe ei hun sydd yn agor y ddor, ac yn eu gwahodd i mewn. Hola yr eneth am ei hanes, a'i gwybodaeth o'r Ysgrythyr; ac am y modd y llwyddasai i gyrhaedd gwybodaeth mor helaeth o'r Beibl heb un copi o hono yn y tŷ. Wrth fod Mary yn adrodd am y cerdded i'r ffermdy ddwy filltir o ffordd am chwech mlynedd; a'r trysori dimeiau er pwrcasu Gair Duw, y mae teimladau Mr. Charles bron ei orchfygu. Gyda dwysder, dywed: "Y mae yn ddrwg dros ben genyf weled yr eneth dlawd yma wedi dyfod yr holl ffordd o Lanfihangel i geisio Beibl, a minau heb un i'w roi iddi. Yr wyf wedi gwerthu y cwbl a dderbyniais o Lundain, oddigerth ychydig gopïau, y rhai yr wyf wedi addaw eu cadw i gyfeillion. Beth a wnaf am Feiblau Cymraeg eto, nis gwn."

Yr oedd geiriau Mr. Charles yn trywanu calon Mary Jones fel picellau; dyma y gobaith y buasai yn ei anwesu yn ei mynwes am flynyddoedd yn cael ei ddiffodd ar darawiad; tyr allan i wylo dros y lle, a rhed ei dagrau yn nentydd dros ei grudd. Aeth ei wylofain yn drech na Mr. Charles. "Fy ngeneth anwyl i," ebai efe, "mi a welaf y rhaid i ti gael Beibl; er mor anhawdd siomi cyfeillion, nis gallaf dy wrthod di." Y mae Mary Jones yn wylo eto, ond dagrau gorfoledd ydynt yn awr; a chydgymysga Mr. Charles a Dafydd ychwanegu i Mary Jones gael byw i weled henaint teg, iddi dreulio ei holl oes yn ngwasanaeth y Gwaredwr, ei bod yn un o gefnogwyr penaf y Feibl Gymdeithas tra y bu byw, ac iddi farw a'r Beibl a gafodd yn y Bala ar y ford wrth ei hochr. Y mae y Beibl dyddorol hwnw a estynodd Mr. Charles iddi yn awr mewn cadwraeth ofalus gan y Feibl Gymdeithas yn Llundain. Bu am flynyddau yn nghadw yn Athrofa Dduwinyddol y Bala; ond ar gais y Gymdeithas hono cyflwynwyd ef drosodd iddi hi.



MARY JONES AR EI THAITH I'R BALA.

Edward eu dagrau â'r eiddo hi. Wedi gweddi daer ar ei rhan gan Mr. Charles, rhoddodd yr eneth y Beibl yn ei gwaled, a ffwrdd a hi yn ei hol dros y mynyddoedd cribog fel un wedi cael ysglyfaeth lawer. "Dafydd Edward," ebai yntau, "onid yw y fath olygfa a hon yn ddigon i doddi y galon galetaf—geneth dlawd, ddeallus, yn cerdded yn droednoeth dros haner can' milltir, rhwng myned a dychwelyd, i geisio Beibl? Nis gallaf orphwys mwy nes dod o hyd i ryw lwybr i gyflenwi y wlad â Gair Duw." Da genym allu

Nid yw hanes Mary Jones, a'i hawydd am ymgydnabyddu â chynwys Gair Duw, yn sefyll yn gwbl ar ei ben ei hun. Un hwyr, wrth rodio ar hyd heolydd y Bala, cyfarfyddodd Mr. Charles â geneth dlawd a adwaenai. Gofynai iddi a fedrai hi adrodd y testun yr oedd ef wedi pregethu arno y Sul blaenorol. Yn lle rhoddi ateb parod i'w gwestiwn, fel yr arferai wneyd, gostwng ei phen wnaeth yr enethig, a myned yn fud. "A fedrwch chwi adrodd y testun, fy merch fach i?" ebai yntau drachefn. Ar hyn y mae yn tori allan i

wylo. Yn mhen ychydig dyma hi yn dweyd: "Y mae y tywydd wedi bod mor ddrwg, syr, fel nas gallwn fyned i ddarllen y Beibl." "Nis gallech fyned i ddarllen y Beibl? Sut y mae hyny?" Cafodd wybod yr achos yn fuan; nid oedd un copi o Air Duw yn nhy yr eneth, nac yn meddiant neb o'i chyfeillion; ac arferai drafaelu saith milltir dros y mynyddoedd bob wythnos i ddarllen y Beibl, a dysgu y testun allan. Boddhawyd Mr. Charles yn fawr; dyfnhawyd ynddo y penderfyniad o geisio dwyn yr Ysgrythyr Lân i feddiant ei gydwladwyr; a cheisiai ddod o hyd i ryw gynllun i ddwyn hyny oddiamgylch.



"A FEDRWCH CHWI ADRODD Y TESTUN, FY NGENETH I?"

Yn mis Rhagfyr, 1802, aeth Mr. Charles i Lundain, i wasanaethu capel Spitalfields, fel yr arferai. Erbyn hyn yr oedd wedi penderfynu gosod angen Cymru am Feiblau gerbron ei gyfeillion yn y Brif-ddinas, ac ymddengys ei fod wedi ffurfio cynllun yn ei feddwl, sef cael Beibl Gymdeithas wedi ei sefydlu yn Llundain, ar gynllun Cymdeithas y Traethodau Crefyddol. Teg dweyd mai at gyflenwi eisiau y Dywysogaeth y bwriadai efe y Gymdeithas. Yn llawn o'r bwriad hwn aeth allan un boreu, a chyfarfyddodd a'i gyfaill, Mr. Tarn. Penderfynasant osod y mater gerbron Cymdeithas y Traethodau Crefyddol, yn ei chyfarfod blynyddol, yr hwn oedd i gael ei gynal ar y seithfed o'r mis. Yno, agorwyd y mater gan Mr. Tarn; yn ganlynol, cododd Mr. Charles, aeth yn fanwl dros angen Cymru, gan wneyd yn hysbys ddyhead y bobl am Air Duw; a gorphenodd trwy egluro ei gynllun i gael Beibl Gymdeithas wedi ei sefydlu yn Llundain. Fel yr oedd yn siarad, cynyrchai ei eiriau deimlad dwys; gwelid deigryn yn treiglo dros aml i rudd; a phan y cyfeiriodd at ei gynllun o gael Cymdeithas i ddiwallu angen

Cymru, dyma y tân yn cydio, a gweinidog perthynol i'r Bedyddwyr, Joseph Hughes, Battersea, wrth ei enw, yn gwaeddi allan: "Nid Cymdeithas i Gymru yn unig, ond Cymdeithas i'r byd!" Dyma gychwyn y Feibl Gymdeithas Frytanaidd a Thramor. Ceisiwyd gan y Parch. Joseph Hughes barotoi cylchlythyr, yn gwahodd Cristion- seithfed o Fawrth, 1804, yn y *London Tavern, Bishopsgate Street*. Ni ddaeth y cyflenwad angenrheidiol o Feiblau i Gymru hyd y flwyddyn 1806; eithr mawr oedd llawenydd y trigolion pan ddaethant. Cylchynai y bobl y fen a gludai y Beibl fel dynion ar newynu yn ymwasgu at gyflenwad o fara; hen wŷr a hen wragedd




BEDDROD MARY JONES, YN MYNWENT BRYNCRUG,
GER TOWYN, MEIRIONYDD.

ogion o bob enwad i gydymuno mewn Cymdeithas er anfon y Beibl, heb nôd nac esboniad, dros y byd. Cyfarfyddodd yr amcan â llu o wrthwynebiadau ar y cychwyn; y mawrion a'i gwawdient; prif ddynion yr Eglwys Sefydledig a gadwent draw; ond gorchfygwyd pob rhwystr, a sefydlwyd y Gymdeithas yn derfynol ar y wrth eu ffyn a wylent fel y gwlaw gan faint eu gorfoledd; a'r ieuenctyd perthynol i'r ddau ryw a floeddient nes yr oedd y cymoedd yn diaspedain. Fel hyn y darlunir yr olygfa gan lygad-dyst yn y *Christian Observer*, am Gorphenaf, 1810: "Pan wnaed yn hysbys ddyfodiad y drol a ddygai y llwyth cysegredig cyntaf, y werin Gym-

reig a aent allan yn dorfeydd i'w chyfarfod, gan ei chroesawi fel y croesawai yr Israeliaid yr arch gynt. Llusgent hi i'r dref, a chymerent ymaith yn awchus y copïau, a hyny mor gyflym ag y gellid eu gwasgar. Treuliai yr ieuanc y nos ar ei hyd i ddarllen y Gair. Dygai y labrwyr ef gyda hwy i'r meusydd, fel y gallent ei fwynhau yn ystod y dysbeidiau llafur, ac na chollent un cyfleustra i ddyfod yn gydnabyddus â'i wirioneddau cysegredig."

Credwn ei fod yn bur glir, os medd neb hawl i gael ei alw yn dad y Feibl Gymdeithas, mai Mr. Charles ydyw hwnw. Meddai y Parch. Lewis Edwards, D.D.: "Yr unig ddau sydd yn teilyngu cael eu cofrestru fel cychwynwyr y Gymdeithas yw Thomas Charles, a Joseph Hughes. Y cyntaf oedd yr un a greodd yr angen teimladwy am Gymdeithas o'r fath; ac nid hyny yn unig, ond ymofynodd, a chynyrfodd, ac ni orphwysodd nes ei chael. Ond yn y cyfarfod a gadwyd yn Llundain ar yr achos, pan oeddynt, mewn canlyniad i lafur a thaerineb diorphwys Mr. Charles, yn penderfynu cael Cymdeithas i ddiwallu anghenion Cymru, mae yn ymddangos mai y Parch. Joseph Hughes a ddygodd i mewn y meddylddrych am ei gwneyd yn Gymdeithas gyffredinol, nid i Gymru yn unig, ond i Brydain, ac nid i Brydain yn unig, ond i'r holl fyd. Fel hyn y dylasai fod; ac ni fuasai Mr. Charles yn sefyll mor uchel pe buasai fel arall. Meddylier ei fod, yn nghanol yr angen oedd yn ei wlad ei hun, pan oedd plant yr Ysgol Sabbothol yn gwaeddi am Feiblau, ac yn methu eu cael, er hyny, yn myned i fynu i Lundain, ac yn cynyg am gael Cymdeithas i anfon Beiblau i eithafoedd y ddaear, buasai felly yn rhy debyg i'r ffyliaid, y rhai y mae eu llygaid yn nghyrau y byd. Prin y gallasai y cyfryw ymddygiad darddu oddiar awydd syml am wneyd daioni; a phe caniateid ei fod yn dangos teimlad canmoladwy, mae yn eglur nas gallai y teimlad hwnw fod yn cydfyned â doethineb. Ond gwnaeth Mr. Charles yr hyn oedd yn perthyn iddo; llafuriodd yn y cylch yr oedd rhagluniaeth ddwyfol wedi ei osod, nes y bu ei lafur yn achlysur i sefydlu Cymdeithas y Beiblau. Y mae ymofyn pa un ai efe ai Mr. Hughes oedd awdwr y Gymdeithas, yr un peth yn union ag yw dadleu pwy oedd awdwyr y fuddugoliaeth yn Waterloo; pa un ai y Saeson, y rhai a wrthsafasant y gelynion am ddiwrnod cyfan, neu ynte y Prwssiaid, y rhai a ddaethant i mewn yn niwedd y dydd, ac a orphenasant y gwaith. . . Y sylw arall ar y mater hwn yw, fod llai o bwys nag y mae llawer yn ei feddwl yn y geiriau 'Brytanaidd a thramor.' Y pwnc mawr oedd cael Cymdeithas i ddosparthu Beiblau yn rhadlawn, heb nôd nac esboniad; nid meddwl am dani, na siarad am dani, ond mynu ei chael. Dyna yr egwyddor fawr sydd yn enaid i'r Gymdeithas, ac yr oedd yr egwyddor hon yn gynwysedig yn nghynygiad Mr. Charles." Rhaid addef ddarfod i eraill, megys y Parchn. Joseph Hughes, a John Owen, lafurio yn helaethach na Mr. Charles gyda'r Gymdeithas wedi ei sefydlu; yr oedd ganddynt well cyfleustra i hyny, gan eu bod yn byw yn Llundain; ond am yr ymdrechion a arweiniasant i ddwyn y Gymdeithas i fodolaeth, rhaid eu priodoli yn gyfangwbl i'r Parch. T. Charles.

Fel y darfu i ni sylwi yn flaenorol, yn y flwyddyn 1806 y daeth yr argraffiad cyntaf o Feiblau Cymraeg drwy y Feibl Gymdeithas allan. Cynwysai ugain mil o gopïau, a phum' mil ychwanegol o Destamentau ar wahan. Un o achosion yr oediad oedd a ganlyn: "Cawsai Mr. Charles ei benodi i barotoi y copi i'r wasg. Dymunai wneyd rhai cyfnewidiadau yn y llythyraeth, yn unol â chyfundrefn Dr. Owen Pugh. Cynhyrfodd hyny ddigofaint y Parch J. Roberts, Tremeirchion, ac ysgrifenodd lythyr cryf at Dr. Gaskin, ysgrifenydd y Gymdeithas er Taenu Gwybodaeth Gristionogol, yn protestio yn erbyn cyfnewid cymaint a llythyren. Yr oedd Dr. Gaskin wedi dangos pob difaterwch yn ngwyneb ymgais flaenorol Mr. Charles; ond y mae yn awr yn gwbl barod i rwystro, a chawn ef yn ysgrifenu ar unwaith at Esgob Llundain i alw ei sylw at y mater. Daeth yr achos gerbron y Cyfeisteddfod. Gofynwyd i Mr. Charles egluro natur a helaethrwydd y cyfnewidiadau a wnaed ganddo. "Yr eglurhad hwn," meddai y Parch. John Owen, yr hwn yntau oedd yn offeiriad, "a roddwyd gan Mr. Charles mewn modd clir a boddhaol. Boddlonwyd y Cyfeisteddfod na amcanai Mr. Charles wneyd *unrhyw gyfnewidiad yn y cyfieithiad*, ac na wnaeth unrhyw ymgais at hyny." Profa y geiriau sydd mewn llythyrenau italaidd fod y Parch. T. Charles yn cael ei gyhuddo o gyfnewid cynwys y Beibl, a hyny yn ddiau er ei wneyd yn fwy cefnogol i'w olygiadau ei hun. Deallodd y Cyfeistedd-

fod fod y cyhuddiad yn anwireddus; ond ni fedrai roddi barn ar y cyfnewidiadau mewn sillebiaeth, felly, cyflwynwyd hyny i ddyfarniad y Parch. Walter Davies, ficer Meifod (*Gwallter Mechain*), yr hwn a benderfynodd yn erbyn Mr. Charles. Y fath oedd ei fwyneidd-dra a'i ddoethineb ef, modd bynag, fel na ffromodd oblegyd gwrthod yr hyn a gynygiai; dangosodd yr un zêl a dyfalwch gyda dygiad allan yr argraffiad, a phe na buasai ei gyfundrefn ieithyddol wedi cael ei gwrthod.

Yr oedd Mr. Charles yn gefnogydd ffyddlawn i bob ffurf ar ymdrechion cenhadol. Pan y sefydlwyd Cymdeithas Genhadol Llundain, yn y flwyddyn 1795, cefnogwyd hi yn egniol ganddo; cyfranai ati yn haelionus ei hun; a chymerai fantais ar y Cymdeithasfaoedd a'r Cyfarfod Misol i alw sylw at gyflwr y byd paganaidd, a dyledswydd Cristionogion i anfon yr efengyl i bob parth o'r ddaear. Ysgrifenodd gylchlythyr Cymraeg yn galw sylw at y Gymdeithas, yr hwn a gafodd ledaeniad helaeth. Dadleuodd ei hawliau hefyd yn y *Drysorfa Ysprydol*. Mewn canlyniad, cynyrchwyd cydymdeimlad dwfn a'r pagan trwy yr oll o'r Dywysogaeth. Offrymwyd gweddïau taerion i'r nefoedd ar ei ran; a gwnaed casgliadau tuag at anfon cenhadon allan, oedd yn syndod wrth ystyried tlodi y wlad. Byth er hyny saif Cymru, mewn cymhariaeth i rif ei thrigolion, ar y blaen i holl wledydd y ddaear mewn cyfranu at ymdrechion cenhadol o bob natur. Teimlai y Parch. T. Charles ddyddordeb anarferol yn y llong genhadol gyntaf, sef y *Duff*, cafodd gyfle i'w gweled pan yn Llundain, a bu yn ciniawa ar ei bwrdd. "Mawr oedd fy mhleser," meddai, "wrth ganfod yn nghanol y canoedd llestri a welwn ar yr afon yn cludo nwyddau darfodedig y byd hwn oddiwrth y naill genedl at y llall, fod yno un yn masnachu dros y nefoedd, ac yn cludo yr efengyl dragywyddol i'r paganiaid tywyll ydynt yn marw o eisiau gwybodaeth. Efallai mai dyma y llong gyntaf a gafodd ei defnyddio i'r pwrpas hwn mewn unrhyw oes o'r byd. Meddyliwn fod y peth yn anrhydedd i'r genedl, yn gystal ag i'r personau a garient y gwaith yn mlaen." Yn y flwyddyn 1806, cafodd ei wahodd i draddodi y bregeth flynyddol yn mhrif gyfarfod y Gymdeithas yn Llundain. Ei destun ydoedd, Esaiah x. 27: "Dryllir yr iau, o herwydd yr eneiniad." Talwyd diolch gwresog iddo am ei gymhorth sylweddol i'r Gymdeithas, ac am ei bregeth, a gorchymynwyd iddi gael ei chyhoeddi. Efallai nad oes dim mawr i'w ganfod ynddi; nid ymgeisiai efe at beth felly, mwy nag at hyawdledd traddodiad; ond teimlir yspryd rhagorol yn cyniwair trwy bob brawddeg.

Nid ydym wrth olrhain ei weithgarwch amrywiol yn gallu ymgadw yn gyfangwbl at drefn amseryddol. Nid oedd pen draw ar ei yni, gartref ac oddicartref. Yr oedd ei ohebiaeth, oherwydd amledd y sefydliadau â pha rai yr oedd yn uniongyrchol neu yn anuniongyrchol gysylltiedig, agos yn ddiderfyn. Treuliai gryn amser bob blwyddyn yn Llundain, yn gweinidogaethu yn nghapel *Spa Fields*, a chapel arall perthynol i'r Iarlles Huntington. Y rhai a dderbynient gyffelyb anrhydedd heblaw efe oeddynt Jones, Llangan; Griffiths, Nevern; a Nathaniel Rowland. Ni fu ei lafur yn y cylch hwn heb ei goroni yn helaeth â bendith. Mewn llythyr ato, yn ei wahodd i Lundain yr haf canlynol, wedi ei ysgrifenu gan yr Arglwyddes Ann Erskine, Ebrill, 1792, cyfeirir at ddau a fuasent farw yn orfoleddus yn yr Arglwydd, y rhai a dystiolaethent mai dan ei weinidogaeth ef y cawsent eu dwyn i adnabyddiaeth o'r gwirionedd. Dywedai, yn mhellach, fod eraill yn gwirio fod yr Arglwydd yn bendithio ei bregethau er eu deffröad, eu hadeiladaeth, a'u cysur. Gwnaeth ei oreu i sefydlu Ysgolion Sabbothol cyffelyb i eiddo Cymru yn Nghyfundeb yr Iarlles Huntington, ac hefyd seiadau ar gynllun y rhai Cymreig; ac i raddau bu yn llwyddianus yn ei amcan.

Saif y flwyddyn 1799 allan fel un hynod yn mywyd y Parch. T. Charles. Cyfeiriasom yn barod at ei deithiau trwy gymoedd culion, a thros fynyddoedd oerion a chribog Gwynedd, a hyny ar bob math o dywydd. Wrth fyned tua'r Bala dros fynydd y Berwyn ar ddiwrnod tra ystormus, dywedai yn serchog wrth ei gyfaill: "Y mae y Berwyn yn burion lle i'w groesi wrth fyned adref." Un noswaith yn ngauaf 1799, dychwelai yn ei ol o Sir Gaernarfon tros fynydd Migneint; y ddaear oedd yn orchuddiedig gan drwch o eira, a'r rhew-wynt oedd mor llym fel y gellid tybio fod yr oerni yn cyrhaedd hyd fêr yr asgwrn; ac wrth ei fod yntau yn ceisio dal ei afael yn ffrwyn yr anifail a farchogai, cydiodd y rhew yn mawd ei law aswy. Y canlyniad oedd dolur a fu agos cymeryd ei fywyd ymaith. Gwedi

rhoddi prawf ar lu o feddygon, ac yn eu mysg un gŵr enwog yn Nghaerlleon, bu raid iddo ddychwelyd adref, a dyoddef tori ei fawd i ffwrdd. Mawr oedd pryder pobl yr Arglwydd yn ystod ei afiechyd, ac aml a thaerion y gweddïau a offrymwyd ar ei ran. Ond perthyna hynodrwydd arbenig i un cyfarfod gweddi a gynhaliwyd yn y Bala. Pan yr oedd einioes Mr. Charles megys yn y glorian, a'r meddygon yn ysgwyd eu penau uwchben ei achos, cyfarfu cynulleidfa y Bala i weddïo am estyniad einioes iddo. Wrth anerch gorsedd gras, cydiodd un hen ŵr duwiol yn addewid yr Arglwydd i Hezeciah: "A mi a chwanegaf at dy ddyddiau di bymtheng mlynedd." Aeth dros y geiriau drachefn a thrachefn gyda rhyw afael adnewyddol; ymddangosai fel pe yn cydio yn nerth Duw. "Pymtheg mlynedd yn ychwaneg, O Arglwydd!" meddai; "yr ydym yn erfyn am bymtheg mlynedd o estyniad at oes dy was; ac oni roddi di bymtheg mlynedd, O ein Duw, er mwyn dy eglwys a'th achos!" Ymwasgarodd y bobl gyda rhyw hyder fod gweddi yr hen frawd wedi ei gwrando, ac na fyddai Mr. Charles farw y tro hwn. A gwellhaodd o'r dydd hwnw allan. Yn wir, pymtheg mlynedd union y bu byw gwedi hyn, ac y mae yn deilwng o sylw mai y pymtheg mlynedd olaf oedd y rhai mwyaf ffrwythlon yn ei holl fywyd, fel y cawn weled eto.

Yr ydym wedi bod i raddau yn gynil gyda chofnodi ei lythyrau, ond y rhai a daflant oleuni ar y gwahanol symudiadau a gychwynwyd ganddo; ond y mae y llythyr a ysgrifenodd at gyfaill ar ei adferiad o'i ddolur yn ddangoseg mor glir o ansawdd ei yspryd, fel y teimlwn ein hun dan rwymau i ddifynu o hono yn helaeth. Fel hyn y dywed: "Derbyniais eich dau lythyr caredig, am ba rai yr wyf yn dra diolchgar. Eich bod chwi a'r brodyr yn cofio am danaf wrth orsedd gras sydd i mi yn achos o lawenydd mawr; yr wyf yn cyfrif gweddïau yr eglwys ar y ddaear yn nesaf peth at eiriolaeth Crist yn y nef. Y mae yr ocheneidiau annhraethadwy hyny, sef iaith a llef yr Yspryd Glân yn nghalonau ei bobl, yn beraidd, yn nerthol, ac yn dra llwyddianus gyda Duw. 'Llawer a ddichon taer weddi y cyfiawn;' ac nid oes derfyn ar y 'llawer' hwn, oddieithr 'gofyn ar gam.' Fod yr eglwys yn gweddïo drosof sydd i mi yn anrhydedd mawr; y mae yn lloni fy meddwl pan fyddaf fwyaf prudd-aidd, ac yn fy meddianu gyda'r fath orchwyledd, fel nas gwn pa le i guddio fy mhen gwael ac annheilwng. Y mae yn hyfryd genyf feddwl y caf dragywyddoldeb maith gyda fy mrodyr sydd mor gu genyf ar y ddaear. Y mae pob peth wrth fy modd; nis gallaf ddymuno eu bod yn well.

"Gwir fod goruchwyliaethau fy Nhad nefol tuag ataf yn ymddangos i mi yn anhawdd eu dehongli; eto, rhyw syndod gorfoleddus a diolchgar sydd yn fy llenwi wrth edrych arnynt. Mae ei ffyrdd ef yn anolrheiniadwy; ar yr un pryd, ei weithredoedd oll sydd dra chanmoladwy. Efe a ddichon 'ladd a bywhau' trwy yr un moddion; tynu bywyd allan o bethau marwol, a llenwi enaid 'â llawenydd annhraethadwy a gogoneddus' tan y cymylau mwyaf duon a gwgus; ïe, 'arwain ei bobl i'r anialwch' i'r dyben o lefaru wrth fodd eu calon, ac yn y modd mwyaf buddiol er eu lleshad.

"Nid wyf yn meddwl y gweddai i mi ddywedyd llawer am danaf fy hun, rhag fy nghael yn ymffrostiwr yn ngolwg Duw; yr wyf yn arswydo rhag hyny. Y mae rhai o ymweliadau Duw tuag at ei bobl nad yw yn gyfreithlawn i ddyn, yn y byd hwn, eu hadrodd yn eu hamgylchiadau oll. Yn y byd a ddaw, hwy a fyddant oll yn hysbys i bawb, er gogoniant tragywyddol i'r Gwaredwr. Eto, y mae yn llawenydd i mi, ac yn ddyledus arnaf yn y fan lle yr wyf, ddwyn fy nhystiolaeth wael, gyda llu gogoneddus fy mrodyr o'm blaen, mai 'ffyddlawn yw Duw,' ac 'na phallodd dim o'r holl bethau da a lefarodd yr Arglwydd yn ei Air; daeth y cwbl i ben.' Cofiodd am danaf yn fy isel radd, a'm hamgylchiadau cystuddiol, a rhoddodd i mi mewn gwirionedd gael nerth yn ol fy nydd. Amlygodd i mi gymaint o'i ogoniant, ac o ogoniant trefn yr iachawdwriaeth yn ei Fab, nes y plygodd fy yspryd dan ei law gyda thawelwch a gorfoledd. Cwbl gredais na wnai y Gŵr hwnw, yr hwn a roddodd ei einioes yn bridwerth drosof, ddim ond daioni i mi yn y diwedd.

"Golwg trwy ffydd ar Iesu croeshoeliedig a'm hiachaodd; dywedodd wrthyf drachefn a thrachefn, nes yr oedd fy enaid yn credu ac yn mawr lawenhau: 'Cyfamod fy hedd ni syfl!' Teimlais rym y ddau beth dianwadal (O, y gwerth o gael rhywbeth dianwadal yn ngwyneb cyfyngder!) yn gadarn i gynal fy enaid, ac yn fy nghyfodi i'r lan yn mhell uwchlaw fy holl ofnau, i gael ychydig olwg ar yr etifeddiaeth anllygredig. Byddwn weithiau

yn troi fy ngolwg oddiwrth y gwrthddrychau, gan mor drech na grym fy natur oedd yr olwg ber-gynhyrfiol arnynt. Nis gallaf fynegu i chwi yr hiraeth oedd arnaf, rai mynydau, am ddarfod tros byth â phob meddwl, ac â phob gwaith arall, ond y gwaith hyfryd sydd uchod."

Nis gallwn ddifynu ychwaneg, er mor felus y syniadau. Y mae yn amlwg fod Mr. Charles o ran ei deimlad, pan yr ysgrifenai y llythyr, ar drothwy y nefoedd; a bod ei feddwl yn ymwneyd mwy â phethau y byd ysprydol nag â phethau y byd hwn. Dyrchafai y meddyliau gogoneddus hyn ei enaid uwchlaw pryder, a'i gorph i raddau uwchlaw poen, pan oedd dan gyllill llymion y meddygon. Ni wellhaodd fel ag i adfeddianu ei gryfder blaenorol; ac er iddo deithio llawer gwedi hyn, nis gallai fyned o gwmpas yn hollol megys cynt. Felly, ymroddodd i wasanaethu ei gydgenedl trwy y wasg.



RICHARD OWEN, Y BALA.

[*Neu Richard Owen, "y Gweddiwr." Efe offrymodd y weddi ryfedd am estyniad einioes Mr. Charles.*]

Yr ydoedd yn hoff o'r ysgrifbin; ysgrifenai Gymraeg clasurol a phur, ac yr oedd yn llawer llai amgylchog ei arddull na'r Parch. Griffith Jones. Dechreuodd gyfansoddi a chyhoeddi llyfrau gyda ei ymuniad â Chyfundeb y Methodistiaid; ond ymroddodd i hyny gydag egni ychwanegol wedi i wendid corph ei gyfyngu yn fwy i'w dŷ. Y llyfr cyntaf a gyhoeddodd ydoedd, *Yr Act am Bwyso Aur, a osodwyd allan mewn trefn Ysprydol, mewn dull o ymddiddan.* Ymddangosodd hwn yn y flwyddyn 1775. Dywed Gwilym Lleyn mai awdwr y llyfr oedd Rowland Hill, ac nad oedd Mr. Charles ond cyfieithydd. Ond dywedir "gan T. C." ar y wynebddalen, ac yn ol * Charles Ashton, yr oll a wnaeth Rowland Hill oedd ysgrifenu y "llythyr at y darllenydd." Ei ail lyfr oedd, *Crynodeb o Egwyddorion Crefydd, neu*

* *Hanes Llenyddiaeth Gymreig.*

*Gatecism byr i blant ac eraill i'w ddysgu*, yr hwn a gyhoeddwyd yn 1791. Cynwysai 96 o dudalenau, ac yn ei ragymadrodd, dywed yr Awdwr: "Yr esgeulusdra mawr a welaf o egwyddori plant, yn mhlith pawb o bob enw, a'm cymhellodd i argraphu y crynodeb bychan hwn o egwyddorion crefydd, gan obeithio y gall fod yn gynorthwy, yn gystal ac yn anogaeth, i rieni ac eraill i hyfforddi plant a phobl ieuainc, yn egwyddorion iachusol y Gair." Yn nes yn mlaen dywed: "Cymerais yn hyf amryw cw. ac att. allan o esboniad rhagorol Mr. Griffith Jones." O hwn daeth allan amryw argraffiadau; newidiai ryw gymaint o'i ffurf bob tro; ond o'r diwedd cafodd ei gyfenwi yn *Hyfforddwr yn Egwyddorion y Grefydd Gristionogol*, a chymerodd y wedd sydd arno yn bresenol. Meddai Mr. Ashton: "Gwelir mai yn raddol, a thrwy lafur mawr, y daeth yr *Hyfforddwr* yr hyn ydyw genym ni." Cymerodd yr *Hyfforddwr* afael yn y genedl ar unwaith; daeth i fod y llyfr a mwyaf o alw am dano yn yr iaith; o'r flwyddyn 1803, sef y pryd y dygwyd yr argraffwasg i'r Bala, hyd 1814, blwyddyn marwolaeth Mr. Charles, argraffwyd o hono 320,000 o gopïau. Pa nifer a argraffwyd o hyny hyd yn bresenol, y mae tuhwnt i gyfrif. Dysgid ef ar dafod leferydd gan bawb o ddeiliaid yr Ysgol Sabbothol. Medrai bechgyn a merched ieuainc y wlad ei adrodd oll yn rhigl; ac edrychid arno agos mor anffaeledig a'r Beibl ei hun. Yn 1798 cyhoeddodd *Hanes fer o Fordaith lwyddianus y llong Duff*, sef y llong genhadol at ba un yr ydym wedi cyfeirio yn barod.

Yn y flwyddyn 1799 cychwynwyd y *Drysorfa Ysprydol* ganddo, mewn undeb â'r Parch. Thomas Jones, Dinbych. Cyhoeddiad chwarterol ydoedd, a chwech rhifyn a ddaeth allan. Ysgrifenai Mr. Charles ei hun gryn lawer iddo; ac heblaw ei gynyrchion ef a'i gydolygydd, ceid ynddo ohebiaethau oddiwrth y Parch. T. Jones, Creaton; y Parch. E. Morgan, Ficer Syston, ac eraill. Ail gychwynodd y cyhoeddiad yn y flwyddyn 1809; ond erbyn hyn yr oedd y Parch. Thomas Jones wedi cilio o'r gyd-olygiaeth, a'r enw wedi ei newid o *Drysorfa Ysprydol* i fod yn *Drysorfa*. Deuddeg rhifyn o *Drysorfa* Thomas Charles a ymddangosodd; daeth y rhifyn olaf allan Tachwedd, 1813; a diau mai yr hyn a'i rhwystrodd i barhau oedd gwaeledd cynyddol y Golygydd. Tan ei olygiaeth ef hefyd y cyhoeddwyd y Rheolau Dysgyblaethol cyntaf. A ganlyn yw y wyneb-ddalen i'r argraffiad cyntaf: "Rheolau a Dybenion Cymdeithasau Neillduol yn mysg y Bobl a elwir y Methodistiaid yn Nghymru; a gytunwyd arnynt mewn Cymdeithasfa yn y Bala, Mehefin 16, 17, 1801. Caerlleon: Argraffwyd gan W. C. Jones, 1801." Cawn alw sylw at y rheolau hyn eto.

Y llyfr nesaf o'i eiddo oedd, *Amddiffyniad y Methodistiaid Cymreig*, yr hwn oedd yn yr iaith Saesneg, ac a gyhoeddwyd ar gais y Gymdeithasfa. Yr oedd y Parch. T. E. Owen, rheithor Llandyfrydog, Môn, wedi cyhoeddi dau draethodyn yn ymosod ar y Methodistiaid, un yn Saesneg, dan yr enw, "*Hints to Heads of Families*," a'r llall yn Gymraeg, ac yn dwyn y teitl, "*Cynghor difrif Periglor i'w blwyfolion.*" Y mae y traethodau yma yn llawn bustl chwerwedd; y mae yn amheus a oes dim mwy gwenwynig yn yr iaith: awgrymir y pethau ffieiddiaf am y Methodistiaid; difenwir hwy fel teyrnfradwyr, a phob peth drwg, a geilw yr awdwr ar y llywodraeth i osod yr heresi hon i lawr. Y mae amddiffyniad Mr. Charles yn gryf a therfynol; er ei fod yn ysgrifenu yn foneddigaidd, y mae yn amlwg wedi taflu y menyg i ffwrdd, a thrinia ei wrthwynebydd mewn dull na fuasem yn dysgwyl ei fod yn alluog arno. Fel prawf nad amcanai y Methodistiaid ddinystrio na niweidio y llywodraeth, dywed eu bod yn breifat ac yn gyhoedd yn gweddïo dros y brenhin a phawb sydd mewn awdurdod; mai un o'u rheolau dysgyblaethol ydoedd, na oddefid i'r aelodau gablu urddas; a phan y tybid fod y deyrnas mewn perygl oddiwrth allu estronol, iddynt ddangos eu teyrngarwch yn amlwg, trwy ymrestru wrth y canoedd fel gwirfoddolion *(volunteers)*, a thrwy gasglu yn helaeth at osod i fynu amddiffynfeydd. Mewn nodyn ar waelod y ddalen dywedir iddynt gasglu cant ac ugain punt at yr amcan hwn yn Sir Fôn yn unig. Fel ateb i'r cyhuddiadau a ddygid yn erbyn y seiadau preifat, dengys fod Cristionogion yn mhob oes, er dyddiau yr Arglwydd Iesu, yn cynal y cyfryw gyfarfodydd; nad oedd dim ond ymddiddan crefyddol yn myned yn mlaen ynddynt; mai anwiredd oedd yr haeriad eu bod yn cael eu cynal ddyfnder nos; a heria y gwrthgilwyr i brofi eu bod yn achles i annhrefn. Yna caria y rhyfel i wersyll ei wrthwynebydd, trwy ddangos ei anghysondeb, a'i droseddau yn erbyn rheolau

rhesymeg. "Geill y boneddwr hwn," meddai Mr. Charles, "brofi yr hyn a ewyllysio, oblegyd ni bydd byth yn ddiffygiol o brofion, y fath ag ydynt; medr eu cynyrchu mewn cyflawnder, gydag ychydig darawiadau o'i ysgrifbin. Medr brofi gyda phob hawsder mai yr un yw pechod a sancteiddrwydd; fod caru a chashau Cristionogaeth yn golygu yr un peth yn hollol; ac mai yr un rhai yw canlynwyr yr Oen a meibion Belial." Y mae yn sicr ddarfod i'r amddiffyniad hwn, heblaw cau genau y clerigwyr, newid barn lliaws am y Methodistiaid; oblegyd cafodd ei wasgar yn helaeth drwy Wynedd, a chafodd pob penteulu parchus yn Sir Fôn gopi o hono.

Ond prif orchwyl llenyddol Mr. Charles, trwy yr hwn y gwnaeth wasanaeth ammhrisiadwy i'w genedl, oedd ei *Eiriadur Ysgrythyrol*. Ymddangosodd y llyfr yn bedair cyfrol wythplyg; y gyntaf yn 1805; yr ail yn 1808; y drydedd yn 1810, a'r bedwaredd yn 1811. Nid yw yn ymddangos y bwriadai y Parch. T. Charles, ar y cyntaf, ysgrifenu yr oll o'r llyfr ei hun. Yn ol Gwilym Lleyn y mae yn amheus a fu ganddo lawer o law yn nghyfansoddiad y rhifyn cyntaf, yr hwn a gynwysai 88 tudal., o "A" i "Barnu." Seilia ei olygiad ar yr "amodau" a ganlyn, y rhai a geir ar glawr y rhifyn cyntaf.

"I. Yr ydym yn bwriadu cario y gwaith yn mlaen o ran dull, trefn, a defnydd, mor agos ag y gellir i'r Rhan hon.

"II. Fe gwblheir y gwaith mor gryno ag y gellir heb fod yn niweidiol i gorph y materion sy'n gynwysedig ynddo.

"III. Yr ydis yn bwriadu i'r copi oll gael myned tan olygiad *Mr. Charles* a *Mr. T. Jones*, cyn ei roi yn y wasg; o leiaf un o honynt, os na bydd cyfleustra iddynt ill dau i'w olygu.

"IV. Rhoddir y ddalen gyntaf *(title page)*, yn nghyd â'r Rhagymadrodd, yn y rhifyn olaf o'r llyfr."

Ar sail Amod III. dadleua Gwilym Lleyn, ac yn gywir, feddyliwn, mai ychydig o law a feddai y Parch. T. Charles yn y rhan gyntaf; a thybia Mr. Charles Ashton mai awdwr y rhan hono yn benaf oedd y Parch. John Humphreys, o Gaerwys. Cafodd ei hargraffu a'i chyhoeddi yn Nghaerlleon, gan un W. C. Jones, Sais o genedl, er ei fod yn dwyn enw Cymreig. Yn ol Mr. Ashton, yr oedd tri o wŷr ieuainc o waedoliaeth estronol, ond wedi dysgu Cymraeg, yn gweithio fel cysodwyr yn swyddfa W. C. Jones; un oedd Robert Saunderson, y llall Thomas Gee, a'r trydydd Jonathan Harris, yr hwn a ymsefydlodd fel argraffydd yn Nghaerfyrddin. Beth rwystrodd y Parch. T. Jones, a'r ysgrifenwyr ereill oedd wedi addaw eu cymhorth, i fyned yn y blaen gyda'r llyfr, nis gwyddom; ond argyhoeddwyd Mr. Charles yn fuan nad golygydd yn unig y rhaid iddo fod, os oedd y Geiriadur i gael ei orphen, ond y disgynai y gorchwyl o'i ysgrifenu yn gyfangwbl arno ef; felly, ymroddodd gyda holl yni ei natur i'r gwaith, a pherswadiodd Robert Saunderson i osod argraffwasg i fynu yn y Bala, ac o swyddfa y gŵr hwnw y cyhoeddwyd y gweddill o'r llyfr.

Y mae Gwilym Lleyn yn dwyn cyhuddiad difrifol yn erbyn y Parch. T. Charles; sef fod Sion Robert Lewis wedi parotoi ailargraffiad o'i *Eirlyfr;* iddo werthu y Geirlyfr hwnw i Mr. Charles am bum' swllt; na ddarfu i Mr. Charles gydnabod hyny, yr hyn a achosodd anfoddlonrwydd a thramgwydd i rai o deulu Sion Robert Lewis; ac mai Geirlyfr y gŵr o Gaergybi oedd "cynsail Geiriadur Charles." Y mae Mr. Charles Ashton wedi gwneyd ymchwiliad manwl a diduedd i'r cyhuddiad hwn, ac wedi profi tuhwnt i amheuaeth ei fod yn gwbl ddisail. Meddai Mr. Ashton: "Yr ydym eisoes wedi rhoddi y clod dyledus i Sion Robert Lewis am ddwyn allan y *Geirlyfr Ysgrythyrol* cyntaf yn Gymraeg. Ac yn ol y difyniad a wnaethom o hono fe wel y darllenydd nad oedd yn cynwys ond ychydig o'r mater angenrheidiol mewn llyfr mor bwysig a *Geiriadur Charles*. Yr ydym mewn sefyllfa hefyd i ddangos nad oedd ail-argraffiad bwriadedig Sion Robert Lewis nemawr yn fwy pwrpasol na'r cyntaf." Wedi difynu yn helaeth o'r ail-argraffiad bwriadedig ychwanega: "Dyma enghraifft o *Eirlyfr* Sion Robert Lewis wedi iddo ei ddiwygio a'i helaethu, yn hollol fel ei ceir ganddo ef ei hun, yn wallau sillebol, atalnodol, ac yn gwbl. Yr ydym wedi ei ddifynu yma fel y gall y darllenydd ei gymharu a'r rhanau cyfatebol yn *Ngheiriadur Charles*. Yr hyn, os gwna, a'i llwyr foddlona na chafodd Mr. Charles ond ychydig, os dim, cynorthwy yn ysgrifeniadau Sion Robert Lewis. Y mae y gwaith rhagorol hwnw yn cael ei werthfawrogi gan bobl ddarllengar yn mhlith pob enwad crefyddol yn y Dywysogaeth; a bu am amser maith yr unig waith safonol ac ysgolheigaidd o'r fath a feddai y genedl. Yr unig wasanaeth a

geisiodd, ac a gafodd Mr. Charles, ni a gredwn, oddiwrth unrhyw un o epil Sion Robert Lewis, ydoedd dwy barthlen (*maps*) i addurno yr ail a'r drydydd gyfrol o'i *Eiriadur*, gan Robert Roberts, o Gaergybi." Oni bai fod llwyr ddinystrio cyhuddiad anwireddus, unwaith y caffo gychwyn ar ei yrfa, agos a bod yn orchwyl anmhosibl, buasem yn barod i dybio na faidd neb byth mwy dadogi y clod o feddu unrhyw ran yn *Ngeiriadur* Mr. Charles, ar yr hen Almanaciwr o Gaergybi.

Y mae yn anmhosibl traethu y lles a gafodd cenedl y Cymry drwy y *Geiriadur*. Nid oedd dim o'i gyffelyb yn yr iaith yn flaenorol. Ar un llaw y mae yn ddysgedig, yn olrhain geiriau i'w gwraidd yn y Gymraeg, ac yn rhoddi y cyfystyron yn yr Hebraeg, y Groeg, a'r Lladin; ar y llaw arall y mae wedi ei ysgrifenu mewn arddull syml, hawdd ei deall. Cynwysa eglurhad helaeth ar brif athrawiaethau crefydd; y mae ynddo ei hun yn gorph o dduwinyddiaeth, ac nis geill yr hwn a'i darlleno ac a'i hastudio gael ei ystyried yn anwybodus. Meddai y Parch. Lewis Edwards, D.D.: "Maes neillduol y llyfr, o'i ddechreu i'w ddiwedd, yw yr Ysgrythyrau; a pha ddarpariaeth bynag sydd yn ofynol i alluogi y Cymro uniaith i efrydu y Beibl yn fanwl ac yn drwyadl, y mae i'w gael, hyd yr oedd y terfynau yn caniatau, yn y *Geiriadur*. Os yw yn ddymunol cael arweiniad i holl lyfrau yr Hen Destament a'r Newydd, y mae hyny i'w gael yn y *Geiriadur*. Os byddai llyfr ar hanesiaeth y Beibl yn dra buddiol, y mae hyny yn y *Geiriadur*. Os yw yn angenrheidiol deall daearyddiaeth y Beibl, ceir hyny hefyd yn y *Geiriadur*. Os ymofynir am esboniad ar liaws o anhawsderau y Beibl, ni chwilir yn ofer am hyny yn y *Geiriadur*. Ac yn olaf, os teimla neb awydd i ddarllen Corph o Dduwinyddiaeth, er iddo chwilio y llyfrgelloedd helaethaf, nid yn fynych y cyfarfyddir ag un gwell nag a feddir gan y Cymry yn y *Geiriadur Ysgrythyrol*." Trwy y llyfr rhagorol hwn agorwyd byd newydd o flaen y Cymry uniaith. I'r cynghorwyr na feddent wybodaeth o'r Saesneg daeth yn brif destyn efrydiaeth; ymgydnabyddodd ugeiniau o honynt yn drwyadl â'i gynwys, a thrwy hyn agorwyd eu deall yn Ngair yr Arglwydd. Y mae yn sicr iddo effeithio yn fawr er dyrchafu y pwlpud. Cafodd werthiant helaeth, er fod ei bris yn uchel. Y mae wedi myned trwy saith o argraffiadau o leiaf erbyn hyn; ac i'r pwrpas neillduol y cafodd ei gyfansoddi nid oes ei ragorach i'w gael y dydd hwn, nid yn unig yn y Gymraeg, ond mewn unrhyw iaith.

Tua'r flwyddyn 1808, cyfansoddodd Mr. Charles y *Sillydd*; heblaw cyfarwyddiadau gyda golwg ar sillebu a darllen cynwysa eglurhad manwl ar yr atalnodau, a phrofodd o fendith dirfawr i'r Ysgolion Sabbothol. Cyfieithodd i'r Gymraeg hefyd waith yr Esgob Jewel, sef *Diffyniad Ffydd Eglwys Loegr*. Y pryd hwn ni feddai y Methodistiaid un *Gyffes Ffydd*, heblaw y Deugain Erthygl ond un. Credent, a Mr. Charles yn eu mysg, nad oedd un datganiad ychwanegol o'u credo yn angenrheidiol; ac o esbonio y rhai hyn yn efengylaidd nid ydym yn gwybod fod gan y Cyfundeb unrhyw wrthwynebiad iddynt yn bresenol. Cyfansoddodd hefyd *Esboniad ar y Deg Gorchymyn*, er galw sylw ei gydwladwyr at eu rhwymedigaethau moesol, a dywed Dr. Edwards nad yw yn un clod i genedl y Cymry fod y llyfr hwn yn llai poblogaidd na'r *Hyfforddwr*.

Cafodd y fraint o wneyd un gwasanaeth pwysig arall i'w gydwladwyr. Mawr oedd ei awydd am gyflwyno iddynt y Beibl yn ddiwall, heb unrhyw ddiffyg mewn sillebiaeth, nac atalnodau; a medrodd wneyd hyn yn nglyn â'r argraffiad ystrydebol o'r Ysgrythyrau a ddygwyd allan gan Brif Ysgol Caergrawnt, i'r hwn y bu efe yn olygydd. Aeth yn fanwl dros bob adnod, gan gymharu â'u gilydd wyth o'r argraffiadau Cymraeg, a thri o'r rhai Saesneg. Cyhoeddwyd yr argraffiad yma yn y flwyddyn 1804. Yn ei flynyddoedd olaf, golygai yr argraffiad a ddygid allan gan Brif Ysgol Rhydychain. Mawr awyddai am gael byw i orphen hwn. "Yna," meddai, "mi a fyddaf foddlon i osod fy mhen i lawr a marw." Cafodd ei ddymuniad; a thybir mai y geiriau olaf a ysgrifenwyd ganddo, a hyny gyda chyfeiriad at y gwaith hwn oedd: "Y mae wedi ei orphen." Ymddengys iddo gyfansoddi gramadeg i'r iaith Gymraeg; sut na chafodd hwnw ei gyhoeddi, nis gwyddom, na pha beth a ddaeth o hono. Yr oedd yn ei flynyddoedd olaf wedi dechreu ysgrifenu Mynegair (*Concordance*) Ysgrythyrol, ar gynllun hollol newydd; ond bu farw cyn dwyn hwn i derfyniad.

Ni fyddai ein sylwadau ar ei lafur llenyddol yn gyflawn heb gyfeiriad at ei *hymn*. Meddai Dr. Edwards: "Y mae yn ymddangos na chyfansoddodd fwy nag un

*hymn*, ond gem yw yr un hono." Ymddengys mai ei adferiad o'i afiechyd peryglus a ddeffrodd ei awen, ac a barodd iddo am dro daflu ei feddyliau i ffurf brydyddol. Nis gallwn ymatal rhag rhoddi y rhan gyntaf o honi yn gyflawn :—

" Dyfais fawr trag'wyddol gariad
Ydyw'r iachawdwriaeth lawn,
Cyfamod hedd yw'r sylfaen gadarn,
Yr hwn nis derfydd byth mo'i ddawn ;
Dyma'r fan y gorphwys f'enaid,
Dyma'r fan y byddaf byw,
Mewn tangnefedd pur, heddychol,
Yn mhob rhyw stormydd gyda'm Duw.

Syfled iechyd, syfled bywyd,
Cnawd a chalon yn gytun ;
Byth ni syfla amod heddwch,
Hen gytundeb Tri yn Un!
Dianwadal yw'r addewid,
Cadarn byth yw cynghor Duw ;
Cysur cryf sy' i'r neb a gredo
Yn haeddiant Iesu i gael byw.

Bûm yn wyneb pob gorchymyn,
Bûm yn wyneb angau glâs;
Gwelais Iesu ar Galfaria
Yn gwbl wedi cario'r maes ;
Mewn cystuddiau 'rwyf yn dawel,
Y fuddugoliaeth sydd o'm tu ;
Nid oes elyn wna i mi niwed,
Mae'r ffordd yn rhydd i'r nefoedd fry.

Pethau chwerwon sydd yn felus,
Tywyllwch sydd yn oleu clir ;
Mae'm cystuddiau i mi'n fuddiol,
Ond darfyddant cyn bo hir;
Cyfamod hedd bereiddia'r cwbl,
Cyfamod hedd a'm cwyd i'r lan,
I gael gwel'd fy etifeddiaeth,
A'i meddianu yn y man.

Gwelais 'chydig o'r ardaloedd
Yr ochr draw i angau a'r bedd ;
Synodd f'enaid yn yr olwg,
Teimlais annherfynol hedd ;
Iesu brynodd i mi'r cwbl,
Gwnaeth a'i waed anfeidrol iawn!
Dyma rym fy enaid euog
A fy nghysur dwyfol, llawn."

Yn gyffelyb i'w gynlluniau, y mae yr holl lyfrau a gyfansoddwyd gan Mr. Charles yn nodedig o bwrpasol. Meddai reddf, na fyddai byth yn camsynied, i ymdeimlo ag anghenion y genedl, a gallu rhyfeddol i barotoi ar eu cyfer. Yn hyn, efallai, y gwelir mwyaf o'i fawredd. Y mae awdwyr eraill wedi ysgrifenu llyfrau mwy dysgedig; nid yw yn ymddangos iddo ef ddarganfod unrhyw egwyddor newydd mewn un cylch o wybodaeth ; ond am lyfrau effeithiol i ddyrchafu y bobl mewn moesoldeb a gwybodaeth o Dduw, ni ragorwyd mewn un oes na gwlad ar eiddo Mr. Charles. Ac y mae yn sicr y cânt eu gwerthfawrogi gan y werin tra y parhao yr iaith Gymraeg.

Yn nghanol ei holl lafur llenyddol, nid oedd gofal Mr. Charles am yr eglwysi yn pallu ; braidd nad oedd ei faich yn myned yn drymach o flwyddyn i'r llall. Yn y flwyddyn 1800, disgynodd gofal cynulleidfaoedd y Parch. Philip Oliver arno. Offeiriad llafurus ac efengylaidd oedd Mr. Oliver; cawsai yntau, yn gyffelyb i Mr. Charles, ei droi allan o'r Eglwys oblegyd ei weithgarwch a'i zêl; ymroddasai yn ganlynol i lafurio yn ninas Caer, a'r cymydogaethau o gwmpas, a llwyddasai i gasglu yn nghyd amryw o gynulleidfaoedd, i ba rai y gweinidogaethai efe a nifer o gyfeillion. Bu Mr. Charles yma droiau yn pregethu yn ystod bywyd Mr. Oliver. Nid oedd y cynulleidfaoedd hyn yn perthyn i unrhyw gyfundeb crefyddol ; yr oeddent yn debycach o ran yspryd a nodwedd i'r Methodistiaid nag i neb arall; a phan fu y Parch. Philip Oliver farw yn y flwyddyn 1800, cafwyd ddarfod iddo yn ei ewyllys gyflwyno holl ofal yr eglwysi hyn i Mr. Charles. Ymroddodd yntau i gyflawni dymuniad ei hen gyfaill, a bu arolygiaeth y cynulleidfaoedd hyn yn gorphwys arno tra y bu byw. Gallwn ychwanegu mai olynydd Mr. Charles yn yr arolygiaeth oedd y Parch. John Hughes, Wrexham, gŵr sydd yn fwy adnabyddus fel y Parch. John Hughes, Liverpool, ac awdwr *Methodistiaeth Cymru ;* a than ei gyfarwyddyd ef ymunodd yr eglwysi hyn a'r Methodistiaid, i'r hwn Gyfundeb y perthynant hyd y dydd hwn. Yn ei flynyddoedd olaf, llafuriai Mr. Charles dan lawer o wendid, a byddai yn fynych yn gystuddiol. Eithr ymdrechai, a hyny yn mhell uwchlaw ei allu, i ysgrifenu a theithio trwy y cwbl. Yn y flwyddyn 1808, goddiweddwyd ef gan ddolur poenus yn ei goes. Nid oedd ei gychwyniad ond bychan, a phe y gallasai Mr. Charles ymlonyddu ac aros gartref buasai yn gwella yn fuan. Ond hyn ni fedrai efe, ac mewn canlyniad llidiodd y dolur ac aeth yn glwyf peryglus. Yn boenus fel yr ydoedd mynodd, er gwaethaf cynghor y meddyg ac ymbil ei gyfeillion, fyned i gyhoeddiad a roddasai yn Sir Drefaldwyn; bu yn pregethu ac yn holi plant yr Ysgol Sul yn Llanfyllin, a lleoedd eraill o fewn cylch Maldwyn ; ac erbyn iddo gyrhaedd yn ei ol i'r Bala yr oedd ei ddolur wedi cyrhaedd pwynt difrifol. Bu am beth amser yn gaeth i'w ystafell, ac yn methu ysgrifenu hyd yn nod ; ond nid cynt y dechreuodd wella nag y cychwynodd ar ei deithiau gweinidogaethol ar hyd a lled y wlad.

Cyfranogodd Ysgotland a'r Iwerddon o lafur y Parch. T. Charles, ac y mae ei ddylanwad arnynt i raddau hyd y dydd hwn. Wedi clywed am ei ysgolion cylchynol, yn mha rai y dysgid ieuenctyd a phobl mewn oed i ddarllen yr iaith Gymraeg, ysgrifenodd rhai boneddwyr o Ucheldiroedd Ysgotland ato, yn gofyn am wybodaeth fanwl parthed y sefydliadau hyn, gyda'r bwriad o gychwyn y cyffelyb yn eu gwlad eu hunain. Yn ganlynol, ymwelodd un o'r cyfeillion yma a'r Bala. Wrth ei holi cafodd Mr. Charles allan mai Saesneg yn unig a ddysgid yn yr ysgolion yn yr Ucheldiroedd, tra yr oedd dros dri chan' mil o'r trigolion na fedrent ddeall pregeth yn yr iaith hono. Yr oedd yr egwyddor sylfaenol yn nghredo Mr. Charles y dylai y werin gael eu haddysgu yn eu hiaith eu hunain, ac y dylent gael llenyddiaeth briodol yn yr unrhyw iaith. Yn hyn yr oedd ganrif o flaen ei oes. Prin y mae ysgolfeistri Cymru eto wedi gallu ymddyrchafu hyd y pwynt yma. Ei gynghor i wladgarwyr yr Ucheldiroedd ydoedd, ar iddynt sefydlu ysgolion Gaelig yn yr holl ardaloedd lle yr oedd y Gaelaeg yn brif iaith y trigolion. Derbyniwyd ei gyfarwyddyd; ac arweiniodd yr ymdrafodaeth i sefydliad Cymdeithas yr Ysgolion Gaelig. Y mae y gymdeithas hon wedi gwneyd daioni dirfawr. Medd ysgolion dros yr holl Ucheldiroedd, ac yn y rhan fwyaf o'r ynysoedd Ysgotaidd, yn mha rai y dysgir y bobl i ddarllen gair Duw yn yr iaith a ddeallir ganddynt.

Yr ydym wedi cyfeirio at gysylltiad Mr. Charles â'r Iwerddon. Yn y flwyddyn 1807 derbyniodd gais oddiwrth y Gymdeithas Wyddelig, yn gofyn iddo ymweled fel dirprwywr drosti, mewn undeb â thri eraill, â'r Ynys Werdd, er cael gwybodaeth fanylach am ansawdd y trigolion mewn gwybodaeth, moesoldeb, a chrefyddoldeb; ac yn arbenig er penderfynu pa un ai trwy gyfrwng yr iaith Saesneg, ynte y Wyddelaeg, y byddai oreu ceisio eu haddysgu. Yr oedd y cais hwn mewn cysondeb hollol â'i anianawd, ac er llawned oedd ei ddwylaw o waith nis gallai ei wrthod. Ei gymdeithion oeddynt Mr. Bogue, gweinidog yr Annibynwyr yn Gosport; Mr. Hughes, gweinidog perthynol i'r Bedyddwyr, yn Llundain; a Mr. Mills, Eglwyswr heb fod mewn urddau. Cychwynasant o Gaergybi ar y 24ain o Orphenaf. Buont yn tramwy yr ynys ar ei hyd, ac ar ei thraws, a hyny fynychaf bob yn ddau, am agos i fis; a thiriasant yn Nghaergybi, ar eu dychweliad yn ol, Awst 20fed. Cyhoeddwyd eu hadroddiad, ac fel y gallesid dysgwyl, yr oedd Mr. Charles yn gryf dros sefydlu ysgolion yn mhob ardal, yn mha rai, pa le bynag y teimlid fod hyny yn angenrheidiol, y byddai y Wyddelaeg yn cael ei haddysgu. Derbyniwyd ei gynghor, ac yn bur fuan yr oedd rhai miloedd yn cael eu dysgu i ddarllen y Beibl yn yr iaith a ddeallent.

Cadwai Mr. Charles ddydd-lyfr manwl drwy ystod ei daith, yn mha un y croniclai ffrwyth ei sylwadaeth, a themtir ni i wneyd ychydig ddifyniadau o hono: "Gorph. 26; dydd yr Arglwydd. Mi a bregethais yn Nghapel Bethesda; y gwasanaeth boreuol yn dechreu am 12, a'r prydnawnol am 7 o'r gloch. Y cynulleidfaoedd nid oeddynt liosog. Yr oedd gwrandawiad dyfal. Mae y rhai crefyddol yma yn ymddangos fel rhai mewn gradd fawr yn amddifad o rym ac ymegniad yn achos crefydd; yn llawn o ddadleuon ac ymrafaelion; ac am hyny nid yw yn rhyfedd mai ychydig o ddaioni sydd yn cael ei wneuthur. Yr ydys yn tybio fod yn ninas Dublin ddau can' mil o Babyddion, a dim ond deng mil a deugain o Brotestaniaid; ac ond ychydig o'r rhai hyn yn clywed pregethu yr efengyl." Y mae yn ymddangos yn sicr mai Protestaniaid oedd "y rhai crefyddol" y cwyna ar eu diffyg egni gyda chrefydd. A dengys tôn y sylwadau trwy y dydd-lyfr fod Mr. Charles yn gweled rhyw galedwch, a difaterwch, ac yspryd ymrafaelio enbyd, wedi meddianu yr eglwysi Protestanaidd, a bod y Pabyddion yn tra rhagori arnynt, o leiaf mewn ymroddiad gyda defodau allanol addoliad.

Am Kilkenny ysgrifena: "Mae gan y Pabyddion ysgol fawr yn y dref, a dyma eu prif le am urddiad yn y parthau hyn. Yr iaith Wyddelig sydd yn gyffredin yn cael ei siarad, er fod y Saesneg hefyd yn ddealledig, ac yn cael ei dysgu yn yr ysgolion. Y mae ganddynt yn y lleoedd hyn oll gŵyn dwys o herwydd tyn bleidgarwch y Wesleyaid; ac am yr Eglwyswyr cnawdol, y maent yn mhob man yn gosod eu hwynebau yn llymach yn erbyn yr Eglwyswyr efengylaidd nac yn erbyn yr offeiriaid Pabaidd. Mae, er hyn oll, weddill bychan o had duwiol yn mhob lle, a bychan yn wir ydyw mewn cymhariaeth. Yn Athy, pan oedd Mr. Kelly yn pregethu mewn buarth, safodd yr offeiriad Pabaidd

yn y ddyfodfa i mewn, i atal pawb o'i bobl ef rhag myned i wrando; ac yn yr un lle bu Mr. Bogue yn pregethu i tuag ugain o bobl. O Kilkenny ni a aethom 24ain milltir o ffordd hyd Clonmell; Gwyddelig oedd iaith y wlad oll, a'r rhan fwyaf o honynt yn Babyddion. Yn Clonmell yr oedd y Sessiwn newydd ddarfod, lle y buasai pedwar-ar-bymtheg yn sefyll eu prawf, a'r rhan fwyaf o honynt am ladd-iadau.

"Awst 2; y Sabbath. Am ddeg y boreu yr oedd cyfarfod gan y Cwaceriaid; aethom iddo, ond cyfarfod dystaw ydoedd. Yna, am ddeuddeg, aethom i'r capel Pabaidd, a chawsom bregeth Wyddelig. Yr oedd y gynulleidfa yn dra astud, ac yn nghylch tair mil o nifer. Oddeutu un, aethom i eglwys y dref, lle yr oedd cynull-eidfa oddeutu dau cant, a'r bregeth fel arferol. Pregethais inau ychydig i ddeu-gain, neu haner cant o bobl, mewn hen dŷ cyfarfod perthynol i'r Cwaceriaid. Ar hyd y dydd yr oedd y dref yn llawn, fel ar ddydd marchnad, a gresynol o ran crefydd oedd yr olwg arni. Y mae y Pab-yddion ynddi yn ddeg am un i'r Protestan-iaid; a'r Wyddelaeg oedd eu hiaith gyffredin ar hyd yr heolydd.

"Awst 3; Llun. Aethom i dref Car-rick-Suir, ac yn agos iddi cawsom ein boreufwyd, yn nhŷ Eglwyswr duwiol, Mr. Townsend. Yn ei blwyf ef y mae yr efengyl yn cael ei phregethu er ys deng mlynedd, gan Mr. Shaw, Mr. T. ei hun, ac eraill, ond gyda nemawr neu ddim llwyddiant. Sylw Mr. T. oedd: 'Y maent yn ein trechu ni; nid yw dywediadau diflin Mr. Shaw yn llwyddo dim.' Daethom i Waterford oddeutu un o'r gloch bryd-nawn, a lletyasom yn nhŷ un Mr. Harris, Cymro o Gastellnewydd Emlyn. Efe a'i deulu a ymddygasant yn dra thirion. Y mae y Pabyddion yma yn cael eu cyfrif yn naw am un Protestant; ac, am broffeswyr neillduol crefydd, y mae rhyw gymaint o effaith Sandemaniaeth i'w weled yma, fel mewn llawer o fanau eraill yn y wlad; y sacrament bob Sabbath, a'r gweinyddiad o hono heb weinidog. Y maent yn treulio eu nerth mewn ofer siarad, ac nid mewn ymdrechion ymroddgar i daenu yr efengyl, ac achub pechaduriaid sydd o'u hamgylch yn darfod am danynt. . . . Y mae y tlodion yn ymddangos fel rhai yn cael eu hesgeuluso, ac yn dra anwybodus; ychydig iawn sydd yn medru darllen y Wyddelaeg, er ei bod yn cael ei siarad agos gan bawb. Aethom i ysgol ar fin y ffordd; dim ond Saesneg yn cael ei ddysgu ynddi. Nid yw perchenogion tiroedd yn calonogi ac yn meithrin yspryd diwydrwydd yn y wlad.

"Awst 9fed; dydd Sabbath. Aethom i gapel y Wesleyaid am wyth o'r gloch, a chawsom bregeth dra chanolig, gan ddyn anllythyrenog, oddiar Ioan ii. 1. Yr oedd yn ymddangos yn ddyn di-ddichell, ond wedi ei drwm gadwyno gan syniad Mr. Wesley am syrthiad oddiwrth ras, a pher-ffeithrwydd. Yr oedd Judas ganddo yn ddyn dychweledig, a Phetr wedi syrthio oddi-wrth ras, er hyny wedi edifarhau. Efe a ddywedodd fod Duw yn gariad, ond nid yn gyfiawnder a thrugaredd, fel pe buasai modd i rywbeth fod yn Nuw heblaw Duw ei hun. Nid oedd yn deall yr hyn oedd arno. Awst 11; ni a deithiasom heddyw trwy feithder gwlad o Limerick i Tuam, heb fedru edrych ar y trigolion ond fel rhai dan orchudd dudew o dywyllwch a choelgrefydd. Wrth ymofyn yn mhob man ni a gawsom fod ysgolion yn cael eu cadw i ddysgu Saesneg, heb un i ddysgu Gwyddelaeg. Y mae rhodd hael y llyw-odraeth hefyd at ddysgu Saesneg yn cael ei chamarfer yn dost. Yn Athenry, nid oedd ond pedwar o blant yn cael eu dysgu am ddeg punt. Yr oedd y tlodion yn eu cabanau gwael yn dra moesgar, a rhydd ar eu meddyliau, ond i gyd oll yn anwybodus o Air Duw. Ni a droisom i rai o honynt yn mhob lle, ac yr oedd eu hanwybodaeth o'r Beibl, unig ffynon diddanwch sylweddol a pharhaol, yn effeithio yn ddwys ar fy meddwl. O! y maent wedi cael eu hes-geuluso yn alaethus yn wir! Yr wyf yn gobeithio fod yr amser yn nesu i'r Arglwydd ddangos trugaredd iddynt. Ond yn bre-senol y mae yr Eglwyswyr yn gloddesta mewn cyfoeth a gormodedd, gan anghofio eu dyledswydd; a'r offeiriaid yn gwneyd yspail o'r bobl, gan eu cadw mewn anwyb-odaeth i'r dyben hwnw; a'r Protestaniaid, o bob enwad, yn synio pethau daearol yn unig. Fel hyn y mae achos Duw yn cael ei adael i sefyll. Y mae yn rhaid i dru-garedd neu farn beri cyfnewidiad, a hyny cyn hir."

Nis gallwn ddifynu ychwaneg. Amlwg yw i'r ymchwiliad fod yn fanwl a llwyr, ac mai golwg dorcalonus a gafodd Mr. Charles ar yr ynys, yn gymdeithasol a chrefyddol. Gwelir y cwyna nid yn unig o herwydd nerth Pabyddiaeth, ac ymdrech yr offeiriaid i gadw y bobl mewn tywyll-wch, ond hefyd oblegyd difaterwch y

Protestaniaid, y rhai a ddadleuent parthed mân gwestiynau dibwys yn hytrach nag ymdrechu achub y rhai a lusgid i angau. Ei gynllun ef i gael diwygiad oedd addysgu y bobl yn mawrion bethau Duw, a hyny trwy gyfrwng y Wyddelaeg, sef yr iaith a ddeallent. Er ei obeithion duwiolfrydig ef, y mae dydd iachawdwriaeth yr Iwerddon heb wawrio eto.

Er prawf pa mor ymdrechgar ydoedd gyda phregethiad yr efengyl, hyd yn nod yn nghanol ei lafur llenyddol, cymerer y difyniad a ganlyn allan o lythyr a ysgrifenwyd ganddo Mehefin, 1796: "O Lundain, aethum i Liverpool, lle y pregethais ddwy waith yn Saesneg a dwy waith yn Gymraeg. Oddiyno aethum i Warrington, lle yr agorais ystafell i bregethu ynddi yn mysg pobl y diweddar Mr. Glazebrook. Byddai yn dda genyf pe y gwnelid rhywbeth yn y lle tywyll ac annuwiol hwnw. O Warrington, aethum i Manchester, lle y pregethais yn Saesneg ac yn Gymraeg. Dychwelais i Gaer, at fy nghyfaill Mr. James, lle y pregethais dair gwaith. Cerir Mr. James yn fawr, ac y mae yr achos yn llwyddo dan ei weinidogaeth. Yn Wrexham, pregethais unwaith allan i tua mil o bobl. Yn Liverpool, yr oedd y cynulleidfaoedd yn dra lliosog. Miloedd a ymgynullent bob tro. Y mae cynydd dirfawr yn mysg y Cymry. Y mae genym yn awr ddau gapel yno. Y mae un yn ddigon mawr i gynwys tair mil o bobl, a'r llall ddwy fil, ac yr oedd y ddau yn llawn yr un pryd. Yn Liverpool, Manchester, a Chaer, holais ganoedd o blant pan yr oedd y cynulleidfaoedd fwyaf lliosog. Yr oedd yr olygfa yn ardderchog. Gwedi fy nychweliad adref, yr wyf yn cael y gwaith yn mysg y plant yn myned yn mlaen gydag yni cynyddol." Y mae yn amlwg nad oedd Mr. Charles yn arbed dim arno ei hun, ond ei fod yn trethu ei natur uwchlaw yr hyn a ddylai. Yr oedd pregethu dair gwaith y dydd, a chateceisio torf o blant ar derfyn pob odfa, i'r hwn orchwyl, yn ddiau, y taflai fwy o egni hyd yn nod nag i'w bregeth, yn ormod iddo, yn arbenig pan gofiom fod ei gyfansoddiad yn barod wedi dechreu adfeilio. Efallai y teimlir ei fod yn arfer gormodiaith wrth ddweyd fod capelau Liverpool yn cynwys o ddwy i dair mil. Ond dylid cofio fod yr hen gapelau heb fawr seddau ynddynt, a'u canol yn gwbl wag; ac felly, elai torf anferth, wedi ymwasgu yn dyn yn nghyd, i ychydig o le.

Ar un o'i deithiau i Liverpool, cafodd Mr. Charles ddiangfa ryfedd, yn yr hon nis gallai lai na gweled llaw Rhagluniaeth yn amlwg. Mewn cwch yr oedd yn myned, a rywsut gosodwyd ei farchgod (*saddle-bag*) mewn llestr nad oedd efe yn bwriadu myned iddo, a bu raid iddo newid i hwnw ar ol cymeryd ei sedd mewn un arall. Aeth y cwch yn yr hwn yr eisteddodd i'r gwaelod, a boddodd pawb oedd ynddo, tra y cyrhaeddodd yr un yr aeth ef iddo yn groes i'w fwriad i'r lan yn ddyogel. Meddai ei fywgraffydd: "Y mae gweision Duw yn anfarwol hyd nes y byddont wedi gorphen eu gwaith." Yr oedd cyhoeddiad Mr. Charles yn Liverpool yn fuan drachefn, ond yr oedd ei briod yn dra anfoddlawn iddo fyned iddo, am i'w einioes fod yn y fath berygl y tro o'r blaen. Eithr y nos cyn y dydd iddo gychwyn, syrthiodd un o'r plant dros erchwyn ei wely; cynyrchodd y ddamwain gryn ddychryn yn meddwl Mrs. Charles; ofnid ar y cyntaf fod y bychan wedi tori ei fraich; ond erbyn chwilio, cafwyd nad oedd fawr gwaeth o'r codwm. Effeithiodd y tro er peri iddi deimlo y gallai yr Arglwydd ddwyn pethau blinion i'w cyfarfod pan fyddent gartref yn gystal ac oddicartref, ac meddai wrtho: "Mi a'ch rhoddaf yn ei law ef, i wneuthur a fyno a chwi wrth ganlyn ei wasanaeth ar fôr ac ar dir." I'w daith yr aeth yntau, yn ol ei fwriad a'i addewid.

Teimlwn ein hun dan rwymau i gyffwrdd eto â diarddeliad Peter Williams yn ei berthynas â Mr. Charles. Er y traddodiad sydd yn aros yn mysg disgynyddion Peter Williams, yr ydym yn credu yn gryf, ac* wedi datgan ein hargyhoeddiad yn flaenorol, na chymerodd Mr. Charles ran flaenllaw yn y drafodaeth. Credwn ei fod yn wrthwynebwr i syniadau Peter Williams; mewn erthyglau o'i eiddo yn y *Geiriadur Ysgrythyrol*, ceir amrai gyfeiriadau at olygiadau yr hen Esboniwr, yn mha rai y dangosir fod y golygiadau hyny yn an-Ysgrythyrol. Nis gallai fod yn amgen, oblegyd yr oedd Mr. Charles yn feddyliwr clir, yn gosod ei feddwl allan mewn ymadroddion tryloyw, ac yn dra gofalus am gysondeb syniadaeth; tra yr oedd yr hen Esboniwr, a dweyd y lleiaf, yn hynod o gymysglyd, ac os yn gywir ei gredo, yn nodedig o anhapus yn ei ddull o ymadroddi. Ond er y gradd o wrthnaws y

---

* *Y Tadau Methodistaidd*, cyf. i., tudal. 452.

rhaid ei fod yn meddwl Mr. Charles, yr ydym yn gwbl argyhoeddedig na fu yn flaenllaw yn y drafodaeth a derfynodd yn niarddeliad Peter Williams. A ganlyn yw ein rhesymau: (1) Mwyneidd-dra a hynawsedd ei yspryd. Prin y gallwn ddychymygu am dano yn cymeryd rhan mewn erledigaeth ar frawd yn y weinidogaeth, yr hwn oedd yn ŵr dysgedig, ac, yn ol barn Mr. Charles ei hun, yn ddyn duwiol. Ni awn i ddadleu yn awr pa un ai cyfiawn ynte anghyfiawn oedd y diarddeliad; ond y mae yn ymddangos yn bur glir fod y modd y cafodd hyny ei ddwyn oddiamgylch, yn arbenig wrth ystyried oedran a safle y cyhuddedig, yn dra annheilwng, ac nis gallwn synio am y gŵr llawn mwyneidd-dra o'r Bala fel yn arwain yn yr helynt anffodus. (2) Prin chwech mlynedd oedd wedi treiglo er ymuniad Mr. Charles a'r Methodistiaid, pan y penderfynwyd yn Nghymdeithasfa Llandilo i dori pob cysylltiad â Peter Williams. Yr oedd yn y Cyfundeb y pryd hwnw amryw offeiriaid a anrhydeddid yn ddirfawr ar amryw gyfrifon, megys Jones, Llangan; Griffiths, Nevern; Nathaniel Rowland; ni fuasai yn weddus i un cymharol ieuanc o ran ei gysylltiad â Methodistiaeth, ac o ran hyny ieuanc mewn dyddiau, a llawer llai ei ddawn gweinidogaethol na'r gwŷr a nodwyd, i gymeryd rhan amlwg mewn trafodaeth o'r fath bwysigrwydd mewn Cymdeithasfa, ac yn fwy pan gofir mai trafodaeth ydoedd ar achos gŵr ag yr oedd ei glod trwy yr holl eglwysi, ac yn cael ei ystyried yn un o'r colofnau flynyddoedd lawer cyn i Mr. Charles gael ei eni. (3) Gwedi marwolaeth Peter Williams, ysgrifenodd Mr. Charles fywgraffiad byr iddo yn y *Drysorfa*, yn yr hwn y darlunia ef fel gŵr da a duwiol, ac un a drodd lawer i gyfiawnder. Y mae holl dôn y bywgraffiad, er nad yw ond byr, yn hynod o barchus, ac nid oes gymaint a chyfeiriad yn cael ei wneyd at y diarddeliad, na'r achos o hono. Y mae yn annghredadwy i ni y gallai Mr. Charles ysgrifenu fel hyn pe buasai wedi cymeryd rhan bwysig yn ei droad allan. (4) Tystiolaeth yr hen bobl oeddynt yn byw ar y pryd, ac yn teimlo y dyddordeb mwyaf yn yr helynt, ydoedd mai Nathaniel Rowland oedd wrth wraidd yr esgymundod. Buom yn siarad â hen flaenoriaid oeddynt yn llanciau wedi tyfu i fynu adeg Cymdeithasfa Llandilo-fawr, ac a glywsent am helynt y diarddeliad gan rai oeddynt yn bresenol; ni sonient hwy o gwbl am Thomas Charles, ond edrychent ar Nathaniel Rowland fel yr arweinydd, a Griffiths, Nevern, yn gynorthwywr iddo. Pe buasai gŵr o'r safle a enillwyd gwedi hyn gan Thomas Charles, wedi gwneyd ei hun yn amlwg yn yr helynt anffodus, y mae yn anhawdd deall sut na fuasai yr hen bobl yn crybwyll am hyny, ac na fuasai y peth yn rhan o'r traddodiad ar y mater sydd yn ffynu yn mysg y Methodistiaid.

Yn ddiweddar, modd bynag, daeth llythyr o eiddo Peter Williams i oleuni,* allan o gasgliad Mr. John Jones (*Myrddin Fardd*), Chwilog. Cafodd ei ysgrifenu at ei fab, y Parch. Eliezer Williams, yn ystod y cyfwng rhwng Cymdeithasfa Llanidloes a Chymdeithasfa Llandilo-fawr, a chan ei fod yn llythyr o gryn bwysigrwydd ni a'i croniclwn oll:—

"Fy anwyl Fab,—Mae yn bleser genyf eich hysbysu ein bod ni yn y Gelli (Gelli-lednais, cartref yr Esboniwr), yn y dref (tref Caerfyrddin), yn Nantyllan, &c., yn mwynhau ein hiechyd arferol. Ond, rhaid i mi ddweyd wrthych na bum yn holl ystod fy mywyd mewn sefyllfa mor ddifrifol. Yr wyf wedi gorphen Beibl Canne, ac yr wyf mewn dyled drom i'r argraffydd. Ac y mae fy mrodyr crefyddol (os gallaf eu galw yn frodyr), yn rhwystro gwerthiant y llyfr; oblegyd y maent yn lled awgrymu yn faleisus trwy yr holl wlad fod y llyfr yn llawn o gyfeiliornadau peryglus. Dywedant fy mod wedi newid geiriau yr Ysgrythyr; a fy mod wedi rhoddi cyfeiriadau ar ymyl y ddalen o'm dyfeisiaeth fy hun yn lle yr eiddo Canne! Maent yn bwriadu, gallwn feddwl, yn y Gymdeithasfa nesaf, adgyfodi yr hen gweryl mewn perthynas i'r hyn a ysgrifenais ar y benod gyntaf o Efengyl Ioan er ys ugain mlynedd yn ol. Y mae Mr. Rowland erbyn hyn wedi marw, ac nid oes genyf neb i ddadleu fy achos! Dywedir i mi fod Charles, o'r Bala, yn benderfynol o roddi yr ergyd terfynol, hyny ydyw, fy niarddel o'r Cyfundeb yn hollol. Ni fuaswn, modd bynag, yn gofalu am eu diarddeliad, oblegyd y mae y wlad yn llydan-agored o fy mlaen. Ond hyn yw y cwestiwn, Pa fodd y gallaf dalu i'r argraffydd? Mi a obeithiaf y bydd i'r Arglwydd fy ngwaredu allan o fy holl flinder. Yr wyf wedi argraffu math o wrthdystiad, yn

* Gwel ysgrif gan y Parch. Henry Hughes, Brynkir, yn *Nhrysorfa* Hydref, 1895.

y ffurf o lythyr at gyfaill. Nid yw hwn i gael ei wneyd yn gyhoeddus. Nid yw ond pedair-llen-ar-hugain o bapyr, ac wedi ei fwriadu i'w roddi yn llaw y prif bregethwyr. Yr wyf yn anfon i chwi un, gan ddysgwyl cael eich atebiad i bererin tlawd yn cael ei guro gan ddryc-hin.—Yr hwn ydwyf eich anwyl dad, PETER WILLIAMS."

Dyddiad y llythyr yw Mai 7, 1791. I'n bryd ni, y mae yn gadael y mater yn hollol yn y fan lle yr ydoedd. Ar adeg o gyffro bydd llu o chwedlau yn cael eu taenu, rhai yn rhanol wir, ac eraill yn gwbl anwireddus; diau fod nifer o'r cyfryw yn dyfod i glustiau Peter Williams yr adeg hon; ac yr oedd yntau yn nwfn drallod ei feddwl yn barod i gredu pob peth. Ond nid yw efe ei hun yn awgrymu ddarfod iddo glywed am y bwriad a briodolir i Mr. Charles gan neb mewn safle i wybod; "dywedir i mi" yw y geiriau a arfera; a phe buasai rhywun o bwys, neu mewn cyfleustra i wybod, wedi "dweyd" wrtho, yn bur debyg rhoddasai enw y cyfryw berson i'w fab. Y mae y chwedl yn debyg i si yn cael ei gario nas gŵyr neb yn iawn pa fodd, ac yn gwbl annheilwng o gredininiaeth.

Pwnc o bwysigrwydd dirfawr yw perthynas Mr. Charles â'r ordeiniad cyntaf yn mysg y Methodistiaid. Nid ydym ar hyn o bryd am drafod mater yr ordeiniad yn ei wedd gyffredinol; bwriadwn roddi penod gyflawn i hyn yma yn nes yn mlaen. Ein hamcan yn bresenol yw ceisio cael allan safle meddwl Mr. Charles yn nglyn â'r symudiad. Y mae genym ddwy dystiolaeth ar hyn, sef eiddo y Parch. Thomas Jones, Dinbych; ac eiddo Mr. Robert Saunderson, Bala. Fel hyn yr ysgrifena y Parch. Thomas Jones: "Ar y cyntaf, nid oedd y bwriad a'r ymgais (sef o ordeinio nifer o bregethwyr y Methodistiaid i gyflawn waith y weinidogaeth) yn foddlonol gan feddwl Mr. Charles, a rhai eraill. Efe a barhaodd i'w wrthwynebu dros amryw flynyddoedd, ond mewn modd tirion, a chan addef y gallai hyny fod yn rheidiol, trwy chwanegiad yr angen, ac addfedrwydd amser. Yn Nghymanfa y Methodistiaid, yn y Bala, yn y flwyddyn 1810, efe a wnaeth ddatganiad cyhoedd, yn mysg y pregethwyr a'r henuriaid, o'i foddlonrwydd i'r cais a'r bwriad; ac, er cysur a llawenydd i'r rhai oedd yno yn bresenol, ac i'r Corph yn gyffredinol, efe a addawodd fod yn barotowr y rheolau cytunedig arnynt, i gael eu harfer ar yr achos hwn." Y mae Mr. Jones yn dyst y gellir rhoddi pob ymddiried ynddo. Yr oedd yn ddyn dysgedig, o dduwioldeb diamheuol, ac yn gyfaill mynwesol i Mr. Charles o'r dydd yr ymunodd â'r Methodistiaid hyd ddydd ei farwolaeth, ac hefyd yr oedd yn bresenol yn y Cymdeithasfaoedd yn mha rai y bu y mater yn destun dadleuaeth.

O'r ochr arall, ymdrecha Eglwyswyr yr oes hon brofi fod gwrthwynebiad Mr. Charles yn dra ffyrnig; mai ei orchfygu a gafodd yn y Gymdeithasfa; mai yn erbyn ei ewyllys, ac er mwyn atal drwg gwaeth, sef ymraniad, y cydsyniodd yn y diwedd â'r peth, ac yr ymrôdd i barotoi y rheolau gofynol. Un o brif amddiffynwyr y ddamcaniaeth hon yw y Parch. William Hughes, Ficer Llanuwchllyn, yr hwn yn y bywgraffiad unochrog a ysgrifenodd i Mr. Charles sydd yn rhoddi amryw benodau i ddadleu y pwnc. Maentymia ddarfod i Mr. Charles ddychwelyd o'r Gymdeithasfa yn gyffrous i'w dŷ, a llefain: "Y maent wedi fy ngorchfygu, y maent wedi fy ngorchfygu!" Dywed iddo gael y chwedl hon gan ferch Mr. Robert Saunderson, yr hon a'i clywsai gan ei thad, oedd yn nhŷ Mr. Charles pan y daeth i mewn. Y mae yn gwbl sicr mai creadigaeth dychymyg merch Robert Saunderson, yr hon oedd yn Eglwyswraig zelog, yw yr ystori. Ni chlywodd neb arall Mr. Saunderson yn ei hadrodd; nid yw yn cael ei chynwys yn yr hanes manwl a chyflawn am berthynas Mr. Charles â'r ordeiniad a ysgrifenodd i'r Esgob Short; ac ni ddywedodd ei ferch air am dani wrth neb yn ystod bywyd ei thad. Gallwn daflu y chwedl hon dros y bwrdd fel un hollol annheilwng o gred.

Fel hyn yr ysgrifena Mr. Saunderson am yr ordeiniad yn ei berthynas â Mr. Charles: "Pan y cychwynodd y newyddbeth hwn yn mysg y Methodistiaid, o gwmpas tair blynedd cyn i Mr. Charles farw, am apwyntio pregethwyr lleyg i weinyddu y sacramentau, bu yn achos o drallod a gofid dirfawr iddo, a dywedodd wrth yr ysgrifenydd iddo beri iddo aml i noson ddigwsg. Yn sicr effeithiodd hyn ar ei iechyd. Wrth weled, modd bynag, fod cyfangorph y Cyfundeb yn benderfynol o blaid y newyddbeth, ac am gario eu pwynt, efe, mewn trefn i rwystro ymraniadau anhapus yn eu mysg, a ildiodd, ac a dynodd i fynu rai rheolau er eu cymeradwyaeth, y rhai a dderbyniwyd ganddynt; ac yn mis Mehefin, 1811, neillduwyd wyth

o'u pregethwyr i weinyddu yr ordinhadau. Trwy yr holl amser y bu Mr. Charles yn llafurio yn mysg y Methodistiaid, ymdrechai bron yn wastad fod gartref Sul pen mis i weinyddu y sacrament, yr hwn oedd bob amser yn unol â ffurf gwasanaeth yr Eglwys, gan arfer yr un weddi cyn ac ar ol derbyn yr elfenau. Syn oedd canfod y torfeydd a ymgynullent ar yr achlysuron hyn, llawer o ba rai a ddeuent o dros ddeuddeg neu bedair-milltir-ar-ddeg o bellder. Ac yn wir, nid oes gwahaniaeth hanfodol rhwng yr hyn a ddywed a'r hyn a ysgrifenwyd gan y Parch. Thomas Jones; ond yn unig fod y ddau yn edrych ar y mater o wahanol safleoedd. Wrth gymharu eu tystiolaethau, a bwrw golwg ar yr hyn ydym wedi ddysgu o ffynonellau eraill, mewn cysylltiad ag agwedd Mr. Charles at gwestiwn yr ordeiniad, ymddengys y pethau canlynol i ni yn glir:—

1. Ddarfod iddo wrthwynebu y neillduad



MR. ROBERT SAUNDERSON, BALA.

([illegible] Mr. Charles.)

A dymunol oedd gweled ar eu gwynebau yr effeithiau dedwydd oedd y cyfarfodydd difrifol hyn yn gael arnynt."

Yr oedd Robert Saunderson yn ddyn didwyll; yn ychwanegol, yr oedd ar delerau tra chyfeillgar â Mr. Charles; gan hyny, er mai Eglwyswr ydoedd, a'i fod yn ddiau yn awyddus am gyflwyno ei hen gyfaill i sylw yr Esgob Short yn y wedd fwyaf boddhaol i'r Prelad hwnw, yr ydym yn derbyn ei dystiolaeth am ei llawn werth. am amryw flynyddoedd yn gryf a chyndyn. "Mewn modd tirion" y gwrthwynebai; yr oedd boneddigeiddrwydd ei yspryd, a lledneisrwydd ei dymher, yn ddigon i'w waredu rhag myned yn dymherog a châs; ond nid oedd ei wrthwynebiad yn llai penderfynol oblegyd fod ei eiriau yn gymhedrol. Hawdd genym gredu i'r ddadleuaeth beri iddo ofid dirfawr, a rhoddi iddo aml noson ddigwsg. Yn wir, yn y llesgedd cynyddol oedd yn dyfod arno fel gŵr arfog,

nid annhebyg i'r drafodaeth effeithio ar ei iechyd. Ei gasbeth oedd cael unrhyw anghydwelediad â'i frodyr. Yr oedd hefyd yn ei natur elfen gref o geidwadaeth; peth hollol groes i'w deimlad oedd symud hen derfyn. Y mae amryw ymadroddion yn llythyrau y Parchn. Thomas Jones a John Elias sydd yn profi i Mr. Charles sefyll yn gadarn am gryn amser yn erbyn symud yn y blaen gyda'r neillduad. Mewn llythyr o eiddo y Parch. Thomas Jones, at Mr. Daniel Jones, mab yr Hybarch Robert Jones, Rhoslan, yr hwn ar y pryd a breswyliai yn Liverpool, ceir a ganlyn: "Nid oes un person ar y ddaear oddiwrth yr hwn yr wyf yn fwy annhueddol i wahaniaethu na Mr. Charles; ac yr wyf yn dymuno ychwanegu, bydded i'r Arglwydd ei ddefnyddio, ei gynal, a'i ddwyn yn mlaen yn fwyfwy er gogoniant ei ras am flynyddoedd lawer. . Er hyn oll, yn y mater hwn, nis gallaf gerbron Duw a cherbron ei Air ef gydsynio â'r hyn a ddywedodd efe fel ei ddymuniad, mewn undeb â'r tad gwir barchedig, Mr. Jones, Llangan. A rhaid i mi yn awr ddweyd a chyffesu fy mod ar adegau wedi teimlo fy hun yn cael fy nhemtio yn gryf i fod yn ddig wrth yr anwyl Mr. Charles. Rhag hyn, neu unrhyw lygredigaeth arall y gall uffern ei hun ei arddangos, nid wyf fi bechadur truenus yn ddyogel. . Eto yr wyf yn meddwl y gallaf, trwy ddaioni anfeidrol Duw, ddatgan yn ddifloesgni na chafodd nac eiddigedd, na rhagfarn, na hunan-ddyrchafiad oruchafiaeth yn fy nghalon, ond fod genyf dystiolaeth cydwybod dda tuag at Dduw a phob dyn." Nid yw dyddiad y llythyr hwn genym; ond tybir iddo gael ei ysgrifenu tua diwedd y flwyddyn 1809, neu ddechreu 1810. Yr adeg yma yr oedd dadl y neillduad yn ei phoethder mwyaf, ac agwedd Mr. Charles yn peri pryder dirfawr i'w frodyr. Nid oes lle i amheuaeth fod gwrthwynebiad Mr. Charles i'r symudiad yn gryf, ac iddo barhau felly am flynyddoedd.

2. Y mae yn amlwg nad unrhyw ragfarn yn mhlaid urddau esgobol oedd wrth wraidd ei wrthwynebiad. Nid oedd athrawiaeth yr olyniaeth apostolaidd yn rhan o'i gredo, ac nid edrychai ar weinidogion yr Ymneillduwyr fel rhai wedi rhuthro i swydd i ba un nid oedd ganddynt hawl. Cydweithredai yn galonog trwy ei oes â gweinidogion Anghydffurfiol, a chawn ef cyn ei ordeiniad yn cofnodi yn ei ddydd-lyfr nad gwaeth ganddo i ba ran o winllan Crist y caffai ei alw. Felly, nid unrhyw betruster am hawl yr eglwysi Methodistaidd i neillduo pregethwyr i weinyddu y sacramentau iddynt oedd y rheswm ei fod yn gwrthwynebu y neillduad. Ni ddaeth y syniad i'w feddwl y buasai y cyfryw neillduad yn ailadroddiad o hanes Corah, Dathan, ac Abiram. O ba beth, ynte, y deilliai ei annhueddrwydd? Yn mysg amryw resymau eraill rhydd *Methodistiaeth Cymru* y canlynol: "Yr oedd llawer iawn hefyd o'r pregethwyr uchaf eu cymeriad, a mwyaf poblogaidd eu doniau, mewn cysylltiad â rhyw grefft, neu fasnach fydol, ac anhawdd oedd ymddiosg oddiwrth y teimlad fod crefft neu fasnach yn anghydweddu â gweinidogaeth yr efengyl; ac y buasai y Cyfundeb yn syrthio dan warth y byd crefyddol, yn mysg pob enwad yn ngwledydd cred, am alw crefftwyr a masnachwyr i weinyddu bedydd a Swper yr Arglwydd." Nis gallwn ganiatau ddarfod i'r rheswm gwagsaw hwn gael llety yn mynwes Mr. Charles am gymaint ag awr. Pe y cawsai, buasem yn rhwym o synio yn llawer is am dano. Gwyddai nad ystyriai y mwyaf llafurus o'r holl apostolion ei bod yn unrhyw ddiraddiad arno i weithio ei grefft fel gwneuthurwr pebyll yn Corinth. Hefyd yr oedd Mr. Charles ei hun yn gysylltiedig â masnach agos trwy holl ystod ei fywyd gweinidogaethol. Beth, ynte, a achosai ei hwyrfrydigrwydd? Yn un peth, ofnai gymeryd unrhyw gam pwysig heb weled y golofn yn symud o'i flaen. Yn y mater hwn dylanwadai yr un rheswm ar ei feddwl ag a barasai iddo yn flaenorol fod yn hwyrfrydig i adael yr Eglwys. Teimlai mai yn y modd yr oeddynt, sef mai trwy gael gweinyddiad yr ordinhadau gan glerigwyr yr Eglwys Sefydledig, yr oedd Duw wedi llwyddo y Methodistiaid; ac arswydai newid y drefn rhag na fyddai hyny yn gyson â'r ewyllys ddwyfol. Yr oedd gochelgarwch a phwyll yn mysg y prif elfenau a berthynent iddo; braidd na thueddai i gario hyn weithiau i eithafion. Yn nesaf, yr oedd anhawsder dirfawr parthed ffurf yr ordeiniad, pe y cymerai le, ac y mae yn sicr ddarfod i hyn gythryblu meddwl Mr. Charles yn ddirfawr. Nis gallai fod yn ordeiniad esgobol. Er cymaint oedd dawn a defnyddioldeb John Elias, Ebenezer Morris, Ebenezer Richard, a Thomas Jones, nid oedd esgob yn y deyrnas a'u hordeiniai i weinyddu y sacramentau. Nis gallai fod yn ordeiniad ychwaith yn ol trefn gyffredin yr Ymneill-

duwyr. Cynulleidfa benodol, yn cael ei chynorthwyo gan amryw weinidogion, sydd yn galw i'r weinidogaeth yn eu mysg hwy. Felly y mae hefyd yn mysg yr Henaduriaethwyr. Ond nid oedd perthynas arbenig rhwng y pregethwyr Methodistaidd ag unrhyw gynulleidfa. Yr oedd gofal yr holl eglwysi arnynt, a gweinidogaethent mewn unrhyw fan yr ystyrient fod galwad am eu llafur. Syniad gwreiddiol i Mr. Charles oedd ordeinio yn y Gymdeithasfa, er budd yr holl gynulleidfaoedd. Y peth nesaf iddo oedd yr ordeiniad yn y Gynhadledd Wesleyaidd. Geill hefyd fod rhyw gymaint o ddylanwad arno gan reswm a roddir yn *Methodistiaeth Cymru*, sef nas gallesid ordeinio yr holl bregethwyr, ieuainc a hen, o bob gradd a dawn; ac yr ofnai, pe y gwnelid detholiad, rhag i hyny gynyrchu anniddigrwydd ac anesmwythder yn meddyliau y gweddill, ac yn y pen draw achosi ymraniad. Y rhesymau hyn, yn mysg eraill, efallai, nad ydynt yn ganfyddadwy i ni yn bresenol, a gyfrifant am hwyrfrydedd Mr. Charles i symud yn mlaen gyda y neillduad.

3. Tu hwnt i bob dadl, cafodd Mr. Charles ei lwyr argyhoeddi o'r priodoldeb a'r angenrheidrwydd am ordeinio rhyw nifer o'r pregethwyr mwyaf cymhwys i weinyddu y sacramentau. Meddai y Parch. Thomas Jones: "Yn Nghymanfa y Bala, yn y flwyddyn 1810, efe a wnaeth ddatganiad cyhoedd, yn mysg y pregethwyr a'r henuriaid, o'i foddlonrwydd i'r cais a'r bwriad." Nid ei orchfygu a gafodd yn y Gymdeithasfa, fel yr ofer haera Mr. Hughes, Llanuwchllyn, a rhuthro allan yn gyffrous a siomedig; ond efe ei hun a gyfododd i fynu yn mysg lliaws ei frodyr, gan ddatgan ei fod wedi cael ei ddwyn i gydweled â hwy yn hollol. Nid gair y Parch. Thomas Jones yn unig sydd genym ar hyn; dygodd efe y dystiolaeth uchod cyn pen nemawr flynyddoedd wedi i'r amgylchiad ddygwydd, pan oedd ugeiniau yn fyw oeddent yn bresenol pan y gwnaeth Mr. Charles ei ddatganiad; a phe na buasai y dystiolaeth mewn cysondeb hollol â gwirionedd, buasai rhywrai yn sicr o frysio i'w chywiro. Dywedir mai Ebenezer Morris, trwy y cwestiwn pwysig a ofynodd iddo, a fu yn foddion i'w argyhoeddi. Nid yn unig boddlonodd i'r symudiad, ond ymroddodd o'i rydd ewyllys i gyfansoddi y rheolau, ac i wneyd y trefniadau angenrheidiol. Pwy bynag a dybia ddarfod iddo gymeryd y cam hwn, tra ar yr un pryd yn dirgel gredu ei fod yn symudiad dialw-amdano, ac an-Ysgrythyrol, nid ydyw yn adnabod Mr. Charles. Ofer fuasai i neb geisio ei lusgo ef yn groes i'w argyhoeddiadau. Er cymaint ei gariad at Fethodistiaeth, buasai yn foddlon gweled y Cyfundeb yn myned yn ddarnau, ac yn cael ei chwalu i bedwar gwynt y nefoedd, cyn y cymerasai ran mewn neillduad pregethwyr i gyflawn waith y weinidogaeth, pe y tybiai fod hyny yn annghydweddol â dysgeidiaeth y Testament Newydd, ac yn drais ar hawliau Pen yr Eglwys. Y mae Mr. Hughes, Llanuwchllyn, wrth geisio gwneyd Mr. Charles yr adeg hon yn Eglwyswr, yn ei fychanu fel dyn. Er ei foneddigeiddrwydd llednais, a'i dymher serchog, yr oedd ynddo ruddyn cryf; meddai ystwff merthyr mewn cyflawnder; gallwn dybio am dano yn marw dros ei egwyddorion, ond nid yn eu gwadu dan unrhyw amgylchiadau. Y mae iddo wneyd trefniadau ar gyfer y neillduad, a chymeryd rhan yn y gwasanaeth, yn brawf didroi-yn-ol yr ystyriai y cam yn angenrheidiol, yn gwbl gyson â syniad y Testament Newydd am swyddogaeth eglwysig, ac heb fod mewn un modd yn drais ar hawliau Mab Duw.

Gallwn ategu ein golygiad am lwyredd boddlonrwydd Mr. Charles i'r neillduad â hanesyn nad oes un amheuaeth yn bosibl gyda golwg ar ei wirionedd. Ymddengys fod cryn deimlad yn erbyn yr ordeiniad yn Llangeitho a'r gymydogaeth, yn arbenig ar ran y blaenoriaid. Gwrthodasant yn bendant dderbyn Cymdeithasfa Awst, 1811, er mai yn Llangeitho yr arferai Cymdeithasfa Awst gael ei chynal, am y rheswm fod brodyr i gael eu neillduo ynddi i weinyddu y sacramentau. Nid hyn oedd y rheswm a roddent; eu dadl oedd, y byddent, trwy oddef i wasanaeth ordeinio gael ei gynal yn y capel, yn peryglu y brydles; ond y gwir reswm oedd gwrthwynebiad i'r neillduad. Felly, cynhaliwyd y Gymdeithasfa yn Llandilo-fawr, a chollodd Llangeitho yr anrhydedd o fod yn lle yr ordeiniad cyntaf gan y Methodistiaid. Yn y flwyddyn ganlynol, sef 1812, yr oedd Mr. Charles, a'r Parch. John Roberts, Llangwm, yn myned i Gymdeithasfa a gynhelid yn Capel Newydd, Sir Benfro, ac ar ei ffordd rhoddent amryw odfaeon yn Sir Aberteifi. Yr oedd eu cyhoeddiad foreu Sabbath yn Llangeitho, a threfnasid i'r cymundeb gael ei weinyddu wedi y ddwy bregeth, gan nad oedd cymundeb

wedi ei gael yno er ys amryw fisoedd. Y rheswm am hyny oedd hyn. Y Parch. John Williams, Lledrod, a arferai gyfranu yno, oblegyd ei fod wedi derbyn urddau esgobol; ni oddefid i'r Parch. Ebenezer Richard weinyddu wrth y bwrdd, er ei fod wedi ei ordeinio, ac mewn ffafr a chymeradwyaeth mawr fel pregethwr. Yr adeg hon, modd bynag, yr oedd John Williams wedi cael niwed ar ei goes, fel na fedrai fyned oddicartref; ac yr oedd y Methodistiaid yn Llangeitho a'r cylch wedi cael eu hamddifadu o'r ordinhad er ys amryw fisoedd. Felly, yr oedd dysgwyliad mawr am Mr. Charles, er cael gweinyddiad o'r cymundeb. Y boreu Sabbath a ddaeth; yr oedd y cenhadau hefyd wedi dyfod yn brydlon; a dylifai y bobl i Langeitho wrth y canoedd o'r ardaloedd cylchynol. Pregethid ar yr ysgwar yn nghanol y pentref, gan fod y capel—hen gapel Daniel Rowland—wedi cael ei dynu i lawr er ei ail-adeiladu a'i helaethu. Nid yw hanes yr odfa genym; ond diau i'r dorf gael gwledd o basgedigion breision. Gwedi i'r pregethu ddarfod aeth pawb oedd yn proffesu enw Mab Duw i fynu at y capel; y tu fewn i'r muriau di-dô yr oedd y bwrdd wedi cael ei hulio; ac oddiallan eisteddai y rhai a fwriadent gyfranogi o'r sacrament. Nesaodd Mr. Charles yn wylaidd at y bwrdd, a gwnaeth awgrym ar y Parch. John Roberts i ddyfod yn mlaen i'w gynorthwyo. Pan welodd y blaenoriaid hyn, dyma hwy yn cythruddo yn aruthr; aethant yn y blaen at y bwrdd, gan warafun yn bendant i Mr. Roberts gymeryd rhan yn y gwasanaeth. Ei unig anghymwysder oedd, na chawsai ei ordeinio gan esgob. Er pob ymliw â hwynt, ac er pob ymresymu, parhau yn gyndyn a wnaethant. Pan welodd Mr. Charles eu bod wedi gwneyd eu meddyliau i fynu, ac nas gellid eu hargyhoeddi, ciliodd oddiwrth y bwrdd, gan wrthod gweinyddu, a bu raid i'r canoedd a fwriadent gymuno ddychwelyd i'w cartrefleoedd mewn siomiant. Yr oedd yno rai wedi eu derbyn yn gyflawn aelodau, ac yn bwriadu cofio angau y Gwaredwr am y tro cyntaf y boreu hwnw. Yn mysg y cyfryw yr oedd llanc ieuanc, o'r enw David Hughes, yr hwn gwedi hyny a ddaeth yn weinidog nid anenwog, ac a adwaenid fel y Parch. David Hughes, Sir Gaerfyrddin. Cafodd ef fyw i weled oedran patriarchaidd; gadawodd yr amgylchiad argraff ddofn ar ei feddwl, a chyfeiriai ato ychydig flynyddoedd cyn ei farw. Yr oedd y Parch. Evan Evans, Nantyglo, hefyd yn bresenol, yn hogyn ieuanc wyth oed. Gwedi i'r bobl wasgar, galwodd Mr. Charles y blaenoriaid ato, a chwedi eu ceryddu yn llym, gorchymynodd iddynt ymddangos gerbron y Gymdeithasfa, gan y byddai efe yno yn galw sylw at eu hymddygiad. Hyny hefyd a wnaeth; a than gyfaddefiad o'u hedifeirwch, a chwedi rhoddi addewid nad ymddygent yn gyffelyb drachefn, y cawsant ddianc gyda cherydd ysgafn. Y mae yr hanes yn ddyddorol ynddo ei hun, ac yn ddangoseg pa mor benderfynol y gallai Mr. Charles fod. Ond yr ydym yn ei adrodd yma er prawf pa mor gadarn oedd Mr. Charles gyda golwg ar bwnc y neillduad, ac mor gryf y credai fod ordeiniad y Methodistiaid yn gyfryw nas gellid amheu ei awdurdod. Pe buasai gradd o betrusder yn ei feddwl, ni fuasai yn ymddwyn fel y gwnaeth. Ni fuasai yn gwneyd *scene* mewn cysylltiad a'r ordinhad sanctaidd oni bai ei fod yn argyhoeddedig fod y neillduad o Dduw, a bod ei gydnabod yn ddyledswydd orphwysedig ar yr eglwysi.

Cwestiwn pwysig arall yn y cysylltiad hwn ydyw, a edifarhaodd Mr. Charles cyn ei farwolaeth am y rhan a gymerodd? Do, meddai rhai o Eglwyswyr Cymru. Y cyntaf i roddi cyhoeddusrwydd i'r dybiaeth oedd y Barnwr Johnes, yn ei lyfr, teg ar y cyfan, *On the Causes of Dissent in Wales.* Fel hyn y dywed: "Y mae rheswm dros gredu ddarfod iddo (Mr. Charles) gael achos i deimlo yn ofidus oblegyd y cam a gymerodd; ac i'r teimlad, yn dylanwadu ar feddwl oedd yn naturiol dyner, mewn undeb a'i lafur dibaid, a'i deithiau yn nghanol oerni ac ystormydd annhrugarog Gwynedd, gyfranu at gyflymu ei angau, pan yr oedd eto yn nghanolddydd bywyd." Os nad ydym yn camgymeryd, ymddangosodd yr argraffiad cyntaf o lyfr Mr. Johnes yn y flwyddyn 1832, sef pan yr oedd Mr. Charles wedi cael ei osod yn ei fedd er ys deunaw mlynedd. Ychydig o sylw a dynodd y paragraph; isel oedd llenyddiaeth yn Nghymru ar y pryd; yr oedd y newyddiadur Cymreig cyntaf heb weled goleuni y dydd. Fel y sylwa Dr. Lewis Edwards, pe buasai Mr. Johnes yn dweyd ei fod yn llefaru yr hyn a wyddai, ni fuasai neb yn breuddwydio am wrthod ei dystiolaeth; yr oedd yn ddyn ag yr oedd ei air uwchlaw amheuaeth. Ond yn yr achos hwn traethu y mae yr hyn a adroddasid iddo gan eraill, a'r farn a ffurfiasai mewn

canlyniad. Ac yn ddiau buasai ef yn un o'r rhai cyntaf i addef nad oedd y farn hono yn rhwymedig ar neb arall.

Ni chlywyd gair yn mhellach am "ofid" Mr. Charles am chwech-mlynedd-a-deugain, sef hyd Wanwyn 1878, pan y darfu i Dr. Hughes, Esgob Llanelwy, wrth anerch y gynhadledd Eglwysig yn Nghroes-oswallt, ddefnyddio y geiriau a ganlyn: "Y mae yn ffaith ddarfod i Thomas Charles, ar yr oriau yr oedd yn marw, ddatgan ei ofid, a'i benderfyniad, os arbedai Duw ei fywyd, i ddychwelyd i Eglwys ei dadau." Creodd y dywediad gyffro nid yn unig yn y gynhadledd, ond trwy Gymru. Yn fuan ysgrifenodd y Parch. Joseph Hughes, ficer Cwmdu, lythyr i'r *Goleuad*, yn hysbysu mai efe oedd yn atebol am eiriau yr Esgob. Fel hyn y dywed: "Yn eich rhifyn am Mai 11, beïr Esgob Llanelwy am haeru fod Charles, o'r Bala, wedi cyfaddef ar ei wely angau 'ei fod yn gofidio ddarfod iddo adael Eglwys ei dadau, ac os byddai i Dduw arbed ei fywyd y byddai iddo ddychwelyd yn ol.' Dymunwn hysbysu i ddarllenwyr y *Goleuad* mai myfi sydd yn atebol am yr hyn a wyr yr Esgob am y gyffes a briodolir i Mr. Charles, ac mai ar gais yr Esgob yr wyf yn gwneyd fy nghyfrifoldeb yn wybyddus trwy gyfrwng eich newyddiadur. Yr unig sail sydd genyf i'r chwedl yw tystiolaeth Mr. Saunderson, o'r Bala, cyfaill mynwesol i'r Parch. T. Charles. Oddeutu deunaw mlynedd yn ol, dywedodd Mr. S. wrthyf yn bersonol, megys y gwnaethai yn flaenorol wrth lawer o fy nghymydogion, ddarfod iddo glywed o enau Mr. Charles, ychydig amser cyn ei ymadawiad â'r fuchedd hon, eiriau cyffelyb i'r rhai a ganlyn: 'Y mae y Methodistiaid yn fy ngofidio. Os arbeda Duw fy mywyd mi a âf i Loegr eto, ac mi a gymeraf guwradiaeth yn yr Eglwys Sefydledig.'—Yr eiddoch, JOSEPH HUGHES."

Dyddiad y llythyr yw Mehefin 4, 1878. Nid ydym am gyhuddo y Parch. Joseph Hughes o ddwyn camdystiolaeth, ond y mae i ni ryddid i ofyn sut y cadwodd ffaith mor bwysig yn nghudd am ddeunaw mlynedd? A phaham na wnai enwi un o'r lliaws heblaw efe ei hun, y darfu i Mr. Saunderson adrodd yr ystori wrthynt? Pa fodd y cyfrifa am ddystawrwydd pawb ar y mater hyd nes yr oedd Mr. Saunderson yn ei fedd? Dymunwn alw sylw at y ffeithiau canlynol. Ysgrifenodd Mr. R. Saunderson fywgraffiad i Mr. Charles ar gais yr Esgob Short; y mae y bywgraffiad hwnw ar gael yn awr yn llawysgrif Mr. Saunderson ei hun. Dywed yn ei ragymadrodd iddo mai ei amcan wrth ysgrifenu yr hanes oedd, "dangos fod Mr. Charles yn gyfaill cyson, cywir, a chynes i Eglwys Loegr." Ymdrinia yn helaeth yn y cofiant am y gofid a deimlai Mr. Charles pan yr oedd pwnc yr ordeinio yn cael ei ddadleu, ond nid yw yn gwneyd un math o gyfeiriad at ei flinder am iddo gymeryd rhan yn yr ordeiniad, ac am ei duedd i adael y Cyfundeb os caffai fyw. Pe bai y chwedl yn wir byddai y dystawrwydd hwn o'i eiddo yn anesboniadwy, ac yn wir yn anmhosibl. Byddai yn gadael allan y prawf cryfaf ellid gael dros yr hyn yr amcanai ei ddangos, sef fod Mr. Charles trwy ei oes "yn gyfaill i Eglwys Loegr." Ysgrifenodd Mr. Saunderson ychwanegiad i'r bywgraffiad, yr hwn hefyd sydd ar gael yn ei lawysgrif ei hun; ceir yn yr ychwanegiad amryw fanylion parthed oriau olaf Mr. Charles, ond dim crybwylliad am y chwedl a adroddir gan y Parch. Joseph Hughes.

Ysgrifena y Parch. David Charles, D.D., ŵyr Mr. Charles, a gŵr tra dysgedig, a fu unwaith yn athraw Athrofa Trefecca, yn y modd a ganlyn: "Wedi fy ngeni, a threulio blynyddoedd lawer yn yr un tŷ ag y bu efe (Mr. Charles) fyw a marw ynddo, a gweled yr oll o'i ysgrifeniadau, y rhai gan mwyaf sydd yn awr yn fy meddiant, ac wedi cyfeillachu â llawer o'i gyfeillion a'i gyfoedion yn moreu fy mywyd tua'r Bala, cefais hamdden gwell na'r cyffredin i ddyfod yn dra adnabyddus â neillduolion ei hanes. Yn y lle cyntaf, nid oes sail yn y byd i'r chwedl a ffurfiwyd gan rywrai, i ryw ddybenion, iddo ddywedyd yn ei oriau olaf ei fod yn ofidus am iddo adael yr Eglwys Sefydledig, a'i fod yn benderfynol, os cai fyw, ddychwelyd yn ol iddi. Yn nesaf, nis gall dim fod yn fwy croes i'r gwirionedd na dywedyd iddo gael achos i ofidio am y cam a gymerodd yn achos ordeiniad ei frodyr lleygol, ac fod y teimlad hwn wedi ychwanegu i brysuro ei farwolaeth. Oddiar y cwbl a ddeallais am dano erioed, yr oedd ei feddwl yn berffaith dawel o berthynas i'r hyn a gymerodd le yn y flwyddyn 1811." Gwedi marw Mr. Charles, a'r rhai oeddynt yn byw yn yr un cyfnod ag ef, buasai yn anmhosibl cael tystiolaeth mwy credadwy nag eiddo ei ŵyr.

Pa fodd y mae rhoddi cyfrif, ynte, am y chwedl a adroddir gan y Parch. Joseph

Hughes? Nad yw yn wir, yn y ffurf a rydd efe arni, sydd hollol sicr. Awgryma ef ei hun yn ei lythyr, nad yw ei gôf agos yn glir gyda golwg ar yr ymddiddan a fu rhyngddo a Mr. Saunderson. Dywed i'r gŵr hwnw lefaru geiriau *cyffelyb* i'r rhai a adrodda. Credwn fod dau beth yn sicr ar hyn. Un yw, ddarfod i ddychymyg Mr. Hughes, wrth weithredu am ddeunaw mlynedd ar hyn a glywodd, chwyddo yr ymadroddion a ddyferodd o enau Mr. Saunderson, ac felly roddi iddynt ystyr hollol wahanol i'r hyn a ddywedodd y gŵr da hwnw. A'r llall yw, fod Mr. Hughes wedi camgymeryd yr adeg at ba un yr oedd Mr. Saunderson yn cyfeirio. Soniai efe am y cyfnod pan yr oedd dadl yr ordeiniad yn ei phoethder, a meddwl Mr. Charles yn dra chythryblus o'r herwydd. Nid anmhosibl i Mr. Charles y pryd hwnw, yn cael ei ddylanwadu gan deimlad y foment, ddweyd rhywbeth am y blinder a barai rhai o'r Methodistiaid iddo. Ond y mae yn gwbl sicr nad oedd y dywediad yn cynrychioli teimlad arosol Mr. Charles cyn na chwedi yr ordeiniad.

Y mae genym y profion cryfaf nas geill y chwedl fod yn wir am deimlad Mr. Charles ar ol yr ordeiniad. Ar hyn y mae genym dystiolaeth y Parch. Thomas Jones, o Ddinbych, y cyfaill anwylaf a feddai Mr. Charles ar y ddaear, a'r hwn a fu am oriau yn ei gymdeithas y diwrnod cyn iddo farw. Meddai Mr. Jones: "Yn yr achos hwn (yr ordeiniad) cafodd Mr. Charles ei gynysgaethu â llawer o ddoethineb a phwyll Cristionogaidd; ac, hyd ddiwedd ei oes, y mae yn hysbys i'w gyfeillion agosaf, fod ei feddwl yn dra thawel a chysurus wrth edrych yn ol ar y gorchwyl." Nid oes lle i gwestiyno tystiolaeth Mr. Jones, y mae ei eirwiredd uwchlaw amheuaeth. Yn mhellach, ysgrifenwyd y Cofiant ganddo yn fuan wedi marw Mr. Charles, pan yr oedd y rhai a'i hadwaenent yn dda yn fyw; ac y mae yn sicr pe buasai y geiriau ydym wedi ddifynu yn anghywir, y byddai i rywrai a wyddent yn amgen, yn neillduol Mr. R. Saunderson, ddyfod allan ar unwaith i dystio hyny.

Ond y prawf cryfaf o dawelwch meddwl Mr. Charles ar ol yr ordeiniad, ac o'i fawr serch at y Cyfundeb, yw ei eiriau ef ei hun. Fel hyn yr ysgrifena yn yr ail gyfrol o'r *Drysorfa*, Tachwedd, 1813, llai na blwyddyn cyn ei farwolaeth, wrth groniclo hanes Cymdeithasfa y Bala: "Peth dwyfol, tirion, a gwerthfawr iawn yw cariad; ac annhirion, gwrthun, a ffiaidd yw pob peth croes i gariad. Y mae y gras hwn wedi blaguro yn rhyfedd yn mhlith Corph y Methodistiaid hyd yn hyn; a dylem wylied am ei gadw yn ei rym, a rhag i ddim ei niweidio, a pheri i flodeuyn mor werthfawr wywo. . Diweddodd ein hymddiddan gyda llawer iawn o adeiladaeth a boddlonrwydd, ac ymadawsom mewn tangnefedd." Nid posibl iddo fyddai defnyddio ymadroddion fel hyn pe buasai ei feddwl yn chwerw at y Methodistiaid, a'i fryd ar eu gadael.

Mehefin 24, 1814, ysgrifena at gyfeilles iddo yn Llundain: "Yr wythnos ddiweddaf yr oedd ein Cymdeithasfa flynyddol yma. Y cynulleidfaoedd, er eu bod bob amser yn fawrion, oeddynt yn lliosocach o rai miloedd nag a welsom erioed o'r blaen. Parhaodd am bedwar diwrnod. Traddodwyd pedair-ar-ddeg o bregethau, a chynaliwyd pedwar cyfarfod preifat. Ffynai cydgordiad mawr yn y cyfarfodydd preifat, a 'chariad, yr hwn yw rhwymyn perffeithrwydd.' Yr oedd y pregethau yn adeiladol ac yn rymus, gan orfodi sylw rhyw bymtheg neu ugain mil o bobl heb ball. Y drefn a'r gweddeidd-dra a ffynai yn y fath gynulliad mawr o bobl, oedd yn amlwg a boddhaol. Dim arwydd o anghymedroldeb ac annhrefn ni welid yn eu mysg. Nis gallai ond llaw Duw gadw y fath drefn yn mysg y fath dorf o bechaduriaid llygredig am amser mor hir. Gwaith yr Arglwydd ydoedd, a rhyfedd yw, tuhwnt i ryfedd, yn ein golwg ni. Pan oeddwn ieuanc yr Arglwydd a'm dygodd i'w dŷ; daioni a thrugaredd a'm canlynasant fy holl ddyddiau; ac yr wyf wedi aros, gan gael fy nghadw gan ras galluog ac anhaeddianol, i weled y rhyfeddodau yma perthynol i'w deyrnas. Ychwanegwyd lliaws yn gyffredinol at ein heglwysi y flwyddyn ddiweddaf, tua dwy fil i gyd. Y mae y Cymdeithasau Beiblaidd, yr Ysgolion, a phob gwaith da, yn llwyddo yn ein mysg; ac yr ydym yn gobeithio y bydd i deyrnas y gareg fechan lanw ein gwlad cyn bo hir. Deled dy deyrnas yn gyflym, O Arglwydd."

Llai na phedwar mis cyn huno yn yr angau yr ysgrifenai Mr. Charles fel hyn. Mewn difrif, ai dyma eiriau dyn, a'i enaid yn drallodus at ei frodyr, ac yn bwriadu troi ei gefn arnynt? Yn hytrach, oni ddangosant yspryd tawel, llawn cariad at y Cyfundeb, yn ymlawenychu yn ei lwyddiant, ac yn edrych gyda gobaith at ddyfodol gogoneddus iddo? Pe buasai eisiau

tystiolaeth ychwanegol, y mae i'w chael yn y genadwri a anfonwyd ganddo at Gymdeithasfa Caernarfon, yr hon a gynhaliwyd y dyddiau olaf yn Medi, 1814, yr wythnos cyn marwolaeth Mr. Charles. Fel hyn yr adroddir yr hanes gan y Parch. T. Jones: "Yn y dyddiau olaf o Fedi, yr oedd cymanfa gan gorph ei frodyr yn cael ei chynal yn Nghaernarfon. Yno yr oedd wedi anfon anerchiad cyfeillgar efo y brawd J. R——s (John Roberts, Llangwm), gan wirio ei fod, yn y teimlad gwresog o'i undeb a'r pregethwyr a'r henuriaid oedd yno yn gynulledig, yn dra diolchgar am iddo dueddu ei feddwl, a pheri i'w goelbren syrthio i fod yn eu mysg; ei fod wedi mwynhau cymdeithas gysurus â hwynt am naw-mlynedd-ar-hugain; ei fod yn ymbil am i'r Arglwydd aros, mewn arwyddion helaeth o'i ras a'i ffafr, yn eu plith; a'i fod yn dymuno cymhorth eu gweddïau yn ei achos ef a'i eiddo yn eu cystudd a'u cyfyngder. Yr oedd gyda hyn hefyd newydd cysurol, mewn gradd, gan y genad â brawd arall, ei fod a rhyw arwyddion gwelliant arno, a gobaith am estyniad ar ei oes." Darfu i Mr. Charles lawer tro ddatgan ei ddiolchgarwch am i'w goelbren syrthio yn mysg y Methodistiaid; a dyma y gorchwyl cyhoeddus olaf a gyflawnwyd ganddo.

Y mae ateb y Gymdeithasfa, mewn llythyr gan ei hysgrifenydd, sef y Parch. Cadwaladr Williams, yn haeddu ei gofnodi. Fel hyn yr ysgrifena Mr. Williams: "Barchedig Syr,—Yr wyf yn hysbysu i chwi fod Mr. J. R. wedi dwyn yn ffyddlon eich anerchiad caredig at y Gymdeithasfa yn Nghaernarfon, yr hwn a ddebyniwyd gydag effaith ac ymdoddiad nid bychan gan yr holl gynulleidfa; canys diau genyf fod llawer yn wylo. Ac y mae yr holl frodyr yn y Gymdeithasfa yn cydanfon eu hanerch diffuant atoch, gan dystio eu bod yn cydymdeimlo â chwi yn eich cystudd personol, ac o ran eich amryw ofidiau teuluaidd. Gydag awyddfryd llawnbarodol bu genym goffa am danoch, ac am eich teulu hefyd, mewn gweddïau neillduol a chyhoeddus, gan ddymuno (os yr Arglwydd a'i myn) eich adferiad eto i'n plith. 'Ewyllys yr Arglwydd a wneler.'—Wyf, dros y Gymdeithasfa, yr eiddoch, &c., C. W."

Yn sicr dylai cenadwri Mr. Charles at Gymdeithasfa Caernarfon fod yn derfyn ar bob ymryson parthed ei deimlad at y Cyfundeb Methodistaidd yn niwedd ei oes. Ceisia Mr. Hughes, Ficer Llanuwchllyn, ysgoi y casgliad amlwg trwy ddweyd mai cyfeirio yr oedd Mr. Charles at ei gysylltiad â'r Methodistiaid cyn y Neillduad, yn adeg Rowland, Llangeitho; Jones, Llangan; Griffiths, Nevern, ac eraill. Ond dywed Mr. Charles ei fod wedi mwynhau cymdeithas gysurus â'r Methodistiaid am *naw-mlynedd-ar-hugain*, a chynwysa y nawmlynedd-ar-hugain hyn, nid y cyfnod cyn yr ordeinio, ond holl adeg ei gysylltiad â'r Cyfundeb cyn a chwedi; ac y mae yn amlwg ei fod yn ystyried Methodistiaeth yr un o ran ei hanfod ar ol y Neillduad. Yn sicr, nid at y Methodistiaid cyn y Neillduad yr anfonai i ofyn am ran yn eu gweddïau! Nid gyda y Methodistiaid cyn y Neillduad ychwaith y dymunai am i arwyddion amlwg o bresenoldeb yr Arglwydd aros! Ymddengys fod gwrthuni y dybiaeth hon wedi gwawrio hyd yn nod ar feddwl Mr. Hughes ei hun; oblegyd nid yw yn cyfeirio ati o gwbl yn ei lyfr, ond ymgeisia ddyfod o hyd i ryw ddyfaliad arall. Wrth gau i fynu ein hymresymiad am berthynas Mr. Charles â'r ordeiniad cyntaf yn mysg y Methodistiaid, nid oes rhith o amheuaeth yn ymddangos i ni yn bosibl ar y ddau beth; sef i'w feddwl gael ei argyhoeddi yn llwyr o'r angen am y symudiad, a'i fod yn edrych yn ol trwy ystod y gweddill o'i oes gyda thawelwch at y rhan a gymerodd yn hyn. Profir y diweddaf gan dôn ei lythyrau; gan ei lafur dibaid yn mysg y Methodistiaid gwedi y Neillduad; gan ei gyfeillgarwch didor â'r rhai a fuont yn brif foddion i ddwyn o amgylch y Neillduad; ac yn arbenig gan y genadwri a anfonodd wythnos cyn ei farw at Gymdeithasfa Caernarfon. Dylai y chwedl anwireddus a dadogir ar Robert Saunderson gael ei chladdu, i beidio gweled adgyfodiad mwy.

Er cychwyn Methodistiaeth cawn yr Arglwydd yn datgan ei foddlonrwydd i'w gwaith yn cymeryd cam pwysig er hyrwyddo llwyddiant y deyrnas, trwy beri adfywiad grymus yn y Cyfundeb. Cymerodd diwygiad nerthol le gyda dygiad allan emynau Williams, Pantycelyn; gyda throad Daniel Rowland o'r Eglwys; gyda sefydliad yr Ysgol Sabbothol; ac ymwelodd yr Arglwydd mewn modd grymus â'i bobl yn bur fuan wedi y Neillduad. Yn y flwyddyn 1813 ysgrifena Mr. Charles at foneddiges: "Da genyf eich hysbysu fod y rhagolygon mewn llawer rhan o'n gwlad yn dra chalonogol. Y mae dros dri chant wedi eu derbyn i'r gwahanol seiadau yn

Sir Gaernarfon yn unig, yn benaf o'r Ysgolion Sabbothol, y rhai sydd yn cynyddu yn ddirfawr mewn rhif ac effeithiolrwydd." Mewn llythyr arall dywed: "Yr wyf wedi derbyn llythyr yn rhoddi hanes boddhaol am lwyddiant crefydd mewn rhanau o Sir Gaernarfon. Cyfieithaf ran o hono: 'Y mae yr Arglwydd wedi gwneyd gwaith rhyfedd yn ein gwlad mewn llai na blwyddyn. Ychwanegwyd at yr eglwys yn nau gapel Clynog, 138; yn Llanllyfni, 90; yn Penygraig a Thymawr, dros 100; a llawer at eglwysi eraill yn y sir! Bydded i ni fendithio yr Arglwydd.'" Eto, yn yr un flwyddyn, ysgrifena: "Yn grefyddol ac yn foesol y mae cyflwr y werin yn ein mysg yn graddol a pharhaus wella. Gwneir cynydd o flwyddyn i flwyddyn. Y mae canoedd o ieuenctyd a phlant wedi ymuno a'n seiadau y flwyddyn hon. Ar y 27ain o Fedi, arholwyd dynion ieuainc a phlant rhandir gyfan genyf fi yn ein capel. Ni welais erioed olygfa mor effeithiol. Yn brin y medrent roddi eu hatebion gan fel yr oeddynt wedi cael eu gorchfygu gan wylo; ac yr oedd yr holl gynulleidfa yn teimlo yr un fath. Darfu i'r oll o'r bobl ieuainc hyn deimlo dylanwadau crefyddol yn ystod yr wyth mis a basiodd; ac y mae cyfnewidiad amlwg wedi cymeryd lle yn eu hymarweddiad. Pared Duw fod yr argraffiadau ar eu meddyliau yn ddwfn a pharhaus. Wrth adrodd rhanau o'r Ysgrythyr yn desgrifio trueni yr annuwiol mewn byd arall, a fyddont feirw yn eu pechodau, yr oeddynt yn wylo yn chwerw.' Cawn yma ar ran Mr. Charles yr un llwyr ymroddiad i'r gwaith, a'r un hyfrydwch ynddo, a'r un gobaith hefyd am ddyfodol Cymru trwy ddylanwad yr efengyl, ag a amlygai trwy holl ystod ei oes.

Cafodd y Parch. Thomas Charles fyw i weled ffrwyth mawr o'i lafur, mewn gwelliant moesau, a chydnabyddiaeth a'r Ysgrythyr ar ran y werin. Prin yr ydym yn tybio y ceir yn holl hanes y byd genedl yn ymddyrchafu mor gyflym mewn crefyddolder a diwylliant, a chenedl y Cymry yn y cyfnod hwn. Fel esiampl o'r modd yr oedd awydd am wybodaeth o'r Beibl wedi lefeinio hyd yn nod y rhanau mwyaf mynyddig o'r Dywysogaeth, cymerer y difyniad a ganlyn allan o lythyr a ysgrifenodd Mr. Charles at gyfaill yn yr Ucheldiroedd, yn y flwyddyn 1811: "Darfu i mi yn ddiweddar ymweled ag ardal, rhwng ein mynyddoedd, lle y mae dynes dda, gweddw, a'i dau blentyn, sef merch ddeuddeg oed, a mab deunaw oed, wedi bod yn brif offerynau i ddysgu y trigolion i ddarllen yn dda, ac i ddeall prif egwyddorion Cristionogaeth, a hyny yn unig trwy yr Ysgol Sul, ac ysgolion y nos. Ymwelais â hi yn ddiweddar; y mae yn byw ar ei thyddyn bychan, pan yr oedd wedi casglu yn nghyd yr holl breswylwyr i'w thŷ; a darfu iddynt adrodd i mi amryw benodau gyda chryn briodoldeb a dealltwriaeth. Arholais inau hwynt cyhyd ag yr oedd amser yn caniatau, a phregethais iddynt yn ganlynol. Hi ei hun a'i phlant a safent i fynu, gan arwain pawb wrth adrodd y penodau a'r catecism. Yr oedd fy moddhad, fel y gallwch dybio, tu hwnt i arfer yn mhell ar yr achlysur."

Dyma un o ddirgelion llwyddiant Mr. Charles. Nid oedd dim yn rhy fychan nac yn rhy isel ganddo i'w gyflawni. Elai i dŷ gweddw dlawd, rhwng mynyddoedd cribog Meirionydd, i holi nifer o blant, ac i bregethu i ychydig o fynyddwyr garw, gyda yr un awyddfryd ag yr elai i Gymanfa, lle y byddai y miloedd wedi ymgynull. Yr oedd lawn mor gartrefol yn mwthyn y llafurwr, gyda thân mawn yn llosgi ar yr aelwyd, ag yn mharlwr y boneddwr. Ei ddylanwad personol, a'i ymroddiad mewn cylchoedd bychain, a gyfrifant am lwyddiant ei gynlluniau ar raddfa eang. Cymerer a ganlyn eto, allan o'r un llythyr, am nifer y Beiblau a wasgarwyd yn Nghymru: "Y fath yw y galw wedi bod, fel ei cafwyd yn angenrheidiol i argraffu tri argraffiad o'r Beibl, y rhai oeddynt dros ugain mil, a saith argraffiad o'r Testament Newydd, yn cyrhaedd i bum'-mil-a-deugain o gopïau. Y mae yn deilwng o sylw ddarfod i'r oll o'r rhai hyn gael eu hargraffu, a'u gwerthu, gan mwyaf, yn y cyfnod byr o bedair blynedd." Y mae genym awdurdod ysgrifenydd Cymdeithas y Beiblau dros fod yr argraffiad cyntaf o'r Beibl Cymraeg yn ugain mil; felly, rhaid y golygai Mr. Charles fod yr argraffiadau y cyfeiria atynt yn ugain mil yr un. Gan hyny, gwelwn i gynifer a chant-a-phump o filoedd o gopïau o Feiblau a Thestamentau gael eu gwasgar yn y Dywysogaeth mewn pedair blynedd. Dios genym y saif y ffaith hon ar ei phen ei hun yn hanes cenhedloedd y ddaear.

Erbyn hyn, yr oedd dydd y gwas enwog hwn i Grist yn tynu at ei derfyn. Yn y flwyddyn 1812, pan yn teithio ei hun mewn rhan o Sir Drefaldwyn, cyfarfyddodd â damwain ddifrifol, yr hon yn y diwedd a brofodd yn foddion ei angau.

Wrth ymroi yn ormodol i geisio agor clwyd, neu lidiart, teimlodd boen sydyn yn ei ochr. Ymddengys i doriant mewnol gymeryd lle, yr hwn a drodd yn enyniad; ac ychydig o waith a fedrodd gyflawni ar ol hyn. Tua gwanwyn y flwyddyn ganlynol, 1813, sylwai ei gyfeillion gyda gofid fod ei wedd wedi cyfnewid, a'i lais wedi gwanhau yn ddirfawr. Eto, yn nghanol ei wendid, ymdrechai i fyned o gwmpas gyda'r efengyl. Yn mis Mehefin, teithiodd yn fras, gan bregethu a gorphwys ar yn ail, i Gymdeithasfa Caergybi. Oddiyno, brysiodd, gan bregethu mewn ychydig leoedd, i Lanidloes, lle yr oedd cyfarfod wedi ei gyhoeddi er ffurfio cangen o'r Feibl Gymdeithas. Dyma y daith olaf o ddim hyd a wnaeth. Yn mis Medi, 1813, ysgrifena at gyfeilles yn Llundain yn y modd a ganlyn: "Yr wyf wedi bod am y ddau fis hyn, a rhagor, mewn ystad o wendid corph dirfawr, effaith gorlafur meddwl a chorph, fel y tybia y meddygon. Yr oeddwn yn cael mynych boen, ac wedi fy nghaethiwo i'r tŷ; yn fynych byddwn ar y gwely. Nid oeddwn yn abl i ddim a ofynai ymdrech feddyliol neu gorphorol; a chynghorir fi i orphwys, ac i roddi i fynu bob gwaith, fel y moddion tebycaf i adfer cryfdwr. Trwy drugaredd, yr wyf yn awr gryn lawer yn well, ac yn rhydd oddiwrth boen, er yn parhau yn eiddil. Cefais gyfnerthiad dirfawr yn ngeiriau diweddaf Dafydd—y cyfamod tragywyddol, 'wedi ei luniaethu yn hollol ac yn sicr,' yr hwn a gynwys fy holl iachawdwriaeth. Er fy mod yn egwan, cefais dir cadarn i sefyll, ac yr oeddwn yn llawenychu ynddo. Pan fyddo calon a chnawd yn pallu, dyma gryfdwr i'm calon, dyma fy rhan—fy holl iachawdwriaeth byth. Nis gallaf osod ar y papyr hwn yr hyn a welais ynddi; ond mi a welais ddigon, a hyny am byth. Cofiodd Duw fi, a dangosodd i mi y pethau goreu oedd ganddo—iachawdwriaeth mewn cyfamod wedi ei wneuthur ganddo ef ei hun."

Nid yn unig yr oedd efe yn gwanhau, ond yr oedd ei briod wedi cael ei tharo gan y parlys, ac mewn canlyniad yn dra analluog. Er hyn oll, pregethai ychydig fel yr oedd ei nerth yn caniatau. Yn mis Mai, 1814, ysgrifena fel y canlyn at ei hen gyfaill, y Parch. Thomas Jones, Dinbych: "Yn ateb i'ch llythyr caruaidd, y mae yn ddrwg genyf nad yw yn fy ngallu i ddyfod i'r cyfarfod yn Nhreffynon. Y Sul nesaf yr wyf i fod yn Sir Drefaldwyn, mewn cyfarfod cyhoeddus, i bregethu ac i holi plant; ac y mae y Sulgwyn, yn ol ein trefn fisol, yn Sul y sacrament. Heblaw hyn, y mae fy nerth yn mhell o fod yn cyfateb i'r brys a'r drafferth sydd yn nglyn wrth ein cyfarfodydd cyhoedd. Os yr Arglwydd a'i myn, yr wyf yn bwriadu cyrhaedd i'r cyfarfodydd yn Nghaer a Gwrecsam. Poenus i mi yw gorfod anfon i chwi, a'm cyfeillion anwyl yn eich parthau, ateb nacaol ddwy waith; ond felly y mae ewyllys Duw yn ei Rhagluniaeth tuag ataf fi yn bresenol. Yr wyf yn llawenhau yn eich llwyddiant, ac yn gofidio os clywaf unrhyw newydd annymunol. Y mae fy nerth wedi ei adfer mewn cryn radd; *ond nid wyf fel y bum:* ac yn ol pob tebyg, *nis byddaf ychwaith.* Y mae Mrs. Charles yn wanaidd; o'r braidd y geill hi oddef taith fer, o dair milltir bob dydd, yn y *gig.* Rhy anhawdd ganddi feddwl am unrhyw daith bell. Y mae hi a minau yn dra rhwymedig i chwi a Mrs. Jones am eich gwahoddiadau tirion, a'ch cynygion o ddyfalwch yn ei hachos; ond yr wyf yn ofni na wel hi byth mo Ddinbych. Yr ydym ein dau ar ddisgynfa y bryn, er fod y disgyniad yn esmwyth ac yn raddol.—Wyf, yr eiddoch, T. CHARLES." Tua'r un amser ysgrifena: "Yr ydym ein dau ar ddisgynfa einioes; ond y mae hi yn ymddangos fel yn myned yn fwy cyflym na mi."

Yn Nghymdeithasfa y Bala, a gynaliwyd Mehefin, 1814, ymddangosai yn dra siriol. Boddheid ef yn ddirfawr gan liosogrwydd a threfn y cynulleidfaoedd; yr undeb a ffynai yn y cyfarfodydd preifat; a'r nerth dwyfol oedd yn cydfyned â'r weinidogaeth. Yn mis Awst canlynol, cyfarfu y Parch. Thomas Jones ag ef ac a'i briod yn Mronheulog, ger Llandderfel, a gwelai fod gwaeledd y naill a'r llall ar gynydd. Ond yr oedd y fath addfedrwydd grasol, a nefoleiddrwydd yspryd, i'w canfod ar Mr. Charles, nes gwneyd argaff ddofn ar bawb.

Yr oedd Cymdeithasfa y Bala, 1814, yr olaf a welodd Mr. Charles, yn nodedig ar amryw gyfrifon. Ynddi yr ordeiniwyd y Parchn. John Jones, Edeyrn; Michael Roberts, Pwllheli; John Jones, Tremadog; John Hughes, Pontrobert; a John Parry, Caer. Gwŷr grymus bob un. Yr oedd Henry Rees hefyd, yn llanc iraidd un-arbymtheg oed, yn bresenol yn y Gymdeithasfa; a dyma y pryd y cyfarfyddodd efe, a Mr. Charles, a John Elias, am yr unig

waith yn eu bywyd. Y mae yr hanes, fel ei hadroddir gan y Parch. Owen Thomas, D.D., yn dra dyddorol.

Sylwedd yr hyn a ddywed Dr. Thomas yw a ganlyn: "Un amcan ganddo (Henry Rees), ac efallai y penaf, wrth fyned i'r Gymdeithasfa, oedd ceisio y *Geiriadur*. Yr oedd ei awydd am y llyfr yn fawr, ond ni feddai arian i'w brynu. Meddai ei fam wrtho: 'Cod di yn foreu bob diwrnod corddi, a chordda i mi, minau a roddaf bwys o ymenyn i tithau i'w roddi mewn cynog; a phan ddaw yn llawn, ti a gai ei werthu i brynu'r *Geiriadur*.' Cydsyniodd yntau ar unwaith; ond yr oedd y gynog yn hir yn llenwi. Dyfeisiodd gynllun arall, sef cymeryd degwm eu tir hwy am y flwyddyn hono, gan obeithio enill rhyw gymaint arno. Ond yr oedd yn rhaid dysgwyl yn hir iawn wrth y naill gynllun a'r llall. Ac yr oedd Sassiwn y Bala yn agoshau. Meddyliodd mai y peth goreu iddo fyddai myned i'r Sassiwn; mynu gweled Mr. Charles, a dweyd wrtho sut yr oedd pethau yn sefyll, a gofyn a wnai efe werthu *Geiriadur* iddo ar goel yr ymenyn a'r degwm. I'r Bala yr aeth; ond y fath oedd ei wyleidd-dra fel y methodd fyned i'r tŷ hyd dranoeth wedi y Gymdeithasfa. Wedi myned i mewn gwnaeth ei gais yn hysbys, a'r cynllun oedd ganddo i dalu am y llyfr gyda'r ymenyn a'r degwm, gan sicrhau y dygai yr arian cyn Calangauaf. Gwenai Mr. Charles arno yn dyner wrth ei fod yn gwneyd ei gais; teimlai wrth ei wedd ei fod yn fachgen cywir, ac fe ganiataodd iddo ei ddymuniad. Ond cyn amlygu hyny pwy ddaeth i mewn i'r ystafell ond John Elias, i ffarwelio â Mr. Charles cyn gadael y dref. Adroddai Mr. Charles ystori y bachgen wrtho; yntau a wrandawai dan wenu, ac a ddywedodd ychydig eiriau caredig wrtho i'w galonogi. Dyma y tro cyntaf i Henry Rees gyfarfod John Elias; dyma yr unig dro y cyfarfyddodd â Mr. Charles; a'r unig dro i'r tri gyfarfod, a hyny am ychydig fynydau." Diau i Henry Rees dalu yn onest am y *Geiriadur;* ond ni chafodd brofi ei onestrwydd i Mr. Charles; oblegyd cyn i'r Calangauaf ddyfod yr oedd efe yn ei fedd. Y mae llythyr Mr. Charles ar ol y Gymdeithasfa yn dangos fod effeithiau grymus yn cydfyned â'r weinidogaeth. Dyma drefn yr odfaeon y diwrnod olaf. Am chwech yn y boreu, Michael Roberts a Richard Lloyd, Beaumaris; am ddeg, John Jones, Edeyrn, ac Ebenezer Morris; am ddau, Thomas Jones, Dinbych, a John Elias; ac am chwech, Thomas Richards, Abergwaun, ac Evan Richardson, Caernarfon.

Yn fuan aeth Mr. Charles, a'i briod gydag ef, i Abermaw, i weled a wnelai awyr y môr les iddynt. Pregethodd yno droion; ac yr oedd rhyw dynerwch rhyfedd yn ei weinidogaeth, ac yn ei ymddiddanion. Yno dywedai wrth ei wraig: "Wel, Sally, y mae y pymtheng mlynedd agos ar ben," gan gyfeirio at weddi ryfedd yr hen Richard Owen, yn y Bala, ar eu rhan. Yn mhen tua phythefnos aethant i ymweled â Mrs. Foulkes a'i phlant yn Machynlleth. Ar y Sabboth, Medi 4, pregethodd Mr. Charles ddwy waith, a dyma ei bregethau olaf. Ei destun yn y boreu oedd Luc xv. 7; a'r nos, 1 Cor. xvi. 22. Cafodd odfa ryfedd y nos; traethai am gariad rhad ac annherfynol Duw at bechaduriaid; am gariad at berson Crist; ac am y mawr berygl o wrthod y cariad a'r gras sydd yn cael eu cynyg yn yr efengyl, nes yr oedd y gynulleidfa yn toddi yn llyn. Yr oedd ei yspryd yn fywiog a thanllyd yn y pwlpud, er fod ei gorph yn wan; ond erbyn cyrhaedd y tŷ yr oedd yn dra diffygiol.

Yr wythnos ganlynol yr oedd yn teimlo ei hun yn gwaethygu, a hiraethai am ddychwelyd i'r Bala. Cyrhaeddodd yno drwy anhawsder dirfawr, dydd Sadwrn, Medi 10, mewn gwendid mor amlwg nes peri gofid i'w deulu ac i'w gyfeillion. Wrth gyfaill a'i cynorthwyai i'w ystafell, dywedai: "Yr wyf yn teimlo yn dra diolchgar i'r Arglwydd am iddo fy ngallugogi i ddyfod adref unwaith eto." Ac yn fuan ychwanegai: "Bellach, nid oes genyf ddim i'w wneuthur ond marw." Y dyddiau canlynol mynych adroddai y geiriau a geir yn 2 Bren. xiii. 14: "Ac yr oedd Eliseus yn glaf o'r clefyd y bu efe farw o hono." Yr oedd yn fynych mewn poenau dirdynol. Dywedodd y meddyg wrtho y byddai raid iddo fyned dan weithred law-feddygol (*surgical operation*). Cydsyniodd yntau; a chwedi hyn bu ei boen yn llai. Yn mhen peth amser hysbyswyd ef gan y meddyg na fedrai wneyd fawr gwaith mwy er gwella; mai gorphwys fyddai ei ran bellach. Atebai yntau: "Os gwellhau a gaf, yr wyf yn meddwl y pregethaf Grist i bechaduriaid sydd ar ddarfod am danynt yn fwy dyfal nag erioed o'r blaen."

Yn ystod ei wythnosau diweddaf yr oedd ei brofedigaethau teuluaidd yn drymion.

Heblaw ei fod ef ei hun, a'i briod, fel yn disgyn am y cyflymaf i lawr i'r glyn, yr oedd eu mab hynaf yn glaf, a'i fywyd mewn enbydrwydd. Yn ychwanegol, cafodd eu morwyn, oedd wedi bod yn eu gwasanaeth am wyth mlynedd, ac o ba un yr oeddynt yn hynod o hoff, ei tharo a thwymyn, a naw diwrnod y bu byw. "Chwi a welwch ein bod yn y ffwrnes," ebai Mr. Charles wrth gyfaill; "ond wedi i ni ddyoddef ychydig cawn ein dwyn allan wedi ein puro." Wrth un a eisteddai i fyny gydag ef dywedai yn aml: "Pechadur gwael ydyw Charles; dim ond pechadur gwael ac annheilwng. Mi a wn nad oes fodd i mi gael fy nghadw heb faddeuant; y mae maddeuant gyda Duw." Llonodd drwyddo pan glywodd fod gobaith am adferiad ei fab; ail adroddai eiriau y Salm: "Oblegyd ei drugaredd sydd yn dragywydd." Mynodd gyrchu y Beibl Hebraeg o'i fyfyrgell, a thynai gysur cryf o'r gair a gyfieithir "trugaredd," gan sylwi ei fod yn air o gynwys tra helaeth.

Yr ydym wedi cyfeirio yn flaenorol at ei genadwri at Gymdeithasfa Caernarfon, a gynaliwyd yr wythnos olaf yn Medi. Y dydd Llun canlynol, Hydref 3, galwodd y Parch. Thomas Jones yn y Bala, ar ei ffordd adref. Cafodd Mr. Charles, a'i briod, a rhai perthynasau, wrth y bwrdd yn cymeryd lluniaeth. Ymddangosai yn siriol hynod, ac ymddiddanai a'i gyfaill yn wresog a bywiog. Rhag gwneyd niwed iddo trwy beri iddo ymddiddan gormod gadawodd Mr. Jones ef, gan fyned i dŷ arall i letya. Ond cyn i Mr. Jones adael ei ystafell y boreu canlynol, daeth y newydd iddo fod Mr. Charles wedi cael noswaith o boenau dirfawr, a bod ei fywyd mewn perygl. Brysiodd yntau at ei wely. Ar gais Mr. Charles aeth ar ei liniau i'w gyflwyno ef a'i deulu i ofal Duw. Wedi gorphen, ceisiai Mr. Charles ymddiddan, er yn floesg. Pan y dywedai Mr. Jones wrtho nad oedd arno bryder yn ei achos ef, ond fod ei feddwl yn derfysglyd ynddo wrth feddwl am golled yr eglwys a'r wlad, ei ateb ef oedd: "Byddwch dawel yn yr Arglwydd; y mae efe yn abl i godi canoedd o weision mwy ffyddlon, a mwy llwyddianus, nag a fûm i erioed.' Fel hyn yr ymadawodd y ddau gyfaill, i beidio cyfarfod byth mwy ar y ddaear.

Yn nghanol ei boenau yr oedd ei yspryd yn siriol. Boreu dydd Mawrth, ar ol deffro o hûn fer, dywedai: "Bûm yn ceisio dyfalu pa le y mae'r nefoedd, a pha fodd y cawn o hyd iddi; ond meddyliais y gwna yr Arglwydd, ysgatfydd, anfon rhyw angel tirion i ddangos y ffordd i mi." Wrth geisio rhodio ar draws yr ystafell, dywedai: "Pallodd fy nghnawd a'm calon; ond nerth fy nghalon a'm rhan yw Duw yn dragywydd. Rhan yw hon y mae yn rhaid i bawb ei chael neu fod yn druenus byth.' Dro arall, a rhyw ddwysder hyfrydlawn yn ei wedd, dywedodd: "Yr awrhon, Arglwydd, y gollyngi dy was mewn tangnefedd, yn ol dy air; canys fy llygaid a welsant dy iachawdwriaeth." Cyn myned i'w wely nos Fawrth, dywedai wrth ei wraig: "Wel, fy anwylyd, os bydd i mi farw a'ch gadael, bydd yr Arglwydd yn fyw i ofalu am danoch." Ychydig o gwsg a gafodd nos Fawrth. Boreu y dydd canlynol daeth crynfa drosto a barhaodd am agos i awr. Bu yn ddystaw am enyd wedi i'r grynfa basio. Wrth ei weled yn suddo, nesaodd Mr. Saunderson at erchwyn ei wely, a dywedodd: "Wel, Mr. Charles, y mae dydd trallod wedi dyfod." Atebodd yntau yn fuan: "Y MAE NODDFA!" Dyna ei eiriau diweddaf. Yn y man aeth i anadlu yn wanach, ac o gwmpas deg o'r gloch dydd Mercher, Hydref 5, 1814, ehedodd ei yspryd i'r Ganaan dragywyddol, pan yr ydoedd chwech niwrnod yn fyr o gyrhaedd ei driugain mlwydd namyn un. Yn mhen pedwar-diwrnod-ar-bymtheg yr oedd ei briod wedi ei ganlyn i'r anneddle lonydd. Y mae yn amheus a lawn ddeallodd hi ei bod wedi cael ei gadael yn weddw.

Claddwyd ef prydnhawn y dydd Gwener canlynol, ac er byrdra y rhybudd, yr oedd torf liosog wedi ymgynull yn nghyd. Ar yr achlysur, gweddïodd y Parch. John Roberts, Llangwm; a phregethodd y Parch. Thomas Jones, Dinbych, oddiar Heb. xi. 4: "A thrwyddi hi y mae efe, wedi marw, yn llefaru eto." Wrth son am ffydd y gwas ymroddgar hwn i Grist, a'r dystiolaeth ardderchog a adawsai ar ol, methai y llefarwr fyned yn mlaen yn fynych oblegyd dwysder teimlad; rhuthrai y dagrau i'w lygaid, a deuai atalfa i'w wddf. Cydgymysgai y dorf ei dagrau â'r eiddo ef, nes yr oedd y lle mewn gwirionedd yn Bochim. Aed yn orymdaith, dan ganu hymnau cyfaddas, o'r Bala i Lanycil; nid oedd lle yn yr eglwys i ddegwm y bobl; ac felly, wedi darllen y gwasanaeth, a chanu hymn, rhoddwyd corph Thomas Charles i orwedd yn y pridd hyd ddydd yr adgyfodiad.

O ran ei gorph, dyn o faintioli cyffredin oedd Mr. Charles, heb fod yn fawr nac yn fychan, ond yn gymhesur ei esgeiriau, ac o ymddangosiad neillduol o foneddigaidd. Fel hyn ei darlunir gan John Jones, Tremadog: "Un o daldra canolig, lled bwyntus; o gyfansoddiad lluniaidd, hardd, a phrydferth, bywiog ei ysgogiad, a boneddigaidd ei olwg. Pan yr edrychid ar ei wyneb, canfyddid mai nid llew creulawn ydoedd, ac nid benyw fasw ychwaith, ond gŵr llawn o feddwl, synwyr, a phwyll. Dywedai fy merch pan yn blentyn ei bod yn meddwl mai efe oedd y tebycaf o bawb i Iesu Grist. Ar y cyntaf, efallai, byddai y pregethodd ei bregeth genhadol yn Llundain, aeth gweinidog enwog ato ar y terfyn, gan ddweyd: "Pe buasech heb agor eich genau, Mr. Charles, yr ydych chwi eich hun yn bregeth ragorol iawn."

Ni chododd Cymru y fath ddyngarwr a Mr. Charles. Meddai dynerwch naturiol; yr oedd caredigrwydd yn ddarllenadwy ar bob llinell yn ei wynebpryd. Pe na chawsai grefydd, credwn y buasai yn ymroddi i ysgafnhau beichiau y ddynoliaeth, ac i geisio gwella cyflwr ei gydwladwyr; ond darfu i'w droedigaeth, a'r afael ddwfn a gafodd yr efengyl mewn canlyniad arno, roddi bywyd a nerth yn y teimladau



EGLWYS LLANYCIL, AR LAN LLYN TEGID, BALA.

yr olwg arno yn eich taro oddiwrtho gydag ofn parchus, ond buan drachefn y gwnai eich swyno i'w fynwes a'i ledneisrwydd a'i fwyneidd-dra, gan gyfranu i chwi addysg werthfawr." Nid geiriau eithafol gwronaddolwr yw y rhai hyn, ond cofnodiad o ffaith a addefid yn gyffredinol. Dywedir y byddai rhai yn myned i wrando Mr. Charles oblegyd harddwch ei bryd, a'r wedd angylaidd oedd arno. Nid tegwch cnawdol a berchenogai; yn hytrach lledneisrwydd a thynerwch yspryd, ac efengyl Duw wedi nawseiddio ei holl enaid, a osodent ryw addurn ar ei wedd, ac a barent i'w wyneb ddysgleirio. Pan a feddai wrth natur, nes y daeth achub eneidiau, a'u dwyn i afael y cyfoeth uchaf a all dynion feddianu, yn nwyd anorchfygol ynddo. Hyn a'i cynhaliodd yn ngwyneb gwrthwynebiadau, ac a barodd iddo lafurio uwchlaw yr hyn a ddaliai ei natur, wrth deithio mynyddoedd anhygyrch Gwynedd, yn nghanol gwlawogydd a thymhestloedd. Ni wyddai am falchder. Yr oedd yn un o'r dynion gostyngeiddiaf yn fyw. Daeth i feddu dylanwad dirfawr yn mysg y Methodistiaid; edrychid i fynu ato fel angel Duw; braidd nad oedd ei air yn ddeddf; ond yn hyn oll nid ymddyrchafai efe, yn hytrach,

byddai pob anrhydedd a bentyrid arno yn ei yru yn ddyfnach i'r llwch. Deuai ei ostyngeiddrwydd i'r amlwg yn ei weinidogaeth. Gan y meddai ddysgeidiaeth ddofn, a chydnabyddiaeth â syniadau y prif dduwinyddion ar bob pwnc o athrawiaeth braidd, buasai yn hawdd iddo ymddyrchafu uwchlaw ei wrandawyr, a pheri iddynt synu at fawredd ei gyrhaeddiadau; ond byddai efe yn y pwlpud y symlaf, a'r hawddaf ei ddeall o bawb; gwnai hi yn bwynt i fod mor glir nes y byddai y gwanaf ei amgyffredion yn alluog i ddirnad.

Yr unig rai a fu yn meddu y cyffelyb ddylanwad yn mysg y Methodistiaid oedd Daniel Rowland, a Howell Harris, a Williams, Pantycelyn; ond yr oedd Mr. Charles yn hollol annhebyg i bob un o honynt. Hyawdledd sanctaidd Rowland a gariai bob peth o'i flaen. Nid ydym am ddweyd ei fod yn gwbl amddifad o allu trefniadol; ond nid yn hyn y rhagorai; ei enwogrwydd yn y pwlpud a gyfrifai i raddau am ei ddylanwad allan o'r pwlpud. Yr oedd Howell Harris, o'r tu arall, yn drefnydd nodedig; cyfunai nerth areithyddol o'r dosparth blaenaf â gallu trefniadol digyffelyb. Ond gosod ei ofn ar y cynghorwyr a'r seiadau a wnelai. Ac os na chaffai ei ffordd, a hyny mewn pethau cymharol ddibwys, byddai yn cyffroi trwyddo. Yn wahanol i Rowland, nis gellir rhestru Mr. Charles yn mysg pregethwyr blaenaf Cymru. Yr oedd yn bregethwr da, sylweddol, addysgiadol, a chlir; buasai, yn ol pob tebyg, wedi esgyn yn uwch mewn poblogrwydd pregethwrol oni bai iddo daflu prif yni ei natur i waith yr Ysgol Sabbothol, ac yn arbenig i gateceisio plant; ond yr oedd yn byw yr un pryd ag ef amryw a ragorent arno mewn dawn gweinidogaethol, a medr i ddylanwadu ar dorf. Yn wahanol i Harris, yr oedd Mr. Charles yn cario ei gynlluniau trwy egluro eu natur, a dangos yr angenrheidrwydd am danynt, a hyny mewn modd mor enillgar fel yr oedd yn cludo pawb gydag ef fel llif yr afon. Ac yr oedd ei holl drefniadau yn gwbl ymarferol. Medrai roddi ei fys ar angen gwlad, a chynyrchu cynllun i'w gyfarfod, fel gyda chywirder anghamsyniol greddf. Gallwn olrhain mawredd ei ddylanwad i'w ddoethineb nodedig, ei foneddigeiddrwydd perffaith, ei ostyngeiddrwydd dwfn, ei ymroddiad diderfyn i wasanaeth ei Gyfundeb a'i wlad, ei fedr dirfawr fel cynllunydd; a thuhwnt i bob peth i'w dduwiolfrydedd dwfn. O herwydd y rhagoriaethau hyn, ac eraill, daeth Mr. Charles yn frenin yn mysg y Methodistiaid heb geisio hyny.

Nid iawn ynom fyddai anghofio ei haelioni. Ychydig a phrin oedd derbyniadau arianol Mr. Charles oddiwrth y weinidogaeth; ar ei fasnach, a ddygid yn mlaen gan ei briod, yr oedd yn byw. Nis gwyddom i ba raddau y talodd ei lyfrau iddo; ond y mae genym ei awdurdod ef ei hun i ddweyd fod yr oll a wnelai yn cael ei roddi ganddo i gynal yr ysgolion. Pan fyddai tlodion yn dyfod ato am Feiblau, a llyfrau eraill, heb arian, nis gallai efe wrthod eu cais. Credwn ein bod yn gywir wrth ddweyd iddo roddi canoedd o lyfrau yn rhad ac am ddim. Yn ei adeg ef yr oedd y Bala yn Jerusalem Cymru; byddai tyrfaoedd yn ymgynull yno bob Sul pen mis; cynelid prif Gymdeithasfa Gwynedd yno yn flynyddol; ac nid oedd terfyn ar y cymanfaoedd plant, a chyfarfodydd crefyddol eraill o bob math a ddeuent i'r dref. Ar adegau felly byddai ei dŷ ef yn llawn. Yn y rhinwedd yma yr oedd Mrs. Charles lawn mor rhagorol ag yntau. Yr oedd porthi y dyeithriaid yn draddodiad oedd wedi ddysgu gan ei mam. Dywedir am Mrs. Jones, Mrs. Foulkes gwedi hyny, y byddai yn porthi chwe' chant yn ei thŷ pan ddeuai y Gymdeithasfa i'r Bala. Yn hyn bu Mr. a Mrs. Charles, trwy holl ystod eu bywyd, yn olynwyr teilwng iddi.

Bellach, rhaid i ni adael Thomas Charles. A gosod pob peth at eu gilydd, y mae yn sicr na chafodd y Cyfundeb, na Chymru, rodd werthfawrocach gan Dduw nag efe. Fel yr ydym yn barod wedi sylwi, efe a ddyogelodd ffrwyth y diwygiad Methodistaidd. I'w drefniadau ef, dan fendith yr Arglwydd, y rhaid priodoli corfforiad y Cyfundeb, a'i barhad yn Nghymru fel corph dylanwadol. Ac nid yw effeithiau llafur Mr. Charles yn gyfyngedig i Fethodistiaeth, nac i Gymru; y maent i'w teimlo y dydd hwn trwy yr holl fyd. Terfynwn ein hysgrif trwy ddifynu ychydig benillion allan o'r farwnad ragorol a gyfansoddwyd iddo gan y Parch. Thomas Jones:—

"Yr oedd ynddo ras rhagorol,
Er nad oedd heb waeledd dynol;
P'le y cawn, yn mhob agweddau,
Wr yn berffaith, heb ei feiau?
Ië, p'le cawn un trwy'r gwledydd,
Llai ei fai, a mwy ei ddefnydd?
Yn mhob lle, gras y Ne',
Oedd ynddo fe'n amlwg;
Iaith oedd fwyn, a thirion olwg,
Hawddgar, heb na rhith na chilwg.

Bellach, ar ol Charles mewn hiraeth,
Syllwn draw ar ei fywioliaeth,
Yn y wlad lle mae'n cartrefu,
Heb un gelyn i'w derfysgu;
Perffaith olwg ar ei Arglwydd
Yw ei ran mewn byd diaflwydd
Darfu gwg, byd a'i wg,
A chilwg pob gelyn;
Nid oes gwaeledd yno'n dilyn;
Medrus yw ar nefol delyn.

Mi ddych'mygaf fod rhyw dyrfa,
Saint, angelion, o'r llu ucha',
Yn cylch-hedfan, i gyfarfod
Ysbryd Charles, i'w arwain uchod;
Ac, â'u mwynlais wrth ei glustiau,
'N boddi swn angeuol ffrydiau,
'Tyred, frawd, gad dy gnawd,
I ddifrawd y beddle,
Awn a thi i'th nefol gartre',
Uwch y byd, a'i wae anaele.'

Ond yn benaf, Iesu gwiwlan,
(A fu yn yr ing ei hunan),
Oedd yn dangos ei uchafiaeth,
Ac yn gwirio ei fuddugoliaeth;
Gan fwyn adrodd, 'Mi ymleddais,
Ar Galfaria mi orchfygais;
Angeu draw, dan fy llaw,
Ge's er ei fraw oergryn;
Edrych, edrych ar dy elyn,
Nid yw hwn ond sarph heb golyn.'

* * * * *

Dydd-gwaith byr, mae'n ddigon eglur,
Yn ein byd, fu hyd ei lafur;
Ond y gras a roddwyd iddo,
Yn y nef mae'n bywiog weithio;
Dyfroedd byw oedd yn ei galon,
Y maent yno'n gryfach afon;
Yn y pridd, nes dêl dydd,
Ei gorph sydd yn huno;
Ond ei yspryd sydd yn effro,
Yn y nef; prysurwn ato."



# PENOD XXXIII.

—:o:—

## O GYMDEITHASFA GYNTAF WATFORD HYD Y NEILLDUAD.

*Methodistiaeth yn gwreiddio yn Ngwynedd —Adeiladu Capelau—Cymdeithasfa y Gogledd agos a dyfod i brofedigaeth—Teuluoedd cyfrifol yn ymuno a'r Cyfundeb, yn arbenig yn y De—Dylanwad yr offeiriaid Methodistaidd yn gwanychu—Erlid y Methodistiaid dan Ddeddf y Tai Cyrddau—Mr. Corbett yn anrheithio y wlad o gwmpas Towyn, Aberdyfi, a Chorris—Lewis Morris yn ffoi i Lwyngwair—Y pregethwyr yn gorfod cymeryd trwyddedau fel Ymneillduwyr—Cyfodiad Wesleyaeth yn y Dywysogaeth—Y dadleuon dilynol.*

YR ydym mewn penod flaenorol wedi cyfeirio at brif nodweddion wyth mlynedd cyntaf y Diwygiad Methodistaidd. Ein hamcan yn awr yw galw sylw at rai ffeithiau pwysig, nas gallem ymdrin â hwy yn briodol mewn cysylltiad âg unrhyw berson penodol, a gymerasant le rhwng Cymdeithasfa gyntaf Watford, a'r pwynt pwysig nesaf yn hanes y Cyfundeb, sef y Neillduad. Gan fod y cyfnod i raddau yn faith, sef triugain-ac-wyth o flynyddoedd, nis gallwn gyfeirio ond at rai o'r prif elfenau. Cychwynodd y cyfnod hwn mewn brwdfrydedd digyffelyb; y mae yn amheus a fu llwyddiant cyflymach ar achos yr Arglwydd mewn unrhyw adeg nag a fu yn Nghymru yn mysg y Methodistiaid, o 1743 hyd 1750. Yna cododd ystorm trwy yr anghydfod blin rhwng y Cyfundeb a Howell Harris. Parhaodd yr adfyd hwn am dair-blynedd-ar-ddeg. Y mae cylch y Cyfundeb yn gulach, a rhif ei ddeiliaid yn llai y dydd heddyw oblegyd yr ymraniad anhapus yma. Ymwelodd Duw a'i bobl yn amlwg drachefn tua'r flwyddyn 1762, pan y daeth emynau Williams, Pantycelyn, allan, ac y dychwelodd Howell Harris yn ol at ei frodyr. Cyfododd tymhestl eto yn nglyn â helynt Peter Williams, a chyffrowyd teimladau blin; ond ni fu canlyniadau y ddadl hon agos mor andwyol a'r un flaenorol. Am y pethau hyn yr ydym wedi ymhelaethu yn nglyn â hanes y bobl a gymerent y rhan fwyaf amlwg ynddynt; ac hefyd am gyfodiad yr Ysgol Sabbothol, a sefydliad y Feibl Gymdeithas. Ond y mae ychydig bethau naill ai wedi cael eu gadael allan, neu ynte heb gael y lle a haedda eu pwysigrwydd; ac ar y pethau hyn yr ydym am sylwi yn bresenol.

*O fewn y cyfnod hwn y meddianwyd Gwynedd.* Bro y tywyllwch oedd y Gogledd adeg Cymdeithasfa gyntaf Watford. Buasai Howell Harris ar daith ddwy waith trwy ranau o'r dalaeth; efallai iddo sefydlu ychydig o seiadau ynddi; os do, bychan oedd eu rhif ac ychydig eu haelodau. Yr oedd yspryd milain yn erbyn y diwygiad yn llanw yr ardaloedd, a chaffai yr ysprydiaeth yma ei magu a'i meithrin gan y pendefigion a'r clerigwyr. Elai cynghorwyr y Deheudir yn aml i Wynedd, a llefarent pa le bynag y caffent gyfleustra. Trefnodd y Gymdeithasfa yn y Dê hefyd ar bregethwyr i lafurio yn Ngwynedd, gan ddwyn eu traul. Eithr hyd o fewn ugain mlynedd i derfyn y ddeunawfed ganrif eiddil oedd Methodistiaeth yn y dalaeth; yr oedd y seiadau yn anaml ynddi, eu haelodau yn ychydig o rif, ac yn dlodion eu hamgylchiadau; ac o braidd y caent eu goddef gan y werinos. Modd bynag, enillwyd hi gyda chyflymdra dirfawr, a chyn y Neillduad yr oedd y Cyfundeb yn gryfach ynddi nac yn y Dê. Y moddion a fendithiwyd i'w hefengyleiddo oeddynt, yn gyntaf, ymweliadau y Deheuwyr, sef Howell Harris, a'r offeiriaid, megys Daniel Rowland, Howell Davies, Williams, Pantycelyn; Davies, Castellnedd; Jones, Llangan; yn nghyd â'r cynghorwyr, o ba rai y penaf oedd Dafydd Morris, Twrgwyn. Yn nesaf, cyfododd cynghorwyr amryw yn Ngwynedd ei hun, megys John Evans, y Bala; Humphrey Edwards, y Bala; Lewis Evan, Llanllugan. Gwedi hyn ymddangosodd pregethwyr yn y dalaeth, o

ddoniau gweinidogaethol na ragorwyd arnynt mewn unrhyw oes nac mewn unrhyw wlad. Yr ydym yn cyfeirio at Robert Roberts, Clynog; a'i frawd, John Roberts, Llangwm; John Jones, Bodynolwyn; John Jones, Edeyrn; John Elias, ac eraill. Meibion Anac oedd y rhai hyn; nid oedd cnawd allasai ddal o dan eu gweinidogaeth; byddai annuwiolion yn myned i wyneblasu, a'u gluniau yn myned i guro yn nghyd, yn eu presenoldeb. Cyffro amserol, ac yna yn peidio, a gynyrchid gan ymweliadau pregethwyr mawr y Dê; ond yr oedd y rhai hyn, yr ydym wedi cyfeirio atynt, yn aros yn y dalaeth, a'u hymadroddion yn disgyn ar gydwybodau gweithredwyr anwiredd fel gwreichion eiriasboeth. Y rhai hyn ddarfu drechu yr erledigaeth dros y wlad; y rhai hyn ddarfu dori y garw ac arloesi y tir; ac oni bai am nerth eu pregethu hwy ni fuasai Mr. Charles yn medru gosod ei gynlluniau, er mor ymarferol oeddynt, mewn gweithrediad.

Y moddion olaf y cyfeiriwn ato, a fendithiodd Duw er cymeryd meddiant o Wynedd i efengyl Crist, oedd dyfodiad y Parch. T. Charles i'r dalaeth, ac yn arbenig ei ymuniad â'r Cyfundeb. Fel yr ydym wedi dangos eisioes, trwy ei drefniadau a'i gynlluniau darfu iddo ef ddyogelu i Fethodistiaeth ffrwyth y diwygiadau mawrion a ysgydwent y tir. Mor bell ag y mae a fyno y Cyfundeb â'r mater, afradwyd llawer o ffrwyth yn y Dê. Darfu i ymneillduad Howell Harris golli dwy sir gyfan o'r Dywysogaeth i'r Methodistiaid, sef Siroedd Maesyfed a Mynwy. O herwydd achosion eraill, y cawn gyfeirio atynt eto, aeth y Methodistiaid yn ychydig mewn cymhariaeth yn Sir Benfro. Ond yn y Gogledd byddai Mr. Charles, heblaw cymeryd meddiant o randiroedd newyddion ei hun, yn dyogelu cynyrch buddugoliaethau y pregethwyr. Trwy yr Ysgol Sabbothol, y cymanfaoedd plant, gwasgariad llyfrau da, ac yn arbenig trwy wasgar Beiblau yn mysg y werin, byddai efe yn parhau y dylanwadau a gawsent eu cychwyn mewn odfaeon cyffrous; ac i'w ddoethineb ef, dan fendith Duw, y rhaid priodoli yr afael gref sydd gan Fethodistiaeth ar Wynedd. Yn ei amser ef symudwyd canolbwynt gallu y Cyfundeb o'r Deheudir i'r Gogledd. Nid yw y Dê ychwaith heb fod dan ddyled ddirfawr i Thomas Charles; ond gan ei bod yn mhellach oddiwrtho nis gallai ei ddylanwad ynddi fod mor fawr ag ar y dalaeth yn mha un y preswyliai.

*O fewn y cyfnod hwn y llanwyd y wlad a chapelau.* Y capelau cyntaf perthynol i'r Methodistiaid oeddynt Cilycwm, yn Sir Gaerfyrddin; a chapel Maesgwyn, o fewn terfynau Maesyfed. Ni wyddis pa un o'r ddau yw yr hynaf, gan nad yw dyddiad adeiladu capel Maesgwyn genym; braidd nad yr unig beth a wyddom am dano yw fod yr Ustus V——, yn mis Awst, 1742, yn bygwth ei dynu i lawr. Adeiladwyd capel Cilycwm, yn ol y gareg sydd yn aros yn y mur hyd y dydd heddyw, yn 1740. Y ddau hyn yn unig y mae genym sicrwydd am eu bodolaeth adeg Cymdeithasfa gyntaf Watford. Y nesaf y gwyddom am dano yw capel y Groeswen. Cymerwyd y tir at hwn yn Mehefin 2, 1742, sef tros chwech mis cyn y Gymdeithasfa; ond tueddwn i feddwl na chyfodwyd yr adeilad am beth amser wedi hyny. Yna cawn i gapel gael ei adeiladu, yn ol pob tebyg, yn Llansawel, Sir Gaerfyrddin, yn 1744, yn unol â phenderfyniad Cymdeithasfa Porthyrhyd. Yn mhen tair blynedd gwedi hyn, sef yn y flwyddyn 1747, adeiladwyd capel Alpha, yn Llanfair-Muallt. Yr oedd capel y New Inn wedi ei godi ryw gymaint yn flaenorol. Yn y flwyddyn 1749, adeiladwyd hefyd capel Aberthyn, yn Mro Morganwg.

Dyna yr holl gapelau y mae genym hanes sicr am danynt cyn yr ymraniad. Eithr y mae lle cryf i gredu fod ychwaneg wedi cael eu hadeiladu. Ond y mae yn sicr nad oedd eu nifer ond ychydig, onide buasai Howell Harris yn cyfeirio atynt yn ei ddydd-lyfr. Y mae yn amlwg, modd bynag, mai hwyrfrydig fu y Methodistiaid gydag adeiladu capelau. Pe y buasent wedi ymroddi ar unwaith i gael tai i addoli i'r lluoedd a argyhoeddwyd trwy eu gweinidogaeth, buasent yn cymeryd meddiant llwyrach o'r tir, ac ni fuasai cynifer o'u dychweledigion yn ymuno âg enwadau eraill. Yr un pryd, hawdd esgusodi y Tadau. Yr oedd dau rwystr cryf ar eu ffordd i weithio yn egniol gydag adeiladu addoldai. Yn gyntaf, taflent holl frwdfrydedd eu natur i'r gwaith o efengylu ac arloesi y wlad; dychwelyd pechaduriaid at Grist, a'u cadw iddo, a lanwai eu bryd; ac yr oedd yn anmhosibl iddynt, yn nghanol eu teithiau a'u hymdrechion gyda'r efengyl, i gymeryd i ystyriaeth briodol drefniadau adeiladu. Yn nesaf, nid oedd eu perthynas â'r Eglwys Wladol wedi cael ei ddeffinio; ni wyddent hwy eu hunain i ba le y caent eu harwain. Nid capelau y galwent hwy

eu hadeiladau ar y cychwyn; byddai hyny yn eu gwneyd yn rhy debyg i'r Ymneillduwyr; "tai seiadau" y mae Howell Harris yn eu cyfenwi, ac wedi hyny byddai un o honynt yn cael ei ddynodi fel "tŷ cwrdd." Y mae yn sicr ddarfod i'r dyryswch a'r benbleth a deimlai y Tadau Methodistaidd, parthed eu perthynas â'r Eglwys Sefydledig, fod yn gryn atalfa ar eu ffordd i godi addoldai yn ngwahanol ranau y wlad. Dylasem ddweyd hefyd fod y Methodistiaid, yn flaenorol i'r ymraniad, wedi meddianu rhai hen gapelau perthynol i'r Eglwys, y rhai a gawsent eu gadael gan y clerigwyr, a hyny yn ol pob tebyg o herwydd diffyg cynulleidfaoedd. Fel enghraifft o'r rhai hyny gallwn gyfeirio at gapelau Abergorlech, Ystrad-ffin, a Llanlluan, yn Sir Gaerfyrddin; a chapel y Gyfylchi, yn Morganwg.

Gwnaed cynydd dirfawr gydag adeiladu "tai cyrddau," yn ystod y tair-blynedd-ar ddeg y bu Howell Harris ar encil, o fewn y cylch oedd wedi parhau yn deyrngar i Daniel Rowland. A ydyw hyn yn awgrymu fod y Diwygiwr o Drefecca, oblegyd ei ymlyniad cryf wrth yr Eglwys, yn sefyll ar ffordd adeiladu, nis gwyddom. Ond y mae yn ffaith ddarfod i Rowland, a'r rhai a lynent wrtho, yn fuan gwedi yr ymraniad, ymdaflu o ddifrif i'r gorchwyl o ddarpar addoldai. Fel hyn yr ysgrifena Howell Harris, yn y flwyddyn 1763, wrth ddychwelyd o Gymdeithasfa Llansawel, y gyntaf iddo fod ynddi am dair-blynedd-ar-ddeg: "Wrth weled cynifer o leoedd newyddion wedi cael eu cychwyn ganddynt hwy (y Methodistiaid), a dim un genyf fi, teimlwn ei fod yn anrhydedd cael myned i'w mysg." Yr ydym, o herwydd amryw resymau, yn barnu mai nid eglwysi a chynulleidfaoedd a olygai efe wrth "leoedd newyddion," ond tai addoli.

Nid yw yn ymddangos i adeiladu capelau, yn y Deheudir, yn y cyfnod cyntaf hwn, gael ei deimlo yn faich o gwbl. Bychain mewn cymhariaeth, a hynod o ddiaddurn, oedd y tai a adeiledid; pedwar mur a thô oeddynt, gyda llawr pridd, a nifer o feinciau digefn, ond gyda dau bwlpud; un mawr i'r gŵr ag y byddai llaw wen yr Esgob wedi cyffwrdd a'i goryn, ac un bychan i'r llefarwr diurddau, ac yn aml byddai y rhai hyn un yn mhob pen i'r capel. Nid oedd eisiau pen saer (*architect*) i dynu cynllun; yr ydym yn amheus a fyddai cynllun gan neb ar bapyr; byddai penderfynu ar y llatheni o hyd a lled yn ddigon o gyfarwyddyd i'r adeiladydd. Felly, pur ychydig fyddai y draul; ac yr oedd llafur yn nodedig o rad yr adeg hono. Yn ychwanegol, byddai caredigion yr achos mawr yn cwario y cerig allan o lechweddau y mynyddoedd yn rhad; a byddai amaethwyr y cymydogaethau yn eu cludo, yn gystal ag yn cludo y calch, y llechi, a'r coed, at yr adeilad. Ac yr oedd agos yn mhob cymydogaeth yn y Dê deulu, neu deuluoedd, parchus o ran sefyllfa, a chlyd o ran amgylchiadau, yn ymgyfathrachu a'r Methodistiaid.

Yr oedd agos i haner can' mlynedd wedi pasio er cychwyn y diwygiad Methodistaidd cyn fod gan y Cyfundeb nemawr o gapelau yn Ngwynedd. Y cyntaf a adeiladwyd, blaenffrwyth capelau Methodistaidd y Gogledd, oedd capel y Bala. Nid ydym yn gwbl sicr am y dyddiad, ond yr oedd wedi ei adeiladu cyn y flwyddyn 1777. Yn y flwyddyn hono ychwanegwyd dau ato, sef capel Brynengan, a chapel Penrhyndeudraeth. Pan yr ymunodd Mr. Charles a'r Methodistiaid yn y flwyddyn 1785, pedwar capel a feddai y Cyfundeb yn Sir Feirionydd, sef y Bala, Dolyddelen, y Penrhyn, a Blaenau Ffestiniog. Llwyddodd ef y flwyddyn ganlynol i wneyd eu nifer yn bump, trwy gael capel yn Nolgellau. Mewn canlyniad i'w ymdrechion ef yn nglyn a'r ysgolion cylchynol, a'r Ysgol Sabbothol; ac fel ffrwyth gweinidogaeth nerthol y pregethwyr hyawdl a gyfodwyd gan y nefoedd, lliosogodd cynulleidfaoedd Gwynedd mewn byr amser, a daeth gwaedd am gapelau o bob rhan o'r wlad ar unwaith. Bu diwedd y ddeunawfed ganrif, a dechreu y ganrif bresenol, yn dymhor digyffelyb o adeiladu addoldai. Ac yn y Gogledd bu agos i'r Cyfundeb ddyfod i brofedigaeth. Yn y gwahanol ardaloedd, tlodion fyddai aelodau y seiat agos oll, ac ychydig hefyd mewn nifer, er fod y cynulleidfaoedd yn lliosog; felly, byddai raid i'r Gymdeithasfa fyned yn gyfrifol, mewn rhan fawr o leiaf, am bob capel a godid. Esgorodd hyn ar ei effaith naturiol, sef fod pawb yn adeiladu addoldy o'r maint a hoffent, heb gymeryd y pwnc o dalu am dano i ystyriaeth. Daeth dyled anferth ar y Gymdeithasfa yn fuan, ac ofnid unwaith y byddai iddo ei llethu. Ond neidiodd John Evans, y Bala, i'r adwy, trwy gael gan yr holl gynulleidfaoedd i fabwysiadu y casgliad ceiniog; a thrwy ei yni ef, a medr a ffyddlondeb John Roberts, Llangwm, yr ysgrifenydd diflino,

cafwyd ymwared o'r baich yn raddol. Yn mhen amser, gosodwyd ar bob Cyfarfod Misol y ddyled oedd yn perthyn iddo. Ac fel na ddygwyddai profedigaeth gyffelyb drachefn, penderfynwyd nad oedd yr un gynulleidfa i adeiladu addoldy, ond trwy ganiatad y Cyfarfod Misol i ba un y perthynai. Erbyn adeg y Neillduad, yr oedd Cymru oll, o Gaergybi i Gaerdydd, wedi ei britho gan gapelau Methodistaidd, heblaw amryw wedi eu cyfodi yn nhrefydd Lloegr.

*O fewn y cyfnod hwn, yn y Deheudir, ymunodd cryn nifer o foneddigion y wlad a'r Methodistiaid.* Am y Deheudir yn unig y gellir dweyd hyn; heblaw teulu y Tyddyn, yn Sir Drefaldwyn, a theulu Simon Lloyd, yn nghymydogaeth y Bala, ychydig o gyfoethogion a berthynai i'r seiadau yn Ngwynedd. Yr oedd y boneddigion agos oll tan ddylanwad y clerigwyr, ac yn rhagfarnllyd at y Methodistiaid. Ond yn bur gynar cawn lawer o fysg bonedd y tir yn ymgyfathrachu a'r Methodistiaid yn y Dê; a pharhaodd y rhan fwyaf o honynt yn ffyddlawn hyd y Neillduad. Yn Morganwg, gallwn gyfeirio at Thomas Price, Watford, a'i fab, Cadben Price; Howell Griffith, Trefeurig; yr Yswain Jones, o Ffonmon, a Basset, o Aberddawen. Yn Sir Gaerfyrddin, cawn Mrs. Griffiths, Glanyrafonddu; Mrs. Walters, Pantyresgair; yr Yswain Jones, o Ystrad Walter, a Mr. Jones, Pantglas. Yn Sir Aberteifi, yr oedd Bowen, Waunifor, a'i chwaer, yn perthyn i'r Methodistiaid, yn nghyd a'r Milwriad Lloyd, o Bronwydd. Darfu i'r boneddwr diweddaf a nodwyd adeiladu capel ar ei draul eu hun, gan ei alw yn Capel Drindod, er prawf o'r gwrthnaws a deimlai at yr Undodiaid; ac wedi ei orphen daeth ei hun i'r Cyfarfod Misol, a gynhelid mewn amaethdy o'r enw Esgair, i'w gyflwyno i'r Cyfundeb, a dywedir fod ei ddull o wneyd hyny yn dra gostyngedig a hunanymwadol. Dygwyddodd hyn yn y flwyddyn 1794; yn mhen pedair blynedd ar ol hyny cafwyd caniatad y Gymdeithasfa i weinyddu Swper yr Arglwydd ynddo; ac yma yr arferai y milwriad a'i briod gymuno hyd ddydd eu marwolaeth. Yn Sir Benfro, perthynai yr Yswain Bowen, o Lwyngwair, i'r Methodistiaid; yn ei dŷ ef, yn gweithredu fel athraw i'w blant, y trigianai y Parch. Ebenezer Richard, cyn symud i Dregaron. Yr ydym yn cyfeirio at gysylltiad y boneddwyr hyn a'r Cyfundeb am y rheswm ddarfod iddo wneyd erlid ar ran y werinos yn anmhosibl; ni feiddiai neb ymosod ar bobl ag yr oedd rhai o safle mor barchus yn perthyn iddynt. Bu nodded y rhai hyn yn fantais ddirfawr i'r diwygiad; dyrchafodd y Methodistiaid i barchusrwydd cymdeithasol; ond pan ddaeth y Neillduad, ac y ciliasant hwythau, amryw o honynt, yn eu holau i'r Eglwys Wladol, yr oedd hyn yn gryn anfantais.

*O fewn y cyfnod hwn gwanhaodd awdurdod yr offeiriaid yn y Cyfundeb.* Fel yr ydym wedi dangos, allan o'r Eglwys Wladol y tarddodd Methodistiaeth, ac ar y cychwyn tueddai ei ffurflywodraeth i fod yn esgobol. Yr esgob cyntaf oedd Howell Harris. Gwir nad esgob oedd yr enw a arddelwai; ei deitl, fel ei ceir yn nghofnodau y Gymdeithasfa, oedd arolygydd cyffredinol; ond yn ymarferol esgob ydoedd, ac yr oedd ei lywodraeth lawn mor unbenaethol ag eiddo yr esgobion yn Eglwys Loegr. Gwedi iddo ef gefnu ar y Methodistiaid ni osodwyd neb yn olynydd iddo, ac ni fu neb byth yn eu mysg yn gymaint o lywodraethwr. Yr oedd ei le yn wag pan y daeth yr ail waith i gyfathrach ei frodyr. Ar yr un pryd, yr oedd rhyw ychydig yn arwain o angenrheidrwydd, a'r gweddill yn canlyn. Gwedi ymadawiad Harris disgynodd y llywodraeth ar ysgwyddau Daniel Rowland. Cynorthwyid ef gan Williams, Pantycelyn, a Howell Davies; ond efe a arweiniai; a chan gymaint y parch a deimlid iddo, ac nad oedd yntau mewn un modd yn dueddol i ddefnyddio gwialen haiarn, byddai pawb yn plygu i'w farn gyda'r parodrwydd mwyaf. Yr oedd yr offeiriaid Methodistaidd yn teimlo, gwedi marwolaeth Rowland, y dylai rhyw un fod yn brif lywodraethwr yn y Cyfundeb; nid esgob oeddent am ei alw ychwaith, ond "tad;" a thueddent i osod y Parch. Nathaniel Rowland, mab yr hen Ddiwygiwr, yn y cyfryw safle. Dyna oedd barn Williams, Pantycelyn; a chorffora y farn hono yn ei farwnad i Daniel Rowland. Fel hyn y cana:—

"Ti, Nathaniel, gwas y nefoedd,
  Gwylia ar y gorlan glyd
Gasglodd Rowland, dy dad ffyddlawn,
  Trwy ryw orchest fawr yn nghyd;
Uwch mewn dysg, nid llai mewn doniau,
  Saf fel llusern oleu, glir,
I helpu ei ddefaid ef i gadw
  Yr union ffordd i'r nefol dir.

Bydd yn dad i'r Assosiaswn;
  Ac os teimli'th fod yn wan,
Ti gei help gwir efengylwr,
  Dafydd onest, o Langan;
Dodd y cerig â'i ireidd-dra,
  A thrwy rym efengyl fwyn,
Wna i'r derw mwyaf caled
  Blygu'n ystwyth fel y brwyn."

Cof gan ein darllenwyr mai "tad" oedd un o'r enwau a osodai Howell Harris arno ei hun, ac mai yn y cymeriad hwn yr honai lywodraeth. Felly y mae ystyr geiriau Williams, pan y dymunai ar i Nathaniel Rowland fod yn "dad i'r Assosiaswn," yn hollol glir. Gofynai iddo eistedd yn y brif gadair, ac ymgymeryd ag arolygiaeth esgobol. Hyny a wnaeth yntau gyda'r parodrwydd mwyaf. Yr oedd llywodraethu yn anianawd ynddo. Un o'i brif ddiffygion oedd traha, a gwanc am awdurdod; ac ar y cychwyn yr oedd y Gymdeithasfa yn hollol foddlawn iddo i fod a gafael yn yr awenau. Mor bell ag y gwyddom, ni byddai neb o'r cynghorwyr yn beiddio gwrthwynebu; ac os byddai unrhyw un mor ehud, ychydig o obaith a feddai y gallai gario ei bwynt. Am hyn yr oedd amryw resymau, megys parch i'r swyddogaeth; ymdeimlad â rhagoriaeth yr offeiriaid mewn dysg a gwybodaeth; ac hefyd, yn eu mysg hwy yr oedd y ddawn bregethwrol fwyaf amlwg. Ond yn raddol collodd yr offeiriaid eu dylanwad, a daeth y llywodraeth i ddwylaw pregethwyr diurddau a blaenoriaid. Dau reswm arbenig oedd am hyn; sef yn gyntaf, trawslywodraeth a bywyd anfucheddol Nathaniel Rowland. Yr oedd ei draha ef yn an-




[*Ymddangosodd y Darluniau hyn yn y "Gospel Magazine," am y flwyddyn* [illegible]*—y Parch. David Griffiths, Nevern, yn mis Ebrill; a'r llall yn mis Medi.*]

nyoddefol; gruddfanai y seiadau dan yr iau a osodai arnynt; yr oedd yn fwy unbenaethol ei dymher nag y buasai Howell Harris, ac nid oedd crefyddolder dwfn a llafur dibaid ganddo, fel y Diwygiwr hwnw, i ategu ei honiadau. A phan y daeth yn glir gyda hyn ei fod yn yfed i ormodedd, a'i fod yn dyfod i'r Gymdeithasfa dan ddylanwad diodydd meddwol, collodd ei awdurdod yn hollol, a magodd y Methodistiaid ddigon o wroldeb i'w ddiarddel. Yn nesaf, cododd pregethwyr diurddau yn y Cyfundeb, wedi cael eu donio i'r fath raddau â hyawdledd ymadrodd, ac â chymhwysderau gweinidogaethol, fel y phasiwyd penderfyniad ar hyny; ond llithrodd i'r safle trwy gydsyniad cyffredinol, a hyny mewn rhan oblegyd ei fod yn fab i'w dad, ac mewn rhan oblegyd ei fod yn offeiriad, ac yn llawn uchelgais. Ymddengys mai y nesaf ato mewn awdurdod oedd y Parch. David Griffiths, Ficer Nefern. Meddai Jones, Llangan, fwy o ddylanwad ar yr eglwysi; ond mab tangnefedd oedd efe; ni hoffai ymryson na dadleu, ac felly ciliai o'r neilldu er gadael i rai uchelgeisiol ymwthio i'r ffrynt.

Yr hyn yr ydym am gyfeirio ato ydyw, fod dylanwad yr offeiriaid ar y cyntaf yn orchfygol yn y Gymdeithasfa; anaml y

rhagorent yn mhell ar hyd yn nod y rhai a dderbyniasent urddau esgobol. Gallwn gyfeirio at Dafydd Morris, a'i fab, Ebenezer Morris, yn nghyd â Dafydd Charles, Caerfyrddin, er na feddai ef ddoniau areithyddol poblogaidd, yn y Dê; a Robert Roberts, John Elias, a John Jones, Edeyrn, yn y Gogledd. O'r cychwyn cyntaf hyd y dydd hwn, yn mysg y Methodistiaid, y mae dawn pregethu yn sicrhau i'w berchenog ddylanwad yn nghynadleddau y Gymdeithasfa; y mae hyn yn codi oddiar egwyddor sydd yn gorwedd yn ddwfn yn natur dyn. A phan y dechreuodd y rhai a gyfenwid yn "lleygwyr" ragori ar yr offeiriaid mewn hyawdledd sanctaidd, a dawn gweinidogaeth, trodd y rhod o'u tu fel ag i beri i'w dylanwad hefyd fod yn helaethach. Ac yn ychwanegol, meddent ddifrifwch meddwl mawr, craffder barn helaeth, yn nghyd â gallu digyffelyb i osod eu golygiadau gerbron y Gymdeithasfa. Rhwng pob peth, cyn y Neillduad, yn y flwyddyn 1811, yr oedd yr awdurdod a'r dylanwad yn nghynadleddau y Cyfundeb wedi gadael y clerigwyr, ac wedi ymgartrefu yn y pregethwyr na dderbyniasent urddau esgobol.

*O fewn y cyfnod hwn gorfodwyd y Methodistiaid i hawlio nawdd cyfraith y wlad fel Ymneillduwyr.* Yr ydym wedi dwyn tystiolaeth amryw weithiau i'r ffaith mai fel adran o Eglwys Loegr yr edrychai y Tadau Methodistaidd arnynt eu hunain, ac ar y rhai a ymunent a'r seiadau oedd dan eu gofal. Tybiai llawer o honynt fod encilio o'r Eglwys yn sism. A chan mor lleied o grefydd ysprydol oedd yn mysg yr hen Anghydffurfwyr, nis medrent mewn un modd ddygymod a'r syniad o ymgyfenwi yn Ymneillduwyr. Mewn canlyniad, yr oeddynt, wrth deithio o gwmpas, a phregethu mewn anedd-dai, yn gosod ei hunain yn agored i benydiau y *Conventicle Act*. Pasiwyd y ddeddf hon yn amser Siarl yr Ail, a gwaharddai gadw cyfarfod crefyddol, os byddai mwy na phump o bersonau yn bresenol, mewn adeilad heb ei gysegru. Am droseddu y ddeddf yma, yr oedd y sawl a bregethai yn y cyfryw gyfarfod yn agored i ddirwy o ugain punt; felly hefyd y sawl a roddai ei dŷ i'w gynal; tra yr oedd pob un o'r gwrandawyr, os uwchlaw un-ar-bymtheg oed, yn agored i gael ei ddirwyo o chwech swllt. Ond yn nheyrnasiad William a Mary pasiwyd Deddf Goddefiad. Rhoddai y ddeddf hon hawl i Ymneillduwyr gynal cyfarfod crefyddol mewn adeilad annghysegredig, os byddai y tŷ wedi cael ei gofrestru fel capel Ymneillduol yn Llys yr Esgob, ac os byddai y pregethwr wedi cymeryd y llwon gofynol, a chodi trwydded fel pregethwr Ymneillduol. Eithr yr oedd gwaith y Methodistiaid yn glynu wrth yr Eglwys, gan wrthod cofrestru eu capelau, a thrwyddedu eu pregethwyr, yn eu cau allan yn hollol o amddiffyniad Deddf Goddefiad.

Ar un olwg, y mae yn syn na fuasai yr erlidwyr yn gwneyd mwy o ddefnydd o Ddeddf y Tai Cyrddau (*Conventicle Act*). Efallai eu bod ar y cychwyn yn amheus a oedd y Methodistiaid yn dyfod dan y ddeddf; maentymiai Howell Harris yn gryf nas gellid ei gosbi ef dani, am ei fod yn aelod ffyddlon o Eglwys Loegr; ac yr ydym yn barnu fod yr ynadon ar y cyntaf mewn peth amheuaeth. Efallai hefyd y dibynai yr erlidwyr yn benaf ar y werinos anwybodus fel offerynau ei dialedd. Ar yr un pryd, ni chafodd y gyfraith fod yn llythyren farw hollol. Enwogodd Syr Watkin Williams Wynn ei hun yn y ffurf hon o erlid. Ysgrifena Howell Harris yn y flwyddyn 1748, pan ar daith yn Ngwynedd, ei fod ef yn gorfod pregethu mewn lleoedd unig ar y mynyddoedd, a hyny naill ai ganol nos, neu ynte yn y boreu gyda glasiad y wawr, rhag iddo ef a'i wrandawyr gael eu dirwyo. Dywed, yn mhellach, fod Syr Watkin ychydig cyn hyny wedi dirwyo un gŵr o ugain punt, ac amryw o'r rhai oedd yn bresenol o bum' swllt yr un, am gynal cyfarfod crefyddol, ac mai dyma y trydydd tro iddo ymddwyn felly atynt.

Yr ydym yn cael i'r priodoldeb o geisio trwyddedau i'r cynghorwyr, a thrwy hyny eu dwyn dan amddiffyniad y gyfraith, gael ei ddadleu yn y Cymdeithasfaoedd yn bur gynar. Darllenwn yn nghofnodau Trefecca am Gymdeithasfa yn cael ei chynal Gorph. 3, 1745, yn Blaenyglyn. Yn hono darllenid dau lythyr, un oddiwrth Richard Tibbot, a'r llall oddiwrth John Richards, y cynghorwr o Lansamlet. Yr oedd y ddau mewn petrusder beth i'w wneyd, am yr ofnent fyned i rai lleoedd yn mha rai yr arferent bregethu, rhag iddynt gael eu pressio i fyned i'r fyddin. A gofynent, ai nid gwell iddynt fyddai ceisio trwydded, a thrwy hyny osod eu hunain y tuhwnt i gyrhaedd eu gelynion? Ond ni chytunai y Gymdeithasfa i hyny; oblegyd cyn cael trwydded byddai raid iddynt ddatgan eu hunain yn Ymneillduwyr. Y penderfyniad y deuwyd iddo oedd, y byddai cymeryd

trwydded ar y naill law, a gadael y gwaith ar y llaw arall, y naill fel y llall, yn ddi-anrhydedd i'r Arglwydd. Dywedir yn ychwanegol: "Meddyliem mai gwell i'r rhai sydd allan o afael y gelyn (sef y rhai oedd wedi derbyn urddau esgobol, yn ol pob tebyg) fyned i'r lleoedd mwyaf peryglus, a'r lleill fyned yn fwy preifat, gan arfer pob doethineb diniwed, am mai prawf dros amser ydyw hwn, ac ni ddylai gael edrych arno fel erledigaeth. . . Cydunasom hefyd, os deuai yr erledigaeth yn gyffredinol, a'r efengyl yn cael ei rhwystro yn hollol, i apelio at y llywodraeth. Os gwrthodir ni yno, i ddeisebu yr esgobion. Yna, os cymerir ein rhyddid ymaith yn gyfangwbl, bydd y ffordd yn rhydd i ymwahanu." Y mae yn bur sicr mai penderfyniad Howell Harris ydyw hwn; y mae ei ddelw yn amlwg arno; nid oedd Daniel Rowland yn bresenol yn y Gymdeithasfa. Gwelir yr edrychai ar gymeryd trwydded fel llwyr ymwahaniad oddiwrth yr Eglwys; ac felly yn ddiau y byddai. Ac yr oedd y brodyr, dan arweiniad Howell Harris, yn penderfynu apelio at yr esgobion, at y llywodraeth, ac at bawb, cyn troi eu cefnau ar y Sefydliad Gwladol.

Ymddengys mai ar achlysuron neillduol y rhoddid y ddeddf hon mewn grym, pan fyddai rhyw foneddwr mwy llidiog na'i gilydd yn ymroddi i erlid. Yr ydym yn barod wedi adrodd hanes Methodistiaid Dolgellau yn Sessiwn y Bala. Fel rheol, dibynid ar gynddaredd y werinos am aflonyddu ar gyfarfodydd crefyddol. Ond penderfynodd boneddwr, a breswyliai yn nghymydogaeth Towyn, Sir Feirionydd, y gwnelai osod y *Conventicle Act* mewn gweithrediad hyd yr eithaf, ac y mynai trwyddi erlid y Methodistiaid allan o'r wlad. Y boneddwr oedd Edward Corbett, Ynysmaengwyn. Yr oedd y gŵr yn ustus heddwch, ac yn un o'r tirfeddianwyr mwyaf yn yr holl ardaloedd. Yn ol arfer pendefigion y wlad, cadwai haid o gwn hela. A chan fod rhyfel poeth ar y pryd rhwng y deyrnas hon a Ffrainc, cadwai nifer mawr o filwyr—cynifer a phedwar-ugain, meddai Lewis Morris—o gwmpas ei balas. Ymddengys ei fod yn ddyn penderfynol, o dymher boethlyd, a'i fod wedi ei lanw â chynddaredd at y Methodistiaid. Ar yr un pryd, dywedir ei fod o natur garedig, fod yn hawdd ganddo wneyd cymwynas, ac mai y chwedlau a adroddai y clerigwyr wrtho a'i cyffrodd yn erbyn y crefyddwyr. Desgrifid hwy iddo fel "pobl y weddi dywyll;" dywedid eu bod yn cynal cyfarfodydd dirgel o natur anfoesol, eu bod yn fradwyr yn erbyn y llywodraeth, ac na fyddai dyogelwch i feddianau na phersonau nes eu hymlid ymaith yn llwyr o'r tir. Wedi ei gyffroi gan y cyfryw gamddarluniadau penderfynodd Mr. Corbett y mynai eu llethu.

Cychwynodd yr erledigaeth yn Sir Feirionydd tua'r flwyddyn 1789. Gosodai Mr. Corbett weithiau gyflegrau ar gyfer y tai lle y cynhelid gwasanaeth crefyddol, gan fygwth chwythu yn ddarnau pwy bynag a ymgasglai yno. Unwaith, pan y bwriedid cynal Cyfarfod Misol yn Nhowyn, bu raid ei symud i Fryncrug. Adroddir am dro hynod a ddygwyddodd yn Penybryn, ger Towyn. Daethai Mr. William Jones, gŵr ieuanc a ofalai am yr eglwys Annibynol yn Machynlleth, yno i bregethu. Rhedodd rhywun a'r newydd at Mr. Corbett; ac anfonodd yntau ei weision gyda haid o fytheuaid i'r lle, i aflonyddu ar y cyfarfod. Gyda fod y gwasanaeth crefyddol yn dechreu, chwythai gofalwr y cwn yn ei gorn yn groch, gan ddysgwyl iddynt hwythau, fel arfer, gyfarth ac oernadu; ond ni chymerai y cwn sylw o hono. Chwythai drachefn a thrachefn, a phan nad oedd hyny yn tycio, fflangellai y bytheuaid yn greulawn a'i chwip, ond yr oedd rhyw ddylanwad wedi safngloi y cwn; nid oedd yr un a symudai ei dafod. Eithr y gorchwyl na wnelai y cwn a gyflawnwyd yn effeithiol gan y gweision a'r erlidwyr. Amgylchynasant y pregethwr; gwnaethant bob lleisiau ac oernadau ag a fedrent, a chan dyngu a rhegu, bygythiasant beri i'r bytheuaid ei rwygo yn ddarnau, oddieithr iddo ddystewi a myned ymaith. Gosododd hyn derfyn effeithiol ar y cyfarfod. Dwy flynedd y bu Mr. Jones fyw ar ol hyn, a bernir i'r driniaeth arw a dderbyniodd yn Mhenybryn brysuro ei ddiwedd.

Eithr ar gynydd yr oedd y seiadau yn myned, ac amlhau yr oedd y tai yn mha rai y traethid Gair Duw. Wrth weled hyn ffyrnigai y boneddwr, a chwedi iddo ddeall nad oedd y tai yn cael eu cofrestru, na'r pregethwyr yn cymeryd trwyddedau, penderfynodd osod Deddf y Tai Cyrddau mewn grym yn ddioedi. Erbyn y flwyddyn 1795, yr oedd yr ystorm fawr ar ymdori. Dechreuodd Mr. Corbett yn Nghorris. Yn nghyntaf oll, rhoddodd rybudd i ymadael i John Roberts, Rugog, oblegyd fod ei wraig yn perthyn i'r seiat yn Nghorris.

Fel hyn yr adroddir yr hanes yn *Methodistiaeth Cymru:* "Yr oedd Jane Roberts a'i gŵr yn dal tyddyn o eiddo gŵr boneddig, yr hwn oedd yn byw rai milltiroedd oddiwrthynt, deg neu ddeuddeg milltir. Yr oedd ei theulu yn lliosog, nid llai nag unarddeg o blant. Anfonwyd rhybudd, pa fodd bynag, i ymadael a'r tyddyn. Aeth y gŵr at ei feistr tir i ymofyn am gael aros eilwaith yn y tyddyn, a chafodd addewid o hono, ar yr amod i'r wraig ymadael a'i chrefydd. Dychwelodd John Roberts adref, a gofynodd y wraig iddo :—

'Wel, John bach, sut y bu hi gyda'r gŵr boneddig?'

'Canolig,' ebai John, 'gallasai fod yn waeth.'

'A gewch chwi y tir eto?' gofynai y wraig.

'Caf,' ebai John, 'ond i ti ymadael a'r bobl yna.'

'Wel, John bach,' ebai Jane, 'os ydych chwi yn tybied mai gwell i chwi a'r plant fyddai i mi ymadael, ymadael wnaf â chwi, ond nid â fy nghrefydd byth!' Ymddengys mai i brofi y wraig y dywedwyd hyn, oblegyd ni bu raid iddi ymadael â'i thyddyn, a'i theulu, nac â'i chrefydd."

Ymgais nesaf Mr. Corbett oedd yn nglyn â'r Hen Gastell, sef y tŷ yn mha un y cynhelid pregethu yn ardal Corris, yr hwn oedd ar dir Dafydd Humphrey, gŵr tra chrefyddol, a phenderfynol ei feddwl. Difynwn eto o *Fethodistiaeth Cymru:* "Nid oedd yr Hen Gastell, mwy na thai eraill y pryd hwn, wedi ei gofrestru yn ol y gyfraith i bregethu ynddo; a phenderfynodd y gŵr boneddig dreio beth a wnai dull arall o erlid tuag at lethu yr heresi newydd oedd yn ymdaenu mor arswydus yn mhob man. Meddyliodd y mynai efe ddal gŵr y tŷ, a chynifer a geid yn ymgynull yno, a'u dirwyo oll, yn ol y gyfraith, o dan y *Conventicle Act.* Yr oedd deg neu ddeuddeg o'r milwyr hyn ar eu ffordd tua'r Hen Gastell, dan arfau, i ddal y crefyddwyr. Ond daeth hyn i glustiau rhywun a ewyllysiai yn dda iddynt, a rhedai hwn tra y gallai; un arall a gymerai y newydd ac a redai yr un modd; ac felly o un i arall, cerddai y newydd am ddyfodiad y milwyr yn gynt na'r milwyr eu hunain. Pan glybu Dafydd Humphrey, brysiodd a chymerodd y pwlpud o'r Hen Gastell, gan ei gario ar ei gefn, a'i guddio dan wellt yn y beudy. Yntau a ymguddiodd ei hunan mewn rhedyn yn ngolwg y ffordd. 'A gwelwn,' meddai, 'y fyddin arfog yn dyfod dan saethu, nes yr oedd y mŵg yn llenwi Cwm Corris o benbwy gilydd. Anfonwyd un o'r gweision i ymofyn am danaf fi, a phan ddywedodd y wraig nad oeddwn yn y tŷ, gorchymynwyd i mi fyned at ei feistr dranoeth. Ar hyn aethant ymaith heb wneyd llawer o niwed, mwy nag afradu cryn lawer o bylor.' Tranoeth aeth Dafydd Humphrey at y gŵr mawr, ac wedi arwain y troseddwr i wydd ei arglwydd, gofynwyd iddo :—

'A wyt ti yn gosod y tŷ i bregethu ynddo?'

'Ydwyf, syr,' oedd yr ateb.

'I bwy?' gofynai y boneddwr.

'I Vaughan Jones, syr,' ebai yntau.

'Rhaid i Vaughan Jones ateb i'r gyfraith,' meddai y boneddwr. Aeth a'r achos i'r Chwarter Sessiwn, yn y Bala; ond erbyn myned yno, nid oedd Vaughan Jones ar gael, ac erbyn hyn nid oedd cyfreithiwr a gymerai yr achos mewn llaw; felly disgynodd yr erlyniad yn ddirym i'r llawr."

Bu Mr. Corbett yn fwy llwyddianus yn nglyn â William Hugh, un o gynghorwyr cyntaf Meirionydd, yr hwn a breswyliai yn y Llechwedd, ger Abergynolwyn. Yr oedd efe wedi dechreu pregethu ryw bum' neu chwe' mlynedd cyn hyn. Daeth i glustiau y boneddwr ei fod wedi bod yn cynal odfa mewn tŷ yn Towyn; anfonodd yntau ddeuddeg o filwyr i'w ddal. Nid oedd erlid y crefyddwyr yn orchwyl wrth fodd pawb o'r milwyr; a chymerodd un o'r deuddeg arno, ar y ffordd, ei fod yn glaf, ac ymesgusododd rhag myned yn mhellach. Ond cyrhaeddodd yr unarddeg, yn foreu iawn ar ddydd Gwener, yn nechreu haf 1795, breswylfod William Hugh, a daliasant ef yn ei wely. Wedi iddynt ddangos yr wys, aeth gyda hwynt rhag blaen at yr ynad. Yntau a'i dwrdiodd yn dost am gynal cyfarfodydd yn groes i'r gyfraith, ac a'i dirwyodd o ugain punt. Am ychydig amser y bu mewn dalfa; trwy ystod y dydd yr oedd y wraig yn gofyn cymhorth cyfeillion, a chyn yr hwyr talwyd y ddirwy, a chafodd y pregethwr ei ryddhau. Gwedi hyn ofnai fyned o gwmpas i bregethu. Eithr yn mhen ychydig wythnosau aeth i ymweled a'i gyfeillion yn Nolgellau, y rhai wedi clywed am ei dywydd a fu lawen ganddynt ei weled, a chymhellasant ef i ddweyd gair yn gyhoeddus. Oblegyd eu taerni ufuddhaodd yntau. Yr oedd gelynion y Methodistiaid yn brysur y dyddiau hyny. Dywedir mai

perthynas i William Hugh a achwynodd arno gyntaf wrth y boneddwr; a chyn nos tranoeth i'r bregeth yn Nolgellau yr oedd rhywun wedi cario y newydd i Mr. Corbett. Rhoddwyd gorchymyn allan i'w ddal yr ail waith; a phe buasid yn llwyddo i ddod o hyd iddo y tro hwn buasai y ddirwy yn ddeugain punt. Ond cafodd wybod am yr amcan mewn pryd; a'r canlyniad fu iddo ddianc ac ymguddio, hyd nes yr oedd brawdlys nesaf y sir wedi myned heibio.

Efallai mai y dygwyddiad mwyaf rhamantus yn nglyn â'r erledigaeth hon oedd amgylchiad Lewis Morris. Ond cyn adrodd hwnw rhaid i ni ddweyd gair o hanes y gŵr ei hun. Ganwyd ef yn y flwyddyn 1760, mewn tŷ o'r enw Coed-y-Gweddill, yr hwn a saif ar y llechwedd uwchlaw pentref bychan Llwyngwril, yn Sir Feirionydd. Tyfodd yn gawraidd o gorph; yr oedd fel Saul, yn dalach o'i ysgwyddau na'i gyd-ieuenctyd; ac nid oedd neb yn y wlad a allai ymgystadlu âg ef mewn cryfder. Yr oedd lawn mor annuwiol a hyny; ystyrid ef fel y penaf o'r holl ymladdwyr; efe fyddai yn blaenori yn y chwareuon a'r campau, a rywsut yr oedd ei yspryd yn llawn o chwerwder at y Methodistiaid. Un Sul, yr oedd pregethu i fod yn Llwyngwril; y llefarwr oedd John Ellis, Abermaw; a chawsid addewid am le i gynal yr odfa mewn tafarndy yn y pentref. Yn ol ei arfer, daeth Lewis Morris i'r pentref, er yfed, a chynal rhialtwch. Ond cafodd ei hysbysu nas gallai efe na'i gymdeithion gael cwrw, am fod pregethu i fod yno. Cyffrodd yntau yn aruthr; aeth at ŵr y tŷ tafarn yn syth, gan ei hysbysu os rhoddai ei dŷ i gynal cyfarfod crefyddol y gwnelai efe ddinystrio ei fasnach, trwy fyned a phob math o gyfarfod llygredig i dafarn arall. Gwyddai y tafarnwr y medrai gario allan ei fygythiad; felly tynodd ei addewid yn ol, a gorfu i'r pregethwr ymadael yn siomedig heb gael traethu ei genadwri. Yn mhen tua blwyddyn gwedi yr amgylchiad hwn, sef yn y flwyddyn 1789, yr oedd gwyl mabsant a rhedegfa geffylau i gymeryd lle yn Machynlleth. Aeth Lewis Morris yno nos Sadwrn. Treuliodd y Sul mewn oferedd, gan fyned o dafarn i dafarn, a mwynhau y rhialtwch annuwiol. Ar y Llun, wrth basio heol Maengwyn, wedi bod yn edrych ar y ceffylau yn rhedeg, clywai ganu gwresog mewn tŷ bychan. Canu ar derfyn odfa ydoedd; a Dafydd Morris, Twrgwyn, fuasai yno yn pregethu. Saethodd y syniad yn sydyn i feddwl Lewis Morris: "Y maent gyda gwell gwaith na thi." Aeth picell i'w galon; cofiodd ei bechodau gynt, a'i waith yn rhwystro yr odfa yn Llwyngwril, nes y credodd ei fod yn elyn i Dduw ac i bob daioni. Methodd dadwrdd y dafarn, na'r dawnsio wrth sain y delyn, wella ei glwyf, a dywedodd wrth ei gymdeithion annuwiol ei fod yn eu gadael am byth. Ac adref yr aeth.

Synai ei rieni wrth ei weled wedi dychwelyd, ac yn arbenig wrth ei glywed yn crio ei fod yn bechadur. "Ti yn bechadur," meddai ei fam, "paid credu y fath sothach; nid wyt na phuteiniwr na lleidr." Ond yr oedd goleuni deddf Duw wedi tywynu ar enaid y cawr o Goed-y-Gweddill; ac nid oedd gan y byd ddim fedrai leddfu ei drallod. Yr oedd ing ei yspryd yn ofnadwy; curiodd ei gorph, a bu ei synwyrau yn mron dyrysu. Elai i'r llan ar y Sabboth; ac os clywai fod pregeth gan y Methodistiaid yn rhywle, elai yno i edrych a gaffai ymwared. Ac o'r diwedd yr ymwared a ddaeth. Daeth John Williams, Lledrod, ar gyhoeddiad i Abermaw, a phregethodd oddiar Esaiah xxxii. 2: "A gŵr fydd megys yn ymguddfa rhag y gwynt, ac yn lloches rhag y dymhestl; megys afonydd dyfroedd mewn sychdir, megys cysgod craig fawr mewn tir sychedig." Nis gwyddom ddim am yr odfa ond hyn, cafodd Lewis Morris olwg ar Geidwad ynddi. Pasiodd trwodd o farwolaeth i fywyd, a diangodd ei enaid fel aderyn o fagl yr adarwr. Ymunodd a'r Methodistiaid ar unwaith; ond yr oedd eto yn dra anwybodus am bethau crefydd, oblegyd nad oedd yn medru darllen. Aeth i'r ysgol a gedwid yn Mrynygath, ger Trawsfynydd, gan John Ellis; ac yno, pan yn ddeg-ar-hugain oed, y dysgodd ddarllen ei Feibl. Cyn pen dwy flynedd yr oedd wedi dechreu pregethu. A daeth yn fuan yn bregethwr tra chymeradwy, a chaffai lefaru mewn Cyfarfodydd Misol, ac weithiau mewn Cymdeithasfaoedd. Adrodda ef ei hun ei fod yn pregethu unwaith mewn Cymdeithasfa yn Nghaerfyrddin; teimlai yn ofnus a chrynedig wrth ddringo yr esgynlawr, gan y gwelai y dorf yn lliosog, a gwŷr galluog a dysgedig yn bresenol; ond trodd Mr. Charles, o'r Bala, ato, gan ddweyd yn ei ddull tyner ei hun: "Cofiwch na fydd neb yn gwrando arnoch ond pechaduriaid, ac y bydd y gwirionedd a fydd genych yn fwy na phawb fydd yn

bresenol." Darfu i'r dywediad synwyrlawn a thyner godi yspryd y pregethwr, a chafodd odfa hwylus. Bu Lewis Morris fyw nes cyrhaedd cant namyn pump o flynyddoedd; a chafodd ei gladdu yn Nolgellau, yn y flwyddyn 1855.

Ond i ddychwelyd at yr erledigaeth, a hanes Lewis Morris mewn cysylltiad â hi. Yr oedd yn wybyddus iddo, ac i'w gyfeillion, fod Mr. Corbett yn bwriadu ei ddal; ac os llwyddai, fod yn ei fryd naill ai ei osod ar fwrdd llong ryfel, neu ynte ei bressio i'r fyddin. Dranoeth wedi dal William Hugh, anfonwyd y milwyr gyda gwarant i Goed-y-Gweddill; ond yn rhagluniaethol yr oedd Lewis Morris wedi cychwyn ar gyhoeddiad i Sir Drefaldwyn. Ar ei ffordd adref aeth i'r Bala; ac erbyn hyny yr oedd Mr. Charles, John Evans, ac eraill o'r frawdoliaeth wedi clywed fod y milwyr yn chwilio am dano, a mawr oedd eu pryder yn ei gylch. Perswadiasant ef i beidio myned yn ei ol, ond dianc i Lwyngwair, yn Sir Benfro, lle yr oedd Cadben Bowen yn preswylio, yr hwn oedd yn ustus heddwch, ac yn aelod gyda y Methodistiaid. Ymddengys iddo gael ei anfon i Lwyngwair yn hytrach nag i'r Bronwydd, er fod y lle diweddaf gryn lawer yn nes, am fod Mrs. Lloyd, y Bala, gwraig y Parch. Simon Lloyd, yn enedigol o Lwyngwair, ac yn chwaer i Cadben Bowen. Nid annhebyg i Lewis Morris gael llythyr ganddi hi at ei brawd. Cychwynodd tuag yno yn ddiatreg. "Ar y ffordd o'r Bala," ebai ef ei hun, "yr oeddwn yn myned trwy bentref Llanymawddwy; yr oedd yn enyd o'r nos, a gwaeddais wrth y tollborth yno. Daeth y gŵr yn ei grys i agor y *gate*, ac a ofynodd i mi pa le yr oeddwn yn teithio. 'Yn mlaen,' ebai finau. 'Y mae hi yn fyd garw tua Thowyn,' meddai ef; 'y mae yno ŵr boneddig yn erlid pregethwyr y Methodistiaid, ac efe a rydd ddeugain punt am ddal un o honynt,' gan fy enwi i; 'ac y mae y milwyr yn chwilio yn ddyfal am dano.'" Y mae yn syn, gan gymaint ei faintioli, na adwaenwyd Lewis Morris gan rywun; ond yr oedd amddiffyn rhagluniaeth Duw drosto. Cyrhaeddodd Lwyngwair mewn dyogelwch, a chafodd bob croesaw gan Cadben Bowen. Ychydig oedd ei berygl yma; ac aeth y boneddwr gydag ef i'r Chwarter Sessiwn cyntaf ar ol hyny, a gynhelid yn Nghaerfyrddin, a mynodd drwydded iddo.

Tra yr oedd Lewis Morris yn trigo mewn dyogelwch yn Sir Benfro, yr oedd yr erledigaeth yn myned yn boethach, boethach, yn Sir Feirionydd. Yr oedd Mr. Corbett yn rhuo fel arth, ac yn chwilio am bawb a ganiataent bregethu yn eu tai, neu a wrandawent bregethu, er mwyn eu cospi hyd eithaf y gyfraith. Heblaw gosod dirwy o ugain punt ar William Hugh, gosododd ddirwy gyffelyb ar Griffith Owen, Llanerchgoediog; ar Edward Williams, Towyn; ac ar ŵr o berchen tŷ yn Mryncrug. Ymddengys hefyd fod Vaughan Jones, Corris, wedi cael ei rybuddio i dalu dirwy o ugain punt. Ugeiniau o bobl dlodion a gawsant eu dirwyo o bum' swllt, oblegyd myned i wrando ar gynghorwyr y Methodistiaid. Yn ystod haf 1795, yr oedd wedi myned yn ddyryswch hollol ar y crefyddwyr, druain. Cawsai tafodau y pregethwyr eu dystewi; yr oedd llawer o honynt hwythau wedi cymeryd y traed a ffoi, ac yr oedd rhai o'r bobl a'u derbyniasent i'w tai wedi ffoi gyda hwy. Ofnai neb agor ei ddrws i dderbyn llefarwr rhag dinystrio ei amgylchiadau gan y dirwyon trymion. Yr oedd arswyd a dychryn wedi meddianu yr holl wlad; ac am dymhor yr oedd achos yr Arglwydd yn mysg y Methodistiaid wedi sefyll yn hollol. Ni feddai llawer o'r werin fodd i dalu y swm a osodasid arnynt gan yr ynadon; a buasai raid iddynt fyned i'r carchar, ac efallai ddihoeni yno am amser maith, oni bai i'r Gymdeithasfa ddyfod allan i'w cynorthwyo. Dywed Mr. Charles, yn ei *Amddiffyniad i'r Methodistiaid*, i'r dirwyon gostio dros gan' punt i'r Gymdeithasfa mewn un flwyddyn. Yn ychwanegol at hyn cyfranai Mr. a Mrs. Charles yn helaeth, o'u heiddo personol, tuag at gynorthwyo y dyoddefwyr dan yr erledigaeth.

Os methai yr erlidwyr ddod o hyd i'r person a gawsai ei ddirwyo, atafaelent yn ei feddianau. Ffoisai Griffith Owen, Llanerchgoediog, pan y cafodd ef ei ddirwyo. Wedi methu ei ddal, anfonodd Mr. Corbett ei stiward, yn nghyd a nifer o gwnstabliaid, i'w dyddyn, i gymeryd ei anifeiliaid i Dowyn, i gael eu gwerthu. Gan ei bod yn yr haf, yr oedd y gwartheg yn pori allan, ac aethant hwythau i'r maes i'w cyrchu. Wrth eu gweled wedi dyfod ar y neges, yr oedd gwragedd crefyddol yr ardal ar eu gliniau, yn gweddïo ar iddynt fethu yn eu hamcan. A briodolir yr hyn a ganlynodd yn atebiad i'r gweddïau a offrymwyd, nis gwyddom; ond y mae yn ffaith

i'r swyddogion fethu dal un o'r anifeiliaid. Yr oedd y gwartheg a'u cynffonau i fynu yn y gwres yn rhedeg i bob cyfeiriad; rhedai y cwnstabliaid yn llewis eu crysau ar eu holau; ond er eu llafur, a'u lludded a'u chwys, gorfu iddynt roddi i fynu, a dychwelyd yn eu holau mewn gwarth.

Daeth yn amlwg nas gallai pethau fyned yn y blaen fel hyn. Yr oedd y Methodistiaid yn cael eu herlid fel petrus ar hyd y mynyddoedd; yr oedd eu ffermydd yn cael eu cymeryd oddiarnynt, eu hamgylchiadau yn cael eu llwyr ddinystrio, a hwythau naill ai yn cael eu bwrw i garchar, neu ynte yn cael eu hymlid o'r wlad. Gwasgarwyd llawer o honynt ar hyd a lled Cymru; adwaenem hiliogaeth amryw ag yr oedd eu cymeriadau yn dysgleirio fel goleuadau yn y byd, y rhai a ffoisent am noddfa i Sir Aberteifi. Un oedd Mr. Daniel Jones, yr hwn a symudodd i Gamer Fawr, yn nghymydogaeth Tregaron, lle y bu ef a'i hiliogaeth yn dra defnyddiol gyda chrefydd. Ofnai y crefyddwyr gyfarfod i weddïo Duw. Beth allai fod yn cyffroi boneddwr fel Mr. Corbett, gŵr ag y dywedir fod llawer o garedigrwydd yn perthyn i'w natur, i ymddwyn mor greulon? Yr unig esboniad ydyw, ei fod yn credu chwedlau y clerigwyr. Cymerai y rhai hyny fantais ar bob amgylchiad i ddrwgliwio y Methodistiaid. Darlunient hwy fel dynion yn ymroddi i anfoesoldeb yn y dirgel, yn llochesu teimladau gwrthryfelgar at y llywodraeth, yn wrthwynebol i bob awdurdod a threfn; ac felly, fel rhai ag yr oedd buddianau cymdeithas yn galw am eu hymlid o'r tir. Tra yr oeddynt yn cael eu herlid fel hyn yr oedd y Methodistiaid yn arddangos y gras o faddeugarwch yn helaeth. Meddai *Methodistiaeth Cymru:* "Deallodd Mr. Charles, mewn ymddiddan a'r cyfreithiwr parchus hwn, pryd yr adroddodd wrtho yr erledigaeth yr oedd y Methodistiaid dani oddiwrth foneddwr ac ustus heddwch yn y sir, fod Corbett wedi troseddu y gyfraith ei hun, wrth ddirwyo pregethwyr, a'r rhai a'u derbynient i'w tai, gan na ranodd ef y dirwyon rhwng yr hysbyswyr a thlodion y plwyf yn ngwydd y dirwyedig. Cynygiodd y cyfreithiwr gymeryd y boneddwr mewn llaw, a'i gospi i'r eithaf. Hyn nis boddlonai Mr. Charles iddo wneyd, nes o leiaf iddo gydymgynghori a'i frodyr; ac wedi iddo ddychwelyd, a gosod yr achos gerbron, barnwyd yn fwy Cristionogol, ac yn debycach o effeithio yn dda ar y boneddwr ei hun, yn gystal ac ar eraill, iddynt beidio ei fwrw i grafangau y gyfraith." Braidd na thybiem fod Mr. Charles a'i frodyr yn cario maddeugarwch i eithafion.

A chofier fod y Methodistiaid yn dyoddef yr holl erlid yma oblegyd eu hymlyniad wrth yr Eglwys Sefydledig. Pe y datganent eu hunain yn Ymneillduwyr, gallent gael eu pregethwyr wedi eu trwyddedu, a'u tai addoliad wedi eu cofrestru, ac felly, gosodent eu hunain dan amddiffyniad Deddf Goddefiad, fel na feiddiai neb eu drygu. Hyn ni fynent am amser. Ar gychwyn yr erledigaeth, pan yr oedd y boneddwr o Sir Feirionydd yn chwythu bygythion yn eu herbyn, bu y mater dan ystyriaeth yn Nghymdeithasfa y Bala, ai nid dyledswydd y Cyfundeb oedd gosod eu pregethwyr, a'r tai addoliad, yn ddioed dan nawdd y gyfraith? Credai Mr. John Evans, Mr. Charles, ac eraill, mai hyny ddylid wneyd; ond gwrthwynebid hyny gan rai, yn benaf brodyr o Sir Gaernarfon, oblegyd na fynent er dim gael eu cyfrif yn Ymneillduwyr. Ond profodd yr erledigaeth fod yn rhaid dewis rhwng un o ddau beth, naill ai rhoddi i fynu y gwaith yn gyfangwbl, peidio pregethu mwy, a gadael i'r seiadau gael eu gwasgar; neu ynte, arddelwi eu hunain yn Anghydffurfwyr, a hawlio amddiffyniad y gyfraith. Wedi iddi ddyfod i'r pwynt hwn, dewisodd y Methodistiaid y diweddaf. Pan yn dyfod i'r penderfyniad yma, yr oedd wedi dyfod yn wybyddus iddynt fod boneddwyr eraill yn bwriadu canlyn esiampl Mr. Corbett, ac y byddai i'r erledigaeth, oedd yn gyfyngedig gan mwyaf i Sir Feirionydd, ymledu yn fuan dros yr holl wlad. Felly, mewn Cymdeithasfa a gynhaliwyd yn y Bala, penderfynwyd anog y pregethwyr bob un i godi trwydded, ac ar i bob tŷ, yn mha un yr oedd pregethu, gael ei gofrestru.

Wedi pasio y penderfyniad, gwnaed pob brys i'w gario allan, ond nis gellid cael trwyddedau i'r llefarwyr, na chofrestru y tai, hyd y Chwarter Sessiwn; hyd hyny, yr oedd y pregethwyr, a'r rhai a'u derbynient, mewn perygl. Meddai y Parch. Robert Griffith, Dolgellau, yn ei hunangofiant: * "Daeth llythyr o'r Bala i Ddolgellau, yn hysbysu fod modd gochel talu y ddirwy am bregethu mewn tai heb eu cofrestru, trwy gymeryd y llwon gofynedig cyn pen pum' niwrnod wedi derbyn y rhybudd cyfreithiol, os da yr wyf yn cofio,

* *Hanes Methodistiaeth Gorllewin Meirionydd.*

a pheidio pregethu yn y manau hyny hyd y Chwarter Sessiwn. Aeth y brawd Hugh Llwyd, un o flaenoriaid Dolgellau, a minau yn ddioed i Gorris, at Vaughan Jones, ac i Lanerchgoediog at Griffith Owen, dau ŵr a rybuddiasid i dalu y ddirwy o ugain punt yr un; a phrydnhawn yr un diwrnod aethom dros yr afon Mawddach i Lanenddwyn at Mr. Owen, ac i Hendreforion at Mr. Parry, dau ustus heddwch, i gymeryd y llwon angenrheidiol, ac felly yr aeth yr ystorm hono heibio."

Ond amddiffyniad hyd y brawdlys yn unig oedd hyn, ac yr oedd yn rhaid parotoi ar gyfer hwnw. Y ddau arweinydd yn yr helynt oedd Mr. Charles a Mr. John Evans; trwy eu hofferynoliaeth hwy y sicrhawyd gwasanaeth cyfreithiwr i ddyfod i'r Bala i ddadleu achos y rhai a ofynent am drwydded. Fel hyn yr adroddir yr hanes yn *Methodistiaeth Cymru*: "Yn y cyfamser yr oedd Chwarter Sessiwn y Bala gerllaw, a darpariaeth wedi ei wneuthur i geisio yno amddiffyniad y gyfraith, trwy alw am gyfreithiwr enwog, o Gaer y pryd hwnw, ac ar ol hyny o'r Cymau, gerllaw Caergwrle, yr hwn oedd yn Ymneillduwr ei hun. Dangosai ynadon Sir Feirionydd bob anmharodrwydd i drwyddedu pregethwyr; ond hyny ni allent omedd i'r sawl a geisient heb droseddu y gyfraith eu hunain. A phan y rhoddwyd ar ddeall iddynt gan David Francis Jones, Ysw., y cyfreithiwr, fod yn rhaid iddynt naill ai rhoddi amddiffyniad y gyfraith i'r pregethwyr, neu fyned dan ei chosp eu hunain, nid oedd dim i'w wneyd ond plygu. Un o'r ustusiaid, yr hwn oedd berson Llandderfel, a ddywedai: 'Os rhaid i'm llaw arwyddo y papyrau hyn, y mae fy nghalon yn erbyn hyny.' 'Y cwbl sydd arnom ni ei eisiau,' ebai Mr. Jones, 'yw eich llaw; am eich calon nid ydym ni yn gofalu dim am hono.' Felly, eu trwyddedu a gawsant; ac o hyny allan, anogwyd y pregethwyr i geisio trwyddedau, mor wresog ag y gwaherddid hyny iddynt o'r blaen. Cofrestrwyd y tai pregethu hefyd. Yn y modd hwn y cafwyd dyogelwch rhag y ffurf yma hefyd o erlid. Ni ddefnyddid y dull hwn tra y gellid cael y werin ffol i derfysgu a baeddu; ond wedi i'r Methodistiaid enill teimladau y werin o'u plaid, nid oedd ond ceisio eu llethu trwy rym cyfraith. Eithr nid oedd hyn bellach i'w gael, gan fod yr awdurdod a'u llethai hwy gynt, yn awr yn eu hamddiffyn; y cleddyf a'u harchollai gynt, a archollai eu gorthrymwyr bellach. Y wlad hon, weithian, a gafodd lonydd."

Yn mysg y rhai a ymddangosai gerbron yr ynadon yn y Bala i gofrestru ei dŷ yr oedd Edward Williams, dilledydd, o Dowyn. Yr ydym wedi cyfeirio ato yn barod fel un o'r rhai a gawsent eu dirwyo o ugain punt; ac yr oedd wedi bod ar ffo o hyny hyd yn awr. A thrwydded a gafodd. Meddai y Parch. Robert Owen, M.A., Pennal: "Ychydig amser yn ol cefais y fraint o weled y drwydded hon fel yr ysgrifenwyd hi yn wreiddiol ar groen, a dangoswyd hi yn gyhoeddus i'r Gymdeithasfa a gynaliwyd yn Towyn, yn y flwyddyn 1885. Y mae yn cael ei chadw fel trysor gwerthfawr gan rai o hiliogaeth yr hen bererin. Wele gopi o honi, air am air:—

*Meirioneth to wit.* } *"Thomas à Becket Sessions, 1795, held before Rice Anwyl and Thomas Davies, Clerks, Justices of the Peace in and for the said County.*

*That a certain house called Porthgwyn, now in the occupation of Edward Williams, Taylor, situate in Towyn, in the County of Meirioneth, was this seventeenth day of July, 1795, recorded as a place of religious worship for the use of the Protestant Dissenters, according to the statute in such case made and provided.*

EDWARD ANWYL,
*Deputy Clerk of the Peace.*"

Erbyn hyn yr oedd y perygl drosodd. Dychwelodd y pregethwyr o'u ffoedigaeth, ac ail ddechreuwyd cynal moddion crefyddol yn y tai. Yr oedd Edward Williams mor hoew a'r biogen ar hyd tref Towyn ar ol cael ei dŷ wedi ei drwyddedu." Daeth Lewis Morris yn ei ol, ar ol bod ar encil yn Sir Benfro. Meddai yn ei adgofion: "Y Sabbath cyntaf ar ol fy nyfod adref aethum y boreu i Dowyn i bregethu. Erbyn myned yno yr oedd y milwyr ar yr heol, yr hyn na arferent fod ar y Sabbathau; a rhai o'm cyfeillion a'm cynghorasant i beidio cadw odfa, gan eu hofn. Ond dywedais nad oedd wiw ildio mwyach, ac nad oedd raid eu harswydo, am fy mod tan gysgod amddiffyniad cyfraith Prydain Fawr. Felly cadw yr odfa a wnaed, a llonyddwch a gafwyd." Yr oedd Lewis Morris yn hollol gywir; yr oedd nid yn unig ei berson ef, ond hefyd y tŷ yn mha un y llefarai, dan amddiffyniad cyfraith y wlad; ac felly nid oedd raid iddo ofni yr yswain na byddin o filwyr. Y mae yn sicr

fod y gynulleidfa fechan yn addoli yn gynhes yn Nhowyn y boreu Sul hwnw, wrth deimlo fod eu gwrthwynebwyr wedi eu diarfogi, a'r gyfraith yn darian rhyngddynt a phicellau yr erlidwyr. A'r hyn a wnaed yn Sir Feirionydd a gymerodd le dros Gymru yn gyffredinol. Brysiodd y pregethwyr i gymeryd trwyddedau, a chofrestrwyd y tai addoliad, fel na feiddiai yr un gelyn ymosod arnynt.

Am yr erlidiwr, Mr. Corbett, dywed Lewis Morris: "Gellir sylwi na ddarfu i'r boneddwr hwn ddiweddu ei ddyddiau yn gysurus, yn ei feddwl nac yn ei ystâd. Dywedir ei fod yn ei flynyddoedd olaf mewn ofn mawr rhag y Methodistiaid. Yn amser y terfysg a fu yn Manchester, yn 1817, dywedai: 'Beth os cwyd y Methodistiaid? Hwy a'm lladdant i yn sicr.' Nid oedd efe, druan gŵr, yn eu hadwaen, nac yn gwybod mai yspryd addfwyn a llonydd a feithrinid ganddynt hwy yn eu holl gymdeithasau; ond euogrwydd ei feddwl oedd yn creu bwganod i'w ddychrynu." Modd bynag, yn mhell cyn ei farw, daethai i ddeall ei fod wedi cael ei gamarwain gyda golwg ar y Methodistiaid. Er prawf o hyn cymerer a ganlyn. Dygwyddai fod prinder ymborth mawr yn y wlad, oddeutu 1817 neu 1818, ac eisiau bara yn gwasgu yn drwm ar y preswylwyr. Gan gredu y byddai hyny o ryw wasanaeth, anfonodd Mr. Corbett am lwyth llong o haidd i Aberdyfi; a chymaint oedd yr awyddfryd am ei gael fel y gwerthwyd yr oll o hono mewn deuddydd. Synodd y boneddwr yn fawr; ni ddychymygasai fod angen y tlodion gymaint. A chyda rheg, dywedodd: "Welwch chwi, pe buasai y Methodistiaid wedi gwneyd rhywbeth, cawswn wybod y cwbl gan y clepgwn, ond ni fu wiw ganddynt ddweyd fod y fath eisiau ar y tlodion." Ac y mae yn sicr mai at y clerigwyr erlidgar y cyfeiriai.

Yn mhen deuddeg mlynedd ar ol yr erledigaeth, sef yn y flwyddyn 1807, beiddiwyd cynal Cymdeithasfa yn Nhowyn. Pryderai llawer wrth feddwl am ei chadw mor agos i balas y boneddwr. Aeth gŵr a gadwai west-dy yn y dref at Mr. Corbett, i'w hysbysu am y cyfarfodydd; nas gallai oblegyd ei drwydded rwystro y Methodistiaid rhag dyfod i'w dŷ; ac heblaw hyny y gwyddai mai hwy oedd y bobl agosaf i'w lle a ddeuent i'w dŷ ef. Arwyddodd yntau ei foddlonrwydd i'r gŵr wneyd fel y mynai. Diwrnod cyntaf y Gymdeithasfa aeth rhai o'r chwedleuwyr i'r palas, gan ddweyd fod y bobl wedi ymgynull i'r lle, a'u bod wedi clywed y byddai yno lawer mwy dranoeth. Tybient y caent roesaw i'w chwedlau; ond y cwbl a gawsant ganddo oedd yr ateb sychlyd: "Gwnant lawer o les i'r dref." Yn mhen y flwyddyn yr oedd y Gymdeithasfa yno drachefn, a bu yn cael ei chynal yn flynyddol yn y lle am amser maith. A phwy y tro hwnw a anfonasai air am gael pregeth Saesneg, ond merch y boneddwr. Cydsyniwyd â'i chais; pregethodd y Parch. Robert Ellis, y Wyddgrug, yn Saesneg, yn ol ei dymuniad; safai hithau ar yr heol, a gwrandawai yn astud o'r dechreu i'r diwedd. Erbyn hyn y mae holl hiliogaeth y boneddwr erlidgar wedi darfod o'r wlad.

Yr ydym wedi manylu ar y cyfnod hwn oblegyd ei bwysigrwydd arbenig; ffurfia dro-bwynt yn hanes y Cyfundeb. Hyd y pwynt yma edrychai y Methodistiaid arnynt eu hunain fel o fewn cylch yr Eglwys Sefydledig. Gwir fod eu safle yn gyflawn o anghysondeb. Nid aent i'r eglwys ar y Sabbath i wrando yr offeiriaid; nid aent yno ychwaith i gymuno, os gallent rywfodd gyrhaedd Llangeitho, neu y Bala, neu ryw le arall, yn mha un y byddai rhai o'r clerigwyr Methodistaidd yn gweinyddu y sacrament. Yr oedd yr esgobion a'r offeiriaid o'u tu hwythau yn gwadu pob perthynas â hwynt; difenwent hwy gerbron y byd; taenent chwedlau celwyddog ar led am danynt; a chyffroent y werinos i'w baeddu a'u herlid, fel y bu eu bywydau ddegau o weithiau mewn perygl. Yn brin y gellir edrych ar y Methodistiaid fel Eglwyswyr, hyd yn nod yn flaenorol i'r erledigaeth at ba un yr ydym wedi cyfeirio; yr oedd eu Heglwysyddiaeth agos oll ar y wyneb, ac yn fwy mewn proffes nag mewn gwirionedd. Modd bynag, meddent ryw ragfarn o blaid y Sefydliad Gwladol er pobpeth; ni wnaent ar unrhyw gyfrif arddelwi eu hunain fel Ymneillduwyr. Ond yr adeg hon, mewn canlyniad i'r ymosodiad erlidgar a wnaed arnynt, yr hwn a dueddai i'w cwbl ddifodi, bu raid iddynt ddatgan eu Hymneillduaeth. Gwthiwyd hwy allan o'r Eglwys er eu gwaethaf. Nid ymneillduo yn wirfoddol a wnaeth y Methodistiaid, ond cael eu bwrw allan. Dadleua haneswyr Eglwysig fod y Methodistiaid yn perthyn i'r Eglwys Wladol hyd y Neillduad yn 1811; mai ynddi y buasent hyd y dydd hwn oni bai am uchelgais John Elias, Ebenezer Morris, Thomas Jones, Dinbych, ac eraill o'r pregethwyr diurddau; ac mai yr or-

deiniad a ddatododd y berthynas. Y mae yr haneswyr yma yn colli eu golwg ar y ffeithiau pan yn ysgrifenu fel hyn. Torwyd y cysylltiad rhwng y Methodistiaid a'r Eglwys yn llwyr un-mlynedd-ar-bymtheg cyn yr ordeiniad, sef pan y gorfodwyd hwy gan y clerigwyr i gofrestru eu lleoedd pregethu fel addoldai Ymneillduol, ac y bu raid i'w holl bregethwyr gymeryd trwydded fel Ymneillduwyr. Y mae yn anmhosibl edrych arnynt fel Eglwyswyr, ar ol gwneyd datganiad difrifol gerbron yr ynadon, datganiad cydwerth a llw, eu bod yn Ymneillduwyr. Yr unig fodd y gellid eu hystyried fel yn perthyn i'r Eglwys ar ol hyn ydyw trwy gymeryd yn ganiataol iddynt wneyd y datganiad mewn modd Jesuitaidd; nad oedd yr hyn a ddywedent ond rhagrith a thwyll; eu bod yn arwyddo un peth a'u llaw, tra yn penderfynu fel arall yn eu calon. Nis gall neb a adwaena eu gwir gymeriad goleddu y syniad hwn am foment. Rhaid edrych ar y Methodistiaid fel wedi ymneillduo yn gyfangwbl oddiwrth yr Eglwys, ac wedi ymffurfio yn Gyfundeb annibynol arni, o'r adeg pan y gorfodwyd hwy i ddatgan yn eu llysoedd gwladol mai Ymneillduwyr Protestanaidd oeddynt. Daethant i argyfwng pan yr oedd yn rhaid iddynt naill ai gadael y Llan, neu ynte adael eu gwaith. Cefnu ar y gwaith nis meiddient, oblegyd yr oeddynt wedi cael y profion cryfaf posibl ei fod o Dduw. Disgynasai yr Arglwydd i'w mysg ganoedd o weithiau mor wirioneddol ag y disgynodd ar ben Sinai; er mai mewn tai anedd neu ysguboriau y cynhalient eu cyfarfodydd yn fynych, teimlasent y Presenoldeb Dwyfol yn eu mysg mor ddigamsyniol, yn llanw y lle a'i ogoniant, ag y teimlwyd ef gan Solomon adeg cysegriad y deml. Bendithiasid eu hymdrechion er achubiaeth canoedd, ac er dyrchafiad gwerin Cymru o'r dyfnderoedd isaf. Na, nis meiddient adael y gwaith; buasent yn digio Duw wrth wneyd. A chan na oddefid iddynt weithio gyda'r efengyl, ac aros mewn unrhyw gysylltiad a'r Eglwys, nid oedd dim i'w wneyd ond troi allan. Hyn a wnaethant yn ddios wrth gofrestru y tai yn mha rai y pregethent fel addoldai Ymneillduol, ac wrth anog eu pregethwyr i gymeryd trwyddedau. O hyn allan, yr unig olion a arosai o'u perthynas a'r Eglwys gynt, oedd mai clerigwyr wedi derbyn urddau esgobol a weinyddai y sacramentau iddynt. Ac yr oedd hyn mor anghydnaws a'r holl gysylltiadau, fel yr oedd yn anmhosibl iddo barhau.

*O fewn y cyfnod hwn y ffurfiwyd rheolau i'r Gymdeithasfa.* Nid oedd unrhyw reolau yn bod ar y cyntaf gyda golwg ar drefn dygiad yn mlaen waith y Gymdeithasfa. Penderfynasid ei bod yn cael ei chynal yn chwarterol; ond byddai yr amser, nifer y cyfarfodydd, a phethau eraill perthynol iddi, yn dibynu ar amgylchiadau. Eithr fel yr oedd rhif y pregethwyr a'r blaenoriaid yn lliosogi, a chyfarfodydd cyhoedd y Gymdeithasfa yn attynu llu o wrandawyr, daeth rheolau mwy manwl yn angenrheidrwydd. Cafodd y rheolau a ganlyn eu pasio mewn Cymdeithasfa yn y Bala, Mehefin 9, 1790, a diau mai cynyrch meddylgarwch Mr. Charles ydynt yn benaf:—

"1. Na byddo i'r Gymdeithas Grefyddol yn Ngwynedd, a elwir yn gyffredin yn *Association*, ddim cynwys neb fel aelodau, ond yn unig y rhai sydd yn gweinyddu yn unig yn yr Eglwys mewn pethau ysprydol; sef yn llafurio yn yr athrawiaeth, neu yn ymddiddan yn neillduol am bethau Duw, a chyflyrau dynion.

"2. Bod i'r aelodau, cynifer ag a allo, gyfarfod unwaith bob chwarter blwyddyn, yn y lle a'r amser a benodir ganddynt eu hunain.

"3. Bod i'r pregethwyr, a neb ond hwy, ddyfod at eu gilydd am ddeg o'r gloch y bore gwaith cyntaf, i'r dyben o anog, hyfforddi, a rhybuddio eu gilydd mewn cariad; fel y meithriner undeb a brawdgarwch; ac fel y byddont, trwy gynorthwy y naill i'r llall, yn oleuni y byd, ac yn halen heb ddiflasu.

"4. Bod i'r holl Gorph, yn ol y rheol gyntaf, ddyfod at eu gilydd ddau o'r gloch yr un diwrnod, ac am wyth drachefn boreu dranoeth. Bydded i'r drws gael ei gau yn ddilai am haner awr wedi dau, a haner awr wedi wyth; ac os dygwydd i ryw frawd gael ei atal rhag dyfod yn yr amser penodol, gofyned y drysor genad y Corph i agor iddo; ac os bydd ei achos yn ymddangos iddynt hwy yn gyfreithlon, caniateir ei ddymuniad.

"5. Bod i'r Gymdeithas, cyn ymdrin a materion, ddewis a phenodi rhyw frawd, a farnont gymhwysaf, i edrych am fod pob peth yn cael ei wneuthur yn weddaidd ac yn drefnus, yn y modd mwyaf buddiol er adeiladaeth, yn y cyfryw gyfarfodydd.

"6. Bod i bob un ryddid i lefaru am yr achos mewn llaw, neu'r materion a drinir,

nes eu penderfynu; gan beidio areithio yn hir; os na bydd hyny trwy ddeisyfiad y Corph, ar ryw fater o bwys arbenig y byddo angen ymhelaethu arno er budd a lles y Corph.

"7. Bod i un cyfarfod gael ei neillduo at yr ystyriaeth o bethau ysprydol yn unig. Wrth bethau ysprydol yr ydys yn meddwl athrawiaethau yr efengyl, yn nghyd â'r profiad ysprydol o honynt, ymarferiadau crefyddol, dysgyblaeth eglwysig, &c. A bod pethau amgylchiadol y Corph i gael eu hystyried yn y cyfarfod arall, yn ol trefniad y Corph.

"8. Pan na byddo unrhyw fater neillduol yn cael ei gynyg i ystyriaeth y Gymdeithasfa, bydded i'r Corph ymddiddan â rhyw un a benodir ganddynt, mewn perthynas i'w wybodaeth o athrawiaethau yr efengyl, ei brofiad o honynt, a'i gymdeithas â Duw. Pethau ydyw y rhai hyn nas gellir eu hesgeuluso yn fynych yn y cyfryw gyfarfodydd heb golledu y Corph; ac ni esgeulusir ychwaith tra y parhao bywyd crefydd a grym duwioldeb yn eu plith. Yn niffyg hyn, darllener cyfran o'r Beibl yn bwyllog a deallus; a phenoder rhyw ran o'r Gair, neu bwnc o grefydd, i'w ystyried a'i chwilio.

"9. Fod pob mater dadleuol i gael ei benderfynu yn bwyllog, gan y rhif liosocaf o'r Corph; a bydded i'r lleill, a fyddo o wahanol feddwl, ymddwyn yn heddychol ac yn garedig tuag at eu brodyr.

"10. Rhaid i Gyfarfod Misol pob sir roddi i'w haelodau, sydd yn perthyn i'r *Association*, bapyryn argraffedig, a'i enw arno, ac enw y Gymdeithas i ba un y mae yn perthyn. Dangosiad o hwnw i'r drysor, *yn unig*, a rydd hawl iddo i ddyfod i mewn i Gymdeithas neillduol yr *Association*.

"11. Dymuniad ewyllysgar a chariadus y Corph yn Ngwynedd yw, fod i bwy bynag o frodyr y Deheudir a ddygwyddo fod yn bresenol gael yr un rhyddid a ninau, yn mha bethau bynag a fyddo yn cael eu trin a'u hystyried; am y dymunem gadw undeb y Corph trwy Gymru oll; hefyd gan gydnabod yn ddiolchgar ein rhwymedigaethau iddynt am ganiatau i ninau y cyfryw ryddid yn eu plith hwythau."

Felly y darllen y rheolau a dynwyd i fynu gan Mr. Charles, ac a basiwyd gan Gymdeithasfa y Bala. Gwelir mai rheolau perthynol i'r Gymdeithasfa yn y Gogledd ydynt, ond y mae yn gwbl sicr iddynt gael eu mabwysiadu yn fuan yn y Deheudir. Y maent yn amlygu synwyr cryf, a chrefyddolder meddwl dirfawr; ac yn sylweddol dyma y rheolau sydd mewn grym yn y Cymdeithasfaoedd, yn y Dê ac yn y Gogledd, hyd y dydd hwn.

*O fewn y cyfnod hwn y penderfynwyd ar y Rheolau Dysgyblaethol.* Fel ydym wedi cofnodi yn barod, ffurfiodd y Diwygwyr Methodistaidd reolau i'r Cymdeithasau neillduol yn y flwyddyn 1742. Tynwyd y rhai hyn allan gan Howell Harris; a chwedi iddynt gael eu cymeradwyo gan Daniel Rowland, cawsant eu cyhoeddi a'u hanfon at y Cymdeithasau. Rheolau gyda golwg ar drefn dygiad y seiadau yn mlaen oedd y rhai hyn. Y mae yn amlwg eu bod cyn amser Mr. Charles wedi myned allan o arferiad, os, yn wir, y buont mewn ymarferiad o gwbl yn Ngwynedd, oblegyd yr ydym yn cael John Evans, y Bala, a Thomas Foulkes yn cyfieithu rheolau John Wesley i'w Gymdeithasau ef, ac yn gwasgar y rhai hyny er budd y Cymdeithasau Cymreig. Nid oedd unrhyw reolau gyda golwg ar ymddygiad, fel ag i fod yn sail dysgyblaeth eglwysig, wedi cael eu ffurfio; elid yn y blaen hyd y gellid yn ol y Beibl, gan apelio at y Gair a'r dystiolaeth. Ond teimlai Mr. Charles a'i frodyr fod y Cyfundeb yn sefyll mewn angen am ychydig o gyfarwyddiadau syml, seiliedig ar yr Ysgrythyr, fel ag i fod yn rheolau i'r aelodau i ymarweddu yn eu hol, ac yn faen prawf aelodaeth yn y seiat. Diau mai ei law fedrus ef a'i ffurfiodd, a chawsant eu hystyried a'u cymeradwyo yn Nghymdeithasfa y Bala, Mehefin 16eg, 1801. Yr un ydynt yn gwbl a'r Rheolau Dysgyblaethol a geir yn y *Cyffes Ffydd*, ond yn unig fod y *Cyffes Ffydd* yn gadael allan y rhagymadrodd. Gan y credwn fod y rhagymadrodd o ddyddordeb cyffredinol, yr ydym yn ei osod i mewn yma. Fel hyn y darllena:—

"Y mae dyn o ran ei anian a'i reddf ddechreuol, yn greadur cymdeithasgar, ac yn hoff ganddo gyfeillach; a thrwy undeb a chymdeithas y mae dynolryw er llawer o ymgeledd, amddiffyn, a chynorthwy i'w gilydd. Gwirionedd yw, fod gras Duw yn gweithio cyfnewidiad nid bychan, yn y sawl sydd yn feddianol o hono. Eto, bydded i ni sylwi mai nid ei gyfnewid o ran ei anian a'i naws fel creadur y mae, ond fel y mae yn bechadur, neu yn greadur llygredig. Y mae yr hwn a wnaethpwyd yn greadur newydd yn meddu yr un cyneddfau ag o'r blaen, ond bod y cyneddfau hyny, ar ol cael eu llygru gan bechod, yn cael eu hadnewyddu i

ddelw sanctaidd gan yr Yspryd Glân. Felly y mae yn tueddu at gymdeithas a chyfeillach fel o'r blaen; ond y rhagoriaeth yw, ei fod yn dyfod yn gymdeithasgar i ddybenion sanctaidd, a bod Yspryd y gras yn gwneyd y gyfeillach yn rasol.

"Cymdeithas ysprydol yw eglwys Crist; cymdeithas wedi ei sylfaenu ar, ac yn tarddu oddiwrth, undeb yr aelodau â'u gilydd, yn eu Pen, yr Arglwydd Iesu. Y mae yr holl wir aelodau yn un â'u gilydd yn eu Pen goruchel hwn; ac y mae yr un yspryd hefyd o gariad a chydymdeimlad a'r sydd yn y Pen, yn cael ei gyfranu trwy yr holl aelodau, fel y maent oll trwy rinwedd y cyfundeb hwn, yn cyd-oddef, yn cyd-dristâu, ac yn cyd-lawenhau. Cymdeithas ddyrchafedig, yn ddiau, yw yr eglwys; ei haelodau yn un â Duw fel Tad; yn un â Christ fel eu Pen a'u Priod; yn un â'u gilydd ynddo; a'r Yspryd Glân fel cwlwm a bywyd yr undeb byth. Eglur yw, y bydd cyd-fwynhad o'r undeb hwn yn ychwanegu yn hynod at eu dedwyddwch a'u gorfoledd, yma ac mewn gogoniant. 'Myfi ynddynt hwy, a thithau ynof fi' (medd Crist wrth ei Dad) 'fel y byddont wedi eu perffeithio yn un' (Ioan xvii. 23). Nid oes, ac ni bydd, dim perffeithiad heb yr undeb a'r gymdeithas oruchel hon. 'Wele,' gan hyny, 'mor ddaionus ac mor hyfryd yw trigo o frodyr yn nghyd' (Salm cxxxiii. 1). Yr ystyriaethau hyn, yn nghyd â siampl yr apostolion a'r *prif eglwysi, a'r amrywiol anogaethau Ysgrythyrol i hyn, a barodd sefydliad y Cymdeithasau neillduol gan y Methodistiaid. Y maent yn ymgorphori fel aelodau o eglwys filwriaethus Crist yn y byd, i weddïo tros a chyda eu gilydd, a hyfforddi y naill y llall; i ddiddanu y gwan eu meddwl, rhybuddio y rhai afreolus, a chynal y gweiniaid; gan ddymuno llefaru gair mewn pryd wrth eneidiau diffygiol. Gall miloedd yn Nghymru dystiolaethu yn hy am y buddioldeb, y cysur, a'r adeiladaeth ysprydol, sydd yn deilliaw o'r cyfryw gyfarfodydd. Llawer a enllibwyd arnynt gan watwarwyr, a chablwyr annuwiol; ond nid yw enllib y cyfryw ddim yn brawf nad ydynt yn rhan o waith Duw. Nac ydyw, ond i'r gwrthwyneb; oni bai eu bod o Dduw, paham y mae yn rhaid i elynion Duw eu cablu?

"Nid ydym yn fwriadol yn ymneillduo, nac yn golygu ein hunain fel Ymneillduwyr, oddiwrth yr Eglwys Sefydledig. O ran ein daliadau *athrawiaethol*, yr ydym yn cytuno yn hollol âg erthyglau egwyddorol Eglwys Loegr; yn unig yr ydym yn chwenych gyda phob gostyngeiddrwydd, yn yr undeb hwnw, y cyflawn ryddid y mae gosodiad a ffurf ragorol llywodraeth wladol ein teyrnas yn ganiatau, i arferyd pob moddion Ysgrythyrol tuag at helaethu gwybodaeth o Dduw, a'r hwn a gyfododd efe, Iesu Grist; a thrwy hyny adeiladu ein gilydd yn y sancteiddiaf ffydd. Y mae cymaint ag sydd yn ymddangos yn ein harferiadau crefyddol fel yn tueddu at ymneillduad, wedi cymeryd lle o *angenrheidrwydd*, nid o *ddewisiad*. Nid gwneuthur *sism*, na *sect*, na *phlaid* sydd yn ein golwg; na ato Duw! ond lleshad ein gilydd a'n cydwladwyr. Dyma'r nod yr ydym yn dymuno cyrchu ato trwy bob moddion.

"Gwyddom yn dda nad yw ein hymddygiad yn foddhaol na chan Eglwyswyr na chan Ymneillduwyr. Ond y mae y Barnwr cyfiawn wrth y drws; ac ar ddydd y farn fawr y gwelir pawb, a phob peth, mewn goleu union ac eglur. Hyd hyny, da i ni oll fod yn ymdrechgar i gyd-ddwyn â'n gilydd mewn cariad. Yr ydym yn tystiolaethu ein bod yn chwenych dilyn heddwch â phawb yn eu holl ymgeisiadau syml a diffuant, nid at wneuthur *sect* neu *blaid*, ond at gadw eneidiau anfarwol—at dynu i lawr bob annuwioldeb ac anfoesoldeb yn ein gwlad—ac at daenu gwybodaeth o Grist yr Arglwydd, a'r angenrheidrwydd o'r cyfryw ffydd ynddo ag a weithir yn nghalon pechadur gan yr Yspryd Glân, ac sydd yn dwyn ffrwyth i Dduw mewn gwir sancteiddrwydd a buchedd dda. Yr ydym yn cwbl farnu fod pob peth arall yn ysgafn i'w gymharu â'r pethau pwysig uchod; gan hyny nid ydym yn sylwi nemawr ar un math o ddefodau a threfniadau a'r sydd gan yr amrywiol enwau crefyddol yn ein plith. Nis gallwn olygu rhai o honynt ond megys cloch i alw ac enill canlynwyr; ac am y rhai goreu, nid

* "Bod eglwysi Crist o'r dechreuad, ac weithiau eu blaenoriaid, yn cadw *cyfarfodydd neillduol* (heblaw eu cynulliadau cyhoeddus, yn mha rai y pregethid i gredinwyr ac anghredinwyr) sydd dra amlwg o ddechreu yr Actau hyd y llythyrau at Saith Eglwys Asia, yn llyfr y Datguddiad. Ystyrier y manau canlynol, ac eraill:—Actau i. 13, 14, 15; ii. 1, 4, 23, 21; vi. 2, 6; xi. 1, 4, 22; xii. 12; xiii. 1, 2; xiv. 22, 23, 27; xv. 1, 2, 3, 4, 5, 6, 22, 23, 32, 40, 41, &c. Y mae hefyd yr holl Epistolau *at yr amryw eglwysi* yn Rhufain, Corinth, Ephesus, &c., yn profi hyn; fel y mae yn ddiamheuol fod gan y prif Gristionogion eu (*societies private*) cymdeithasau neillduol.

ydynt ond megys y plisgyn o amgylch cnewyllyn gwir grefydd. Eithr am y pethau *trymaf* o'r *gyfraith*, sef *barn*, *trugaredd*, a *ffydd*, dymunem â'n holl galon gynydd arnynt, yn mhlith pawb o bob enw.

"I benderfynu hyn, gan ein bod fel Corph, yn gwbl o'r un farn ag *Erthyglau Athrawiaethol** yr Eglwys Sefydledig, ac nas gwyddom am eiriau mwy cymhwys ac Ysgrythyrol i'w mynegu, a'u gosod allan, nag a arferir gan yr hen Ddiwygwyr enwog; nid ydym yn gweled dim angenrheidrwydd am gyhoeddiad neillduol o'n daliadau a'n hathrawiaethau. Ond, tuag at iawn drefn, yr ydym yn gweled angen am gael rhyw Osodiadau, neu Reolau byrion ac amlwg i rodio wrthynt. Barnasom fod yr ychydig rai canlynol oll a sail iddynt yn y Gair Sanctaidd (yr hwn yw ein rheol gyflawn a sicr); ac nid oes derbyniad rhydd a pharhaol i neb, fel aelodau o'r Cymdeithasau neillduol yn ein plith, heb gydsyniad ac ymgais difrifol am gydffurfiad â hwynt."

Yn canlyn y mae y Rheolau Dysgyblaethol fel y maent i'w cael yn bresenol yn y *Cyffes Ffydd*. Gwelir mai prif amcan y rhagymadrodd yw profi yr angenrheidrwydd am y Cymdeithasau neillduol, neu y seiadau, yn ngwyneb yr holl gablu a'r camddarlunio a wneid arnynt gan y gwrthwynebwyr. Dangosir mewn dull goleu ac ymadroddion addas fod sail y seiadau yn gorwedd yn ddwfn yn natur dyn, a'u bod mewn arferiad yn Eglwys y Testament Newydd o'r dechreuad, ac hefyd yn yr holl brif Eglwysi. Cawn y Gymdeithasfa yn protestio drosodd a throsodd nad amcanai at ffurfio plaid. Ymddengys hyn fel cynyrch argyhoeddiad oedd yn dechreu cael ei deimlo gan yr arweinwyr, y byddai raid i'r Methodistiaid ymffurfio yn blaid ar wahan er pob peth, ac yn wir eu bod gystal a chwedi ymffurfio felly eisoes. Yn hyn yr oedd y Gymdeithasfa yn hollol onest. Pe y cawsai y Methodistiaid lonydd i bregethu yr efengyl, ac i ddeffro y wlad o'i chysgadrwydd oddifewn i'r Eglwys, ni fuasent yn meddwl am ei gadael; nid oedd ffurfio plaid yn amcan gan y Diwygwyr o gwbl. Trefniadau Rhagluniaeth, a gwrthwynebiad yr esgobion a'r clerigwyr i grefydd efengylaidd, sydd yn cyfrif am fodolaeth Methodistiaeth fel Cyfundeb gwahaniaethol yn Nghymru. Amlwg fod y Methodistiaid y pryd hwn heb ddeall eu safle yn briodol; edrychent arnynt eu hunain heb fod yn Eglwyswyr nac yn Ymneillduwyr, ond yn cael eu camddeall gan y naill a'r llall. Nid oeddynt yn yr Eglwys, oblegyd yr oeddynt wedi cofrestru eu tai pregethu fel addoldai Anghydffurfiol; a phrin eto yr oeddynt wedi llawn amgyffred fod y cam a gymerasant wedi eu gwneyd yn Ymneillduwyr er eu gwaethaf. Nid amddifadrwydd o allu dealltwriaeth oedd y rheswm eu bod yn gymharol ddall i'w safle; nid oedd ganddynt hamdden i ystyried y cwestiwn; pregethu yr efengyl, llanw y wlad â gwybodaeth am Grist yr Arglwydd, dwyn dynion i afael y bywyd a bery byth, dyna oedd wedi myned a'u bryd. Yn ymyl hyn ymddangosai trefniadau eglwysig, a'r mân wahaniaethau rhwng y naill enwad a'r llall, fel pethau anheilwng o ystyriaeth. Ar yr un pryd y mae y gwahaniaeth a wneir yn y rhagymadrodd rhwng yr erthyglau athrawiaethol perthynol i'r Eglwys, a'r rhai hyny sydd yn ymwneyd â threfniant allanol, a'r cydsyniad â'r blaenaf a ddatgenir, yn awgrymu yn eglur fod y ffurflywodraeth esgobol, a'r trefniadau a gyfodent oddiar hyny, wedi dyfod yn gwbl ddibwys yn ngolwg y Gymdeithasfa. Nid ydym am ddadleu fod y Methodistiaid y pryd hwn yn gwbl gyson â hwy eu hunain; nis gallent fod felly hyd nes y penderfynent neillduo gweinidogion iddynt eu hunain; ond yr oeddynt yn cyflym ymsymud i'r safle a gymerir ganddynt yn bresenol.

*O fewn y cyfnod hwn y cyfododd Wesleyaeth Gymreig.* Yr ydym wedi dangos eisioes ddarfod i'r diwygiad yn Nghymru gychwyn yn gwbl annibynol ar y diwygiad yn Lloegr. Ar yr un pryd, yr un a'r unrhyw Yspryd a weithredai yn y naill ran o'r wlad a'r llall; ac y mae y Methodistiaid Calfinaidd a'r Wesleyaid yn ffrwyth yr un cyffro. Yr oedd cyfeillgarwch cryf rhwng John Wesley a Methodistiaid Cymru, yn arbenig rhyngddo a Howell Harris; a pharhaodd y cyfeillgarwch gwedi yr anghytundeb rhwng Wesley a Whitefield. Yr athrawiaethau Calfinaidd a gredai Howell Harris; nis gallai mewn un modd dderbyn rhai o olygiadau John Wesley, ac yn neillduol yr ymadroddion â pha rai y gwisgai y gŵr hwnw ei syniadau; ond yr oedd yn ddigon rhyddfrydig i ollwng dros gôf y pethau gwahaniaethol,

* "Yr ydym yn golygu yr Erthyglau canlynol yn Erthyglau egwyddorol, ac nid yn perthyn i drefniadau dysgyblaeth yr Eglwys Sefydledig:— 1, 2, 4, 5, 6, 7, 9, 10, 11, 13, 15, 17, 18, 19, 25, 27, 28, 31, 38, 39."

ac i gydnabod fod hanfod yr efengyl gan y Wesleyaid fel ganddo yntau, a bu y cydddealltwriaeth goreu rhyngddo a chanlynwyr Mr. Wesley tra fu byw. Yn ei flynyddoedd olaf yr ydym yn fynych yn ei gael yn bresenol yn y Cynhadleddau Wesleyaidd, a rhoddid iddo ynddynt le anrhydeddus. Gan fod y Methodistiaid a'r Wesleyaid yn nyddiau Harris a John Wesley yn edrych ar eu gilydd fel brodyr, yr oeddynt yn dra gofalus i beidio gwasgu ar derfynau eu gilydd. Yn Nghymdeithasfa Bryste, a gynaliwyd 1747, ac i ba un yr oedd Mr. Wesley, a rhai o'i gydweithwyr, wedi cael eu gwahodd, penderfynwyd nad oedd y naill blaid i sefydlu seiat lle yr oedd achos yn barod gan y blaid arall. Fel hyn y darllena y cofnodau: "Ofnid, oblegyd ddarfod i Mr. Wesley bregethu yn Nghastellnedd, mai y canlyniad fyddai ymraniad yn y seiat. Atebodd Mr. Wesley: 'Nid wyf yn bwriadu gosod i fynu seiat yn Nghastellnedd, nac mewn unrhyw dref arall yn Nghymru, lle y mae seiat yn barod; ond i wneyd yr oll a allaf i rwystro ymraniad.' Ac yr ydym yn cyduno oll, pa bryd bynag y bydd i ni bregethu yn achlysurol yn mysg ein gilydd, y bydd i ni wneyd ein goreu, nid i wanhau, ond i gryfhau dwylaw ein gilydd, a hyny yn arbenig trwy lafurio i rwystro ymraniad." Yr hyn a olygir wrth "ymraniad" yw, ymraniad mewn seiat berthynol i'r Methodistiaid neu i'r Wesleyaid. Cadwodd y naill blaid a'r llall yn ffyddlawn at y dealltwriaeth hwn. Ac felly, yn nechreuad y bedwaredd-ganrif-ar-bymtheg ni feddai y Wesleyaid yr un gynulleidfa Gymreig yn y Dywysogaeth. Meddent gapelau yn Caerdydd, Abertawe, Penybont-ar-Ogwr, Hwlffordd, Aberhonddu, ac amryw leoedd eraill, ond Saesneg a bregethid; a chan mai Cymraeg oedd iaith y werin, ychydig o gynydd oedd ar yr achosion.

Y cyntaf i sefydlu achos Wesleyaidd Cymreig mewn unrhyw ran o'r Dywysogaeth oedd Mr. Jones, Bathafarn. Brodor o gymydogaeth Rhuthin oedd Mr. Edward Jones. Cafodd ei eni yn Mhalas Bathafarn, yn y flwyddyn 1777, a derbyniodd ei addysg yn Ysgol Ramadegol Rhuthin. Yr oedd ei dad yn gefnog ei amgylchiadau; ond oblegyd rhyw reswm anhysbys i ni yn bresenol, cychwynodd Edward Jones, ac efe yn laslanc dwy-ar-bymtheg oed, i Manchester, a chafodd waith fel nyddwr cotwm mewn ffactri. Yr oedd yn llanc addfwyn a llonydd, yn foneddigaidd ei foes, a dychlynaidd ei rodiad; ond heb wybod fawr am grefydd ac heb deimlo ei dylanwad achubol ar ei galon. Un nos Sul, tua diwedd y flwyddyn 1795, neu ddechreu y flwyddyn ganlynol, arweiniwyd ef i fyned i gapel y Wesleyaid, yn Oldham Street. Y pregethwr oedd y Parch. George Marsden, llefarwr tra effeithiol. Yr oedd yr odfa yn un rymus, a chydiodd y gwirionedd yn yspryd y Cymro ieuanc o Ddyffryn Clwyd, fel y daeth o'r noson hono allan yn ddyn newydd. Ymunodd â'r eglwys yn Oldham Street, ac ymroddodd gydag aiddgarwch a zêl i gyflawni pob gwaith a gyflwynid iddo. Yn bur fuan bu farw ei frawd hynaf; yr oedd ei rieni yn cyflym heneiddio, ac yn myned yn analluog; a theimlai yntau fod mwg Manchester yn anghytuno â'i iechyd. Rhwng pob peth gwelodd fod yn rhaid iddo ddychwelyd i Ddyffryn Clwyd. Yr oedd hyn tua diwedd y flwyddyn 1799. Mawr hiraethai am y gyfeillach grefyddol a arferai gael yn mysg y Wesleyaid, a gofidiai yn ddirfawr oblegyd yr olwg ddigrefydd a gaffai ar lawer o'i gydwladwyr. Un diwrnod aeth i Gaer er ymgynghori â'r Parch. Thomas Hutton, arolygydd y gylchdaith Wesleyaidd yn y rhan hono o'r wlad, a chafodd addewid ganddo am gymhorth. Tra yn y ddinas clywodd am Gymro arall yno, oedd yn Wesleyad zelog; ei enw oedd John Bryan. Ymwelodd Edward Jones ag ef, a ffurfiwyd cyfeillach rhyngddynt a barhaodd hyd ddiwedd eu hoes. Dechreu y flwyddyn 1800 cymerodd ystafell helaeth yn nhref Rhuthin, a berthynai i gludwr *(carrier)* o'r enw John Edwards, er cynal cyfarfodydd crefyddol ynddi. Yn fuan daeth y Parch. James Ridal, un o weinidogion Caer, yno, a phregethodd i gynulleidfa liosog. Trefnwyd i ryw bregethwr o Gaer fyned yno bob yn ail Sabbath. Y Sabbath arall byddai Mr. Edward Jones ei hunan yn cadw cyfarfod gweddi, ac yn rhoddi gair byr o anerchiad. Yn yr iaith Saesneg y gwneid hyn; ond yr oedd corph y bobl yn Gymry uniaith, ac felly yr oedd y gwasanaeth yn gwbl anfuddiol iddynt. Penderfynodd Edward Jones anturio cadw cyfarfod yn Gymraeg; yn raddol dechreuodd gymeryd testun a phregethu yn Gymraeg. Tua mis Mai, yn yr un flwyddyn, daeth ei gyfaill Mr. John Bryan, yr hwn erbyn hyn oedd wedi cael ei dderbyn fel pregethwr cynorthwyol, i Ruthin i'w gynorthwyo. Nid hir y buont cyn casglu cynulleidfa fechan, a sefydlu seiat. Dyma

y seiat Gymreig gyntaf i Gyfundeb y Wesleyaid, a chwech enaid a'i cyfansoddai. Sefydlwyd seiadau hefyd yn Ninbych, a rhai lleoedd eraill yn Nyffryn Clwyd.

Yn y Gynhadledd a gynaliwyd yn Llundain yn y flwyddyn 1800, gosodwyd gerbron gais oddiwrth y Meistri John Bryan ac Edward Jones, ar i genadaeth Wesleyaidd gael ei sefydlu yn ddioed yn Nghymru. Ychydig o sylw a gafodd y cais ar y cychwyn; nid yw yn ymddangos fod yno neb i'w gefnogi. A phan y trefnwyd y gweinidogion i'r gwahanol gylchdeithiau, nid oedd un ddarpariaeth ar gyfer Cymru wedi ei gwneyd. Ond daeth Dr. Coke yno cyn terfyn y Gynhadledd; cawsai ei rwystro i groesi trosodd o'r Iwerddon gan hin ystormus, fel nas gallai fod yn bresenol adeg trefniad y cylchdeithiau. Yr oedd efe yn Gymro, wedi cael ei eni yn nhref Aberhonddu; ac er mai ychydig o Gymraeg a ddeallai, ac nas gallai ei siarad o gwbl, yr oedd yn fawr ei zêl dros ei gydwladwyr. Cymaint oedd ei aiddgarwch a'i ddylanwad yn y Gynhadledd, fel y mynodd ail agor y cwestiwn, a phasiwyd penderfyniad fod y Parchn. John Hughes ac Owen Davies yn cael eu hanfon yn genadau i Gymru. Trefnasid fod y Parch. Owen Davies i fyned i Redruth, Cornwall; a'r Parch. John Hughes i Leek, yn swydd Stafford; ond rhoddwyd y trefniant hwn y naill du, ac aeth y ddau weinidog i'r Dywysogaeth, gan wneyd eu cartref ar y cychwyn yn Rhuthin. Cyrhaeddasant yno Awst 27, 1800, a dechreuasant yn ddioedi ar eu gwaith.

Haedda y ddau weinidog hyn air o sylw. Cafodd y Parch. Owen Davies ei eni yn Ngwrecsam, yn y flwyddyn 1752. Teimlodd ryw gymaint o ddylanwad yr efengyl ar ei yspryd pan yn dra ieuanc wrth wrando ar Mr. John Gardner, pregethwr cynorthwyol gyda'r Wesleyaid, ond ni oddefai ei dad iddo ymuno â'r Cyfundeb hwnw. Nid hir y bu cyn symud i gymydogaeth Llundain; yno argyhoeddwyd ef i fywyd; ymunodd â'r seiat yn Brentford, a dechreuodd bregethu yn Mile End. Yr oedd cyn hyny wedi priodi a gweddw, yr hon a gadwai ysgol yn Ealing. Yn fuan gwedi ei argyhoeddiad ceisiodd John Wesley ganddo lwyr ymroddi i'r weinidogaeth. Bu am beth amser yn petruso, oblegyd ei fod yn ŵr priod; ond Mr. Wesley a orfu. Ei gylchdaith gyntaf oedd Manchester; wedi hyny bu yn arolygydd cylchdaith Penzance a Redruth, yn Cornwall; a bendithiwyd ei lafur yn ddirfawr. Medrai siarad Cymraeg llaprog, ond nis gallai bregethu ynddi; ac yr oedd hyn yn gryn anfantais iddo wrth lafurio yn y Dywysogaeth. Yr oedd y Parch. John Hughes yn ddyn o gryn allu, ac wedi cael addysg llawer mwy na'r cyffredin. Cafodd ei eni yn Aberhonddu, Mai 18, 1776; yr oedd ei dad yn fasnachydd cyfrifol yn y dref, a rhoddodd yr addysg oreu i'w fab, gyda'r bwriad i'w ddwyn i fynu i'r offeiriadaeth. Eithr pan yr oedd John Hughes tua thair-ar-ddeg oed, daeth Dr. Coke i bregethu i Aberhonddu; aeth yntau i wrando, ac effeithiodd y bregeth yn ddwys ar ei feddwl. Y flwyddyn ganlynol ymunodd a'r Gymdeithas Wesleyaidd yn y dref, gan lwyr ymwrthod â'r syniad o weinidogaethu yn yr Eglwys Sefydledig. Mewn oedran tra ieuanc dechreuodd bregethu yn mysg y Wesleyaid; ac yn y flwyddyn 1796, penodwyd ef i gylchdaith Caerdydd. A chawn ef, fel yr ydym yn barod wedi adrodd, yn cael ei anfon gan y Gynhadledd, yn y flwyddyn 1800, yn genadwr i Gymru.

Dyma y gwŷr a fu yn offerynol i sefydlu Wesleyaeth Gymreig—Mr. E. Jones, Bathafarn; a'r Parchn. John Bryan, Owen Davies, a John Hughes. Ni fu Mr. Jones, Bathafarn, amgen pregethwr cynorthwyol trwy ei oes, er ei fod yn fwy ei ddawn na llawer gweinidog. Cawsant dderbyniad hollol serchog ar y cychwyn, yn arbenig gan y Methodistiaid; rhoddid benthyg capelau y Methodistiaid iddynt gyda'r parodrwydd mwyaf, a chaent bob groesaw yn y ffurf o letygarwch. Yr ydym yn barod wedi cofnodi am danynt yn cael pregethu yn nghapel y Methodistiaid yn Machynlleth, ac yn cael eu derbyn yn roesawgar yn nhŷ Mr. Thomas Foulkes. Cawsant hefyd fenthyg capel y Bala am amryw Sabbathau yn olynol, i gynal gwasanaeth, ac i geisio codi achos yn ol eu trefn eu hunain. Tystia y Parch. John Hughes ei hun, yn y cofiant a ysgrifenodd i Mr. Owen Davies, pan aeth ef gyntaf i'r Wyddgrug i begethu, i'r Parch. Thomas Jones, gwedi hyny o Ddinbych, ei wahodd ef i'w dŷ, a'i roesawu mewn modd tra lletygar, a'u bod y pryd hwnw yn cael boddhad mawr yn nghymdeithas eu gilydd. Ychwanega, yn yr un cofiant, i Mr. Davies ac yntau, yn fuan gwedi eu dyfodiad i'r wlad, gymeryd taith trwy Sir Fôn; i Mr. Davies bregethu yn Nghaergybi ac yntau yn Amlwch; a'r naill a'r llall, meddai, "yn nghapelau y

Calfiniaid, y rhai a fenthycid yn rhydd" iddynt. Y mae yn ymddangos hefyd i'r naill neu y llall o honynt fod yn pregethu yn nghapel yr un bobl yn Llangefni, Beaumaris, a Chaernarfon. Yr ydym am alw sylw at y ffaith hon, sef ddarfod i'r Wesleyaid gael pob croesaw a charedigrwydd oddiar law y Methodistiaid, pan y cychwynasant eu gweithrediadau yn Nghymru. Ac y mae yn ddrwg genym weled fod haneswyr y Wesleyaid yn pasio heibio i hyn mewn dystawrwydd, tra y maent yn ymhelaethu ar y gwrthwynebiad a ddangoswyd iddynt.

Ond torodd yr ystorm yn fuan. Gwelai y cenhadau Wesleyaidd nas gallent sefydlu Cyfundeb newydd yn Nghymru wrth yn unig bregethu yr efengyl, hyd yn nod yn y wedd yr edrychent hwy arni; fod yn rhaid iddynt ymosod ar y Cyfundebau oedd yn y wlad yn barod. Hyny a wnaethant, ac ni phetrusent briodoli i'r Calfiniaid syniadau ag y buasai Calvin ei hun, a bron bawb a gredent yr egwyddorion Calfinaidd, yn ymwrthod â hwy ar unwaith fel cyfeiliornadau peryglus. Meddai Dr. O. Thomas: "Y mae yn sicr eu bod (y gweinidogion Wesleyaidd) yn eu pregethau yn gosod arbenigrwydd mawr ar y cyffredinolrwydd, y dadleuant hwy drosto, sydd yn y Prynedigaeth trwy Grist Iesu; gan haeru, os nad yw Iesu Grist wedi marw dros bob dyn yn yr un ystyr a'u gilydd, nas gall fod iachawdwriaeth i bob dyn, ac felly nas gall galwad yr efengyl ar bob dyn fod ond twyllodrus ac anonest; galw y newynog at y wledd, ac erbyn iddo ddyfod dim yno ar ei gyfer ef. Yr oeddynt yn enwedig yn pregethu yn erbyn y syniad Calfinaidd am etholedigaeth, gan ei gosod allan yr un peth a gwrthodedigaeth ddiamodol, a haeru fod y Calfiniaid yn dysgu fod rhyw nifer bychan wedi eu hethol i'w cadw, a'r gweddill mawr wedi eu hethol i'w damnio, yn gwbl annibynol ar eu cymeriadau a'u bucheddau; y cedwid y naill, pechent a fynent; ac na chedwid y lleill pa ymdrech bynag a wnelent." Nid rhaid i ni ddatgan nad dyma gredo y Diwygwyr Methodistaidd, ac nad dyma a gyhoeddid ganddynt o'u pwlpudau. Yn ofer y chwilir pregethau Daniel Rowland, dydd-lyfr Howell Harris, ac ysgrifeniadau Charles, o'r Bala, a Thomas Jones, Dinbych, am athrawiaeth Antinomaidd o'r natur hyn; yn hytrach diarddelent, yn ddiarbed, bawb a draethent syniadau o'r fath. Cyhoeddent hwy yn ddibetrus ddigonolrwydd yr iachawdwriaeth ar gyfer pawb, y derbyniai y Gwaredwr bwy bynag ddelai ato; ac mai gwir achos colledigaeth y rhai a ânt i drueni o wlad efengyl yw gwrthod gras Duw. Nid teg o gwbl oedd priodoli i'r Calfiniaid y syniadau a dybid gan eraill yn gasgliadau angenrheidiol oddiwrth eu hathrawiaeth.

Ychwanega Dr. Thomas: "Camddarlunient hefyd (y gweinidogion Wesleyaidd eto) yn ddychrynllyd, y syniad Calfinaidd am gyflwr dyn wrth natur; gan gyhoeddi fod rhai o'r Methodistiaid yn pregethu fod penau plant bychain yn palmantu uffern! Cyhoeddwyd hyny trwy y wasg am y diweddar Barch. John Jones, Treffynon. Dygwyddodd i'r hen bregethwr ddyfod i'r dref lle yr oedd y gweinidog a gyhoeddasai hyny, ar y pryd, yn cartrefu. Ac fel yr ydoedd yn un lled barod yn y pwlpud i gymeryd pa gyfeiriad bynag a gynygiai ei hun i'w feddwl, ac yn awyddus hefyd i ddefnyddio cyfleustra mor fanteisiol i roddi dyrnod i'r un a gyhoeddasai y fath gabldraeth arno, wrth sôn am hoffder yr Arglwydd Iesu o weled plant bychain yn cael eu dwyn ato, dywedodd: 'Y mae yma ryw greadur, yn eich tref chwi, wedi cyhoeddi ar led y byd fy mod i yn dweyd fod penau plant bach yn palmantu uffern. Celwydd ofnadwy. Ni ddywedais i erioed y fath beth. Ni ddarfu i mi erioed o'r blaen ddeall na chlywed fod palmant ar uffern. Pwll diwaelod y mae fy Meibl i yn ei galw. A phe buasai gwaelod iddi, ac eisiau ei phalmantu, y mae yn debycach gen i o lawer, mai nid penau y plant bach anwyl, diniwed, a gymerasid i'w phalmantu, ond rhyw hen benau gleision, celyd, fel ei ben o, wedi bod yn curo ar hyd ei oes yn erbyn etholedigaeth gras.'" Prin y gellir edrych ar ymosodiad o'r fath hwn fel yn gweddu i urddas y weinidogaeth, ac yn deilwng o'r pwlpud; ond mor bell ag yr oedd a fynai y gweinidog â'r cwestiwn, yr hwn mor ehud a gamgyhuddasai ei frawd, yr oedd efe yn gwbl haeddianol o'r ffrewyll a roddid ar ei gefn mor ddiarbed.

A Dr. Thomas yn ei flaen: "Yr oedd yn gwbl annyoddefol i holl deimladau moesol gwŷr nodedig o gymhedrol fel Mr. Charles, o'r Bala; Mr. Jones, Dinbych; Mr. John Jones, Edeyrn; Mr. Ebenezer Morris; Mr. George Lewis, Llanbrynmair; Mr. Benjamin Jones, Pwllheli; Mr. John Roberts, Llanbrynmair, ac eraill glywed fod y fath olygiadau gwyrgam ag a gymerid gan rai ar eu hathrawiaeth, neu

y fath gasgliadau gwrthun ac afresymol ac an-Ysgrythyrol ag a dynid ganddynt oddiwrthi hi, yn cael eu gosod allan yn y fath ddull haerllug ac oraclaidd, fel hanfod yr athrawiaeth hono ei hunan, ac fel yr hyn a ddysgid yn groyw ganddynt hwy i'w cynulleidfaoedd. Yr oedd hyny yn neillduol anoddefol iddynt oddiwrth wŷr ieuainc dibrofiad, heb gael ond ychydig amser, a chan mwyaf heb feddu ar ond ychydig allu i ymgydnabyddu â'r Datguddiad Dwyfol, ac a golygiadau yr eglwys Gristionogol, mewn gwahanol wledydd ac mewn gwahanol oesoedd, o'r dechreuad, ar y gwirioneddau mawrion a ddysgir ynddo. . . Heblaw hyny, y mae yn sicr fod y brodyr Wesleyaidd, yn y blynyddoedd cyntaf, yn cael eu hystyried yn rhai rhy dueddol i broselytio, ac yn arwyddo mwy o awydd i enill rhai oddiwrth yr enwadau eraill, yn enwedig oddiwrth y Methodistiaid, i'w plaid eu hunain, nag a gydweddai yn gwbl â'r tegwch a'r gonestrwydd angenrheidiol, er sicrhau tangnefedd a chymydogaeth dda rhwng y naill enwad crefyddol a'r llall. Rhwng pob peth, y mae yn ddiddadl fod yr enwadau Calfinaidd yn teimlo, fod y bobl newydd oeddent wedi dyfod i'r wlad yn gwneuthur llawer o gam â hwynt; yn cam-ddarlunio eu golygiadau, yn lladrata eu pobl, ac yn achlesu y rhai a ddiarddelid ganddynt; heblaw fod eu hathrawiaeth, yn ol eu barn gydwybodol hwy, yn groes i ddysgeidiaeth yr Ysgrythyrau Sanctaidd, ac yn beryglus i eneidiau dynion."

Os mai y Wesleyaid ddarfu gychwyn y frwydr, a thanio yn mlaenaf oll, ni fu y Calfiniaid, a'r Methodistiaid yn eu mysg, yn hir cyn cychwyn saethu yn ol. Ymdaenodd y ddadl Arminaidd dros Gymru. Ni ystyrid pregeth yn werth dim oni fyddai yn llawn o ymosodiadau ar Arminiaeth; yr oedd hergwd i'r syniadau newyddion yn cael ei dybio lawn mor angenrheidiol a hergwd i bechod. Yn mlaenaf yn rheng yr ymosodwyr cawn Christmas Evans, John Jones, Treffynon; Thomas Jones, Dinbych; a John Elias. Curai John Elias ar Wesleyaeth yn ddiarbed, ac yn ngwres ei areithyddiaeth dywedai bethau eithafol weithiau. Crybwylla Dr. Owen Thomas am un yn adrodd am dano, ei fod yn pregethu mewn Cymdeithasfa yn y Bala, yn y flwyddyn 1808, ar gariad Crist. Yr oedd wedi cael hwyl anghyffredin i lefaru, a phan yn tynu at ddiwedd ei bregeth, fe waeddodd allan: "Un *challenge* eto i ddiawl ac i Armin cyn tewi: 'Pwy a'n gwahana ni oddiwrth gariad Crist?'" A dywedai yr adroddwr fod y gair "Armin" am flynyddoedd ar ol hyny yn ei feddwl yn rhoddi yr ystyr agosaf o bob peth i'r gair "diawl."

O'r pwlpudau gweithiodd y ddadl ei ffordd i'r wasg. Yn ol pob tebyg cychwynodd hyn trwy i'r Wesleyaid gyfieithu i'r Gymraeg draethodyn o eiddo John Wesley, dan y penawd: "*Yr Arfaeth fawr dragywyddol.*" Ymddengys mai ryw lyfrwerthwr yn Neheudir Cymru oedd cyfieithydd y traethodyn; a gwnaeth y gweinidogion Wesleyaidd ymdrech dirfawr i'w ledaenu trwy yr holl wlad, yn enwedig yn Sir Ddinbych, ac y mae yn sicr iddo beri cryn gyffro. Daeth amryw allan i ateb, ac yn eu mysg Christmas Evans. Nis gallwn olrhain y ddadl yn bresenol, aeth yn y diwedd agos yn gyfangwbl yn ornest rhwng y Parch. Owen Davies, o un tu, a'r Parch. Thomas Jones, Dinbych, o'r tu arall. Meddai y Wesleyaid yr anfantais o fod yn anghynefin yn yr iaith Gymraeg. Pan yn cyfieithu gweithiau y Parch. John Wesley, ac eraill, byddent yn defnyddio arddull mor ddyeithr fel yr oedd yn anhawdd deall beth a feddylient; gwnaent gam dybrid â'r synwyr. Parent i'r awdwr lefaru yr hyn na feddyliodd, ac na ddychymygodd erioed; ac yr oedd agos i bob rheol ramadegol yn cael ei gosod dan draed ganddynt. Diau fod eu diffyg cydnabyddiaeth â'r iaith yn cyfrif am yr ymadroddion dichwaeth a geid yn eu llyfrau, ac am eu gwaith yn ymroddi i ddifriaeth mor isel. Yn wir, er fod y Wesleyaid yn Nghymru erbyn hyn wedi cynyrchu meddylwyr da a phregethwyr rhagorol, medd eu Cymraeg yn y pwlpud ac yn y wasg nodwedd hollol wahanol i eiddo pob enwad arall. Nid awn yma i benderfynu pwy blaid gariodd y dydd. Credai y Wesleyaid a'r Calfiniaid, y naill yn ogystal a'r llall, mai hwy a biai y fuddugoliaeth. Ond fel ymresymydd nid oedd y Parch. Owen Davies i'w gymharu a'r Parch. Thomas Jones. Yr oedd Mr. Jones yn ysgolhaig rhagorol, a chylch ei ddarlleniad yn nodedig o eang; meddai gydnabyddiaeth helaeth a gweithiau y prif dduwinyddion, hen a diweddar. Yn mhellach, yr oedd ei feddwl o nodwedd hollol resymegyddol; gofalai fod ei gasgliadau yn gorwedd yn deg ar ei gynseiliau; ni oddefai cydwybod iddo wneuthur haeriad heb ei brofi; a phan yn difynu allan o

awdwr arall, arferai y manylwch mwyaf. Yr oedd y Parch. Owen Davies yn ddyn o nodwedd hollol wahanol. Perchenogai zêl Wesleyaidd mewn cyflawnder, ac yn llifo trosodd; ond yr oedd ei gydnabyddiaeth âg athrawiaethau yr efengyl, yn arbenig yn y wedd hanesiol arnynt, yn dra diffygiol, a'i allu ymresymiadol yn fychan. Eithr gwnelai i fynu am hyn drwy eofndra anturus i ddweyd pa beth bynag a ddeuai i'w feddwl; byddai ei haeriadau yn oraclaidd a thra anffaeledig, ac ni ddeallai, neu ynte ni ofalai, pan fyddai yn cael ei lorio gan ei wrthwynebydd. Ar yr un pryd rhaid addef fod y ffurf yma ar ddadleuaeth, er yn anheg ac yn cuddio anwybodaeth a haeriadau oraclaidd, yn cyfarfod chwaeth isel gwerin anwybodus; ac felly y tebygolrwydd yw iddi fod yn fwy llwyddianus er enill dysgyblion na phe buasai Mr. Davies yn alluocach meddyliwr, ac yn ddyn mwy dysgedig. Am dymhor bu y gweinidogion Wesleyaidd yn dra llwyddianus, a buont yn foddion i sefydlu nifer mawr o eglwysi yn y Dywysogaeth. Ar yr un pryd, wedi i wres y ddadleuaeth ddarfod, sefyll a wnaeth y cerbyd Wesleyaidd, ac y mae y Cyfundeb hwnw yn bresenol y gwanaf o'r holl enwadau uniongred Cymreig.

Ni fuasem yn cyfeirio at y dadleuon yma, oni bai iddynt fod yn foddion, yn mhen amser ar ol hyn, i gynyrchu cryn wahaniaeth barn yn mysg y Methodistiaid. Y mae y naill eithafion yn dwyn oddiamgylch eithafion cyferbyniol. Ac wrth ddadleu yn erbyn Arminiaeth aeth rhai o'r gweinidogion Calfinaidd i bregethu rhywbeth tebyg i Uwch-Galfiniaeth. Y tu allan i gylch y Cyfundeb Methodistaidd aeth Christmas Evans yn mhell i'r tir hwn, o leiaf am dymhor. Amddiffynai ef iawn masnachol, a'r iawn hwnw yn gyd-bwys o ran gwerth a drwg-haeddiant pechodau yr etholedigion. Yn mysg y Methodistiaid aeth rhai pregethwyr i bwysleisio agos yn gyfangwbl ar berthynas yr efengyl a'r etholedigion. Meddai y diweddar Barch. Robert Davies, Llanwyddelen, Sir Drefaldwyn: "Oddeutu yr adeg hon daeth y Wesleyaid i Gymru, pryd y deffrodd y Methodistiaid agos fel un gŵr i bregethu yn erbyn yr hyn a alwent yn Arminiaeth. Safai y rhai ag yr oeddwn i mewn cyfleustra i'w gwrando agos yn hollol ar etholedigaeth, a phrynedigaeth neillduol, anallu dyn, a nerthoedd anorchfygol yr efengyl. Yr oeddwn yn canfod iachawdwriaeth yn cael ei phregethu nad oedd eisiau ei gwell, ond yn unig ei bod yn iachawdwriaeth yr etholedigion, ac ni feiddiwn i gymaint a meddwl fy mod i yn un o'r teulu dedwydd hwnw. Nis beiddiwn estyn fy llaw i gymeryd gafael ar yr eiddynt hwy; canys nid oeddwn yn canfod yn y ddarpariaeth ddim ond iddynt hwy yn unig. Yr oeddwn yn edrych ar y pethau hyn yn wirioneddau hollol, ond ni chanfyddwn yr un drws i mi ddyfod i mewn; nis medrwn ddringo i'r nef i edrych a oedd fy enw ar lyfr y bywyd. Pan y meddyliwn yn fy nhrueni am droi fy ngwyneb at angau y groes am fy mywyd, y bregeth gyntaf a glywn a daerai yn fy wyneb nad oedd ynddo ddim ond i'r etholedigion, dan ryw nodweddiad, megys 'defaid,' 'eiddo,' neu 'gyfeillion!' Ond o drugaredd, a thrugaredd gymaint ag a dalai fy mywyd, danfonwyd cenad o ladmerydd, un o'r enw John Roberts, o Sir Gaernarfon (Llangwm wedi hyny), yr hwn a bregethodd Grist wedi ei groeshoelio y tu allan i'r porth, a'i angau yn fywyd, yn noddfa, ac yn feddyginiaeth i'r annuwiol Torodd gwawr ar fy meddwl, gwasgarodd y cymylau ymaith, a nerthwyd fi, y penaf o bechaduriaid, i gynyg fy hun i'r Gwaredwr mawr, heb drafferthu fy mhen mwy pa un ai etholedig ai peidio."

Ychwanega Mr. Davies: "Fy marn benderfynol ydyw i'r Methodistiaid roddi pob mantais i'w gwrthwynebwyr, trwy eu dull annoeth a chyfyng o bregethu, a'u bod wedi bod yn offerynol i wneuthur cymaint o Arminiaid, os nad mwy yn Nghymru, nag a wnaeth yr Arminiaid eu hunain." Yn mysg y rhai fu am ryw gymaint o amser yn pregethu iawn cydbwys, sef cydbwys a drwg haeddiant pechodau yr etholedigion, rhaid rhestru John Elias. Ond tòn a ddaeth dros y Cyfundeb am dymhor byr, oedd y Galfiniaeth eithafol hon; ni chafodd ei chymeradwyo mewn unrhyw Gymdeithasfa, a darfu i John Elias, ac eraill a'i pleidient, ymwrthod yn hollol â hi yn bur fuan, gan ddatgan eu gofid oblegyd iddynt erioed gael eu harwain i ddefnyddio geiriau culion am iawn yr Arglwydd Iesu. Am y modd y gwaredodd Duw y Methodistiaid rhag yr athrawiaethau culion hyn, ac y cafodd undeb yr Yspryd yn nghwlwm tangnefedd ei gadw yn eu mysg, rhaid i ni gyfeirio ein darllenwyr at gofiant John Jones, Talsarn, gan y Parch. Owen Thomas, D.D.

# PENOD XXXIV

—:o:—

## Y NEILLDUAD CYNTAF A'I GANLYNIADAU.

*Anniddigrwydd yn dechreu yn foreu yn mysg y Methodistiaid oblegyd cymuno yn yr Eglwys—Cais am ordeinio lleygwyr yn dyfod i'r Gymdeithasfa—Gwrthwynebiad cryf Howell Harris—Ordeinio gweinidogion ar Eglwysi y Groeswen, New Inn, Mynyddislwyn, ac Aberthyn—Cyfrannu mewn lleoedd anghysegredig—Yr ail do o offeiriaid yn mysg y Methodistiaid yn gulach na'r rhai cyntaf—Cymuno yn yr Eglwys yn dyfod yn anmhosiblrwydd—Rhaid neillduo gweinidogion neu i'r Cyfundeb ddarfod—Y cwestiwn yn dechreu cael ei ddadleu yn mhen isaf Sir Aberteifi—Evan Davies, Pensarn, yn dwyn y mater gerbron y Gymdeithasfa—Cyffro Mr. Jones, Llangan—Yr offeiriaid yn gwrthwynebu yn gryf—Ebenezer Morris yn gadarn o blaid—Agwedd Mr. Charles, o'r Bala—Mr. Thomas Jones, Dinbych, ar gais yr eglwys yn bedyddio baban—Argyhoeddi Mr. Charles—Marwolaeth Mr. Jones, Llangan—Cymdeithasfaoedd y De a'r Gogledd yn penderfynu o blaid ordeinio—Y Neillduad cyntaf yn y Bala, ac yn Llandilo Fawr—Amryw o'r offeiriaid yn gadael y Methodistiaid—Capelau yn cael eu colli mewn canlyniad—Erlid y Methodistiaid—Y "Welsh Looking-glass."*

AM tua phymtheg-mlynedd-a-thri-ugain, sef o'i gychwyniad hyd y flwyddyn 1811, bu y Cyfundeb Methodistaidd yn dibynu am weinyddiad o'r sacramentau ar offeiriaid perthynol i Eglwys Loegr. Meddai *Methodistiaeth Cymru*: "Ar y dechreu, yr oedd nifer y rhai a elwid yn offeiriaid, y rhai a dderbyniasent urddau esgobol, yn ddigon i ddiwallu angen y Cyfundeb, gan eu bod yn ddynion ymdrechgar a llafurus, ac yn ymweled yn eu tro a phob rhan o'r wlad. A thros lawer o flynyddoedd, ni theimlid un math o anniddigrwydd i'r drefn hon." Y mae y rhan olaf o'r difyniad uchod yn mhell o fod yn gywir. Cododd cwestiynau gyda golwg ar weinyddiad yr ordinhadau yn mron ar gychwyn y diwygiad; mor foreu a'r flwyddyn 1744 dangosai lliaws o'r aelodau yn y gwahanol seiadau annhueddrwydd i gymuno yn yr Eglwys Sefydledig. Yn nghofnodau Trefecca cawn hanes Cymdeithasfa Fisol, yn cael ei chynal yn Llanfihangel, Mai 3, 1744; ac yn mysg penderfyniadau eraill croniclir yr un a ganlyn: "Yr oeddym wedi cyduno yn flaenorol i beidio galw y cynghorwyr yn weinidogion. Yn neillduol gan ein bod yn gweled fod petrusder y rhan fwyaf (gyda golwg ar gymuno yn eu heglwysydd plwyfol) yn codi o'u tywyllwch, a'u llygredd, ac nid o'u gras; yn (1) am eu bod yn edrych ar, ac yn tramgwyddo wrth feiau rhai eraill, sydd yn derbyn gyda hwy, yr hyn sydd yn sawru yn gryf o yspryd y Pharisead yn pwyntio at y publican, ac yn bradychu anwybodaeth gormodol am danynt eu hunain, a rhy fach o dosturi at eraill; yn (2) am eu bod yn edrych ar waeledd neu bechadurusrwydd yr offeiriad, gan ddweyd: Pa fodd y gallwn dderbyn lles, neu ddysgwyl bendith, trwy y cyfryw un? yr hyn sydd yn profi diffyg ffydd i edrych trwy y moddion at Dduw, ac yn dangos dibyniad ar ras y person sydd yn gweinyddu, ac nid ar y gras sydd yn Nghrist Iesu." Nid oedd Daniel Rowland, na neb o'r offeiriaid, yn bresenol yn y Gymdeithasfa; Howell Harris a lywyddai; efe yn ddiau oedd awdwr y penderfyniad y deuwyd iddo, oblegyd y mae ei ddelw yn amlwg arno. Pa fodd y daeth y cwestiwn gerbron, ai trwy genadwri uniongyrchol oddiwrth rai o'r seiadau, ynte trwy fod y cynghorwyr yn rhoddi hanes teimlad a welent yn ffynu, nis gwyddom; ond y mae yn amlwg fod anniddigrwydd pur gyffredinol yn ffynu, oblegyd fod yr aelodau yn cael eu cyfarwyddo gan y Gymdeithasfa i gymuno yn Eglwys Loegr. Gwelir hefyd fod yr anniddigrwydd yn codi oddiar ddau beth, sef drwg fuchedd ac anwybodaeth llawer o'r offeiriaid gweinyddol; a bywyd penrhydd ac annuwiol amryw o'r rhai a gyfarfyddid wrth y bwrdd.

Yn y flwyddyn ganlynol, mewn Cym-

deithasfa a gynaliwyd yn Nghayo, Sir Gaerfyrddin, derbyniwyd llythyr cryf, Cristionogol ei yspryd, oddiwrth gynghorwyr y Groeswen, yn gofyn am iddynt gael eu hordeinio i weinyddu y sacramentau. Yr ydym wedi cofnodi y llythyr yn flaenorol.* Dywed y cynghorwyr ynddo eu bod wedi ceisio cyfleustra i osod yr achos gerbron o'r blaen, ond nad oedd y cyfryw ryddid wedi cael ei ganiatau iddynt. Nid yw atebiad y Gymdeithasfa i'r llythyr ar gael; y mae yn amheus a gafodd ei ateb yn ffurfiol; ond dengys dydd-lyfr Howell Harris i'r genadwri ei gyffroi yn aruthr, a'i fod yn edrych arni fel amlygiad o falchder yspryd ar ran y rhai a'i hanfonai. Meddai: "Cawsom hir ymchwiliad i natur ac arwyddion balchder sydd yn awr yn dechreu ymddangos yn y cynghorwyr. . Rhoddodd yr Arglwydd i mi genadwri i'w chyhoeddi i'r brodyr; cenadwri ofnadwy, yn tori i'r byw, gyda golwg ar ostyngeiddrwydd, a thlodi yspryd. . . . Cyfeiriais at berygl balchder; mor ffiaidd oedd ein gweled ni (y cynghorwyr) yn falch, gan na feddwn ond ychydig ddoniau, ac ychydig wybodaeth mewn unrhyw beth, a'n bod heb ddysg na medr, yn wael ac yn ddirmygus yn ngolwg pawb, ac felly yr ydym mewn gwirionedd." Yr oedd llythyr arall, cyffelyb o ran cynwys, wedi ei dderbyn oddiwrth ryw gymdeithas yn Sir Fynwy. Yr oedd Daniel Rowland yn bresenol yn y Gymdeithasfa yn Nghayo; i ba raddau y cydunai efe a sylwadau Howell Harris, nis gwyddom; os teimlai yn wahanol nid yw yn ymddangos iddo wrthwynebu. Y mae mor amlwg a'r dydd fod cwestiwn gweinyddiad y sacramentau wedi dechreu cyffroi yr eglwysi mewn gwahanol siroedd yr adeg yma. Torodd eglwys y Groeswen y cwlwm trwy ordeinio Thomas Williams, a William Edwards, dau o'r cynghorwyr perthynol iddi, i weinyddu yr ordinhadau.

Y mae yn ymddangos ddarfod i'r pwnc gael llonydd i raddau am flynyddoedd lawer gwedi hyn. Efallai mai y prif reswm am hyny oedd i'r ddadl fawr rhwng Rowland a Harris, yr hon a derfynodd yn yr Ymraniad, lyncu pob pwnc arall iddi ei hun. Daeth syniadau arbenig Harris, a'i safle fel arolygwr cyffredinol, yn fater o ymryson mor boeth, ac o ganlyniadau mor ddifrifol i'r Cyfundeb, fel yr anghofiwyd y pynciau eraill, ac yn eu mysg pwnc yr ordeinio. Nid yn gyfangwbl ychwa oblegyd cawn i eglwys y New Inn, yn Fynwy, ordeinio Morgan John Lew weinyddu yr ordinhadau iddi, yn y flwy yn 1751. Y mae sail gref dros gr mai dan gyfarwyddyd uniongyrchol Da Rowland y gwnaed hyn. Yr hanes ddarfod i'r eglwys anfon dau genad i L geitho i fynegu ei hamgylchiad; ei bod mhell oddiwrth yr offeiriaid Method aidd; na wnai yr aelodau gymuno yn Llan oblegyd bywyd afreolus yr offeiri ac nad oeddynt am ymuno a'r Ymneill wyr. Rowland, wedi ystyried y mater ddifrifol, a gynghorodd yr eglwys i Morgan John Lewis yn weinidog ai trwy ympryd a gweddi. Ychwaneg "Fe wna gweddi y ffydd fwy o les iddo dwylaw unrhyw esgob dan haul." Me cyffelyb fodd cafodd Dafydd Williams ordeinio yn weinidog yn yr Aberthyn, trwy alwad ddifrifol yr eglwys, ac yn u â chyfarwyddyd Daniel Rowland. Dil wyd eglwysi y Groeswen, New Inn, Aberthyn, gan eglwys Mynyddislwyn.

Nid ydym yn cael ddarfod i unrh gyffro ychwanegol godi yn ystod rhan olaf o fywyd Rowland, a Willia Pantycelyn, gyda golwg ar ordeinio p gethwyr. Yr oedd cyrau pellaf y wl sef Mynwy a Maesyfed, wedi eu col Fethodistiaeth; ac y mae yn bur deby teimlid annhueddrwydd i aflonyddu a drefn oedd wedi ffynu o'r cychwyn, tr byddai yr offeiriaid cyntaf yn fyw. C rhoddwyd cam yn mlaen gyda'r pv mewn cyfeiriad arall, sef trwy weinydd sacramentau mewn tai heb eu cyseg Daethai Methodistiaid Lloegr i'r penc fyniad o gael gweinyddiad o'r ordinha yn y seiadau, os byddai yr offeiriaid plwy yn gwrthod y fraint iddynt, mor foreu flwyddyn 1743; ac y mae sail i gredu Howell Harris yn gydgyfranog yn y p derfyniad. Yr oedd ef ar y cychwyn fwy rhyddfrydig ei yspryd, ac yn llai ymlyniad wrth yr Eglwys, nag y cawn ar derfyn ei yrfa. Mor bell ag y gwydd ni weinyddwyd Swper yr Arglwydd me adeilad anghysegredig gan Fethodisti Cymru hyd y flwyddyn 1754, pan yr ag wyd capel Woodstock, gan Whitefi Pregethodd ef ar yr achlysur, ac ar y fyn gweinyddodd y sacrament; a bu yr dinhadau yn cael eu gweinyddu yn Wo stock o hyny allan, sef er 56 o flynyddo cyn y Neillduad. Howell Davies oedd fw cyfrifol am y cam hwn, ond y mae yn g

---

* *Y Tadau Methodistaidd*, cyf. i., tud. 291.

sicr na chymerodd ef heb ymgynghori a'i hoff gyfaill, Daniel Rowland. Yn y flwyddyn 1763, ychwanegwyd dau le arall, heb eu cysegru, at Woodstock, er cael gweinyddiad o'r sacramentau ynddynt; sef Capel Newydd, ar gŵr uchaf Sir Benfro; a chapel Gwynfil, yn Llangeitho. Trwy offerynoliaeth Howell Davies yr adeiladwyd y cyntaf; efe a bregethodd ynddo ar ei agoriad; efe a gyfranodd ynddo gyntaf; ac hyd y Neillduad deuai crefyddwyr rhanau uchaf Penfro, a rhanau isaf Sir Aberteifi, yn lluoedd i'r Capel Newydd i gymuno. Addoldy a godwyd i Daniel Rowland ar ei dröad allan o'r Eglwys oedd capel Gwynfil; a chwedi cau drysau y Llan yn ei erbyn, yma y gweinyddai yr ordinhadau hyd ddydd ei farwolaeth. Cyrchai y miloedd ato i'r capel, fel y cyrchent i eglwys Llangeitho yn flaenorol; a chan fod y capel yn llawer eangach adeilad yr oedd yn fwy cyfleus i'r pwrpas. Byddai Rowland yn gweinyddu hefyd yn fynych yn Woodstock a Chapel Newydd. Mor bell ag y gwyddom, dyma yr unig leoedd heb eu cysegru yn y Dê ag yr arferid cyfranu ynddynt gyda chysondeb yn ystod bywyd Daniel Rowland. Ar yr un pryd nid annhebyg ei fod ef yn cyfranu mewn lleoedd eraill, ac y mae agos yn sicr na wrthodai wneyd pa le bynag ei cymhellid. Y mae dau lestr ar gael yn awr y byddai Rowland yn eu defnyddio yn gwpanau cymun yn Mhensarn. Cyn ei farw ef, sef yn y flwyddyn 1785, dechreuodd y Parch. Thomas Charles gyfranu yn nghapel y Bala, a chyrchai tyrfaoedd yno fel ag y gwnelent i Langeitho. Yn fuan gwedi i'r apostol o Langeitho huno ychwanegwyd amryw leoedd i weinyddu y sacramentau, sef Aberystwyth a Thwrgwyn, yn Sir Aberteifi, tua'r flwyddyn 1795; a Hwlffordd, yn Sir Benfro; ac yn fwy diweddar Abergwaun a Threfin. Ychydig cyn y Neillduad estynwyd y fraint hefyd i gapel Heol-y-Dwfr, yn Nghaerfyrddin. Heblaw yn y capelau yma byddai lliaws o'r Methodistiaid yn cymuno yn yr eglwysydd plwyfol, gyda'r offeiriaid Methodistaidd, megys yn Nefern, lle y gweinyddai yr enwog Barch. D. Griffiths; yn Llanfyrnach, gyda y Parch. J. Davies; ac yn Llandudoch, gyda y Parch. William Jones.

Er gwaethaf gwrthwynebiad ffyrnig yr offeiriaid Methodistaidd y medrwyd ychwanegu pob un o'r lleoedd anghysegredig yr ydym wedi cyfeirio atynt, i weinyddu y sacramentau. Y mae yn deilwng o sylw fod yr ail dô o offeiriaid, a ystyrient eu hunain yn Fethodistiaid, yn llawer culach na'r tô cyntaf, ac yn ymlynu yn dynach wrth yr Eglwys. Ni fu gan Daniel Rowland, Williams, Pantycelyn, Howell Davies, Peter Williams, a William Davies, fywioliaeth yn yr Eglwys erioed; er mor uchel eu doniau, ni fedrodd yr un o honynt ymddyrchafu yn uwch na chuwrad; a chyda'r eithriad o Howell Davies, gomeddwyd iddynt barhau hyd yn nod yn y sefyllfa hono. Felly llac iawn oedd y llinyn a'u cysylltai wrth yr Eglwys. Ond am eu holynwyr, meddai amryw o honynt fywioliaethau. Yr oedd y Parch. David Jones yn ficer yn Llangan; Griffiths yn Nefern, Jones yn Llandudoch, a Davies yn Llanfyrnach; naturiol tybio fod eu safle a'u bywioliaeth yn dylanwadu arnynt yn gryf; a rhaid cyfaddef am amryw o honynt eu bod yn fwy o Eglwyswyr nac o Fethodistiaid. O'r offeiriaid a arosent yn yr Eglwys y mwyaf efengylaidd, a'r mwyaf rhyddfrydig ei yspryd, o lawer, oedd y Parch. D. Jones, Llangan. Ond cawn ei fod ef yn ofni am ei fywioliaeth pan y dechreuodd pwnc yr ordeinio gael ei ddadleu. Oblegyd eu cysylltiad â'r Eglwys ni wnai y gwŷr ydym wedi enwi gyfranu yn y capelau; ac felly disgynodd gweini yr ordinhadau yn y tai cyrddau yn gyfangwbl ar yr offeiriaid oeddynt wedi llwyr adael yr Eglwys, mewn undeb â Mr. Jones, Llangan. Ceisiai yr offeiriaid wasanaethu dau arglwydd; mynychent Gymdeithasfaoedd y Methodistiaid, ac aent ar deithiau pregethwrol ar hyd a lled y wlad; ond ar yr un pryd ymdrechent ryngu bodd yr esgobion, a pheidio cyflawni dim a dynai arnynt ŵg eu huchafiaid. Yn raddol aethant i wrthod pregethu yn y capelau, o leiaf yn y Dê. Pan elent i Wynedd nid oedd drysau un llan yn agored iddynt; felly yr oeddynt yn rhwym o bregethu yn yr awyr agored, mewn tai anedd, ac mewn capelau, fel y byddai y cyfleustra yn rhoi; ond yn y Deheudir aethant i wrthod pregethu mewn capelau ar unrhyw gyfrif. Yr ydym yn cael hanes Cyfarfod Misol yn cael ei gynal yn Bwlch-y-groes, yn Sir Benfro. Y nos gyntaf pregethai Mr. John Williams a Mr. Evan Harris. O lefarwyr diurddau ni ystyrid neb arall oedd yn bresenol yn deilwng i gael ei osod mewn safle mor bwysig. Eithr yr oedd yno amryw o offeiriaid a ymgyfathrachent â'r Methodistiaid, ac yn

eu mysg Mr. Griffiths, Nefern; ond gomeddent un ac oll bregethu am fod y cyfarfod yn cael ei gynal mewn capel; a bu raid gosod yr un dau i bregethu boreu dranoeth. Eithr cafwyd odfa a bendith Duw yn amlwg iawn; disgynodd y gwlaw graslawn yn drwm ar y gynulleidfa, a gorphenwyd y cyfarfod mewn moliant a chân. Ac ar ganol ei bregeth dywedai Mr. Harris: "Gadewch i ni weddïo, frodyr, am i'r efengyl i fyned at yr offeiriaid i'r llanau, neu iddynt hwy i ddyfod ati hi i ben y domen."

Yn mysg yr offeiriaid hyn y culaf o bawb oedd y Parch. Nathaniel Rowland. Y mae yn anhawdd cyfrif am y teimlad Eglwysig cryf a'i meddianai, yn neillduol pan gofiom am y driniaeth a gafodd ei dad oddiar ddwylaw yr esgobion. Efallai fod cyfoeth a pharchusrwydd cymdeithasol wedi ei ddallu, ac yr ystyriai ei hun yn ŵr rhy fawr i ymgymysgu llawer â'r Methodistiaid, oddigerth pan ddeuai fel brenin i'w cynadleddau. Ac eto yr oedd yn gwbl anghyson âg ef ei hun. Yn Hwlffordd pregethai gyda chysondeb mewn capel heb ei gysegru, a gweinyddai yr ordinhadau yno; ymddengys fod ganddo ddau gapel arall dan ei ofal; ond ar hyd a lled y wlad gwrthodai dywyllu drws capel. Pan ddeuai i Abergwaun, nid ai i'r capel ar unrhyw gyfrif; pregethai yn yr eglwys; a chwedi pregethu ai i dŷ hen ferch weddw oedd yn gorwedd yn glaf, ac yno mewn ystafell fechan gwbl anghyfleus y gweinyddai y cymundeb. Byddai y Methodistiaid oeddynt yn aelodau cyflawn yn gorfod ei ganlyn yno, neu ynte fod yn amddifad o'r ordinhad sanctaidd. Bu y bobl grefyddol yn ymhwedd arno drachefn a thrachefn am ddyfod i'r capel; ond gwrthod a wnai; ac os gwesgid yn drwm arno, ai i dymher ddrwg, a dywedai yn llidiog: "Na ddeuaf, byth." Ac yn hyn bu cystal a'i air. Efe, felly, fyddai yn gwrthwynebu pan ddeuai cais am ychwanegu at y lleoedd i gyfranu. Mewn Cymdeithasfa yn Nghaerfyrddin, gofynai Mr. David Charles, cyn iddo ddechreu pregethu, am ganiatad i gael gweinyddiad o'r sacramentau yn y dref hono. "Mae yr eglwys yn y dref hon," meddai, "wedi gosod arnaf i ofyn drostynt, a gant hwy y fraint o wneyd coffa am farwolaeth eu Prynwr?" Cyffrodd Nathaniel Rowland trwyddo, a chrochlefodd dros y lle: "Na chewch; y mae capel Llanlluan yn ddigon agos." Hen gapel Eglwysig wedi myned yn wag, a'r Methodistiaid wedi cymeryd meddiant o hono, oedd capel Llanlluan; yr oedd allan yn y wlad ryw ddeng milltir o bellder, a'r ffordd ato yn ddigon anhygyrch. Ond tybiai Nathaniel Rowland yn briodol anfon Methodistiaid Caerfyrddin yno, er yr holl anghyfleustra, oblegyd ei fod wedi derbyn cysegriad esgobol, yn hytrach na gadael iddynt gymuno mewn tawelwch yn eu capel eu hunain.

Eithr yr oedd Mr. Charles yn ŵr o benderfyniad, ac ni fynai gymeryd gomeddiad oblegyd mympwy Nathaniel Rowland. "Yr wyf yn gofyn drachefn," meddai, "a gawn ni y fraint hon? Yr ydym yn cael pregethu Crist, yn cael ei broffesu, ac yn cael credu ynddo; a gawn ni gofio iddo farw trosom?"

"Na chewch, yn y lle hwn,' ebai Mr. N. Rowland, a diau ei fod yn ymgynhyrfu wrth weled ei farn yn cael ei chwestiyno.

"Nid i chwi yr archwyd i mi ofyn," ebai Mr. Charles, "ond i'r Gymdeithasfa."

Ar hyn yr oedd calon Mr. Jones, Llangan, wedi toddi yn llyn. Ymddengys mai efe a eisteddai yn y gadair; a dyma ef yn gwaeddi allan: "Cewch." Ac yn ei ffordd gyfeillgar ei hun trodd at Mr. Charles, gan ddywedyd: "Pa bryd yr wyt am gael hyny, Deio bach? Mi ddof fi i'ch helpio i gofio am dano." Gyrodd atebiad y cadeirydd Mr. N. Rowland i dymherau enbyd; rhuthrodd arno yn ddiarbed; ond er ei waethaf y cymundeb a gafwyd yn Nghaerfyrddin o hyny allan.

Yr oedd Mr. Griffiths, Nefern, o gyffelyb yspryd i Nathaniel Rowland. Yr oedd lliosogi y lleoedd i weinyddu yr ordinhadau ynddynt yn gwbl anfoddhaol ganddo, ac elai i dymherau poethlyd pan ddelai cais am hyny gerbron. Mewn Cyfarfod Misol yn Sir Benfro, daeth cais o Dyddewi am ganiatad i gymuno yno, pan y dygwyddai i un o'r offeiriaid ddyfod heibio ar ei daith. Yr oedd y cais, gellid meddwl, yn un digon rhesymol; ac yr oedd y blaenor a'i cyflwynai yn ddyn nodedig o gall, a chymhedrol ar ei eiriau; ond yr oedd yr hyn a ofynai fel tân ar groen y Parch. David Griffiths. "Nid eisiau gweinyddiad amlach o'r ordinhadau sydd arnoch," meddai, "awyddu am fyned yn *Ddissenters* yr ydych.'

"Nage, syr," meddai Mr. W. Williams, y gŵr a osodai y cais o flaen y cyfarfod, "deuwch chwi allan i weini i ni, ac ni

bydd ordeinio yn y sir hon tra byddoch byw."

Tawelodd hyn Mr. Griffiths am ychydig, ond yn fuan ail-adroddodd ei haeriad: "Mi welaf y mynwch fod yn *Ddissenters*." Dyna y bwgan oedd yn dychrynu yr offeiriaid, sef ofni i'r Methodistiaid fyned yn Ymneillduwyr. Efallai fod hyn yn eu gwneyd yn gulach nag y buasent oni bai hyny, ac yn peri iddynt dynhau y llinyn, oedd erbyn hyn agos wedi myned yn ddim, a gysylltai y Methodistiaid wrth yr Eglwys. Hawdd gweled fod pellder mawr wedi myned rhyngddynt a'r bobl; tra y tynent hwy i gyfeiriad y Llan, yr oedd y bobl yn tynu yn gryf i'r cyfeiriad arall. Arweinwyr yr aelodau cyffredin, yn y Deheudir, oedd Ebenezer Morris, Ebenezer Richard, a David Charles; y rhai hyn a gyfrifid yn athrawon; ac er fod parch mawr yn cael ei dalu i'r rhai a dderbyniasent urddau esgobol, yr oedd eu hiau wedi dyfod yn annyoddefol, a'u dylanwad yn prysur ddiflanu.

Yr oedd safle y Methodistiaid, yn nechreu y bedwaredd-ganrif-ar-bymtheg, gyda golwg ar weinyddiad yr ordinhadau, fel y canlyn. Cymunai llawer yn yr Eglwys, ac elent a'u babanod i'w bedyddio at offeiriad y plwyf. Yr oedd nifer y rhai hyn yn lliosocach mewn cyfartaledd yn y Deheubarth nag yn Ngwynedd. Yr oedd yn y Dê gryn nifer o offeiriaid yn ymgyfathrachu â'r Methodistiaid, ac yn presenoli eu hunain yn y Cymdeithasfaoedd. Yr oedd eraill yn rhyw haner Methodistiaid, ac yn talu parch i'r diwygiad ac i'r aelodau tra yr arosent o fewn cylch y Llan. Nid yw yn ymddangos fod y cyfryw i'w cael yn y Gogledd. Yr oedd y tri offeiriad a gyfaneddent yno wedi troi eu cefnau ar yr Eglwys yn llwyr. Yr oedd aelodau eraill drachefn yn cymuno yn y capelau a gawsent eu neillduo i'r pwrpas hwnw gan y Gymdeithasfa. Tueddwn i feddwl, er fod lliaws yn cyrchu bob Sul pen mis i'r Bala, y gweinyddid y cymundeb yn holl seiadau y Gogledd cyn y Neillduad, pa bryd bynag y deuai offeiriad urddedig heibio. Hawdd gweled fod y pwnc mewn stad ansefydlog, ac nas gallai y drefn, neu yn hytrach yr annhrefn, a ffynai yn mhlith y Methodistiaid barhau.

*Yr oedd yn anmhosibl i'r aelodau barhau i gymuno yn yr eglwysydd plwyfol.* Un rheswm am hyny oedd bywyd penrhydd llawer o'r offeiriaid. Ofer ceisio gwadu fod llawer o'r rhai a dderbyniasent urddau sanctaidd yn arwain bywyd annheilwng yr adeg hon. Addefir hyny yn bresenol hyd yn nod gan haneswyr Eglwysig eu hunain. Felly, naturiol casglu fod gan ddynion crefyddol, ac ofn Duw yn llanw eu heneidiau, wrthwynebiad cryf i dderbyn yr elfenau gan greadur meddw, a arferai faswedda yn y dafarn. Hawdd dadleu â hwynt, fel y gwnelsai Howell Harris yn y Gymdeithasfa, fod y cyfryw wrthwynebiad yn awgrymu diffyg ffydd; fod y fendith yn dibynu nid ar ras y person a weinyddai wrth y bwrdd ond ar y gras sydd yn Nghrist; ac y dylent edrych heibio i'r offeiriaid oedd yn cyfranu at yr Arglwydd Iesu. Eithr yr oedd y gwrthnaws yn erbyn derbyn y sacrament o law dyn cyhoeddus o annuwiol yn aros, a rhaid addef ei fod yn un iachus. Ac nid yr offeiriad gweinyddol yn unig a ddrwgdybid o fod heb ei aileni; cyfarfyddid wrth y bwrdd ag eraill o gyffelyb nodwedd, yn llygredig eu bucheddau, yn aflan eu hiaith, ac yn arweinwyr mewn annuwioldeb a rhysedd. Nid dibrofedigaeth fyddai ceisio cofio angau'r Gwaredwr bendigedig yn mysg y fath gwmni. Yn y Gogledd, yn arbenig, byddai i'r offeiriad, o law yr hwn y byddai raid i'r Methodistiaid dderbyn yr elfenau, yn adnabyddus fel y penaf o'r erlidwyr, yr hwn a ysgogai y werinos i'w baeddu. Teimlid y cyffelyb wrthnaws gan rieni duwiol yn erbyn myned a'u plant i'w bedyddio at yr offeiriaid. Elai rhai a'u babanod at ryw weinidogion Ymneillduol a ddygwyddai fod yn gyfleus, tra y byddai eraill yn esgeuluso yr ordinhad sanctaidd hon yn gyfangwbl. Y mae yn glir fod parhau i gymuno yn y Llan lawer yn hwy allan o'r cwestiwn i'r Methodistiaid, fod yn rhaid i'r arferiad ddyfod i derfyn buan.

Rheswm arall yn erbyn cymuno yn eglwys y plwyf oedd ei fod yn gwneyd dysgyblaeth eglwysig yn anmhosibl. Yr oedd y Methodistiaid yn awyddus am gadw y seiadau yn bur; nis gallent oddef y rhai drwg; ceryddent yn llym bwy bynag a syrthiai i fai, heb wneuthur gwahaniaeth rhwng boneddig a gwreng; ac oni fyddai edifeirwch dwys yn canlyn y trosedd, diarddelid y drwgweithredwr yn ddiymdroi. Ond ni fyddai yr offeiriad yn yr Eglwys yn gwneyd un sylw o ddysgyblaeth y seiadau; yn wir, ni fedrai; cyfranai ef yr elfenau i bawb a ddeuent yn mlaen at "yr allor." Felly, gwedi diarddel dyn am anfoesoldeb gwarthus, gan ei gyhoeddi yn

annheilwng o gymdeithas y saint, o bosibl y byddai yr aelodau yn ei gyfarfod wrth fwrdd y cymun y Sul canlynol, yn derbyn mor benuchel a neb. Adroddir am Mr. Richard, Tregaron, yn diarddel dyn o gymundeb yn Sir Aberteifi. Nid oedd amheuaeth am deilyngdod y ddysgyblaeth; profwyd y gŵr yn euog o feddwdod cyhoeddus, a hyny ragor nag unwaith; a chydunai yr holl frawdoliaeth yn y condemniad a gyhoeddwyd arno. Y Sabbath cyntaf wedi i hyn gymeryd lle, yr oedd y blaenor a ddygasai y cyhuddiad i'w erbyn yn ei gyfarfod wrth fwrdd y cymundeb. Pan yr hysbyswyd yr amgylchiad i Mr. Richard, ac y cafodd yntau allan, gwedi ymchwiliad manwl, fod yr hyn a adroddid yn berffaith wir, a bod amgylchiadau cyffelyb yn dygwydd yn fynych, cyffrowyd ei holl natur, a dywedodd, gyda'r penderfyniad a'i nodweddai: "Nis gallaf oddef hyn heb geisio ei symud."

*Yr oedd yn anmhosibl parhau i ddybynu am weinyddiad o'r ordinhadau ar yr offeiriaid Methodistaidd.* Fel yr ydym eisioes wedi dangos, cynyddodd y Methodistiaid yn ddirfawr mewn eglwysi ac aelodau tua diwedd y ddeunawfed ganrif, a dechreu y bedwaredd-ganrif-ar-bymtheg; yn neillduol yn Ngwynedd. Mewn canlyniad i sefydliad yr Ysgol Sabbothol, ac fel ffrwyth y diwygiadau nerthol a ysgydwent y wlad, ymunodd canoedd â'r eglwysi oeddynt eisioes wedi cael eu corphori, a ffurfiwyd lliaws o eglwysi newyddion. Canlyniad naturiol hyn oedd angen am ychwaneg i weini yr ordinhadau. Yr oedd y Gogledd yn nodedig o brin o rai a hawl i gyfranu; oblegyd nid oedd ond tri o offeiriaid wedi ymuno â'r Methodistiaid; sef y Parch. Thomas Charles, yn y flwyddyn 1785; y Parch. Simon Lloyd, yn 1789; a'r Parch. William Lloyd, Caernarfon, yn 1795. Ar y tri hyn yn benaf y dibynai miloedd Methodistiaid y Gogledd am gyfleustra i gofio angau'r groes, ac am fedyddio eu babanod; a beth oedd y tri yma rhwng cynifer? Weithiau hefyd deuai un o'r offeiriaid Methodistaidd ar daith trwy y wlad o'r Deheudir, a chymerid mantais ar ei ddyfodiad i gael gweinyddiad o'r ordinhadau, a hyny ddyddiau yr wythnos yn gystal ac ar y Sabbath. Bu y Parch. John Williams, Pantycelyn, ar daith trwy Wynedd yn y flwyddyn 1800, yn nghwmni John Prytherch, Defynog; ac mewn llythyr at ei frawd dywed ei fod bob dydd wedi teithio ar gyfartaledd bymtheg milltir, wedi pregethu dair gwaith, ac wedi cyfranu ddwy waith. Er hyn oll, afreolaidd hollol fyddai gweinyddiad yr ordinhadau yn y Gogledd; elai misoedd heibio yn aml, ac weithiau flwyddyn, heb i'r aelodau gael cyfleustra i gymuno. A gorfodid rhieni yn fynych i gymeryd eu plant i'w bedyddio at weinidogion perthynol i enwadau eraill. Nid oedd argoel ychwaith am weinyddiad mwy rheolaidd o'r sacramentau yn y dyfodol; oblegyd nid oedd yr un offeiriad ychwanegol yn dangos awydd am fwrw ei goelbren yn mysg y Methodistiaid. Yn hytrach, oni ddeuai ymwared o rywle, peidiai y gweinyddiad o'r ordinhadau yn llwyr yn mysg y Methodistiaid yn y Gogledd, yn mhen tuag ugain mlynedd o bellaf, gan fod y tri offeiriad a berthynent iddynt, yn dechreu heneiddio. Mor belled ag yr oedd a fynai Gwynedd â'r mater nis gallai y Methodistiaid fodoli, fel corph gwahaniaethol o bobl, dros ugain mlynedd yn hwy, oddieithr iddynt neillduo gweinidogion o'u mysg eu hunain, neu ynte iddynt ymfoddloni bod heb y sacramentau, yr hyn a fuasai yn eu hamddifadu o un o'r breintiau crefyddol uchaf, ac hefyd yn wrthwynebol i orchymyn pendant yr Arglwydd Iesu.

Yr oedd pethau yn dra gwahanol yn y Deheudir. Yr oedd yma un-ar-ddeg o leiaf o offeiriaid yn perthyn, i raddau mwy neu lai, i'r Methodistiaid; eithr nid oedd ond dau o honynt wedi ymadael a'r Eglwys yn gyfangwbl, sef y Parchn. John Williams, Pantycelyn; a John Williams, Lledrod. Yr oedd y lleill yn dal bywioliaethau, ac mewn canlyniad yn rhy rwym yn eu cartrefi i allu diwallu angen yr eglwysi trwy y wlad. Yr oeddynt hefyd, fel yr ydym wedi dangos eisioes, yn myned o ddydd i ddydd yn fwy Eglwysyddol eu teimladau, ac wedi dechreu gwrthod cyfranu yn y capelau; ïe, yn y rhai a gawsent eu neillduo i hyny gan y Gymdeithasfa, ac yn mha rai yr arferai Daniel Rowland, Howell Davies, a Williams, Pantycelyn, weinyddu yn ystod eu bywyd. Yn Morganwg, Caerfyrddin, a Phenfro, disgynai gweinyddiad y sacramentau mewn tai heb eu cysegru agos yn gyfangwbl ar Mr. Jones, Llangan; a chynorthwyid ef gan Mr. Howell Howells, Trehill. Yn Sir Aberteifi nid oedd neb i syrthio yn ol arno ond y Parch. John Williams, Lledrod. Nid oedd neb yn y golwg yn debyg o gymeryd eu lle pan fyddent feirw. Gan hyny, mewn ymddangosiad yn benaf y

gwahaniaethai y Deheudir oddiwrth y Gogledd; yr oedd parhad Methodistiaeth fel enwad gwahaniaethol yn dibynu yn gyfangwbl yn y Dê, fel yn y Gogledd, ar neillduo pregethwyr i gyflawn waith y weinidogaeth allan o'r enwad ei hun.

Y mae yn ymddangos mai tua'r flwyddyn 1806 y dechreuodd dadl y Neillduad. Cychwynodd mewn modd hynod o ddamweiniol. Arferai Mr. Gray gyfranu yn fisol yn Ffosyffin; ac er mai Methodist oedd efe ar y pryd, i bob pwrpas ymarferol, ac na fu capel Ffosyffin erioed yn perthyn i'r Annibynwyr, eto ar sail urddau Ymneillduol y gweinyddai, a hyny yn ol trefn yr Ymneillduwyr. Arferai cryn lawer o Fethodistiaid Pensarn, Twrgwyn, a Blaenanerch, gymuno gyda Mr. Gray. Un diwrnod, ar ddamwain, cyfarfyddai nifer o frodyr a chwiorydd crefyddol yn nhŷ rhyw chwaer oedd yn aelod yn Mhensarn; yn ol pob tebyg chwaer glaf ydoedd, yn cael ei hamddifadu o foddion gras, a hwythau wedi ymgasglu i gynal cyfarfod gweddi gyda hi. Wedi i'r cwrdd fyned trosodd, aeth yn ymddiddan am bethau crefyddol; am Mr. Gray yn cyfranu yn Ffosyffin, ac am yr afreoleidd-dra gyda gweinyddiad yr ordinhadau yn mysg y Methodistiaid. Yn mhen ychydig dyma ddynes, nodedig am yr ystôr o synwyr cyffredin a feddai, yn gystal ac am ei gras, yn gofyn cwestiwn: "Paham na chaem ninau ein pregethwyr, y rhai y mae y fath arddeliad ar eu gweinidogaeth, i weini yr ordinhadau yn ein mysg?" Taflodd y gofyniad bawb i ddystawrwydd; nid oedd gan neb un ateb i'w roi. Prin yr oedd y penaf o'r offeiriaid, na Mr. Gray ychwaith, yn meddu doniau gweinidogaethol o'r fath arucheledd a dylanwad ag eiddo Ebenezer Morris, Ebenezer Richard, Thomas Richard, a John Elias; a rhy brin y safent cyfuwch â hwy yn nghymeradwyaeth y bobl. Wedi hir fudandod, dyma un yn ateb: "Nis gwn i;" a'r llall, "nis gwn innau;" a'r un fath dywedodd pawb oedd yn y lle. Dranoeth neu dradwy yr oedd Ebenezer Morris i fod yn pregethu ac yn cadw cyfarfod eglwysig, yn ol ei arfer, yn Mhensarn; a phenderfynodd y frawdoliaeth yn nhŷ y chwaer glaf gyflwyno yr un gofyniad iddo ef. Cafwyd cyfleustra i hyny pan yr oedd yr odfa drosodd; ac yr oedd bagad o bobl yn gynulledig heblaw y swyddogion. "Paham?" ebai Mr. Morris, "paham hefyd? Arnoch chwi, y cymdeithasau eglwysig y mae y bai; y chwi sydd yn gyfrifol am na baech yn ein galw at y gwaith, ac yn ein gosod yn rheolaidd ynddo." Datganodd pawb ei farn, mewn canlyniad i eiriau Mr. Morris, y dylid cymeryd y mater i'r Gymdeithasfa, a pheidio gorphwys nes y byddai yr amcan wedi ei gyrhaedd.

Dyma y gareg wedi dechreu treiglo; yn ei blaen y rhaid iddi fyned mwy nes cyrhaedd gwaelod y cwm. Ymledodd y cyffro trwy yr holl wlad; a chan fod cynifer o bregethwyr a chynghorwyr yn tramwy ar hyd Gymru y pryd hwnw, nid hir y bu y pwnc cyn dyfod yn fater ymdrafodaeth trwy y Dywysogaeth oll. Yn wir, ni wnaeth cyfeillion Pensarn ond rhoddi tafod i deimlad oedd yn ffynu yn gyffredinol. Yr oedd llawer wedi gofyn y cwestiwn yn eu calonau o'u blaen hwy, ac wedi methu cael ateb iddo. Meddai y Parch. E. Griffiths, Meifod, yn ei hunan-gofiant: "Byddai yr hen frodyr yn arfer myned i eglwys y plwyf amryw weithiau yn y flwyddyn i gyfranogi o Swper yr Arglwydd; ac anogent bawb o'r aelodau eglwysig i fyned, gan na fyddent yn cael gweinyddiad o'r ordinhad gan neb o weinidogion y Corph (yr offeiriaid Methodistaidd), ond prin unwaith yn y flwyddyn. Ond ni allais i fyned gyda hwy ond unwaith, o herwydd anghywirder yr athrawiaeth, ac anfoesoldeb buchedd yr offeiriaid, yn nghyd ac anfoesoldeb amryw o'r rhai y byddai raid cydfwyta â hwy yno. Ac wedi i mi sefyll yn ol, ychydig a wnaed o'r arferiad ar ol hyny. Byddai y golled a'r diffyg o gael gweinyddiad o'r ordinhad yn achos o alar trwm ar fy meddwl, nes y gorfu i mi lawer gwaith ofyn i'r Arglwydd mewn gweddïau dirgel am gynysgaeddu yr eglwys â bronau yr ordinhadau. Ond bûm fyw amryw flynyddoedd mewn digalondid, ac anobaith yn mron, o weled hyny cyn myned i fy medd." Wrth "gynysgaeddu yr eglwys â bronau yr ordinhadau" y golygai Mr. Griffiths cael gweinyddiad cyson a rheolaidd o'r sacramentau yn yr eglwys Fethodistaidd, trwy neillduad pregethwyr o'i heiddo hi ei hun i hyny. Dengys pob peth fod y teimlad yn un cyffredinol a dwfn, er yn flaenorol i hyn fod pawb, rywsut, yn ofni siarad. Erbyn hyn hefyd yr oedd dylanwad y Parch. Nathaniel Rowland yn prysur ddiflanu, a chyn hir bu raid ei ddiarddel.

Y peth nesaf, er cario allan benderfyniad y frawdoliaeth yn Mhensarn, oedd cael rhywun i osod y mater yn deg a chlir gerbron y Gymdeithasfa. Nid oedd

Ebenezer Morris a'i gyfeillion heb ymdeimlo â mawredd y gorchwyl a pha un yr oeddynt wedi ymgymeryd, ac â maint y rhwystrau. Gwyddent y byddai yr offeiriaid yn sicr o wrthwynebu yn ffyrnig. Heblaw ei fod yn naturiol i'r offeiriaid i deimlo yn eiddigeddus dros urddas yr urddau oeddynt wedi dderbyn, yr oedd eu bod hwy, a hwy yn unig, yn meddu yr orfaelaeth *(monopoly)* o gyfranu i'r Methodistiaid yn ffynonell elw nid bychan iddynt, yr hwn, mewn rhan, a gollent pe y caffai y pregethwyr diurddau ddyfod yn gyfranog â hwy yn y fraint. Yr oedd cryn nifer o deuluoedd cyfrifol wedi ymuno â'r Methodistiaid; byddai y rhai hyn yn cyfranu yn rhydd o'u haur a'u harian ar derfyn gwasanaeth y cymundeb; ac ystyrid mai eiddo cyfreithlawn yr offeiriad a weinyddai oedd yr oll. Y. mae yn sicr fod Jones, Llangan, ac efallai Griffiths, Nefern, yn nghyd ac eraill o'r offeiriaid, yn derbyn mwy fel offrwm ar derfyn y sacrament nag a dderbynient oddiwrth eu bywioliaethau Eglwysig. Naturiol iddynt hwy, gan hyny, oedd gwrthwynebu y Neillduad, ac yr oedd Ebenezer Morris yn rhagweled eu gwrthwynebiad. Byddai y teuluoedd parchus hefyd, ar ba rai yr oedd gan yr offeiriaid afael gref, yn debyg o uno i geisio rhwystro. O ganlyniad, yr oedd yn rhaid cael rhywun i ddwyn y mater i sylw y Gymdeithasfa fyddai yn ei ddeall yn drwyadl; yn gallu rhesymu yn gryf ac yn oleu; na fyddai yn llwfrhau yn ngwyneb ymosodiad; ac yn meddu ar ryw gymaint o ddylanwad yn y Cyfundeb. Bu Mr. Morris yn chwilio yn hir am ŵr o'r fath, ond yn aflwyddianus. Yr oedd "y rhai cyfrifol" yn annhueddol i gymeryd yr achos mewn llaw; a hyny mewn rhan oblegyd ei bwysigrwydd dirfawr, ac hefyd am y dygai arnynt wg yr offeiriaid, ac y gwnelai hwy yn nôd i saethau wedi eu trochi mewn gwenwyn.

Ond deuwyd o hyd i'r cyfryw o'r diwedd yn mherson Evan Davies, Pensarn; neu fel y gelwid ef yn gyffredin, "Evan Twrgwyn," tad y Parch. Jenkin Davies, Twrgwyn; a thadcu y diweddar Mr. David Jenkin Davies, Aberystwyth. Blaenor ydoedd Evan Davies; ac er ei fod yn fychan o gorpholaeth yr oedd yn feddyliwr mawr. Ychydig, fel rheol, a ddywedai, ond pan y llefarai gwnai hyny "fel un ag awdurdod ganddo;" dangosai yn fuan ei fod yn feistr ar ei bwnc. Meddai yspryd gwir grefyddol; yr oedd ei gymeriad yn dryloyw, heb neb yn ei amheu; yr ydoedd yn gwbl ddiofn; ac, yr hyn oedd yn fantais ddirfawr iddo, yr oedd ganddo berffaith lywodraeth ar ei dymher. Efe oedd cynghorwr Ebenezer Morris yn mhob achos o anhawsder. Dyma y gŵr a gafodd ei benodi i ddwyn y priodoldeb o neillduo rhai o bregethwyr y Methodistiaid i weinyddu yr ordinhadau gerbron y Gymdeithasfa, yn Llangeitho. Y Gymdeithasfa a ddaeth; Jones, Llangan, a eisteddai fel llywydd yn y gadair; a dyna Evan Davies yn cyfodi ar ei draed, ac yn gosod yr achos gerbron. Siaradai gyda hunanfeddiant perffaith, ond yn dra gostyngedig; dangosai mor afreolaidd oedd y gweinyddiad o'r ordinhadau yn mysg y Methodistiaid, a dywedai ei fod yn ofni fod yr eglwysi yn cael cam. Eithr yr oedd ei eiriau yn disgyn fel gwreichion eirias ar deimladau yr offeiriaid oedd yn bresenol; nis gwyddom a oeddynt wedi clywed darogan fod y mater i gael ei ddwyn i sylw; a phan lawn ddeallwyd at beth yr amcanai, dyma un o'r offeiriaid yn tori ar ei draws, ac yn gwaeddi yn groch dros y lle:—

"Pwy yw y dyn yna sydd yn siarad? Trowch ef i maes; y mae yn annheilwng goddef y fath ddyn yn ein plith. Allan ag ef heb ragor o ymresymu." Priodolir gorchymyn troi y dadleuwr o blaid yr ordeiniad allan yn gyffredin i Mr. Jones, Llangan; ond dywedai Mr. David Jones, Dolaubach, yn bendant mai Griffiths, Nefern, a wnaeth; a thueddwn i feddwl mai efe sydd iawn; y mae y weithred yn llawer mwy tebyg i Griffiths nag i'r hen efengylydd o Langan. Efallai am mai efe a lywyddai y priodolir hyn i Mr. Jones.

Cyn i neb gynyg cario allan y gorchymyn, cyfododd Mr. James James, Penblaen, yr hwn oedd yn bregethwr nerthol, ac yn un na ofnai wyneb dyn: "Arafwch," meddai, "fe ddichon fod gan y gŵr genadwri atom; ac y mae yn gwbl ddireswm ei droi allan cyn ystyried natur a chynwys y genadwri y mae yn gario." Gyda fod Mr. James yn eistedd dyma John Elias ar ei draed: "Pe bai y gŵr," ebai Mr. Elias, "yn gosod ei gŵyn gerbron llys gwladol fe gawsai wrandawiad parchus, ac fe gawsai yr hyn a draethai sylw. A ydym ni, grefyddwyr, yn myned i drin aelodau eglwys Crist yn fwy didrugaredd ac ammharchus nag y trinir y deiliaid gan yr ynadon?"

Gyda hyn collodd yr offeiriaid bob llywodraeth arnynt eu hunain; amryw o

honynt a siaradent yn uchel, a hyny yr un pryd. Ychydig o resymau a ddygent yn mlaen; difriaeth ar y "terfysgwyr" oedd sylwedd yr hyn a draethent; ac yr oedd perygl i'r cyfarfod orphen yn annhrefnus. Ond heblaw Evan Davies, yr oedd yno eraill, megys Thomas Jones, Dinbych, Ebenezer Morris, a David Rees, Llanfynydd, yn gwbl dawel yn nghanol y berw; a dyma un o honynt, sef Ebenezer Morris, yn cyfodi, a chwedi cael gradd o seibiant, yn cynyg, gan fod yr achos dan sylw yn un tra phwysig, ac yn debyg o ddylanwadu yn gryf ar y Cyfundeb yn y dyfodol, mai gweddus fyddai neillduo diwrnod o ympryd a gweddi, a bod pawb yn syrthio gerbron Duw mewn ymbiliau dros eu gilydd, a thros lwyddiant achos y Cyfryngwr mawr yn eu dwylaw. Ar hyn dyma Mr. Jones, Llangan, yn tyneru; gŵr mwyn ei dymher a chrefyddol ei yspryd oedd efe; ac meddai, dan wylo yn uchel dros y lle, â'i ddwylaw yn mhleth: "Er mwyn pob daioni, frodyr anwyl, peidiwch a'm gweddïo allan o'r byd; mi af o'r ffordd yn bur fuan." Y mae gair Mr. Jones, "Peidiwch a'm gweddïo allan o'r byd," yn profi ei fod yn argyhoeddedig yn ei galon mai y rhai a bleidient y Neillduad oedd ar ochr y nefoedd i'r cwestiwn. Heblaw hyn, yr ydym yn credu ei fod yn barod wedi cymeryd rhan yn yr ordeiniadau a gymerasent le yn Nghyfundeb yr Iarlles Huntington.

Dyma fel y terfynodd y Gymdeithasfa y bu trafodaeth ynddi gyntaf ar y Neillduad. Dywedai un oedd yn bresenol ei bod yn debycach i festri plwyf nag i gyfarfod crefyddol. Eithr bu ffyrnigrwydd y gwrthwynebiad o fantais i'r ysgogiad; bu yn foddion i alw sylw cyffredinol at y pwnc; a'i ddwyn yn fater ymdriniaeth yn y gwahanol Gyfarfodydd Misol. Tua'r flwyddyn 1806 y dygwyddodd hyn. Wedi gosod ei law ar yr aradr, nid oedd Evan Davies am droi ei wyneb yn ol, ac mewn Cymdeithasfa a gynhaliwyd gwedi hyn yn Aberteifi, dyma ef yn codi drachefn, gan alw sylw at yr un mater. Tebygol mai Mr. Griffiths, Nefern, a lywyddai yma, a gwelodd yn dda floeddio fel y gwnaethai yn Llangeitho: "Trowch allan y dyn yna sydd yn dilyn cymanfaoedd i'w terfysgu, ac yn rhwygo yr achos; allan ag ef."

"Mr. Griffiths,' ebai yntau yn ol; "y mae y cerbyd mawr yn myned yn mlaen; gwyliwch sefyll ar ei ffordd, rhag eich sathru dan draed, fel y dygwyddodd i'r tywysog yn mhorth Samaria."

Ar hyn cyfododd Ebenezer Morris, y pregethwr godidocaf ei ddawn a'r mwyaf ei ddylanwad o eiddo y Methodistiaid yn y Deheudir; ceisiai gan Mr. Griffiths, a'r offeiriaid eraill, beidio cyffroi, eithr sefyll yn bwyllog uwchben yr achos, ac ymresymu yn deg arno yn yspryd yr efengyl. Ychwanegai Mr. Morris: "Boddlawn a thawel a fyddwn i heb y Neillduad y sonir am dano, pe y gallwn gredu mai dieuog a fyddwn yn y farn fawr o fod yn fyddar i gŵyn, ac esgeuluso angen yr eglwysi; ni soniwn i air am y peth byth mwy; ond y mae dychryn arnaf i fod yn ddystaw neu yn ddiofal, rhag y gofyn Duw yr esgeulusdra ar fy llaw i a'm brodyr." Dywedir fod agwedd Mr. Morris pan y llefarai fel hyn yn ofnadwy o ddifrifol; crynai yr offeiriaid yn ei bresenoldeb, ac ni feiddiai yr un o honynt amheu cywirdeb hollol y datganiad pwysig a wnaethai. Adferodd ei eiriau bwyll i'r Gymdeithasfa. Cafwyd hamdden i drafod y pwnc gyda mesur o dawelwch. Dadl yr offeiriaid oedd, mai yr esgobion yn unig, yn ol y Testament Newydd, a feddent hawl i ordeinio; mai fel yr oeddynt, sef yn adran ddiwygiadol mewn cysylltiad â'r Eglwys Wladol, ac yn derbyn y sacrament o ddwylaw ei hoffeiriaid, yr oedd Duw wedi bendithio y Methodistiaid; a bod perygl symud yr hen drefn, rhag wrth wneyd hyny iddynt anfoddloni yr Arglwydd. Ond yr oedd Ebenezer Morris yn gryfach ymresymwr, ac yn fwy cadarn yn yr Ysgrythyrau na neb o'r offeiriaid; heblaw hyny, meddai berffaith hunanlywodraeth; felly llwyddodd i ddadymchwel eu holl wrthddadleuon, a theimlid ar derfyn y Gymdeithasfa ei fod wedi cario y maes yn hollol.

Teg cofnodi nad oedd holl offeiriaid y Deheubarth yn gwrthwynebu y Neillduad; yr oedd pedwar yn bleidiol, sef y Parch. John Williams, Pantycelyn; y Parch. John Williams, Lledrod; y Parch. Howell Howells, Trehill; a'r Parch. William Howells, Longacre. Bu Mr. Howells, Longacre, yn cymeryd rhan mewn gwasanaeth ordeinio yn mysg y Methodistiaid, er nad oedd yn bresenol yn y cyntaf. Nid yw yn ymddangos i'r blaenaf gymeryd unrhyw ran yn y ddadleuaeth; yr oedd gwaeledd ei iechyd a'i fynych wendid yn ei rwystro i ddyfod i'r Cymdeithasfaoedd; ond yr oedd ei enaid mewn cydymdeimlad llwyr â'r

symudiad. Eithr am Williams, Lledrod, yr oedd ei argyhoeddiad mor ddwfn fel nid yn unig y pleidiai y peth yn y cynadleddau, ond hefyd y pregethai ar y mater. Hyn ni feiddiai yr offeiriaid gwrthwynebol anturio arno, ac ni hoffai neb o'r pregethwyr diurddau ymgymeryd ag ef, rhag cael eu drwgdybio o hunangais; ond ymddangosai yn berffaith weddus yn Mr. Williams. Wrth wneyd hyn cymerai amryw destunau. Ei destun unwaith oedd Salm cxxii. 6: "Dymunwch heddwch Jerusalem; llwydded y rhai a'th hoffant." Adroddai yr hen flaenor cofus, Mr. David Jones, Dolaubach, am Mr. Williams yn pregethu ar yr un mater oddiar Mat. xiv. 24: "A'r llong oedd weithian yn nghanol y môr, yn drallodus gan donau, canys gwynt gwrthwynebus ydoedd." Oddiar y geiriau gwnelai y sylwadau canlynol: 1. Nad yw cyfarfod â gwrthwynebiadau wrth gyflawni unrhyw amcan yn brawf o bechadurusrwydd yr amcan hwnw. Aethai y dysgyblion y tro hwn i'r môr mewn ufudd-dod i orchymyn Crist, ac eto cyfarfuant â gwynt gwrthwynebus. 2. Mai nerth a dyogelwch dysgyblion yr Arglwydd Iesu, yn y cyflawniad o'u dyledswyddau, ydyw fod Crist ar y mynydd yn gweddïo. 3. Mai y diwedd dedwydd i bawb a ddaliont yn ffyddlawn yn eu gyrfa yn ngwyneb gwrthwynebiadau, fydd i Grist ddyfod atynt, a gostegu yr ystorm. Cymhwysai Mr. Williams y sylwadau hyn, gyda deheurwydd a nerth dirfawr, at y ddadl gyda golwg ar y Neillduad.

Nid yn y Cymdeithasfaoedd yn unig yr oedd y pwnc yn fater ymdriniaeth; dyma destun yr ymddiddan rhwng y pregethwyr a'r blaenoriaid, pa le bynag y cyfarfyddent. Byddai dadleuaeth boeth arno yn aml yn y llety-dai ar ol yr odfaeon. Yr ydym wedi cyfeirio yn barod at wrthwynebiad blaenoriaid Llangeitho a'r cyffiniau i'r Neillduad. Teg hefyd cofnodi mai cael eu dylanwadu yr oeddynt gan yr offeiriaid cymydogaethol, megys Mr. Lloyd, Cilpill, a Mr. Jones, Glanmarch, y rhai oeddynt yn wrthwynebwyr ffyrnig i'r symudiad, ac hefyd yn fawr eu dylanwad, nid yn unig ar gyfrif eu swyddogaeth, ond yn ychwanegol oblegyd eu bod yn bregethwyr grymus, ac yn berchenogion tiroedd. Ofnai llawer o'r blaenoriaid am eu bywioliaeth pe y gwrthwynebent y gwŷr hyn. Byddai Mr. Williams yn dadleu yn fynych â'r blaenoriaid yma, gan ddynoethi eu hannghysondeb a'u hystyfnigrwydd. Meddai Mr. Jones, Dolaubach: "Clywais ef yn dadleu yn aml â hen flaenoriaid oeddynt yn zelog dros yr hen drefn, ac yn eu dwrdio yn erwin. 'Ni fedraf ddeall,' meddai, 'beth a'ch boddia chwi, y ffyliaid dylion. Ni wna offeiriad rheolaidd mo'ch tro, na gweinidog Ymneillduol na chwaith; rhaid i chwi, druain, gael offeiriad wedi ei esgymuno, onide ni chymerwch mohono.'" Diau fod geiriau yr hen offeiriad o Ledrod fel halen ar gig noeth.

Nid oedd y gwrthwynebiad i'r Neillduad agos mor gryf yn y Gogledd; tri offeiriad o fewn yr holl dalaeth a berthynent i'r Methodistiaid, sef Mr. Charles, Mr. Simon Lloyd, a Mr. W. Lloyd, Caernarfon; ac nid oedd un o'r tri wŷr hyn yn meddu bywioliaeth yn yr Eglwys Sefydledig. Ymddengys mai Mr. Charles yn unig a gymerodd ran yn y ddadl. A rhaid addef iddo ef am amryw flynyddoedd barhau yn wrthwynebwr cryf, ac iddo gario ei wrthwynebiad mor bell nes peryglu y teimladau da a fodolent rhyngddo a'i frodyr. Yr ydym wedi datgan ein barn yn flaenorol nad oedd Mr. Charles yn wrthwynebol i'r Neillduad ynddo ei hun; na feddai ragfarn cryf o blaid urddiad esgobol, ac nad amheuai hawl y Cyfundeb i neillduo pregethwyr i gyflawn waith y weinidogaeth; ond mai ofni rhwyg yr ydoedd. Gwelai fod yr offeiriaid Methodistaidd mewn parch dirfawr gan y wlad, a'u bod yn benderfynol o ymladd yn erbyn y symudiad; felly ofnai y canlyniadau, rhag i'r Neillduad gynyrchu ymraniad anadferadwy. Mai dyma agwedd meddwl Mr. Charles ar y mater sydd sicr; am hyn y mae genym ei dystiolaeth bendant ef ei hun. Yn nghofiant y Parch. Evan Griffiths, Meifod, adran o ba un a gafodd ei ysgrifenu gan Mr. Griffiths, cawn gofnodiad o ymddiddan a gymerodd le rhyngddo a Mr. Charles ar y pwnc. Fel hyn y dywed: "Wrth ymddiddan â'r diweddar Barch. Thomas Charles, o'r Bala, amryw flynyddoedd cyn y Neillduad cyntaf, hysbysodd i mi ei fod ef mewn galar a hiraeth mawr am i hyny (neillduad pregethwyr i gyflawn waith y weinidogaeth) fod yn y Corph. Ond ei fod ef yn methu gweled addfedrwydd i hyny eto, heb naill ai ymrwygiad neu ormod tueddiad at Annibyniaeth; ac am hyny mai gwell oedd ganddo ef ymddangos megys yn wrthwynebol, nes y gwelai fwy o addfedrwydd i hyny. Rhoddodd yr ymddiddan hwn anadl newydd i fy meddwl, i ddysgwyl a gweddïo am hyn yma, a

llawer tòn a welwyd gwedi hyny cyn y Neillduad cyntaf. A phan y clywais fod galwad ar bob sir i gydolygu am gael rhai o'r pregethwyr i'w neillduo fe lonodd fy meddwl yn fawr." Nis geill amheuaeth fodoli gyda golwg ar gywirder tystiolaeth Mr. Evan Griffiths; yr oedd ef yn ŵr nodedig o ddysyml yn gystal a duwiol, ac ysgrifenai yr hanes hwn nid i bwrpas dadl, oblegyd ni thybiodd ei galon y gallai dadl ar y mater gyfodi, ond yn unig fel cofnodiad o'r hyn a wyddai ef yn bersonol am y drafodaeth. Gwelwn oddiwrth yr hyn a ddywed Mr. Griffiths nid yn unig nad oedd Mr. Charles yn wrthwynebol i'r Neillduad ynddo ei hun, ond ei fod yn awyddus am y peth; ei fod yn llawn hiraeth am i hyny gael ei ddwyn oddiamgylch, ac mai methu gweled yr addfedrwydd angenrheidiol at gymeryd cam o'r fath bwysigrwydd a barodd iddo am amryw flynyddoedd gymeryd yr ochr wrthwynebol.

Y prif ddadleuwyr o blaid y Neillduad yn Ngwynedd oeddynt John Elias, Robert Jones, John Evans, a Thomas Jones, Dinbych. Dywedent eu meddyliau yn ddiofn ar y mater; nid ofnent gael eu cyhuddo ar gam o uchelgais a rhyfyg cnawdol; teimlent fod ffyddlondeb i Dduw, a lles yr eglwys tros y wlad yn galw arnynt lefaru. Efallai, er fod John Elias yn y cyhoedd y mwyaf amlwg ar gyfrif ei ddoniau areithyddol dysglaer, mai Thomas Jones oedd y prif ysgogydd, ac y mae efe wedi ysgrifenu ei syniadau ar y mater mor glir a phwyllog fel nas gellir eu camgymeryd. Mewn llythyr at gyfaill ysgrifena fel y canlyn: "Yr hyn sydd yn taro fy meddwl gyda grym mawr ydyw cynwysiad yr ystyriaethau canlynol:—

"1. Y mae yr Ysgrythyrau yn ymddangos i mi yn eglur a phendant yn gorchymyn yr arferiad o'r *ddau* sacrament yn eglwys Crist; ac hefyd yn amlwg o blaid gweinyddiad Swper yr Arglwydd yn fwy mynych, os nad yn fwy rheolaidd o ran amser, nag y mae yn cael ei arfer yn ein plith ni.

"2. Nid wyf yn gallu galw i gof weled o honof eglwys weledig yn cael ei darlunio gan neb rhyw ysgrifenydd, ond fel cynulleidfa o bobl a chanddynt Air Duw yn cael ei gywir bregethu, a'r sacramentau yn cael eu dyladwy weinyddu yn eu plith.

"3. Yr wyf yn sylwi nad yw bedydd, mewn dull cyffredin o ddweyd, yn cael ei weinyddu yn ein mysg.

"4. Bod mewn amryw o'n cymdeithasau lawer o bobl yn anewyllysgar iawn i gymeryd bedyddio eu plant yn Eglwys Loegr, a chan ei gweinidogion; ymddengys fod yr anewyllysgarwch hwn, yn gystal a'r nifer o bobl sydd yn tueddu ato, ar gynydd parhaus; ac am gymuno yn Eglwys Loegr, nid oes ond ychydig iawn o'n pobl yn tueddu at hyny.

"5. Bod, yn ol pob argoelion, lawer o'n cydaelodau yn ddiau yn cael eu dolurio yn eu cydwybodau wrth gael eu gwasgu i fedyddio eu plant yn Eglwys Loegr, gan ei gweinidogion anneffröedig, &c.

"6. Bod amryw yn ceisio'r ordinhad gan weinidogion o gorph arall, er gyda meddwl anfoddlawn, drwy fwy nag un ystyriaeth.

"7. Bod cymhell neb o'n haelodau i geisio yr un o'r sacramentau oddiallan i gylch ein Corph ein hunain yn beth na ddylem fod yn euog o hono, gan ei fod yn groes i Air Duw, ac i arferiad gyffredinol eglwys Dduw, yn mhob oes a gwlad.

"Y cyfryw yw yr ystyriaethau ag sydd yn taro yn egniol ac yn argyhoeddi fy meddwl i; ac er pan wyf yn byw yn y dref hon, y rhai olaf, trwy siamplau ag sydd yn rhoi peth chwaneg o brawf, a wnaethant argraff mwy dwfn ar fy meddwl. Y mae fy ymgais yn fynych wedi bod i fy holi fy hun, ac i adnabod fy nybenion, gyda gweddi ar i'r Arglwydd fy ngoleuo, fy atal, a'm llywodraethu, rhag i mi gael fy arwain gan unrhyw dueddiad hunanol neu bechadurus, a'm llithio i fod yn achos o ddim aflonyddwch i eglwys Dduw. Ac yn awr, er fy mod yn teimlo fy hun yn greadur tra llygredig a phechadurus, nis gallaf lai na dweyd, hyd eithaf fy ngwybodaeth, fod fy amcan yn gywir ac yn onest. Y mae yr achos hefyd yn dda ac yn bwysfawr. Os darfu i mi gyfeiliorni mewn cynhyrfiad, defnydd, neu ddull, bydded i'r Arglwydd fy argyhoeddi a'm diwygio."

Caria y geiriau hyn ar eu hwyneb onestrwydd trwyadl; amlwg fod yr hwn a'u hysgrifenodd yn ddyn nodedig o gydwybodol, ac yn ymdeimlo â phurdeb ei amcanion. Nid oes dyddiad i'r llythyr, ond prawf amryw ymadroddion ynddo, yn enwedig y frawddeg ddiweddaf—"Os darfu i mi gyfeiliorni"—iddo gael ei ysgrifenu gwedi i'w awdwr anturio gweinyddu yr ordinhadau heb gael ei ordeinio i hyny gan y Gymdeithasfa. Ceir yn y llythyr hwn olygiadau Mr. Jones ar bwnc y

sacramentau; golygiadau y daeth iddynt gwedi ymchwiliad helaeth, meddylgarwch dwfn, a gweddi daer am arweiniad dwyfol.

Difynwn eto ranau o lythyr a anfonodd at Mr. Daniel Jones, Liverpool, tua diwedd y flwyddyn 1809, neu ddechreu 1810. Yr oedd Daniel Jones yn fab i'r Parch. Robert Jones, Rhoslan, ac yn bregethwr perthynol i'r Methodistiaid; a bodolai cyfeillgarwch cynhes rhwng Thomas Jones ac yntau. Fel hyn yr ysgrifena Mr. Thomas Jones: "Yn gymaint a bod fy anwyl a'm parchus gyfaill, Mr. T. Edwards, yn ei lythyr diweddaf ataf, wedi fy rhybuddio yn ddifrifol *na byddo a wnelwyf a'r rhai sydd yn ymroddi i gyfnewidiadau;* wrth hyn chwi a ddywedwch, feallai, Amen, ac amen. Ac y mae efe (Mr. T. Edwards) yn rhoddi i mi ac eraill, *sydd yn ddynion mawr*, y cynghor i ochel yr yspryd sydd yn amlygu ei hun yn Num. xii. 2, ac a ddangosodd ei hun yn Seba, mab Bichri, yn 2 Sam. xx. 1. Mae y rhybuddion hyn mewn gwirionedd yn bwysig ac ofnadwy. Rhaid i mi, gan hyny, ystyried na fuasai fy anwyl frawd yn ymgais at eu cymhwyso ataf fi oddieithr dan ddylanwad ofnau cryfion, neu ryw argraffiadau difrifol ar ei feddwl. Gan hyny, tra yn ei sicrhau ef nad wyf yn teimlo i'r gradd lleiaf yn dramgwyddedig, mi a ymdrechaf ei ateb yn ddifrifol a pharchus, a hyny oddiar gariad brawdol yn unig. Duw Israel a ŵyr, ac Israel a gaiff wybod, nad ydym yn ceisio codi terfysg, na pheri anghydfod na rhwyg yn eglwysi Crist; ond yr ydym yn caru heddwch ac undeb hyd y gallwn eu cael ar dir gwirionedd a sancteiddrwydd. Eithr cwyno yr ydym dros eglwys Crist, yr hon sydd yn llefain am yr hyn a ddangosodd ei Phriod iddi; ac nis gallwn ninau lai na bod fel genau iddi i ddywedyd ei hachos. Yr ydych yn coledd ofnau rhag i mi gael fy nhemtio i fod yn eiddigeddus tuag at y gŵr tra pharchus a gwerthfawr hwnw, yr hwn, trwy drugaredd Duw, a gyfodwyd yn Ngogledd Cymru, fel offeryn enwog a grymus yn ei law ef er hyrwyddiant ei deyrnas a'i ogoniant. Dyma fy syniadau inau yn hollol am dano, ac fel y cyfryw yr wyf yn ei garu a'm holl galon, ac yn ei barchu yn y graddau eithaf. Ië, yr wyf yn ei ddywedyd yn ddiffuant, nid oes un person ar y ddaear oddiwrth yr hwn wyf yn fwy annhueddol i wahaniaethu mewn materion ysprydol na Mr. Charles; ac yr wyf yn dymuno ychwanegu, bydded i'r Arglwydd ei ddefnyddio, ei gynal, a'i ddwyn yn mlaen fwyfwy er gogoniant ei ras am flynyddoedd lawer, hyd ddiwedd ei oes ac hyd dragywyddoldeb diddiwedd. A hyn oll yr wyf yn gobeithio ac yn credu a wna efe, yn gymaint a'i fod wedi dechreu gwaith da ynddo. Er hyn oll, yn y mater hwn nis gallaf, gerbron Duw a cherbron ei Air ef, gydsynio â'r hyn a fynegodd efe fel ei ddymuniad, mewn undeb â'n tad gwir barchedig, Mr. Jones, o Langan. A rhaid i mi yn awr ddweyd a chyffesu fy mod ar adegau wedi cael fy nhemtio yn gryf i fod yn ddig wrth yr anwyl Mr. Charles. Rhag hyn, neu unrhyw lygredigaeth arall y geill uffern ei hun ei arddangos, nid wyf fi, bechadur truenus, yn ddyogel. Ond tra y mae yn briodol i mi alaru yn ddwys oblegyd fy mhechadurusrwydd yn y peth hwn, ac yn mhob peth arall a gymeraf mewn llaw, eto yr wyf yn meddwl y gallaf, trwy ddaioni anfeidrol Duw, ddatgan yn ddifloesgni na chafodd nac eiddigedd, na rhagfarn, na hunanddyrchafiad, oruchafiaeth yn fy nghalon, ond fod genyf dystiolaeth cydwybod dda tuag at Dduw a phob dyn.

"Yr hyn yr wyf fi, neu yr hyn ydym ni, yn ei ddymuno yw hyn: Fod rhyw berson cymhwys yn cael ei benodi i fedyddio plant cynifer *ag a ddymunant hyny, ac a geisiant hyny yn ein heglwysi;* a phan fyddo angen gwirioneddol, a phan na byddo offeiriad i'w gael ar y pryd, i weinyddu yr ordinhad arall *i gynifer o'n heglwysi ag a ddymuna ac a ofyna am hyny.* Yr wyf yn meddwl fod Gair Duw yn eglur ar y mater hwn, megys yn Matthew xxviii. 19, yn nghyd â llawer o adnodau eraill, llawer o ba rai sydd yn dangos ac yn argymhell arferiad mynych o Swper yr Arglwydd. Yn bresenol yr ydym yn proffesu 'dysgu,' a 'gwneyd dysgyblion,' ond yr ydym yn gadael i eraill 'fedyddio.' Heblaw hyny, mor bell ag y gallaf gael allan, ni bu erioed gorph o bobl mewn unrhyw ran o'r byd, nac unrhyw oes, o gyhoeddiad cyntaf yr efengyl hyd y dydd hwn, y rhai, os derbynient y sacramentau o gwbl i'w credo, a fuont yn amddifadu eu hunain o'r defnyddiad o un neu ddau o'r sacramentau hyny i'r fath raddau ag yr ydym ni wedi bod yn gwneyd. Ac os felly, heblaw fod rhai o'n haelodau yn cael eu gorfodi yn hollol i ddwyn eu plant at glerigwyr drygionus i'w bedyddio, neu at Ymneillduwyr, er eu bod yn taer ddymuno ac yn erfyn am eu bedyddio gan rai o'u hathrawon crefyddol eu hunain, onid yw yr Ysgrythyr hwn, er ei

bod wedi ei hysgrifenu ar fater arall, ac un llai pwysig, yn gymhwys i ni—1 Cor. xi. 16, 'Od oes neb a fyn fod yn ymrysongar, nid oes genym ni gyfryw ddefod, na chan eglwysi Duw.' Os ydym ni yn ein lle rhaid fod holl eglwysi Duw yn cyfeiliorni yn yr arferiad hon. Gwir yw mai fel hyn y cychwynodd Methodistiaid allan, ac y mae yr Arglwydd wedi eu harddel yn fawr. Eto yr wyf yn meddwl y dylent geisio cyfnewidiad er gwell, fel y gwnaeth Whitefield a'i gyfeillion; ac felly hefyd y gwnaeth Iarlles Huntington, &c. Ac yn mhellach, yr wyf yn wir yn meddwl pe gwybyddech chwi yr hyn oll yr wyf wedi dyfod drwyddo eisioes ar yr achlysur hwn, y byddai i chwi gydymdeimlo yn ddwys â mi. A chyda golwg ar y mater, bydded i Air Duw lywodraethu uwchlaw pob peth yn eich calon, ac yna yr wyf yn credu nid yn unig y bydd i chwi ddymuno ar fod y ddau sacrament yn cael eu lle yn ein heglwysi, ond hefyd roddi eich pleidlais yn gref dros hyny. Yr wyf yn bwriadu ysgrifenu at Mr. Charles yn mhen ychydig ddyddiau; ac yr wyf yn gobeithio y bydd i'r Arglwydd fy nysgu i ysgrifenu gyda y parch dyledus iddo, a chyda chariad a ffyddlondeb Cristionogol; ac os wyf wedi gwyro mewn gweithred, geiriau, neu feddwl, bydded i'r Arglwydd faddeu, a bydded iddo ef hefyd ei arwain yntau â'i gynghor, a chymhwyso meddyginiaeth rasol os yw ef wedi cyfeiliorni mewn unrhyw radd. Parhewch i weddïo am heddwch Seion, ac am i gyfiawnder ddysgleirio fel lamp yn llosgi. Gweddïwch dros eich hannheilwng gyfaill, THOMAS JONES."

Y T. Edwards uchod oedd Mr. Thomas Edwards, Liverpool, pregethwr o gryn enwogrwydd yn mysg y Methodistiaid. Yr oedd yn enedigol o Lanelian, Sir Ddinbych; eithr symudodd i Liverpool pan yn laslanc ugain mlwydd oed; dechreuodd bregethu tua'r flwyddyn 1789, a pharhaodd yn y gwaith hyd ddydd ei farwolaeth. Yr oedd Thomas Jones ac yntau agos yn gyfoed, ac yn gyfeillion mynwesol. Awgryma y llythyr i ni amryw bethau. (1) Dengys yn bur glir fod Mr. Thomas Edwards, ac efallai Daniel Jones mewn rhan, yn teimlo yn amheus gyda golwg ar y Neillduad y dadleuid am dano, a'i fod yn arbenig yn wrthwynebol i waith Mr. Thomas Jones yn gweinyddu yr ordinhadau heb gael ei ordeinio, gan edrych arno megys Cora, Dathan, ac Abiram, y rhai a ruthrent i swydd i ba un na chawsent eu galw gan yr Arglwydd. Diau fod amryw yn mysg y pregethwyr a'r blaenoriaid o gyffelyb feddwl. (2) Fod Mr. Jones, o Ddinbych, yn hanesydd eglwysig gwych, a'i fod wrth ffurfio barn am unrhyw fater yn dal cysylltiad ag athrawiaeth, neu a ffurflywodraeth, yn rhoddi cryn bwys ar syniad ac arferiad eglwys Crist o'r dechreuad. Nid dibwys yn ei olwg ef, yn y ddadl parthed ordeinio, fod pob cangen o'r eglwys Gristionogol a gydnabyddai y sacramentau, gyda'r unig eithriad o'r Methodistiaid, yn trefnu i gael gweinyddiad rheolaidd o'r holl ordinhadau. Ymholai yn ddifrifol a oedd yn bosibl fod y Methodistiaid yn unig yn iawn, a'r eglwys oll yn gyfeiliornus. (3) Er ei fod yn ddadleuwr cadarn, ac yn mhoethder y ddadl yn dweyd geiriau cryfion, gwelir ei fod yn hynod lwyddianus i gadw ei yspryd dan reolaeth; nad yw yn ymollwng mewn un modd i ddifriaeth, nac yn awgrymu dim annheilwng am ddybenion y rhai a'i gwrthwynebent. (4) Fod ei gyfeillgarwch â Mr. Charles yn parhau trwy y cwbl. Buasai yn hynod ddymunol dod o hyd i'r ohebiaeth rhwng y ddau ŵr da hyn. Ai nid oes gobaith y gwel oleuni y dydd ryw bryd? Ond gyda'r defnyddiau sydd genym y mae mor glir a'r haul i'r cyfeillgarwch rhwng Mr. Charles a Mr. Jones barhau yn ddidor, er y cymerent safleoedd gwrthwynebol yn y ddadl.

Nis gallwn olrhain yr holl ymdrafodaeth; cyffroid y gwersyll Methodistaidd drwyddo gan yr helynt; byddai dadleu poeth ar y mater, nid yn unig yn y Cyfarfodydd Misol a'r Cymdeithasfaoedd, ond hefyd yn y cymdeithasau preifat, a rhwng y pregethwyr a'r blaenoriaid a'u gilydd yn bersonol, a thrwy lythyrau. Y prif ddadleuwyr yn y Cymdeithasfaoedd o blaid y Neillduad, fel yr ydym wedi cyfeirio yn barod, oedd Thomas Jones, Dinbych, yn y Gogledd, ac Ebenezer Morris yn y Dê. Ond cynorthwyid Mr. Morris yn dra effeithiol gan ddau bregethwr poblogaidd arall, sef Ebenezer Richard, a John Thomas, Aberteifi. Mewn ymddiddanion personol y cynorthwyent hwy yn benaf; nid oeddynt yn barod i gymeryd rhan flaenllaw yn y Cymdeithasfaoedd, ac efallai na feddent y gwroldeb angenrheidiol. Ond am Mr. Morris, nid ofnai efe wyneb gŵr. Hawdd deall mai gyda pleidwyr y Neillduad yr oedd y rhesymau; rhagfarn a thymherau nwydog, aflywodraethus, yn

benaf a nodweddent y ddadl ar ran yr offeiriaid. Heblaw balchder swyddogaeth, a'r rhagoriaeth a feddent oblegyd meddu ordeiniad esgobol, gwelent fod ffynonell eu helw mewn perygl. Fel yr ydym wedi cyfeirio, yr oedd gweini y sacramentau yn dwyn arian lawer i goffrau yr offeiriaid; a chan fod amryw yn mysg y pregethwyr lleyg yn rhagori arnynt mewn doniau gweinidogaethol, ofnent pe y cai y rhai hyny eu hordeinio y byddent yn cael eu galw yn amlach i weinyddu y cymun, ac felly y byddent hwy ar eu colled yn ddirfawr.

Cyfaddefai Mr. Williams, Lledrod, yn onest i hyn ddylanwadu yn gryf ar ei feddwl ef am dymhor, nes y bu iddo bron gael ei rwydo. Fel hyn y dywed: "Bûm i mor ffol a bod yn anfoddlawn i ordeinio pregethwyr, nes i Grist ei hun ddod i ofyn i mi: 'A fu arnoch eisiau dim?' A gorfu arnaf ddywedyd mewn atebiad: 'Naddo, ddim, Arglwydd;' ac ni ddywedais air byth yn ei erbyn drachefn." Dro arall dywedai: "Bûm i yn pryderu beth ddeuai o honof fi os ordeinid y pregethwyr; ond fe lefarodd yr Hen a'r Newydd Destamentau wrthyf, nes yr aeth castell amheuaeth i lawr yn chwilfriw. Dyna ddywedodd yr Hen wrthyf: 'Canys yr Arglwydd dy Dduw a'th fendithiodd di yn holl waith dy law, gwybu dy gerdded yn yr anialwch mawr hwn, y deugain mlynedd hyn y bu yr Arglwydd dy Dduw gyda thi, ni bu arnat eisiau dim?' Dyna eiriau yr Hen. Fel hyn y llefarai y Newydd drachefn: 'Pan y'ch anfonais heb na phwrs, na chôd, nac esgidiau, a fu arnoch chwi eisiau dim?' Yn ngwyneb lleferydd y ddau Destament gorfu i minau ddweyd: 'Taw, taw, anghrediniaeth.'" Yr oedd cymhwysder arbenig yn y cyfeiriad at y deugain mlynedd yn yr adnod at amgylchiad Mr. Williams ei hun, oblegyd deugain mlynedd union yr oedd wedi bod yn y weinidogaeth. Wedi cael ei lwyr argyhoeddi gwnaeth ei oreu, yn gyhoeddus a phreifat, i gadarnhau ei frodyr. Arferai cynghorwr o gymydogaeth Lledrod, Dafydd Edwards, Pwllclai, fyned gyda Mr. Williams ar ei deithiau fel cyfaill. Ychydig a dderbyniai y cynghorwr fel cydnabyddiaeth; byddai traul y daith yn llawer mwy; ac felly nis gallai fentro myned ond pan fyddai yn amser da ar ei amgylchiadau. Unwaith dywedai wrth ei wraig, pan ar gychwyn i daith: "Y mae genyf chwech punt yn *spar*, wedi talu y rhent a'r cwbl; mi af tra y dalio y rhai'n.' Myned a wnaeth, ac nid oedd ganddo o'r chwech punt pan ddychwelodd ond chwech cheiniog. Yn amser helynt y Neillduad tueddai Dafydd Edward i gilio i'r Llan. "Deio bach," meddai Mr. Williams wrtho, "fe ddos i o'r Llan atat ti; fe fuom amser maith gyda'n gilydd; gobeithio nad wyt am fy ngadael eto, a myned yn ol yn fy lle; gwell i ni lynu wrth y Corph mwy." Ond ychydig o ddylanwad a gafodd ei eiriau ar yr hen gynghorwr; ac ebai yn ol: "Glynwch chwi faint a fynoch, yr wyf fi yn myn'd." A myned wnaeth. Medrai Mr. Williams ddefnyddio ymadroddion cryfion ar y mater weithiau, yn enwedig yn ngwyneb coeg-ddadleuaeth. Meddai blaenor taeog o gymydogaeth Llangeitho wrtho unwaith: "Yr wyf fi yn synu atoch chwi, Mr. Williams, eich bod chwi, yn anad neb, yn rhoddi eich anadl gyda'r fath ffolineb." Ebai yntau: "Y fi sy'n gwybod oreu, ŵr; a phe y gwyddech chwi gymaint ag a wn i, chwi a siaradech lai yn erbyn." Wrth ŵr ieuanc o gymydogaeth Abermeurig, yr hwn oedd yn parotoi i fyned yn offeiriad, a'r hwn a siaradai yn ddirmygus am y Neillduad yn ei glyw, dywedodd yn ei ddull gwladaidd: "Y mae yn gallach i ti a dy fath fod yn ddystaw. Beth wna rhyw grotyn fel tydi i siarad am beth nad wyt yn gwybod dim yn ei gylch? Taw, rhag dy gywilydd." Diau y canfyddai yr hen offeiriad llygadgraff mai gwialen oedd y peth mwyaf priodol at gefn yr ynfyd hwn.

Rywbryd tua dechreu y flwyddyn 1810, cymerodd dau amgylchiad le, y rhai a ddygasant y ddadl gyda golwg ar y Neillduad i argyfwng. Un ydoedd gofyniad Ebenezer Morris i Mr. Charles mewn Cymdeithasfa, nas gwyddom yn hollol ei hamseriad, nac ychwaith enw y lle yn mha un ei cynhelid. Yr oedd y ddadl wedi myned yn bur boeth; y cyfarfod yn nodedig o gyffrous, a Mr. Charles, yr hwn a lywyddai, yn dangos annhueddrwydd hollol i symud yn y blaen. Yr oedd llawer yn ofni y canlyniadau, ac yn pryderu rhag y gorphenai y cwrdd mewn rhwyg. Pan yr oedd y ddadleuaeth ar ei phwynt uchaf, dyna Ebenezer Morris yn codi ar ei draed yn y sedd fawr, gan osod ei bwys ar un o'r pileri a gynhalient y pwlpud. Yr oedd ei ymddangosiad yn dra urddasol; eisteddai difrifwch ar ei wynebpryd; hawdd gweled wrth ei osgo ei fod yn teimlo fod ganddo genadwri, a'i fod yntau yn fyw i'w phwys-

igrwydd. Yn fuan peidiodd y siarad, a throdd llygaid yr holl Gymdeithasfa arno. Am enyd ni ddywedai yntau air, eithr safai yn fud fel delw. O'r diwedd dywedodd, gyda hunanfeddiant hollol, ond eto mewn dull meistrolaidd, fod ganddo gwestiwn i'w ofyn, a'i fod yn dymuno cael atebiad diffuant iddo. Deallai y gynulleidfa fod y cwestiwn yn un pwysig, a dyma bawb yn clustfeinio i wrando beth ydoedd, a phob llygad yn cael ei sefydlu ar y gŵr oedd yn myned i'w ofyn. "Yr wyf fi," ebai Mr. Morris, "yn cynrychioli canoedd o bobl yn y gynulleidfa hon, a manau eraill, ac yr wyf yn galw ar Mr. Charles i fy ateb, gan ei dynghedu i roddi ateb gonest a dihoced i'm gofyniad. A dyma ydyw: 'Pa un yw y mwyaf; a'i pregethu yr efengyl, ynte gweinyddu y sacramentau?'" Ymdeimlodd y Gymdeithasfa ar unwaith a phwysigrwydd y gofyniad, a dyma sylw pawb yn cael ei droi oddiar Mr. Morris, ac yn cael ei ganolbwyntio ar y Parch. Thomas Charles. Wedi cymeryd mynyd i ystyried cododd yntau ar ei draed; profai gwedd ei wyneb ei fod yn deall ddarfod iddo gael ei wasgu i gongl; ac yn nghanol dystawrwydd llethol a phoenus atebodd: "Y gorchwyl mwyaf yw pregethu yr efengyl." "Yr ydym ni yn un, ynte," ebai Mr. Morris; "meddyliodd y diafol am ein rhwygo ni heddyw yn y Gymdeithasfa; ond diolch i'r nefoedd un ydym.' Gyda'r ymadrodd hwn saethodd teimlad angerddol fel llewyrch mellten trwy bob mynwes, a dyma bawb yn anadlu yn rhydd. Nid yw yn ymddangos i unrhyw benderfyniad ar y mater gael ei basio yn y Gymdeithasfa; ond ymadawodd pawb dan yr argyhoeddiad fod y frwydr drosodd, a bod dadl y Neillduad wedi ei henill. Aeth hanes y cyfarfod gyda chyflymdra trwy Gymru; dyna destun y siarad rhwng pob dau, gofyniad Mr. Morris ac atebiad Mr. Charles; a llawenychai calon y bobl wrth feddwl y caent weinyddiad rheolaidd o'r sacramentau, a hyny gan y pregethwyr hyawdl ag yr oeddynt yn cael y fath flas ar eu gweinidogaeth.

Yr amgylchiad arall a fu yn foddion i ddwyn y pwnc i argyfwng oedd gwaith Mr. Thomas Jones, Dinbych, er heb ei ordeinio, yn bedyddio baban ar gais yr eglwys a'r gynulleidfa yn Ninbych. Caiff ef ei hun adrodd am y modd y bu. Fel hyn y dywed: "Yr oedd amryw o'm brodyr, a minau gyda hwy, wedi bod â'n hymgais er ys blwyddyn neu ddwy cyn hyn, am weinyddiad yr ordinhad o fedydd yn y Corph o'r hwn yr ydym yn aelodau, ac am weinyddiad y swper sanctaidd yn fwy mynych, ac os byddai modd yn fwy cyson o ran amserau. O'r blaen, yr oedd ein pobl yn gyffredinol yn arfer bedyddio yn Eglwys Loegr, a chryn nifer wedi bod yn arfer cymuno yno hefyd; ond yr oedd nifer y rhei'ny yn myned lai-lai. Yn ein mysg ni ein hunain yr oedd yr ychydig Eglwyswyr a ymunasent â'r Corph yn gweinyddu yr ordinhad hon mewn amryw fanau. Ond gan anamled eu nifer, a chan fod y Corph hefyd, trwy fawr ddaioni Duw, wedi amlhau yn Nghymru, yr oedd nifer o gynulleidfaoedd heb fod yn gyfranogion o honi am flwyddyn, neu ychwaneg, o amser, a chryn nifer heb ei chael erioed. Fel yr oedd yr achlysuron hyn yn ychwanegu cwynion y Corph, yr oedd rhai Eglwyswyr, oedd yn dadau enwog yn y Corph, yn petruso ac yn methu cydsynio yn rhwydd i ddwyn yn mlaen y cyfnewidiad a farnai eraill yn angenrheidiol, sef neillduo rhyw nifer o'r pregethwyr eraill i gynorthwyo yr Eglwyswyr, a chyflawni angen yr eglwysi o ran gweinyddiad y ddwy ordinhad. Yn y cyfwng hwn, dygwyddodd yn y modd canlynol i mi gael fy nhynu i fyned o flaen eraill o'm brodyr, oedd o'r un llais a thueddiad yn yr achos. Wedi i blentyn gael ei eni i un o'r cyfeillion, efe a geisiodd help rhai brodyr i ddeisyf arnaf fi, a olygent fel gweinidog y gynulleidfa, ymroddi i fedyddio'r plentyn. Efe a chwanegodd amryw ddadleuon a rhesymau o blaid ei gais, ac yn erbyn myned a'i faban i unrhyw gynulleidfa arall i'w fedyddio. Minau wedi dwys ystyried yr achos, a cheisio erfyn cyfarwyddyd gan yr Arglwydd, a benderfynais, ac a addawais y gwnawn weinyddu yr ordinhad, os byddai i gorph yr eglwys neu y gynulleidfa fy ngalw i hyny, ar ol cyderfyn ar yr Arglwydd am iddo eu cyfarwyddo a'u harwain, yn ol ei Air a'i ewyllys. Wedi iddynt gydgyfarfod, hebof fi, ac ystyried yr achos gydag ymbiliau ar Dduw, hwy a hysbysant im' eu bod oll, hyd at un aelod oedd mewn gradd o ofn a phetrusder, yn galw arnaf i wneuthur felly.

"Yr oedd yr achos cyn hyn (sef cyn derbyniad y genadwri) wedi bod gyda dwysder ar fy meddyliau, ddydd a nos; a thrwy ymarfer â Gair Duw a gweddi, yr oeddwn yn ymofyn am addysg ac arweiniad. Wedi i gyfaill neu ddau, oedd yn lled agos atom, fy ngwrthanog gyda math

o ddwysder, os nid poethder hefyd, mi a aethum yn drallodus fy helynt. Eto, wrth ystyried eu dadleuon, gan daer ymbil gerbron yr Arglwydd, yr oedd y glorian yn troi yr un ffordd ag o'r blaen. Yr oeddwn yn deall fy mod yn groes, os nid i ordeiniad a gorchymyn, eto i arferiad y Corph o bobl yr ymunaswn o galon â hwy; ac yr oedd yn ddrwg genyf, ac y mae yn ddrwg genyf hyd heddyw, dristâu neb o'm brodyr. Ië, yr oedd yn dra gofidus genyf feddwl am dristâu un brawd a thad yn enwedigol, yr hwn yr oedd, ac sydd a'i goffadwriaeth heddyw, yn fwy parchus yn fy meddwl nag un gŵr y bu i mi gymdeithas neillduol âg ef ar wyneb y ddaear. Ond trwy y pethau hyn i gyd, myned yn mlaen a wnaethum, neu a fu raid i mi, gan adael y canlyniad yn llaw yr Hollwybodol a'r Hollalluog Dduw. Yr oeddwn yn gorfod meddwl, os oedd efe wedi fy ngalw i bregethu ei Air, yr hyn nis medrwn ei lwyr amheu, yna fod ei alwad hono, yn nghyd â'r alwad oedd arnaf gan gynulleidfa Gristionogaidd, yn nghyd ag amgylchiadau eraill, yn ddigon o alwad arnaf i weinyddu yr ordinhad o fedydd. Felly, gyda chryndod, a rhyw fesur hefyd o ymdaweliad yn yr Arglwydd, mi a anturiais at y gwaith."

Ysgrifena Mr. Jones dan lawn ymdeimlad a phwysigrwydd y cam a gymerodd. Gwelwn iddo ef, a'r frawdoliaeth yn Ninbych, weithredu yn bwyllog yn y mater. Gwnaethant o'r ddau tu y pwnc yn fater gweddi, a buont yn ymbil am oleuni gerbron yr Arglwydd. Y mae yn amlwg hefyd iddo ymgynghori ag amryw y tuallan i gynulleidfa Dinbych, ac iddo yn y modd mwyaf difrifol ystyried eu rhesymau. Beia rhai ef yn ddirfawr am yr hyn a wnaeth; haerant y dylasai aros i'r Gymdeithasfa benderfynu o blaid y peth, ac nid rhuthro yn ddireol i weinyddu yr ordinhad sanctaidd heb gael ei neillduo i hyny; ond y mae yn sicr fod amgylchiadau yn cyfodi weithiau pan y mae yn ddyledswydd ar ddynion o argyhoeddiadau cryfion i fyned yn y blaen yn annibynol ar benderfyniadau llysoedd eglwysig, gan sathru dan draed fân reolau gorthrymus, nad oes un sail iddynt yn Ngair Duw. Uchel a chroch yw condemniad yr Eglwyswyr yn arbenig; beiant ef yn ddiarbed am ruthro at waith sanctaidd heb ei alw, cyffelybant ef i Corah, Dathan, ac Abiram; a phriodolant ei ymddygiad i uchelgais, ac amddifadrwydd o gydwybod. Ond pa un a gymeradwywn ei ymddygiad ai peidio, nid oes y sail leiaf i amheu ei gydwybodolrwydd hollol; prawf ei holl hanes ei fod yn ddyn o ddifrif; dengys ei eiriau ei fod yn gwbl ddifrifol yn yr amgylchiad yma; ac ystyriai ef fod yr alwad a gafodd i bregethu, a'r alwad ganlynol oddiwrth gynulleidfa Dinbych, i weinyddu y sacramentau, yn rhoddi iddo berffaith hawl i weinyddu yr ordinhad o fedydd.

Enw y baban y gweinyddodd Mr. Jones yr ordinhad o fedydd arno, fel y mae i'w gael yn llyfr cofrestriad y bedyddiadau, oedd Evan Simner; ac yr oedd yn frawd i'r diweddar Mr. Abel Simner, o Lundain. Ganwyd ef Chwefror 17, 1810, a chafodd ei fedyddio Mawrth 9fed, yn yr un flwyddyn. Felly cymerodd yr ymdrafodaeth rhwng Mr. Jones ag eglwys Dinbych le tua diwedd Chwefror a dechreu Mawrth y flwyddyn hono, sef tua thri mis cyn cymeradwyo y Neillduad yn Nghymdeithasfa y Bala, a thua phymtheg mis cyn i'r ordeiniad gymeryd lle. Wedi tori yr ia fel hyn trwy weinyddu yr ordinhad o fedydd, ymgymerodd Mr. Jones, a hyny yn ddiau dan gymhellion cryfion y frawdoliaeth yn Ninbych, a gweinyddu y cymun bendigaid. Buasai yn anghyson ag ef ei hun, ac yn amlygu petrusder a diffyg penderfyniad, pe na wnaethai. Ond ymddengys cyn iddo gymeryd y cam hwn i'r mater fod dan sylw Cyfarfod Misol Dinbych a Fflint, ac i'r cyfarfod hwnw ei roddi at ei ryddid. Meddai: "Yn lled fuan ar ol hyn (ar ol bedyddio y baban Evan Simner), darfu i nifer o'm brodyr, mewn Cyfarfod Misol, adael, neu oddef i'r gynulleidfa ac i minau gael canlyn rhyddid ein cydwybodau mewn golygiad ar yr ordinhad arall, sef Swper yr Arglwydd. Yn ganlynol, ni a dderbyniasom y fraint hono, ac a gawsom y mwynhad o honi gyda gradd o ofn duwiol, llawenydd, a diolchgarwch."

Y mae yn sicr ddarfod i ymddygiad Mr. Thomas Jones gynyrchu cyffro dirfawr, a dylanwadu yn fwy na dim arall er dwyn y Gymdeithasfa i benderfyniad ar y mater. Oni phenderfynid o blaid neillduo pregethwyr, rhaid fyddai diarddel Mr. Jones, yn nghyd ag eglwys Dinbych, ac yn wir Cyfarfod Misol Dinbych a Fflint, am ei roddi ef a'r gynulleidfa at eu rhyddid yn hyn o bwnc. Ond nid yw yn ymddangos fod neb yn barod i gynyg peth o'r fath. Yn y cyfamser parhauai ef i weini yr ordinhadau gyda chysondeb. Prawf llyfr cofrestriad eglwys Dinbych iddo fedyddio deuddeg o blant perthynol i'r aelodau yno

cyn ei ordeinio. Nid ydym yn sicr iddo gael ei wahodd i weinyddu yr ordinhad o swper yr Arglwydd mewn unrhyw gynulleidfa arall, ond y mae prawfion diymwad iddo gael ei alw i amryw fanau i fedyddio plant. Prawf llyfr cofrestriad bedyddiadau a gedwir yn Llanrwst iddo fedyddio merch o'r enw Catherine Roberts, yn Mhwllterfyn, Medi 10fed, 1810. Bedyddiodd hefyd faban o'r enw Ebenezer Jones, yn Llandyrnog, Dyffryn Clwyd. Ceir a ganlyn yn nydd-lyfr Mr. David Davies, o Gaerwys, yr hwn a fu farw Chwefror 12, 1889, ac efe yn namyn un cant oed: "Mehefin 3, 1811, sef dydd Llun y Sulgwyn, aeth Thomas Anwyl a minau i Lanelwy, i gyfarfod pregethu. Yr oedd Thomas Lloyd, Abergele; a Mr. Jones, o Ddinbych, yn pregethu am 10 y boreu; am ddau yr oedd John Humphreys, o Gaerwys; a Mr. Jones, o Ddinbych; ac yr oedd Mr. Jones yn cadw odfa yn Nghaerwys y noson hon; a darfu iddo fedyddio plentyn i John Jones, saer maen, a dyma y cyntaf a fedyddiwyd yn nghapel Caerwys." Bu y ferch a fedyddiwyd gan Mr. Jones y pryd hwn, sef Mary Jones, fyw hyd Ragfyr 1891, pan y gorphenodd ei gyrfa wedi cyrhaedd ei phedwar ugain mlwydd. Er mai dyma yr oll ag y mae genym brawf i Mr. T. Jones weinyddu yr ordinhad o fedydd arnynt, y tebygolrwydd yw iddo wneyd hyny ar lawer eraill, ond nad yw yr hanes wedi disgyn i lawr i ni.

Y mae genym bob sicrwydd fod John Elias yn cymeradwyo ymddygiad ei gyfaill o Ddinbych. Cawn flaenor o Liverpool yn ysgrifenu at Mr. Elias, yn y flwyddyn 1810, gan osod ger ei fron gyflwr gresynus y Methodistiaid yn nhrefydd Lloegr, parthed gweinyddiad o'r sacramentau. Dengys eu bod yn dyoddef llawer mwy o amddifadrwydd nag aelodau y Cyfundeb yn y Dywysogaeth. Yn Nghymru gallent fyned a'u babanod at glerigwyr perthynol i Eglwys Loegr i'w bedyddio; a gallent fyned i'r Llan i gyfranogi o'r cymun; pa ddiffyg bynag allai fod yn y gwasanaeth caent ef mewn iaith a ddeallent. Ond yn Liverpool, a threfydd eraill Lloegr, rhaid iddynt fyned at glerigwyr Saesneg, cwbl estronol iddynt parthed cydnabyddiaeth, teimlad, ac iaith, neu ynte fod yn amddifad i raddau mawr o'r sacramentau sanctaidd; oblegyd anaml ac afreolaidd fyddai ymweliadau offeiriaid Methodistaidd Cymru â hwynt. Wedi lledu yr angen fel hyn gerbron Mr. Elias, gofynai y blaenor iddo yn enw Cristionogaeth, a lles eneidiau dynion, pa hyd yr oedd pethau i barhau felly? A pha gynghor oedd ganddo i roddi iddynt yn yr amgylchiad yr oeddynt ynddo. Y mae ateb Mr. Elias ar gael. Wedi datgan cydymdeimlad dwfn ag eglwysi Liverpool yn eu hangenoctyd, rhydd iddynt y cyfarwyddyd canlynol: "Ysgrifenwch i'r Bala i geisio gan Mr. Charles neu Mr. Lloyd ddyfod atoch, i weini yr ordinhadau i chwi; ac os na ddeuant nid wyf yn meddwl y byddai yn bechod mawr i chwi geisio gan Mr. Jones, o Ddinbych, ddyfod atoch." Y mae y geiriau yn brawf diymwad fod John Elias yn cymeradwyo yr hyn a wnaeth Mr. Thomas Jones, a diau fod Ebenezer Morris, a'r lleill o bleidwyr y Neillduad, o gyffelyb feddwl. Nid pleidio yr afreoleidddra a wnaent, ond gweled yr oeddynt fod amgylchiadau eithriadol yn galw am fesurau eithriadol.

Yn y Gymdeithasfa a gynaliwyd yn y Bala, Mehefin 19 a 20, 1810, y pasiwyd y penderfyniad rheolaidd cyntaf o blaid ordeinio o fewn y Cyfundeb. Nid yw yn ymddangos i ddadl fod ar y mater o gwbl. Gyda fod y pwnc yn cael ei ddwyn i sylw cododd Mr. Charles ar ei draed, a gwnaeth ddatganiad clir a diamwys ei fod ef wedi cael ei lwyr argyhoeddi am yr angenrheidrwydd o hyn. Dilynwyd ef gan Mr. Simon Lloyd, yr hwn yntau oedd yn offeiriad urddedig, ac yn uchel ei barch oblegyd ei safle, ei ddysgeidiaeth, a'i dduwioldeb. Gan fod yr offeiriaid wedi troi o blaid, nid oedd neb yn aros, neu o leiaf yn meddu calon, i wrthwynebu. A phasiwyd penderfyniad unfrydol, fod rhyw nifer o'r pregethwyr i gael eu neillduo i weinyddu y sacramentau, y dewisiad o'r brodyr hyn i gael ei wneyd gan y gwahanol siroedd. Yn mhellach, cydsyniodd Mr. Charles i barotoi rheolau a chynllun i ddwyn yr amcan oddiamgylch. Ac yr oedd ei fod ef yn ffafriol i'r ordeiniad wedi llanw calon y frawdoliaeth â'r fath lawenydd fel y buasent yn derbyn unrhyw gynllun a osodai gerbron. Y peth nesaf oedd cael gan Gymdeithasfa y Deheubarth i basio penderfyniad cyffelyb. Yr oedd y Parch. John Williams, Lledrod, yn bresenol yn y Bala, a chydag ef yr anfonwyd y genadwri i'r Deheudir. Ymddengys fod cario y llythyr yn orchwyl profedigaethus i Mr. Williams. Gwyddai y caffai ei gondemnio yn ddiarbed gan offeiriaid y Dê; oblegyd yr oedd y nifer amlaf o honynt hwy wedi ymffurfio yn fath o gynghrair, megys

*Trades Union*, gan benderfynu esgymuno unrhyw offeiriad a droai yn fradwr i'w urdd. Ni fu heb gael ei demtio i ddinystrio y llythyr. Ond dyledswydd a chydwybod a gariodd y dydd. "Wrth ddyfod adref," meddai, "a'r llythyr yn fy mhoced, gwnaethum amod â'r Arglwydd i lynu wrth y Corph, hyd yn nod pe y gorfyddai i mi gardota fy mara."

Nid heb frwydrau poethion y cariwyd y mater yn Nghymdeithasfa y Dé, oblegyd yr oedd dylanwad yr offeiriaid yma yn gryfach. Dygodd Williams, Lledrod, ei genadwri i Gymdeithasfa Llangeitho, yr hon a gynhelid y mis Awst dilynol. Yr Hybarch Dafydd Jones, Llangan, oedd yn y gadair, a dyma y Gymdeithasfa olaf iddo cyn myned i'r nefoedd. Dadleuai yn gryf yn erbyn yr hyn a ystyriai yn newyddbeth. Meddai wrth y pregethwyr: "Mi fentrais i fy mara beunyddiol er mwyn bod gyda chwi, a chyda chwi y cefais fod hyd yma; ond os ydych yn myned i rwygo yr achos, ewch eich hunain; ni ddeuaf fi gyda chwi mwy." I hyn yr atebai John Elias: "Ni edy eich Tad nefol fod arnoch eisiau tamaid o fara rhagllaw, Mr. Jones bach; mentrwch ef eto. Am rwygo yr achos, ni wnawn ni ddim â hyny; eithr ni a awn yn mlaen yn ol Gair yr Arglwydd, ac yn unol â barn y rhan fwyaf o'r eglwysi, a hyny gan weddïo yn ddibaid. A galwer hwnw yn rhwygwr a elo yn groes i hyny." A basiwyd penderfyniad yn Llangeitho yn ffafr y Neillduad, nis gwyddom. Yr ydym yn tybio mai do, o leiaf yn y cyfeiriad hwnw y rhedai y llif yn gryf; ond y tebygolrwydd yw na ystyrid y drafodaeth yn derfynol, a'i fod yn ddealledig y dygid y mater gerbon y Gymdeithasfa drachefn, cyn symud yn mlaen. Ni chythruddwyd yspryd yr hen efengylydd o Langan gan y ddadleuaeth; pregethodd yn ogoneddus yn y Gymdeithasfa, oddiar y geiriau: "Canys fy nghnawd i sydd fwyd yn wir, a'm gwaed i sydd ddiod yn wir." Yr oedd ef mewn hwyl wrth ganmol y Ceidwad, a'r bobl mewn hwyl yn gorfoleddu wrth wrando. Cyn toriad gwawr y Sabbath dilynol, yr oedd ei yspryd addfwyn a llonydd wedi dianc i'r wlad yn yr hon nid oes dadl na therfysg. A symudodd ei farwolaeth ef y rhwystr olaf ar ffordd yr ordeiniad yn y Dé.

Deallid yn Llangeitho fod y mater i gael ei lwyr derfynu yn Nghymdeithasfa Abertawe, y mis Hydref canlynol. Yr wythnos flaenorol i'r Gymdeithasfa hono, yr oedd Cyfarfod Misol Sir Benfro yn cael ei gynal yn Llandudoch. Penfro oedd amddiffynfa gadarnaf yr offeiriaid; yno y preswyliai Griffiths, Nefern; Jones, Llandudoch, a gwŷr urddasol eraill; ac yr oeddynt oll yn bresenol yn y Cyfarfod Misol hwnw. Yn bur fuan dyma genadwri yn cael ei chyflwyno o Dyddewi, trwy Mr. Thomas Rees, Trepuet, yn deisyf ar y Cyfarfod Misol anfon cenadwri i Gymdeithasfa Abertawe, i ddymuno ar y brodyr cynulledig yno gymeryd i ystyriaeth angen y Deheudir, ac yn arbenig angen Sir Benfro, o weinyddiad mwy rheolaidd o'r sacramentau; a threfnu ar gyfer yr angen trwy neillduo pregethwyr o'u mysg eu hunain i weinyddu yr ordinhadau. Teyrnasai dystawrwydd fel y bedd tra y gosodai Mr. Rees yr achos gerbron. Dangosai fod marwolaeth Mr. Jones, Llangan, yr unig offeiriad perthynol i Sir Benfro a gyfranai yn y capelau, wedi dyfnhau yr angen yn ddirfawr. Wedi iddo orphen dyma yr ystorm yn ymdori. Yn mlaenaf ceisiodd yr offeiriaid daflu anfri ar y cenhadwr, trwy ofyn, "Er ys pa bryd yr oedd ef gyda'r achos?" Wedi iddo ateb ei fod gyda chrefydd er pan yn llanc, dywedent: "Gresyn fod gŵr sydd wedi bod cyhyd o amser gyda'r gwaith yn troi allan yn rhwygwr iddo." Yna gofynent:—

"Pa fath weinidogion ydych yn geisio?"

"Dynion o ddewisiad a neillduad y Corph," ebai yntau, "heb gael eu cysegru gan law unrhyw esgob gwladol."

Ar hyn collodd yr offeiriaid bob meddiant arnynt eu hunain; aethant i fytheirio a difenwi; galwent Mr. Rees: "Y rhwygwr; y terfysgwr; y bradychwr," a'r cyffelyb; a chan faint y terfysg a'r bloeddio ni chaffai efe, druan gŵr, osod gair i mewn er hunanamddiffyniad. Oni bai ei fod yn meddu yspryd gwrol, yn gystal ac ymwybodolrwydd o gydwybod bur, buasai wedi llewygu ar lawr y capel. Ond nid gŵr i droi ei gefn yn nydd y frwydr oedd y brawd o Dyddewi; safai ef fel y graig; pan y caffai gyfleustra glynai wrth ei bwnc, a chymhellai y Cyfarfod Misol i roddi ystyriaeth briodol i'r genadwri. Cefnogid ei gais gan gyfeillion o Aberteifi, y rhai na pherthynent i Sir Benfro, ac felly nad oeddynt gymaint dan ddylanwad yr offeiriaid. Yn ngwyneb hyn taerai y gwŷr urddasol yn groch: "Yr ydych yn troseddu deddfau y tadau; yn sathru dan draed osodiadau yr enwogion parchedig gynt—gosodiadau a berthynent i'r diwygiad



ADFEILION PANDY-Y-DDWYRYD, GER TRAWSFYNYDD.

*Cartref Mrs. Lowri Williams.*

[*Lle dechreuad Methodistiaeth yn Sir Feirionydd. Gwel tudal. 4.*]



ADFEILION TY'N-Y-PANT, MAENTWROG.

*Cartref Mrs. Margaret Ellis.*

[*Arferai Mrs. Lowri Williams weinyddu yr ordinhad o Swper yr Arglwydd yn y ty hwn.*]

o'r dechreuad—yr ydych yn ymosod yn rhyfygus ar yr hyn a anrhydeddwyd gan y Goruchaf ei hun a'i gymeradwyaeth, ac ar y drefn a fu yn foddion iachawdwriaeth i filoedd o ddynion."

I hyn yr atebai y brodyr eraill: "Nid ydym yn gwadu ddarfod i Dduw anrhydeddu y Methodistiaid boreuaf yn nodedig, ac i waith mawr ac ardderchog gael ei wneyd trwyddynt; eto, barnu yr ydym na wnaed hyn oblegyd eu cysylltiad âg Eglwys Loegr, ond oblegyd eu hanfon gan Dduw ei hun, a'u haddurno â doniau anrhydeddus ei Yspryd. Anrhydedd ydoedd, nid i urddiad esgob, ond i eneiniad yr Yspryd; nid i drefn ddynol, ond i wirionedd dwyfol. Heblaw hyn, yr oedd y tadau yn dysgwyl, neu o leiaf yn dymuno, am ddiwygiad yn Eglwys Loegr. Eithr am hyny nid oes genym yn awr ond sail wan i obeithio. Mae y dychymyg hwnw cystal a chwedi diflanu bellach; y mae y deng-mlynedd-a-thriugain sydd wedi myned heibio wedi ei leibio i fynu yn llwyr." Yn ddiau, gan y rhai a ddadleuent o blaid y Neillduad yr oedd pen praffaf y ffon. Hwy feddent y rhesymeg; nid oedd gan yr offeiriaid ond rhagfarn, a nwydau, a haeriadau nas gellid eu profi. Ac aeth y Cyfarfod yn gryf o blaid y cais o Dyddewi. Teimlai yr offeiriaid yn dra dolurus mewn canlyniad; yr oeddynt wedi cael eu gorchfygu yn eu hamddiffynfa gadarnaf, ac ychydig o obaith a feddent bellach y medrent atal y llifeiriant.

Yn mhen yr wythnos, sef Hydref, 1810, yr oedd Cymdeithasfa Abertawe, ac yn hon dygwyd y pwnc i derfyniad llwyr. Dadleuai yr offeiriaid yma eto yn boethlyd; ond ni feiddient arfer eu traha blaenorol; llafurient dan yr ymdeimlad eu bod yn sicr o golli'r dydd. Cafodd pleidwyr y Neillduad gymhorth annysgwyliadwy, drwy i'r Parch. Rowland Hill ddyfod i'r Gymdeithasfa, a chymeryd rhan bwysig yn y ddadl. Nid oedd Mr. Hill yn perthyn yn ffurfiol i Gyfundeb yr Iarlles Huntington, nac i unrhyw gyfundeb crefyddol arall; eithr, megys y Parch. Philip Oliver, yn Nghaer, casglasai amryw gynulleidfaoedd yn nghyd, y benaf o ba rai oedd yr un a addolai yn *Surrey Chapel*, Llundain; a gweinyddai iddynt, hyd eithaf ei allu, a chynorthwyid ef gan bregethwyr eraill. Yr oedd ei safle yn bur gyffelyb i eiddo y Methodistiaid, ac yr oedd cyfathrach barhaus rhyngddo â hwynt. Pregethai yn aml yn eu capelau yn Nghymru, a gwasanaethai rhai o honynt hwy yn ei gapelau ef. Felly, teimlai fod ganddo hawl i ddyfod i'r Gymdeithasfa i ddweyd ei olygiadau. Dadleuodd yn gryf o blaid y priodoldeb a'r angenrheidrwydd o ddwyn y Neillduad yn mlaen. Ymgymerodd un o'r offeiriaid a'i ateb; ond gan mai yn Gymraeg y llefarai nid oedd Mr. Hill yn ei ddeall; eithr clywodd ef yn defnyddio y gair Saesneg "*valid*." Oddiwrth hyn deallodd Mr. Hill fod yr offeiriaid yn gwadu cyfreithlondeb y bedydd a weinyddid gan bregethwyr heb dderbyn urddau esgobol. Synodd yn ddirfawr wrth glywed y fath beth, a chymerodd achlysur i draethu drachefn, mewn modd goleu a bywiog, am natur sacramentau y Testament Newydd, a phwy a ddylai eu gweinyddu; ac mor effeithiol a chadarn oedd ei resymau fel na feiddiodd yr un o'r offeiriaid ateb gair iddo. Cymaint oedd eu cywilydd a'u gwendid, fel pan roddwyd y mater i bleidlais, na fedrent godi llaw yn erbyn. Rhoddodd penderfyniad Cymdeithasfa Abertawe derfyn ar y ddadl gyda golwg ar ordeinio pregethwyr, er llawenydd i filoedd, ac yn ddiau er bendith a chysur i'r Cyfundeb.

Teifl y llythyr canlynol o eiddo John Elias, at gyfaill yn Liverpool, ryw gymaint o oleuni ar helynt y Gymdeithasfa. Fel hyn yr ysgrifena: "Anwyl frawd,—Cefais lythyr oddiwrth Mr. Ebenezer Morris, ar ol Cymdeithasfa Abertawe, yn rhoddi i mi hanes cysurus eu bod yno wedi cydsynio â'r hyn y cytunwyd arno yn y Bala, yn nghylch chwanegu breintiau yr eglwysi. Gwnaed hyny yno (yn Abertawe) yn dawel iawn. Hefyd cydsyniodd corph y Gymdeithasfa heb gymaint ag un yn codi ei law i arwyddo anfoddlonrwydd. Bu tro hynod mewn Rhagluniaeth i ddwyn hyn oddiamgylch mor dawel; yr oedd yn fwy nag oeddid yn ei ddysgwyl. Clywodd y Parch. Rowland Hill am Gymdeithasfa Abertawe, a bod y mater hwn i gael ei drin yno; cynhyrfwyd ei feddyliau fel y daeth o Bristol i Abertawe i'r Gymdeithasfa; ac y mae yn debygol mai yr Arglwydd a'i danfonodd, a'i fod wedi llwyddo ei ddyfodiad i raddau mawr. Cynygiodd rhai o'r offeiriaid (fel y gelwir hwy) gyfodi rhai gwrthddadleuon yn erbyn i'r Corph gael y chwanegiad maent yn ei geisio i'w breintiau. Atebodd Mr. Hill eu holl wrthddadleuon, a dangosodd yr angenrheidrwydd i'r Corph gael yr hyn y mae yn ei geisio. Dywedodd ei fod o

ddygiad i fynu yn ffafriol i Eglwys Loegr; a'i fod eto yn caru y gweinidogion sydd yn pregethu yr efengyl ynddi; ond yn gymaint a bod y cyffredinolrwydd o'i gweinidogion yn gwadu yr athrawiaeth a dyngasent iddi gynt, fod duwiolion o orfod yn cilio oddiwrthi, ac nas gall plant Duw fyw arni. Hefyd, dywedodd am yr enwog Mr. Whitefield, ei fod wedi colli yn fawr eisiau gwneyd yn ei oes yr hyn y mae ein Corph ni yn ei geisio. Pe y gwnaethai felly, y buasai yn debygol i'r holl Gorph fod yn un Corph lliosog trwy y deyrnas. Yn lle hyny, ei fod wedi rhanu yn llawer o ganghenau; a dywedodd y bydd ein Corph ninau yn sicr o fyned yr un modd os na chaent eu gofyniad. Felly cytunwyd i adael i Gymdeithasfa y Bala fyned a'r peth yn mlaen yn gyntaf, ac yna hwythau i ganlyn."

Ysgrifenwyd y llythyr hwn gan Mr. Elias, ar y 26ain o Dachwedd, sef yn mhen tua mis wedi Cymdeithasfa Abertawe. Yr ydym wedi ymdroi yn hir gyda phwnc y Neillduad, oblegyd ei bwysigrwydd i'r Cyfundeb. Darfu i'r ddadleuaeth ysgwyd y Corph i'w waelodion; o'i gychwyn cyntaf ni chynyrchodd un mater gymaint o gyffro, oddigerth, efallai, yr ymraniad anffodus rhwng Rowland a Harris; ofnai llawer iddo fyned yn ganddryll yn yr ystorm, ond gofalodd Duw am ei achos. Ni phasiwyd yr argyfwng ychwaith heb ryw gymaint o golled; ciliodd saith o offeiriaid yr arferid eu rhestru gyda'r Methodistiaid; a chan eu bod, amryw o honynt, yn bregethwyr hyawdl, ac yn fawr eu dylanwad yn yr ardaloedd lle y gweinidogaethent, aethant â chorph y bobl yn y rhanau hyny o'r wlad gyda hwynt, a gadawyd yr achos Methodistaidd yn eiddil. Dyma mewn rhan sydd yn cyfrif am wendid Methodistiaeth yn Sir Benfro. Cawn ddychwelyd at hyn eto. Yn unig, ychwanegwn mai yr offeiriaid eu hunain a gafodd y golled fwyaf. Cawsant golled ddirfawr mewn ystyr arianol; yr oeddynt yn derbyn mwy oddiwrth eu Methodistiaeth nag a dderbynient o gyflog oddiwrth eu bywioliaethau. Colledwyd hwy yn fwy mewn cyfleusterau i fod yn ddefnyddiol; oblegyd yn lle bod yn ffaglau yn cyniwair trwy Gymru, ac yn goleuo yr holl Dywysogaeth o Gaergybi i Gaerdydd, cornelwyd hwy i ardal fechan. Darfu pob son am danynt, a buont feirw yn gymharol ddinod. Ac y mae yn gwbl sicr ddarfod i rai o honynt edifarhau yn chwerw dost oblegyd y cam a gymerasant.

Yn unol â chais y ddwy Gymdeithasfa, ymgymerodd y gwahanol Gyfarfodydd Misol yn ddiymdroi a dewis brodyr i'w hordeinio; a gwnaethant hyny gyda'r fath ddoethineb, fel nad yw yn ymddangos i eiddigedd gael ei deimlo o gwbl gan neb o'r brodyr na ddewiswyd. Synai rhai o'r pregethwyr ag yr oedd y coelbren wedi syrthio arnynt fod y Cyfarfod Misol wedi meddwl am danynt hwy, ac mewn dwfn ymdeimlad â'u hannheilyngdod, tueddent i wrthod yr alwad. Yn mysg y rhai hyn yr oedd Mr. E. Griffiths, Meifod. Meddai efe: "Ni ddaeth i fy meddwl y meddyliai neb am danaf fi i hyny (i weinyddu y sacramentau) hyd oni ddywedwyd wrthyf fy mod i yn un ag ydoedd wedi ei enwi i'r gwaith. Nis gallaf ddarlunio teimladau fy meddwl yn yr olwg oedd genyf arnaf fi fy hun, ac ar yr ordinhadau, yn y fath iselder. Bedydd yn cael edrych arno fel defod wladol gan y cyffredin; plant crefyddwyr yn cael eu magu allan o'r eglwys; a son am fy anfon i at y fath waith, a chodi yr ordinhadau yn ngolwg yr eglwysi, a gweinyddu ynddynt! Teimlais fy meddwl yn soddi i'r fath ddigalondid nes codi awydd ynof i hollol ymwrthod â'r gwaith, hyd oni dderbyniais lythyr oddiwrth y Parch. Thomas Charles, o'r Bala, yn yr hwn yr oedd efe yn dangos y gwaith yn ngolwg ei Berchen, a bod yr offerynau gwaelaf yn ei law ef yn ddigonol i'r gwaith mwyaf. Bu hyn yn foddion i galonogi fy meddwl i benderfynu rhoddi fy hun i wasanaeth y Corph, gan daer ymbil wrth orsedd gras am i ewyllys yr Arglwydd gael ei gwneuthur tuag ataf yn hyny, gan fod yn sicr trwy brofiad y medrai yr Arglwydd wneuthur dyn yr hyn nad oedd, a rhoddi cymhwysder at bob rhan o'i waith ag y galwai efe ddynion ato." Y mae genym seiliau dros gredu ddarfod i amryw eraill deimlo y cyffelyb betruster, ac nad heb gael eu taer gymhell y darfu iddynt ufuddhau i alwad yr eglwysi. Gwrthbrofa hyn yn hollol y cyhuddiad mai dynion uchelgeisiol, yn awyddu am anrhydedd, ac yn aflonyddu ar heddwch y Cyfundeb nes ei dderbyn, oedd y rhai yr ordeiniwyd gyntaf i gyflawn waith y weinidogaeth.

Yn y Gogledd, syrthiodd y dewisiad ar y brodyr canlynol: John Elias, Môn; Richard Lloyd, Môn; Evan Richardson, Caernarfon; Thomas Jones, Dinbych; John Davies, Nantyglyn; John Roberts,

Llangwm; William Jones, Dolyfonddu; ac Evan Griffiths, Meifod. Ar un cyfrif, y mae yn syn ddarfod i John Jones, Edeyrn, gael ei adael allan; mewn dawn, a chymhwysder gweinidogaethol, nid oedd yn ol i neb o'i frodyr, yr oedd ar ei fynediad allan lawn mor boblogaidd a John Elias ei hun, ac yr oedd wedi dechreu pregethu o'i flaen. Ond yr oedd y ddiod yn fagl i Mr. Jones, a dangosodd y Cyfundeb ei anghymeradwyaeth o hono trwy oedi ei ordeiniad am ddwy flynedd ychwanegol. Y brodyr y penodwyd arnynt yn y Deheudir oeddynt: John Evans, Llwynffortun; David Rees, Llanfynydd; Arthur Evans, Cynwil; David Charles, Caerfyrddin; James James, Abergafeni; David Parry, Sir Frycheiniog; Evan Evans, Ffos, Sir Frycheiniog; Ebenezer Morris, Twrgwyn; John Thomas, Aberteifi; Ebenezer Richard, Tregaron; Evan Harris, Sir Benfro; Hopkin Bevan, Morganwg; John Rees, Sir Fynwy. Yr oedd yr oll o'r rhai hyn wedi bod yn pregethu am flynyddoedd, gyda'r eithriad o David Charles; rhyw dair blwydd o bregethwr ydoedd ef; ond yr oedd yn ddyn mor eithriadol, a syniad yr eglwysi mor uchel am ei alluoedd meddyliol, ei ddirnadaeth ddofn o athrawiaethau y Beibl, ei ddoethineb, a'i dduwioldeb, fel y dewiswyd ef yn unfrydol i'r gwaith. Yn ychwanegol, yr oedd yn amlwg fel arweinydd flynyddoedd cyn iddo ddechreu pregethu.

Cymerodd y Neillduad cyntaf le yn y Gogledd, yn Nghymdeithasfa y Bala, yr hon a gynhelid Mehefin 19, 20, 1811. Fel yr oedd adeg y Gymdeithasfa yn dynesu, meddienid Mr. Charles, ac eraill o'r brodyr, gan bryder mawr. Yr ydym yn cael ei fod ef, a'i gyfaill, y Parch. Simon Lloyd, yn bresenol yn nghyfarfod y Sulgwyn y flwyddyn hono yn Liverpool, yr hwn oedd ychydig ddyddiau cyn y Gymdeithasfa. Yn y "seiat fawr," boreu dydd Llun, gwnaethant ill dau gyfeiriad at yr ordeiniad agoshaol; ac meddir yn nghofiant y Parch. John Elias: "Rhoddwyd yr anogaethau dwysaf i ni oll gydymbil, mewn gweddïau taer, am ddwyfol arweiniad yn yr achos hwn.' Hefyd, yr oedd Mr. Charles wedi anfon llythyr a'i law ei hun at bawb oeddynt i gael eu neillduo, yn ceisio ganddynt ddyfod i'r Bala, nos Lun, Mehefin 17, fel y gallent dreulio y dydd Mawrth canlynol, sef y diwrnod o flaen y Gymdeithasfa, mewn gweddi, "a chydystyried pethau yn gyfrinachol gyda ein gilydd.' Y mae yn gwbl sicr i'r holl frodyr sanctaidd gydsynio. Ceir hanes y cyfarfod ordeinio yn y *Gyffes Ffydd*: "Yn gyntaf, y gŵr hynaf a pharchedicaf yn y Corph, John Evans, o'r Bala, a ddarllenodd 1 Tim. iii., ac wrth ei ddarllen fe wnaeth ychydig sylwadau addas a syml ar y cyneddfau gofynol yn ngweinidogion yr efengyl yn y benod hono; ac wedi iddo ddarfod darllen, gweddïodd ar yr achos, yn syml ac yn addas iawn. Yn ail, darllenodd y Parch. T. Charles, o'r Bala, enwau y personau oedd wedi cael eu dewis gan Gyfarfodydd Misol yr amrywiol siroedd i glywedigaeth y Corph. . Wedi darllen enwau y brodyr hyn i gynrychiolwyr y Corph, yn nghylch tri chant yn gynulledig, gofynodd y Parch. Thomas Charles iddynt, a oeddynt yn dymuno arno ef ofyn ychydig o gwestiynau iddynt yn eu clywedigaeth, yn nghylch pynciau sylfaenol y grefydd Gristionogol? Os oeddynt, dymunodd arnynt arwyddo hyny trwy godi ei dwylaw i fynu; felly y gwnaed, heb un yn peidio." Yna, gofynodd Mr. Charles y cwestiynau sydd yn y *Gyffes Ffydd*, y rhai a arferir yn ngwasanaeth ordeinio y Methodistiaid hyd y dydd hwn. Wedi gofyn y cwestiynau hyn, a derbyn eu hatebion syml a goleu, gofynodd i'r Corph a oeddynt yn dewis y brodyr hyn i weini yr ordinhadau o fedydd a swper yr Arglwydd yn eu plith? Os oeddynt, am iddynt arwyddo hyny trwy ddyrchafu eu dwylaw. Gwnaed hyny heb un yn peidio.

"Wedi hyny gofynodd y Parch. Thomas Charles i'r brodyr: A oeddynt hwy yn profi eu meddyliau yn cydsynied a galwad y Corph i weini yr ordinhadau o fedydd a swper yr Arglwydd yn eu plith, ac yn ymroddi i fod yn ffyddlawn, yn llafurus, ac yn ddiwyd i borthi praidd Duw, trwy weini yr ordinhadau dwyfol iddynt yn ol y cymhorth a gaent gan Dduw? Atebasant yn ostyngedig ac yn syml eu bod; a thaer ddymunasant weddïau yr holl Gorph drostynt. Wedi hyny rhoddodd yr hen frawd Robert Jones, o Sir Gaernarfon (Robert Jones, Rhoslan), air o gynghor difrifol iddynt hwy, ac i'r Corph yn gyffredinol, a diweddodd y cwbl gyda gweddi daer ac addas i'r achos." Gwelir na chredai Mr. Charles mewn "olyniaeth;" dyma ddau heb eu hordeinio eu hunain yn cymeryd rhanau pwysicaf y gwasanaeth.

Yn mis Awst, yr un flwyddyn, cafodd y brodyr o'r Deheudir eu hordeinio yn

Nghymdeithasfa Llandilo Fawr, a hyny yn ol y drefn ag a arferasid yn y Bala, gyda'r eithriad nad yr un personau a gymerent ran yn y cyfarfod. Dechreuodd y Parch. John Williams, Lledrod, trwy ddarllen y rhanau penodedig o'r Gair a gweddïo. Gofynwyd y cwestiynau gan y Parch. Thomas Charles; a therfynodd y Parch. John Williams, Pantycelyn, trwy weddi.

Bu rhai o'r eglwysi am beth amser yn rhagfarnllyd yn erbyn y pregethwyr gawsent eu hordeinio yn weinidogion; ni ofynent am eu gwasanaeth i weini y sacramentau; eithr aent a'u plant i'w bedyddio at offeiriad y plwyf, ac yn y Llan hefyd y cymunent fel cynt. Mewn lleoedd y byddai offeiriad efengylaidd yn gwasanaethu y cymerai hyn le, yn benaf. Ni fu yr un o weinidogion y Cyfundeb yn cyfranu yn Llanddewibrefi am flynyddoedd gwedi y Neillduad, er fod y Parch. Ebenezer Richard yn byw o fewn tair milltir i'r lle, ac yn boblogaidd a chymeradwy iawn fel pregethwr. Yn gyffelyb yr ydoedd yn Llangeitho; ystyriai y blaenoriaid nad oedd y fath bregethwr a Mr. Richard; parchent ef fel angel Duw yn y cymeriad hwnw; ond ni alwent am dano i fedyddio na chyfranu; rhaid cael Mr. Williams, Lledrod, at hyny. Yr ydym wedi cofnodi yn flaenorol hanes Mr. Charles yn gwrthod gwasanaethu wrth y bwrdd yn Llangeitho, ac yn gollwng yr aelodau ymaith ar eu cythlwng, am na chaniatai y blaenoriaid i'r Parch. John Roberts, Llangwm, ei gynorthwyo gyda'r elfenau. Chwareu teg hefyd i flaenoriaid Llangeitho; nid rhagfarn a ddylanwadai arnynt yn gyfangwbl; yr oeddent i raddau mawr dan fawd dau offeiriad a breswylient yn y gymydogaeth, sef y Parch. Hugh Lloyd, Cilpill, yr hwn a wasanaethai yn Llanddewi a Llangeitho; a'r Parch. John Jones, Glanmarch, Tregaron ar ol hyny. Yr oedd y ddau hyn, heblaw bod yn offeiriaid, yn dirfeddianwyr, ac un o honynt yn ynad heddwch, os nad oedd y ddau felly. Yn ychwanegol, yr oedd Mr. Lloyd yn bregethwr gwych, ac yn dra ffafriol i'r Methodistiaid, ond iddynt aros yn adran o Eglwys Loegr; byddai ei dŷ yn agored yn wastad i'r rhai a ddeuent i Gymdeithasfa Llangeitho; ond efallai fod mwy a fynai Mrs. Lloyd a hyny, oblegyd yr oedd hi yn ddynes wir grefyddol, a gorphenodd ei gyrfa gyda'r Methodistiaid. Braidd nad oedd Mr. Jones, Glanmarch, yn rhagori hyd yn nod ar Mr. Lloyd fel pregethwr; meddai ddawn tra phoblogaidd; ond oblegyd ei hoffder o'r ddiod, yr oedd yn wahanglwyfus, a gwaethu a wnaeth y rhan olaf o'i oes. Llidiodd yr offeiriaid hyn yn enbyd oblegyd i'r Methodistiaid ordeinio gweinidogion; a chan y meddent gyfryw awdurdod a dylanwad, ofnai blaenoriaid yr eglwysi o gwmpas alw y gweinidogion i weini yr ordinhadau yn eu mysg, rhag digio y ddau ŵr mawr. Eithr parch i'r Cyfundeb, ac argyhoeddiad cydwybod, a orchfygodd yn y diwedd. Y cyntaf heb fod yn offeiriad urddedig a gafodd ei alw i gyfranu yn Llangeitho oedd Ebenezer Richard; ac yr oedd y fath arddeliad ar y gwasanaeth, a'r Presenoldeb dwyfol mor amlwg, fel y diflanodd pob rhagfarn yn erbyn gweinidogion y Cyfundeb am byth. Yn raddol ciliodd pob drwgdeimlad o'r eglwysi trwy y wlad.

Eithr cynhyrfodd yr Eglwyswyr trwy Gymru oblegyd y Neillduad, yn arbenig y rhai a edrychent gyda ffafr ar y Methodistiaid yn flaenorol, tra yr arosent oddifewn i'r Llan. Cyhoeddent yr hyn a wnaed yn gysegr-halogiad; dynodent y gweinidogion a ordeiniwyd fel treiswyr, yn rhuthro at yr allor i weini mewn pethau sanctaidd ar draws gorchymyn pendant Duw. Gwnaethant a allent i ddrygu y Methodistiaid yn mhob modd; yn eu cymeriad, ac yn eu hamgylchiadau; a lle y caent rith o sail gyfreithiol lladratent eu capelau oddiarnynt. Gweddus sylwi mai yn y Dê agos yn gyfangwbl y cymerodd hyn le.

Un o'r offeiriaid efengylaidd a daniodd y magnel mwyaf a feddai trwy y wasg ar y Methodistiaid oedd y Parch. Thomas Jones, Creaton, a fuasai hyd hyny yn gyfaill mynwesol i Mr. Charles. Ond cyn sylwi ar ei lyfr rhaid i ni roddi gair o'i hanes. Ganwyd ef yn nghymydogaeth yr Hafod, yn Nghwmystwyth, Sir Aberteifi, Ebrill, 1752. Cafodd addysg well na'r cyffredin. Tuag wyth milltir oedd o dŷ ei rieni i Ystradmeurig, lle y cadwai Edward Richard ei ysgol enwog; a chafodd y llanc Thomas ei anfon yno pan yn dair-ar-ddeg oed. Bu yn yr ysgol hon am naw mlynedd. Yn bur fuan gwedi ei fynediad i Ystradmeurig, clywodd fod Daniel Rowland wedi ei gyhoeddi i bregethu yn Mhontrhydfendigaid, ac aeth yno i'w wrando. Cafodd Rowland odfa ryfedd; ei ddull yn traddodi a dynai sylw yr hogyn o'r ysgol yn fwy na'i bethau; ac

aeth y llanc i ffwrdd o'r cyfarfod yn ddyn newydd. Gwrandawodd ar Rowland lawer gwaith wedi hyn, a chwedi ei ordeinio cafodd y fraint o gynorthwyo yr offeiriad enwog pan yn cyfranu yn Llangeitho. Haner addolai Rowland; credai na welodd y byd y fath bregethwr; crogai darlun o hono yn ei fyfyrgell, ac aml y taflai Mr. Jones drem ar y darlun wrth gyfansoddi ei bregethau, er mwyn sugno ysprydoliaeth o hono. Pan yn ddwy-ar-hugain oed cafodd ei ordeinio i guwradiaeth Eglwysfach a Llangynfelin, rhwng Aberystwyth a Machynlleth. Pum' mlynedd y bu yma; llwyddodd i wneyd llawer o ddaioni yn ystod tymhor ei arosiad; rhoddodd derfyn ar y campau annuwiol oedd yn cael eu cynal yn y gymydogaeth, a bu yn offeryn, dan fendith Duw, i achub rhai eneidiau. Yn y flwyddyn 1779 symudodd i guwradiaeth Leintwardine, swydd Henffordd, lle cyfagos i Ludlow. Beth a'i cymhellai i adael Cymru, nis gwyddom; sicr yw mai nid diffyg gwladgarwch oedd y rheswm, oblegyd yr oedd cariad at ei wlad yn nwyd gref ynddo. Byddai yr englyn canlynol o'i eiddo yn ddigon i brofi hyny:—

"Chwi, Gymry anwyl, gymeraf—i'm coel,
I'm calon anwylaf;
Mi'ch cerais, fyth mi'ch caraf;
Neb, neb o'ch bath, ni wnaeth Naf."

Nid rhyw hapus iawn y bu yn Sir Henffordd. Desgrifia y bobl fel rhai cwbl ddigrefydd, bron yn baganaidd o ran gwybodaeth am Dduw, wedi ymroddi i chwareuon, yn enwedig ar y Sul, ac i feddwdod. Ceisiodd ef osod y campau i lawr, ac o herwydd hyny, a bod ei bregethau yn efengylaidd eu tôn, nes peri i'r bobl ddrwgdybio ei fod yn Fethodist, tynodd arno ei hun ŵg rhai o bobl y plwyf. Aeth y rhai hyny at y ficer i achwyn, ac mewn canlyniad cafodd Mr. Jones fis o rybudd i ymadael, ar ol bod yno tua blwyddyn a haner. Ei guwradiaeth nesaf oedd Lognor, tua saith milltir o'r Amwythig. Yr oedd y bobl yno yn fwy moesol eu buchedd, ond yn gwbl amddifad o grefydd ysprydol; un dyn duwiol a ystyriai oedd yn yr holl blwyf i gyd. Pymtheg mis y bu yma; enillodd ei ddifrifwch iddo y teitl o Fethodist, ac mewn canlyniad gorfu iddo ymadael. Symudodd oddiyno i Groesoswallt, lle y trigianai tua deg o glerigwyr, y rhai yr oedd eu bywioliaethau allan yn y wlad, ac a ddeuent i eglwys y dref yn yr hwyr. Buan y tynodd efengyleidd-dra ei weinidogaeth y gywed hon yn ei ben; yn arbenig rhoddodd pregeth o'i eiddo ar ailenedigaeth dramgwydd i'r *Rural Dean*, a chafodd fis o rybudd i ymadael gan y ficer, yr hwn a dystiai ar yr un pryd fod yn ddrwg ganddo ei golli. Bu gweinidogaeth Mr. Jones yn dra llwyddianus yn Nghroesoswallt; yn fuan gwedi ei ymadawiad ymunodd tua deugain o'i ddychweledigion â'r Wesleyaid, a nifer cyffelyb â'r Methodistiaid, ac aeth capel yr Annibynwyr, yn yr hwn y llefarai Dr. Williams, gwedi hyny o Rotherham, yn rhy fychan. Wedi bod am ychydig amser yn Loppington, gerllaw Wem, a chael ei erlid oddiyno, derbyniodd guwradiaeth Creaton, yn Northampton. Yma y treuliodd weddill ei oes, sef dwy-flynedd-a-deugain fel cuwrad, a'r gweddill fel rheithior. Cafodd fyw nes cyrhaedd yr oedran mawr o bedwar ugain mlynedd a thair ar ddeg, a bu farw mewn tawelwch, Ionawr 7, 1843. Yr oedd yn ddyn gwir dduwiol, ac o allu meddyliol mwy na'r cyffredin. Heblaw hyn, yr oedd yn bregethwr da, a gwir efengylaidd, a chyfansoddodd amryw lyfrau o nodwedd grefyddol, a fuont o fendith i lawer. Yr oedd yn gyfaill mynwesol i Mr. Charles, a bu y ddau yn ymohebu, ac yn cydgynllunio, er dyrchafu Cymru yn foesol a chrefyddol. Tueddai y Parch. Thomas Jones yn gryf at y Methodistiaid tra y buont mewn rhyw fath o gysylltiad â'r Eglwys Sefydledig; edrychai arno ei hun fel yn perthyn iddynt.

Ond pan y darfu i'r Cyfundeb ordeinio gweinidogion iddo ei hun, gan ddibrisio urddiad esgobol, gwylltiodd y Parch. T. Jones; trodd yn erlidiwr o'r fath waethaf, ac nid oedd un enw yn rhy ddrwg ganddo i'w osod ar ei gyfeillion gynt. Heblaw anfon llythyrau chwerw at rai o brif arweinwyr y Methodistiaid, yn enwedig Mr. Charles, cyfansoddodd lyfr o'r enw *The Welsh Looking-Glass*, unig amcan pa un oedd condemnio yr ordeiniad; ac yr ydym yn amheu a oes dim mwy bustlaidd yn yr iaith Saesneg. Y mae y llyfr yn dra amddifad o rym ymresymiadol, ond yn gyfoethog o haeriadau, ac yn llawn o bob math o gamddarluniad. Er rhoddi i'r darllenydd enghraifft o'i nodwedd, difynwn ychydig o'i gynwys: "Gadawer i ni edrych ar yr ordeiniad hwn sydd newydd ei ddyfeisio, er y rhaid i ni wneyd hyny gydag anewyllysgarwch ac atgasedd. Yr hen Fethodistiaid Calfinaidd yn y dechreu a arferent dderbyn y swper sanctaidd yn

eglwys y plwyf; a chwedi hyny, os nad oddifewn i furiau yr eglwys, eto o leiaf, o ddwylaw y rhai a dderbyniasent urddiad esgobol; ac ni ddarfu iddynt erioed goleddu y syniad y meddai neb, oddigerth offeiriad wedi ei urddo yn gyfreithlawn, na hawl na gallu i weinyddu y sacrament sanctaidd. Ond dyeithr i'w adrodd, a diflas yr hanes, ddarfod i rai o'u pregethwyr yn ddiweddar lochi y dybiaeth falch eu bod hwy yn offeiriaid heb ordeiniad; neu ynte fod gwawd-ordeiniad yn ddigonol. Ymddengys fod ganddynt rywbeth a alwant wrth y cyfryw enw (ordeiniad); ac os iawn y'm hysbyswyd yr oedd o'r natur hyn. Nid oedd neb yn bresenol yr hwn a dderbyniasai ordeiniad o unrhyw fath ei hun. Er na ddarfu i mi fod yn dyst o'r seremoni ddigrifol, na chael llawn ddesgrifiad o'u hymddygiadau, eto yr wyf yn tybio mai rhywbeth yn y ffurf hyn y rhaid ei fod. Gwedi i gwmni o bobl leyg ymgasglu yn nghyd, pa un ai gwrywaid neu benywaid, ychydig neu lawer, nid yw o un pwys, y mae y pregethwyr yn dyfod yn y blaen ac yn apelio at y gwyddfodolion eu bod hwy yn bersonau priodol i fod yn offeiriaid i'r Arglwydd, nid yn unig i bregethu yr efengyl, ond hefyd i weinyddu yn yr holl swyddogaethau offeiriadol. Pan y clywir yr apêl, ardystia rhai, pa un ai dynion ynte benywaid nis gallaf ddweyd, fod John, a Richard, a William, ac amryw eraill, yn gymhwys i fod yn weinidogion yr efengyl; ac y maent yn cael eu cyhoeddi felly heb unrhyw wrthwynebiad. Y mae y dynion hyn, trwy nerth amryfusedd cadarn, yn dychwelyd adref, ni dybiwn, ar ol urddiad o'r math hwn, wedi eu boddhau gan ddewisiad a chymeradwyaeth eu brodyr, a chyda theimlad o gryn hunan-ymhyfrydiad. Ychydig gwell na gwastraff ar amser fyddai parhau ymresymiad gyda golwg ar yr hyn nad yw yn ddim gwell na ffug difrifol, a chellwair ar ordinhadau y nef; a'r hyn mewn gwirionedd sydd yn rhyfyg annuwiol."

Dyma fel yr ysgrifena Mr. Jones yn llidiogrwydd ei yspryd, am ei gyfeillion gynt. Yn sicr, nid ymresymu yw peth fel hyn, ond difriaeth annheilwng; cawn chwerwder bustlaidd yn lle profion. Byddai yn anhawdd casglu mwy o wyrdroad ar ffeithiau i gan lleied o le. (1) Haera Mr. Jones nad oedd neb yn bresenol yn ordeiniad gweinidogion cyntaf y Methodistiaid a dderbyniasai ordeiniad o unrhyw fath ei hun. Y mae hyn yn gamdystiolaeth bendant. Yn y Bala cymerwyd rhan yn ngwasanaeth yr ordeiniad gan Mr. Charles; yr oedd ef wedi derbyn urddiad esgobol, y fath urddiad ag y caniatâi Mr. Jones ei hun ei gyfreithlondeb. Yn Llandilo Fawr yr oedd tri o offeiriaid urddedig yn cymeryd rhan yn y gwasanaeth, sef y Parchn. John Williams, Lledrod; John Williams, Pantycelyn; a T. Charles. I'n bryd ni, buasai y gwasanaeth yn hollol gyfreithlon hebddynt, os oedd yr urddiad yn cymeryd lle trwy alwad ddifrifol yr eglwys; ond gan y rhydd Mr. Jones bwys dirfawr ar bresenoldeb gwŷr urddedig, dylasai ymholi yn fanwl cyn cyhoeddi anwiredd dybrid o'r fath ar goedd gwlad. Nis gellir ei amddiffyn trwy ddweyd ei fod wedi cael ei gamhysbysu, a darfod i rywrai gario iddo yr hyn nad oedd wir; oblegyd trwy ychydig ymchwil buasai yn hawdd iddo ddod o hyd i'r gwirionedd ar y mater. Y ffaith yw, ei fod yn barod i groesawu pob chwedl ddrwg am y Methodistiaid yn yr amgylchiad hwn, ac felly fod y rhai a fasnachent yn y cyfryw nwyfau yn cludo iddo, yn ol eu harfer, yr hyn a ddymunai efe. (2) Darlunia y pregethwyr cyntaf gafodd eu hordeinio fel yn gwthio eu hunain i'r ffrynt, ac yn apelio at deimlad cynulleidfa gymysg ac anwybodus, parthed eu cymhwysder i gael eu neillduo i'r holl waith. Y mae hyn eto yn au-dystiolaeth, ac yn wyriad amlwg ar ffaith. Y mae cymeriad uchel John Elias, Ebenezer Morris, a'r gweddill o'r rhai a ordeiniwyd, a'r syniad dyrchafedig am weddeidd-dra a feddent, yn brawf digonol y cymerasent dori ymaith eu llaw ddehau cyn y gwthient eu hunain i sylw y cynulleidfaoedd. Gwnaed y dewisiad o honynt gan swyddogion eglwysig cynulledig mewn gwahanol Gyfarfodydd Misol, a hyny gydag ystyriaeth bwyllog, a chwedi gweddi ddyfal am arweiniad yr Arglwydd. Prawf o'r pwyll a'r arafwch a ddangoswyd oedd iddynt basio heibio i rai gwŷr doniol a galluog, am nad ystyrient eu bod yn gwbl ddifai o ran cymeriad. Y mae awgrym Mr. Jones fod benywod wedi cymeryd rhan yn y Neillduad yn gabldraeth. (3) Awgryma am y gweinidogion cyntaf mai personau dinod oeddent, trwy eu dynodi dan yr enwau John, Richard, a William; pan y gwyddai yn dda eu bod oll yn bregethwyr ag yr oedd eu clod trwy yr holl eglwysi, a Duw wedi arddel eu gweinidogaeth er dychweliad pechaduriaid ganoedd o weithiau. Nid oedd Mr. Jones

ei hun i'w gystadlu iddynt parthed cymhwysder gweinidogaethol; a gallent, fel Paul, droi at ugeiniau, a'u hawlio fel seliau eu gweinidogaeth.

Wedi diosg cynwys llyfr Mr. Jones oddiwrth ei haeriadau anwireddus, a'i ddifriaeth daeog a dichwaeth, cynwys yr hyn y ceisir ei brofi ynddo ydyw, nad oes un ordeiniad yn gyfreithlawn, oddigerth urddiad esgobawl. A pha gymhwysder bynag y geill pregethwr fod wedi ei ddonio, ac i ba radd bynag y geill Duw fod wedi bendithio ei lafur er achubiaeth eneidiau, eto, na fedd hawl i weinyddu y sacramentau, ïe, er fod eglwys Crist yn ei alw at hyny, oddieithr fod dwylaw esgob wedi bod ar ei ben. Y fath rinwedd y rhaid ei fod yn llaw esgob! Nis gellir profi yr haeriad yma o'r Testament Newydd, yn sicr. Fel y dywedai Daniel Rowland, y mae mwy o rinwedd yn ngweddïau cynulleidfa o bobl dduwiol, a mwy o sicrwydd gyda golwg ar gyfreithlondeb yr alwad a roddir ganddi, nag sydd mewn unrhyw weithred o eiddo esgob. Yr oedd safle Mr. Jones yn un o anhawsder dirfawr. Ar y naill law cyfaddefai fod llu o offeiriaid yn Eglwys Loegr yn elynion i Dduw ac i'w wirionedd; oblegyd hyny, nad oeddynt yn offeiriaid i Dduw, am nad oeddynt yn meddu y cymhwysderau gofynol. "Golygfa fwy poenus nis gellir eu gweled dan haul," meddai, "na gweled esgob yn gosod dwylaw difater ar ben caethion i amrywiol chwantau, gelynion Duw a'r gwirionedd, a dyeithriaid i weddeidd-dra, gan ddweyd wrth y cyfryw am borthi praidd Crist." Ar y llaw arall, edrychai ar urddiad gan yr esgobion hyn, y rhai a osodent elynion Duw a'i wirionedd yn y weinidogaeth, yn hanfodol tuag at weinyddiad cyfreithlawn o'r sacramentau. A chan na wnelent ordeinio dynion cymhwys, y rhai yr oedd arddeliad y nefoedd ar eu llafur, ystyriai y dylai eglwys y Duw byw fod mewn amddifadrwydd hollol o'r sacramentau, yn hytrach na galw i'w gweinyddu y rhai a wrthodid gan yr esgobion, ond a feddent bob cymhwysder arall. Yr oedd Mr. Jones heb yn wybod iddo yn sacramentwr, ac yn *sacerdotalist*.

Yr ydym wedi aros cyhyd gyda y Parch. Thomas Jones, Creaton, am ei fod yn cynrychioli teimlad dosparth helaeth yn yr Eglwys at ordeiniad y Methodistiaid. Cymeradwyent waith y Methodistiaid yn pregethu yr efengyl, yn sefydlu seiadau, yn adeiladu capelau, ac yn cyffroi y wlad; addefent mai hwy oedd wedi gwaredu Cymru oddiwrth baganiaeth; ond edrychent ar eu hymddygiad yn ordeinio pregethwyr i weinyddu y sacramentau fel rhyfyg. Anturiai Mr. Jones brophwydo eu dinystr o herwydd hyn. "Sylwch ar fy ngeiriau," meddai; "bydd i'r Arglwydd yn ei ddigllonedd chwythu arnynt. Efallai na chymer hyn le yn fy oes i, yr hon sydd yn tynu tua'r terfyn; ond fe ddaw, a'r oes ddyfodol a'i gwel." Ysgrifenai y geiriau hyn yn y flwyddyn 1812; ac er fod dros bedwar-ugain mlynedd wedi pasio er hyny, nid oes y tebygolrwydd lleiaf y cyflawnir ei ddarogan. Cynyrchodd y *Welsh Looking-Glass* gryn gyffro ar y pryd; ond costiodd i'r awdwr ei boblogrwydd yn Nghymru, yn enwedig yn mysg y dosbarth efengylaidd. Dywed ei fywgraffydd, y Parch. John Owen, Thrussington, yr hwn yntau oedd yn offeiriad, i Mr. Jones, mewn canlyniad i'r llyfr hwn, enill clod yn mysg yr Uchel Eglwyswyr, ond annghlod gan y blaid efengylaidd.

Eithr nid erledigaeth trwy y wasg yn unig a ddyoddefodd y Methodistiaid oblegyd y Neillduad; dyoddefasant yn ddwys, amryw o honynt, yn eu hamgylchiadau tymhorol, fel y cawn ddangos eto; a chymerwyd mantais annheg mewn amryw fanau yn y Deheudir i ladrata eu capelau oddiarnynt. Yr oedd hyn yn hawdd, mewn cymhariaeth, y pryd hwnw, oblegyd fod y prydlesoedd wedi cael eu tynu allan yn dra phenagored ac ammhenodol. Cofier nad oedd y *Gyffes Ffydd* wedi cael ei ffurfio yr adeg hon; nid oedd y Weithred Gyfansoddiadol, na'r *Trust Deed* ychwaith, mewn bod; o ganlyniad, o angenrheidrwydd, yr oedd cryn anhawsder gyda golwg ar brydlesoedd yr adeiladau a feddai y Cyfundeb. Dadleuai yr offeiriaid fod y Methodistiaid, trwy y Neillduad, wedi myned yn enwad newydd, ac felly, eu bod wedi colli eu hawl i'r eiddo. Yn ychwanegol, mewn llu o amgylchiadau, offeiriaid ac Eglwyswyr fyddai yr ymddiriedolwyr; cawsent eu penodi felly, oblegyd yr ystyrid hwy yn Fethodistiaid; ond torasant eu cysylltiad a'r enwad adeg yr ordeiniad, ac nid oeddynt uwchlaw cymeryd mantais annheilwng ar eu safle. Yn ddiweddaf, nid oedd y Methodistiaid yn hoffi ymgyfreithio; a phrin y meddent arian i gario trafodaeth gyfreithiol faith yn mlaen, a hyny yn erbyn pobl gyfoethog. O herwydd hyn collodd y Methodistiaid amrai o'u capelau, ac mewn rhanau o'r

wlad y maent yn dyoddef o herwydd hyny hyd y dydd hwn.

Un o'r lleoedd y cymerodd hyn le ynddo oedd Llanddewibrefi, er na ddygwyddodd am amryw flynyddoedd ar ol y Neillduad. Adeiladesid capel yn nghanol y pentref i'r Methodistiaid, a hyny yn bur fuan gwedi i Rowland gael ei dori allan o'r Llan; dywedai y weithred yn bendant mai "canlynwyr Daniel Rowland" oeddynt wir berchenogion yr adeilad. Bu y Methodistiaid am amryw flynyddoedd gwedi y Neillduad cyn galw neb o'u gweinidogion yno i weinyddu yr ordinhadau. Y prif reswm am hyn oedd fod y Parch. Hugh Lloyd, Cilpyll, yr offeiriad a weinyddai yn eglwys y plwyf, yn hynod o barchus, ac yn bregethwr tra efengylaidd, ac felly nad oeddynt am roddi teimlad iddo. Elai y ffyddlonaf i Langeitho, tua phum' milltir o bellder, Sul pen mis; cymunai eraill gyda Mr. Lloyd. Eithr o'r diwedd penderfynwyd fod y sacramentau i gael eu gweinyddu yn y capel, a hyny gan weinidogion y Cyfundeb. Cyffrodd yr Eglwyswyr yn aruthr oblegyd hyn, yn arbenig y Parch. Hugh Lloyd; ac yn fuan cafodd y Methodistiaid rybudd cyfreithiol i droi allan o'r capel. Yr oedd yr Eglwyswyr wedi parotoi ar gyfer hyn. Ymddengys fod ymddiriedolwyr y capel oll wedi meirw adeg y Neillduad, a phan yr aed i wneyd ymddiriedolwyr newyddion, gofalwyd iddynt oll fod yn Eglwyswyr. Y mae yn amlwg fod y rhybudd yn anghyfreithlawn, ac mai y Methodistiaid yn unig a feddai hawl i gael eu galw yn ganlynwyr Daniel Rowland; ond yr oeddynt y pryd hwnw yn weiniaid, heb ewyllysio ymgyfreithio, ac wedi arfer ymostwng i'r gwŷr mawr, cam neu gymhwys. Felly penderfynodd y bobl druain dlodion roddi eu capel i fynu, a myned allan fel Abraham gynt heb wybod i ba le. Y cyfarfod olaf a gynaliwyd ynddo oedd cwrdd diolchgarwch am y cynhauaf; ar ei derfyn darfu i un o'r blaenoriaid, sef Jonathan Richards, gloi drws y capel, a chymeryd yr agoriad i'r ymddiriedolwyr. Cynygiodd yr allwedd yn gyntaf i Dr. Rogers, Abermeurig, ond gwrthododd ef ei derbyn. Estynodd hi yn ganlynol i'r Parch. Hugh Lloyd, a rhoddodd yntau hi yn ei logell. Gadawyd y pwlpud a'r dodrefn oll ar ol, oddigerth bwrdd bychan a'r Beibl; cymerwyd y rhai hyny allan, a gosodwyd hwy ar yr heol o flaen y capel. Dywed traddodiad, gwir neu anwir, fod y nos ddilynol yn un wyntog a gwlawog iawn; ond er i'r holl wlad gael ei gwlychu i'r Beibl gael ei gadw, mewn modd a ymddangosai agos yn wyrthiol, yn sych a dinam. Y Sul canlynol nid oedd gan y rhai a droasid allan un lle i fyned, nac un drws yn agored i'w derbyn. Cadwyd y cyfarfod ar yr heol gyferbyn a'r addoldy cloedig, a Mr. Williams, Lledrod, oedd y pregethwr. Ni chlywsom ei destun, ond ymddengys fod arddeliad anarferol ar y bregeth. Rywbryd ar ei bregeth cyfeiriai at y capel cauedig, a'r drws clo, a bloeddiai gyda dylanwad anorchfygol: "Os yw drws y capel yn nghau, diolch i Dduw y mae drws y nefoedd yn agored; nid oes yr un *trustee* mewn bod a fedr gloi hwnw." Eithr cyn Sabbath arall cymerwyd tŷ gwag oedd gerllaw i gynal moddion, ac yma y bu pregethu nes adeiladu y capel newydd.

Er bod yn gyfranog, ac yn wir yn flaenllaw, yn y camwri hwn o droi y Methodistiaid allan o'u capel, dyn o deimlad tyner oedd Mr. Lloyd, ac ymddengys fod ei gydwybod yn hynod anesmwyth oblegyd yr hyn a wnaethai. Cyn hir aeth at Jonathan Richards, gan gynyg yr agoriad yn ol ar ryw delerau. Beth oedd y telerau, nis gwyddom yn sicr; peidio gweinyddu y sacramentau yn y capel, mae yn bur debyg; modd bynag, yr oeddynt yn gyfryw nas gallai y Methodistiaid eu derbyn, a gwrthod yr allwedd a wnaethant. Mae yn debyg fod cydwybod Mr. Lloyd ryw gymaint yn esmwythach wedi y gwrthodiad. Ond yn bur fuan cyfarfyddwyd ef gan hen ŵr duwiol, oedd yn *farm bailiff* iddo, o'r enw Jac Ty'nybedw, ac meddai hwnw wrtho: "Mr. Llwyd, chwi wnaethoch weithred yn Llanddewi na chymerwn i mo'r byd am fod yn gyfranog â chwi ynddi." "Beth oedd hyny?" ebai yntau. "Cloi drws y capel yn erbyn pobl yr Arglwydd," oedd yr atebiad. "Ië," ebai Mr. Llwyd, "ond mi gynygiais yr allwedd yn ol iddynt ail tranoeth, Jac." "Efallai," meddai yr hen ŵr yn ol; "ond mi glywais i Judas Iscariot gynyg yr arian yn ol ar ol bradychu ei Arglwydd, ond ni wnaeth iawn am ei bechod trwy hyny." Aeth geiriau Jac Ty'nybedw at galon Mr. Lloyd; dywedir na fu ddiwrnod yn iach byth; ac nid hir y bu cyn cael ei gludo at ei dadau.

Ar yr un pryd, bendith i'r Methodistiaid oedd colli y capel yn Llanddewibrefi, oblegyd yr oedd yn gymharol fychan, ac ni feddent fodfedd o dir i'w helaethu. Cynyrchodd ymddygiad annheilwng yr

ymddiriedolwyr hefyd gydymdeimlad cyffredinol â hwy trwy yr holl wlad o gwmpas, hyd yn nod yn mynwesau dynion digrefydd. Gan Mr. Davies, Maesycrugiau, hen drigianydd yn y gymydogaeth, cawsant le i adeiladu capel newydd, gyda phrydles o fil o flynyddoedd, am chwe' cheiniog yn y flwyddyn. Fel hyn y bu. Aethai dyn digrefydd, sef David Evans, Abercarfan, i Maesycrugiau, i dalu ei *rent;* ac yr oedd ganddo lythyr yn ei logell oddiwrth Mr. Richard, Tregaron, i Mr. Davies, yn adrodd am y modd y cawsai capel Llanddewibrefi ei gloi rhag y Methodistiaid, ac yn ceisio ganddo gyfryngu trwy roddi tir at gapel arall. Darllenodd y boneddwr y llythyr wrth y bwrdd bryd ciniaw; cafodd ei orchfygu yn hollol gan yr hyn a ddarllenai, a thorodd allan i wylo yn uchel. Yr oedd yno nifer o offeiriaid y gymydogaeth wedi dyfod i'r ciniaw; taflodd Mr. Davies y llythyr iddynt gyda rheg, gan ddweyd: "Paham na allai rhai o honoch chwi, y d——liaid, ysgrifenu fel yna?" gan gyfeirio at swyn dawn Mr. Richard. Dychwelodd Dafydd, Abercarfan, âg addewid am ddarn o ardd i fod yn lle capel; yr oedd efe, a dyn dibroffes arall, sef Jenkin Williams, Abercoed, yn dwyn mawr zêl dros y capel newydd; ac aethant i Dregaron, adeg y Cyfarfod Misol, gan aros y tu allan wrth ddrws y capel, tra yr oedd yr ymdrafodaeth parthed derbyn cynygiad Mr. Davies, Maesycrugiau, yn myned yn y blaen oddifewn. Wedi deall fod y tir wedi cael cymeradwyaeth dychwelasant adref yn llawen, a thranoeth yr oedd eu troliau yn y chwarel, yn cyrchu ceryg at yr adeilad. Bu y ddau farw yn ddibroffes, ond anhawdd genym feddwl na ysgrifenwyd yr hyn a wnaethant yn goffadwriaeth iddynt gerbron Duw. Trodd yr Eglwyswyr yr hen gapel yn ysgoldy, a bu yn eu meddiant am gryn haner can' mlynedd. Ond tua'r flwyddyn 1872, deuwyd o hyd i'r weithred wreiddiol; gwelwyd oddiwrthi mai eiddo y Methodistiaid oedd y lle; cafodd pobl yr Eglwys rybudd cyfreithiol i roddi eu hysglyfaeth yn ol; yr hyn hefyd a wnaethant wedi deall gwir sefyllfa pethau. Ac oddiar hyny y mae yr hen gapel yn meddiant ei wir berchenogion.

Capel arall a gollwyd oedd tŷ cwrdd Llandudoch, yn Sir Benfro, ond sydd am yr afon a thref Aberteifi. Pregethai y Diwygwyr Methodistaidd yma yn achlysurol, a diamheu i gymdeithas fechan gael ei ffurfio yn y lle. Daeth offeiriad efengylaidd ei yspryd i eglwys y plwyf, o'r enw William Jones. Brodor o Sir Forganwg ydoedd; ac fel Jones, Llangan, a Christopher Basset, perthynai i'r Methodistiaid, gan bregethu i'w cynulleidfaoedd a chyrchu i'w Cyfarfodydd Misol. Yn ei ddyddiau ef cyfododd y Cyfundeb gapel yn y pentref, a diau ei fod yntau yn cymeryd rhan arweiniol gyda'r adeilad. Eithr yr oedd y Parch. William Jones yn wrthwynebwr ffyrnig i'r Neillduad, a chwedi yr ordeiniad yn Llandilo Fawr ciliodd oddiwrth y Methodistiaid, gan rwystro eu pregethwyr i wneyd defnydd o'r capel. A oedd geiriad y brydles yn rhoddi hawl gyfreithiol iddo i wneyd hyny, nis gwyddom; ond yr oedd yr holl ymddiriedolwyr yn Eglwyswyr. Trwy ei fod yn bregethwr da, ac yn fawr ei ddylanwad, glynodd corph y gynulleidfa wrtho; ac yr oedd yr ychydig weddill a dueddent i lynu wrth y Cyfundeb, yn rhy eiddil a llwfr i fynu gweled y weithred, a hawlio eu hiawnderau. A math o ysgoldy yn perthyn i'r Eglwys a fu y capel byth. Ni fu pregethu yn y pentref gan y Methodistiaid gwedi hyn am bum'-mlynedd-ar-hugain. Eithr tua'r flwyddyn 1836, ailddechreuwyd achos bychan yn y lle, ac adeiladwyd capel. Ond y mae grym y bobl yn perthyn i'r Eglwys Sefydledig hyd y dydd hwn.

Yn gyffelyb y dygwyddodd yn Eglwyswrw. Y mae genym hanes am Howell Harris yn pregethu yma, a cheir cyfeiriad at y seiat yn Nghofnodau Trefecca. Nid ydym yn sicr a ddarfu iddi oresgyn ystorm yr Ymraniad; y tebygolrwydd yw iddi wneyd, oblegyd dylanwad Howell Davies. Ni adeiladwyd capel yma hyd tua'r flwyddyn 1807; yn flaenorol cedwid moddion mewn tŷ anedd oedd wedi ei drefnu i'r pwrpas. Ymddengys fod yr aelodau yn rhai pur ffyddlon, ond fel trigolion canol gwlad yn gyffredin yn tueddu at fod yn llwfr, a gwasaidd i'r offeiriad. Cymunai rhai o honynt yn eglwys y plwyf, ond ai y nifer amlaf Sul pen mis i Nefern, lle y gweinidogaethai y Parch. D. Griffiths. Rhaid oedd gofalu na fyddai moddion yn y tŷ anedd pan y cedwid gwasanaeth yn y llan; ac os dygwyddai i bregethwr gael hwyl boreu y Sul, ac i'r cyfarfod fyned yn faith, mawr fyddai y twrw. Unwaith pregethai Williams, Lledrod, yno, ac ymddengys fod y pregethwr a'r gynulleidfa yn cael blas, fel nad oedd yn bosibl terfynu. Ar y pryd tynai yr offeiriad tua'r eglwys,

ac er ei fawr syndod gwelai nad oedd yr odfa yn y capel drosodd. Gwthiodd ei ben i mewn trwy y drws, a gwaeddodd ar y gynulleidfa am ymwahanu ar unwaith, onide y byddai iddo osod eu hachos yn Llys yr Esgob. Gwyddai Mr. Williams yn dda am y ddefod; gollyngodd y bobl ymaith ar unwaith, gan eu hanog i fyned i'r llan ar ol yr offeiriad. Yr oedd dylanwad Mr. Griffiths, Nefern, yn ddiderfyn yn y rhan yma o'r wlad; a phan y ciliodd ef oblegyd y Neillduad, oerodd teimlad yr aelodau yn Eglwyswrw at y Methodistiaid. Nid yw yn ymddangos i'r capel gael ei gau, fel yn Llandudoch, ond nid oedd yno neb a deimlai ar ei galon i ymorol am bregethwyr. Am beth amser deuai ambell bregethwr teithiol heibio, a chaniateid iddo lefaru yn y capel; ond cyn hir darfyddodd y moddion Methodistaidd yn hollol.

Yn mhen cryn amser daeth rhai Methodistiaid i drigianu i'r ardal, a dechreuasant gadw Ysgol Sabbothol mewn tŷ anedd, ac weithiau ceid gwasanaeth pregethwr. Ymddengys fod yr hen gapel yn ddiddefnydd; a theimlai y Methodistiaid yn bur gryf mai eu heiddo hwy ydoedd, fod geiriau yn y brydles yn dangos hyny yn eglur; a gwnaethant ymdrech i'w adfeddianu. Yr oedd hyn tua dechreu y flwyddyn 1848. Cafwyd rhyw ffordd i fyned iddo un Sabbath; cynhaliwyd cyfarfod ynddo, a chyhoeddwyd y byddai Mr. Williams, Aberteifi, yn pregethu yno y Sul canlynol. Y Sabbath a ddaeth, a'r pregethwr hefyd; ond erbyn myned at y tŷ cwrdd, yr oedd yno warcheidwad arfog yn cadw y drws, ac yn gwarafun iddo ef a phob un arall fyned i mewn. Ar hyn, apeliwyd at berchen y tir y safai y capel arno, sef T. O. Lloyd, Ysw., Bronwydd. Yr oedd efe, fel *lord of the manor*, yn cynal ei lys yn Nhrefdraeth; ac aeth y ddwy blaid yno, gan osod y mater ger ei fron. Yr ymadrodd yn y weithred y pwysai yr Eglwyswyr arno oedd, mai erthyglau athrawiaethol Eglwys Loegr oedd i fod yn safon yr athrawiaeth a bregethid yn y capel. A ganlyn yw sylwedd y ddadl, fel ei ceir yn *Methodistiaeth Cymru*:—

Offeiriaid. "Nid oes gan y Methodistiaid un hawl i'r tŷ cwrdd; nid ydynt yn olynwyr i'r gwŷr a'i hadeiladodd, gan na chawsant erioed urddau esgobawl."

Methodistiaid. "Nid ydym, syr, yn proffesu bod yn olynwyr iddynt; ond yr ydym yn honi mai ni ein hunain oedd yn y lle ar ddydd ei agoriad."

Off. "Ond, syr, y mae crybwylliad penodol yn y brydles mai athrawiaethau yr Eglwys oedd yr athrawiaeth i fod."

Meth. "Nid yw y brydles yn son ond am erthyglau *athrawiaethol* yr Eglwys; nid oes ynddi air am ei llywodraeth eglwysig."

Off. "Yr athrawiaeth uchaf yw y cymun bendigaid; ac yn ol yr erthyglau, nid oes gan y Methodistiaid hawl i'w weinyddu."

Meth. "Nid athrawiaeth ydyw ordinhadau ac ymarferiad eglwys, ac nid ydym ni yn pregethu dim ond sydd yn gyson âg erthyglau Eglwys Loegr, fel y Protestaniaid uniawngred eraill."

Off. "Y maent hwy (y Methodistiaid) wedi ymadael âg egwyddorion eu tadau; mewn gwirionedd, nid oes Methodistiaid yn bod yn awr. Gynt yr oeddynt mewn undeb â'r Eglwys, a gwŷr wedi cael urddau esgobawl oedd eu gweinidogion."

Meth. "Ni fu undeb sylweddol erioed rhyngom âg Eglwys Loegr; nid offeiriad oedd ein sylfaenydd cyntaf (Howell Harris); ac os offeiriaid fu yn gweinyddu i ni, rhai wedi eu troi allan oeddynt, gan mwyaf, o Eglwys Loegr. Ac os yw y ffaith fod clerigwyr yn gweinyddu mewn unrhyw gyfundeb, yn cysylltu y cyfundeb hwnw â'r Eglwys Wladol, yna, Eglwyswyr yw holl Ymneillduwyr y deyrnas, gan mai y *Bartholomew Act* a roes iddynt hanfodiad. Heblaw hyn oll, yr oedd yr offeiriaid Methodistaidd wedi tori eu hunain ymaith o gylch yr Eglwys Wladol, yn ol y nawfed *canon*, o'r dydd y cynhaliwyd y Gymdeithasfa gyntaf ganddynt. A mwy na'r cwbl, yr offeiriaid ydynt elynion penaf Methodistiaeth trwy holl Gymru."

Yr oedd ymadrodd yn y weithred i'r perwyl yma: os byddai y capel am ddeuddeg mis heb ddim pregethu ynddo, fod y weithred yn ddirym. Profwyd na fu pregethu ynddo am fwy na chwe' deuddeg mis.

Off. "Nid yw hyny yn wirionedd. Y mae pregethu ynddo bob wythnos."

Meth. "Gan bwy?"

Off. "Gan Mr. P——, offeiriad y plwyf."

Boneddwr. "A gafodd y capel gysegriad esgobawl?"

Off. "Naddo."

Bon. "Wel, nid oedd gan Mr. P—— un

hawl i bregethu ynddo. A fyddwch chwi yn pregethu yn y capel, Mr. P—— ?"

Mr. P——. "Na fyddaf, syr; ond mi fyddaf yn darllen penod yn y cwrdd gweddi weithiau, ac yn esbonio."

Meth. "Y mae y brydles yn gofyn hyny yn ychwanegol at bregethu, a honi yr ydym mai nid y naill yw y llall."

Bon., gan droi at y Methodistiaid. "A ydych chwi yn cymeryd mantais ar yr adran yna i dori y brydles?"

Meth. "Yr ydym yn cyflwyno yr achos yn hollol i chwi, syr; ac ni a ymfoddlonwn i'ch penderfyniad, beth bynag fyddo."

Bon. "Wel, ynte, mi a roddaf fy marn, ond nid ar air yn awr, eithr mewn ysgrif, ac mi a anfonaf gopi i'r ddwy blaid."

Bu Mr. Lloyd cystal a'i air; y mae ei ddyfarniad ar gael yn awr, ac yn hollol yn ffafr y Methodistiaid. Eithr er mwyn cymydogaeth dda, anogai ar fod yr Eglwyswyr a'r Methodistiaid yn gwneyd defnydd o'r capel; y Methodistiaid yn ei ddefnyddio ar y Sul, a phan fyddai arnynt ei eisiau ar yr wythnos, a ficer y plwyf yn cael caniatad i draddodi anerchiad wythnosol ynddo. Eithr ni dderbyniai yr Eglwyswyr y dyfarniad; a chan fod y capel ganddynt hwy yn barod mewn meddiant, nid oedd yn bosibl i'r Methodistiaid sefydlu eu hawl heb ymgyfreithio â'r ymddiriedolwyr. I hyny nid oeddynt yn barod, ac y mae y Cyfundeb heb un addoldy yn nghymydogaeth Eglwyswrw hyd y dydd hwn.

Collwyd capel Nefern hefyd. Yma y gweinyddai y Parch. D. Griffiths, yr hwn oedd yn bregethwr doniol a hyawdl, ac a gyfrifid fel arweinydd yn mysg Methodistiaid Sir Benfro. Adeiladesid capel eang a hardd yma tua dechreu y ganrif, yn yr hwn y pregethai y cynghorwyr, ac y cynhelid moddion wythnosol. Yn y llan y gweinyddid y sacramentau, a chymaint oedd enwogrwydd Mr. Griffiths, fel y dylifai yr holl wlad yno Sul y cymundeb. Fel y darfu i ni nodi, efe oedd arweinydd y blaid a wrthwynebai y Neillduad; a chwedi i hyny gymeryd lle, torodd ei gysylltiad â'r Methodistiaid yn hollol. Cymaint oedd swyn ei ddawn, a'r dylanwad a feddai, fel y glynodd yr holl gynulleidfa wrtho. O hyn allan, gwaharddwyd pregethwyr y Methodistiaid i groesi trothwy y tŷ cwrdd. A oedd hyn yn gyson â gweithred y tir, nis gwyddom; nid yw yn ymddangos i neb wneyd ymchwiliad i hyny; gan fod y bobl wedi eu colli, ychydig o bwys oedd colli yr adeilad.

Dyoddefodd Trefdraeth hefyd mewn modd cyffelyb. Cawsai y capel hwn ei agor gan Mr. Jones, Llangan, a Mr. Nathaniel Rowland. Bu yma gynghorwr yn byw o'r enw David Evans, yr hwn a feddai ddoniau pregethu helaeth; ac efe hefyd oedd y clochydd yn eglwys y plwyf. Un tro pregethai efe, a'r Parch. Nathaniel Rowland, mewn Cyfarfod Misol yn Nhrefin, ac ymddengys mai ar weinidogaeth y cynghorwr yr oedd mwyaf o arddeliad. Daeth boneddwr tra chrefyddol i dŷ'r capel ar derfyn yr odfa, ac meddai, yn ngwydd Mr. Rowland: "Frodyr, y mae genyf gynygiad i osod gerbron; sef bod i'r offeiriad gael ei wneyd yn glochydd, a'r clochydd yn offeiriad." Adeg y Neillduad aeth yn ymraniad yn mysg Methodistiaid Trefdraeth. Gan nad yw y lle ond tua dwy filltir o Nefern, yr oedd dylanwad Mr. Griffiths yma hefyd yn fawr; gydag efe y trodd y nifer amlaf o'r aelodau, a chauwyd drws y capel yn erbyn y rhai a lynent wrth y Cyfundeb. Eglwyswr oedd perchen tir y capel, ac ymddengys na chawsid prydles ar yr adeilad; felly yr oedd ganddo hawl gyfreithiol i wneyd ag ef fel yr ewyllysiai. Eithr parhaodd Mr. Bowen, Llwyngwair, gyda'r Methodistiaid, a rhoddodd ddarn o dir i adeiladu capel arno yn lle yr hwn a gollwyd. Agorwyd y capel hwn yn y flwyddyn 1815.

Bu ymraniad hefyd yn mysg Methodistiaid y Ddinas, lle rhwng Trefdraeth ac Abergwaun, a bu agos i'r Cyfundeb golli y capel. Yr oedd hwn yn un o'r capelau hynaf a feddai y Cyfundeb yn Sir Benfro; cawsai ei adeiladu tua'r flwyddyn 1770, yn benaf trwy offerynoliaeth yr hen gynghorwr, John Harris, Treamlod. Tua dechreu y ganrif ddilynol cafodd y capel ei helaethu, am fod yr eglwys a'r gynulleidfa wedi lliosogi yn ddirfawr; ac yn adeg y Neillduad yr oedd yma achos cryf. Ond yn y cyffro hwnw aeth yr eglwys yn ddwy blaid; glynodd un ran wrth y Cyfundeb; ond ciliodd y rhan arall, cyfartal agos i'r llall mewn rhif, at yr offeiriaid. Gwnaed cais i ysglyfaethu y capel, eithr methodd. Ond am yr ystabl, a adeiladesid at wasanaeth yr achos, nid oedd hono yn sefyll ar yr un tir a'r capel, ac nid yr un gŵr oedd perchenog y ddaear, a llwyddodd y blaid Eglwysig i gael meddiant o honi. Buont am beth amser yn cynal ysgol yma, ac ambell i bregeth, ond buan y darfyddodd

hyny. Eithr iddynt hwy y perthyn yr ystabl hyd heddyw.

Yn Sir Benfro y cymerodd yr oll o'r pethau hyn le, gyda'r eithriad o helynt capel Llanddewibrefi; ond cafwyd cryn helbul hefyd yn Llannon, yn Sir Aberteifi. Ystyrid yr offeiriad yma, sef y Parch. David Herbert, fel un o'r Methodistiaid. Ni pherthynai iddynt yn ffurfiol, ar a wyddom, ond deuai i'r capel i wrando pregethau, a chymerai rhan yn y cyfarfodydd gweddi, ac yn y seiadau. Y Methodistiaid o'u tu hwythau a gymunent gydag ef yn eglwys y plwyf, fel braidd nad ystyrid y capel a'r eglwys yn perthyn i'r un bobl. Eithr yr oedd Mr. Herbert yn flin ei yspryd oblegyd y Neillduad. Cydymdeimlai dosran helaeth o'r aelodau ag ef yn hyn; nid oeddynt yn foddlawn i newid eu harfer, a galw gweinidogion y Cyfundeb i'w mysg i weinyddu yr ordinhadau; ac i'r adran hon y perthynai Mr. Nathaniel Williams, pregethwr nid anenwog a breswyliai yn y lle. Aeth pethau i ddyryswch hollol. Ni cheid heddwch yn y cyfarfod eglwysig; dadleuai llawer eu hawl i fwynhau breintiau yr efengyl yn mysg y Methodistiaid, a pharhau mewn undeb â'r Llan. Anfonwyd y Parch. Ebenezer Morris yno i geisio adfer trefn. Gwelodd yn fuan nas gellid gwneyd hyny heb ddefnyddio mesurau cryfion; sef diaelodi pawb, a derbyn eilwaith i gymundeb y rhai a addawent syrthio i mewn a threfniadau y Corph. Hyny hefyd a wnaeth efe. O herwydd hyn tramgwyddodd cryn nifer, a throisant eu cefnau ar y capel, gan ddewis glynu wrth Mr. Herbert. Yn mysg y rhai hyn yr oedd gwraig Nathaniel Williams; eithr yr oedd efe ei hun i ffwrdd, ar daith yn pregethu yr efengyl. Cyfarfu Mr. Morris ag ef yn dychwelyd; a chwedi iddo glywed yr hanes, a bod ei wraig ei hun yn mysg yr encilwyr, dywedodd, yn llawn llid: "O'r goreu, Mr. Morris; os gwnaethoch felly â Jane, chwi gewch wneyd hyny hefyd â minau." Felly y bu; ciliodd oddiwrth y Methodistiaid, ac ni bu yn aelod yn eu mysg mwy. Cydnabyddai pawb fod Nathaniel Williams yn ddyn duwiol, ond o yspryd tra ystyfnig. Gwnaeth gais i ddychwelyd at ei frodyr ar ol hyn; ond gan yr hawliai gael ei dderbyn fel pregethwr cyflawn, ac nas gwelai y frawdoliaeth yn Llannon eu ffordd yn glir i wneyd hyny heb fyned a'r achos i'r Cyfarfod Misol, tynodd ei gais yn ol, ac yn y Llan y gorphenodd ei yrfa.

Ond i ddychwelyd at helynt y capel. Gwnaed ymdrech gan y blaid Eglwysig i gymeryd meddiant o hono, gan honi mai hwy oedd y gwir Fethodistiaid, a bod y blaid arall, trwy ordeinio gweinidogion, wedi fforffetio pob hawl i'r enw. Aethant mor bell yn eu rhyfyg a rhoddi clo ar y drws. Yn awr, yr oedd ynad heddwch yn y gymydogaeth ag yr oedd ei glod trwy yr holl wlad, a phawb yn credu nas medrai gyfeiliorni, sef Mr. Lloyd, o Fabws. Penderfynodd y ddwy blaid apelio ato. Yr Eglwyswyr gafodd y blaen. Ymddengys iddynt fethu dod o hyd i weithred y capel, ond iddynt ddangos gweithredoedd capelau eraill i'r ynad, a dweyd fod gweithred capel Llannon o gyffelyb nodwedd; ac mai hwy oedd y bobl a ddesgrifid yn y brydles. Gan eu coelio rhoddodd Mr. Lloyd ei farn o'u plaid. Prin yr oeddynt dros y trothwy nad oedd y Methodistiaid wedi cyrhaedd. Yr oedd y weithred gyfreithiol yn ei meddiant hwy. Trwy ryw fusgrellni syrthiasai i ddwylaw un o'r aelodau, sef Sion y teiliwr; a chan ei fod yn ddyn cwbl anwybodus torasai linyn mesur allan o'r croen, heb un syniad mai gweithred capel ydoedd. Yn ffodus, modd bynag, nid aethai gwelleifyn y teiliwr trwy un o hanfodion y weithred; a llwyddwyd i'w gwella yn bur dda, gan wneyd un cyfanwaith o honi fel o'r blaen. Dangosodd cyfreithiwr y Methodistiaid, gŵr o'r enw Mr. Morris, y weithred i'r ynad, a gofynodd iddo a'i gwir ydoedd ei fod wedi dweyd wrth y blaid arall mai hwy oeddynt wir berchenogion y capel?

"Ie," ebai Mr. Lloyd; "tystient wrthyf fi mai hwy oedd y Methodistiaid."

"Pwy ynte yw yr Eglwyswyr?" gofynai y cyfreithiwr.

"Ni ofynais hyny iddynt,' meddai yr ynad.

"Da fuasai gwneyd hyny," ebai y cyfreithiwr; "oblegyd y bobl sydd gyda mi yn awr yw y Methodistiaid; yr Eglwyswyr oedd y lleill."

"Chwi wyddoch chwi, Mr. Morris, fwy am wahanol grefyddau na mi," ebai yr ynad; "ond y Methodistiaid, pwy bynag ydynt, yw gwir berchenogion y capel."

Eithr gan nad oedd yr Eglwyswyr yn bresenol pan y datganodd yr ynad ei farn, a chan yr honent mai hwy oedd y gwir Fethodistiaid, gwrthodasant roddi y meddiant i fynu, eithr cadwasant y clo ar y drws, gan osod dau ddyn i wylio nad ymyrai neb âg ef. Y dyddiau can-

lynol yr oedd Cyfarfod Misol yn Mhenmorfa, a gosodwyd yr achos gerbron yno. Dygwyddai fod cyfreithiwr yn bresenol, sef un Mr. Davies, yr hwn a ofynodd a oedd y capel wedi cael ei drwyddedu. Atebwyd ar unwaith ei fod; mai y rheswm dros wneyd hyny oedd gwaith rhyw John Jones, o Landdewi Aberarth, swyddog y gyllidfa, yn dyfod yno i aflonyddu ar y cyfarfodydd. "Gan fod y capel wedi cael ei drwyddedu fel addoldy Ymneillduol," ebai Mr. Davies, "eiddo y Methodistiaid ydyw; nis geill yr Eglwyswyr ei hawlio. Eithr cynghorwn chwi i beidio cyffwrdd â'r clo sydd arno, ond erlyn y sawl a'i rhodd ef ar y drws â chyfraith y wlad." Ond yr oedd pobl Llannon yn rhy ddiamynedd i aros am genadwri y Cyfarfod Misol; a rywsut, syrthiodd ofn ar y rhai a wylient dros yr Eglwyswyr, er mai dau ddihyryn oeddynt; credasant eu bod yn tynu arnynt eu hunain ŵg sicr yr Hollalluog, ac yn fuan cymerasant y traed, gan adael y drysau a'r clo i gymeryd eu siawns. Yr oedd y Methodistiaid yn dysgwyl eu cyfleustra, a chydiodd un o honynt, sef Dafydd Sion, mewn trosol haiarn, gan dori y clo, a gollwng y bobl i mewn; ac ail ddechreuwyd cynhal cyfarfodydd ynddo. Bygythiai yr Eglwyswyr yn erwin mewn canlyniad; danodent i'r Methodistiaid mai pobl dlodion oeddynt, ac nad gwiw iddynt fyned i ymgyfreithio â chyfoethogion y wlad; ond yr oedd Dafydd Sion mor ddidaro a siriol a'r uchedydd, ac atebai: "Peidiwch camsynied; nid rhaid i ni ond talu pum' punt y flwyddyn i gymdeithas yn Llundain, a chawn bob amddiffyn i'n hiawnderau, a'n dyogelu hefyd rhag y costau." Aeth yr ymryson yn y blaen am tua blwyddyn. Y pryd hwnw, daeth Mr. Daniel Jenkins, mab-yn-nghyfraith i Daniel Rowland, ac a fuasai yn bregethwr gyda y Methodistiaid cyn y Neillduad, drosodd i Lannon, er hawlio yr addoldy. Yr oedd efe yn un o'r ymddiriedolwyr. Prin y cyrhaeddodd y lle cyn iddo gael ei gymeryd yn glaf, ac yn mhen ychydig ddyddiau bu farw. Aeth arswyd ar yr Eglwyswyr mewn canlyniad, ac ni wnaethant un cais mwyach i gymeryd meddiant o'r addoldy.

Heblaw cael eu herlid trwy y wasg, a'u hyspeilio o'u capelau, dyoddefodd y Methodistiaid yn drwm yn eu hamgylchiadau mewn aml i ardal, oblegyd meiddio croesi yr offeiriaid, ac ordeinio gweinidogion. Yr oedd amryw o'r offeiriaid yn dirfeddianwyr; a'r rhai nad oeddynt, a feddent gryn ddylanwad ar y tirfeddianwyr o gwmpas. Felly, cadd y Methodistiaid deimlo pwysau eu gŵg; a chadd rhai degau o honynt eu troi o'u tai a'u tyddynod. Fel engrhaifft, gallwn gyfeirio at Mr. David Jones, Dolaubach, gŵr nodedig am ei synwyr, a chraffder ei farn, ac a ystyrid fel un o'r prif flaenoriaid yn Llangeitho. Cyn y Neillduad yr oedd yn fawr ei barch yn mysg yr offeiriaid; efe fyddai yn mesur coed a thai, a gweithredai fel goruchwyliwr ar eu tiroedd i Mr. Lloyd, Cilpyll, a Mr. Jones, Glanmarch; ond trwy iddo alw y Parch. Ebenezer Richard i fedyddio ei blentyn collodd y gwaith hwnw yn gwbl. Nid yn unig hyny, eithr gyrwyd ef allan o'i dyddyn, sef y Castell, yr hwn a ddelid ganddo, a chan ei rieni o'i flaen. Os iawn y'n hysbyswyd, Mr. Jones, Glanmarch, oedd y perchenog. Gŵr duwiol oedd efe yn ol barn pawb am dano, ac yr oedd iddo air da am ei garedigrwydd, a'i gymwynasgarwch; ond yr oedd ei wrthwynebiad i'r Neillduad wedi chwerwi ei yspryd trwyddo. Cafodd amryw yn nghymydogaeth Llangeitho eu trin yn gyffelyb; a thrwy adeiladu tai un-nos ar y Mynyddbach y cafodd rhai o'r cyfryw gartrefi i lochesu ynddynt.

Gwnaed ymosodiad hefyd ar rai o'r gweinidogion a gawsent eu neillduo, trwy geisio ganddynt gymeryd urddau esgobawl, a throi eu cefnau ar eu brodyr. Mewn ychydig amgylchiadau yn unig y bu hyn yn llwyddianus; safodd y rhan fwyaf yn ffyddlon i'w hargyhoeddiadau, yn ngwyneb hudoliaethau a bygythion. Gwelai yr offeiriaid fod y bobl yn glynu wrth y pregethwyr, ac mai yr unig ffordd i ail enill y werin, a'u dwyn yn ol i fynwes yr Eglwys oedd trwy berswadio y pregethwyr Methodistaidd, meistriaid y gynulleidfa, i dderbyn ordeiniad. Gwnaed cais felly at Ebenezer Richard. Yr oedd John Jones, Ysw., Derry Ormond, yn berthynas i wraig Mr. Richard, ac yn dra hoff o hono yntau. Aeth amryw o offeiriaid Ceredigion, ac yn eu mysg Ficer Llanbadarn Fawr, at Mr. Jones, i geisio ganddo ddylanwadu ar Mr. Richard i dderbyn urddiad Eglwysig. Cydsyniodd y boneddwr gyda phob parodrwydd, ac anfonodd am Mr. Richard i'w balas. Yna dywedodd wrtho ei fod wedi bod yn ymddiddan ag amryw o offeiriaid yn ei gylch, a'u bod wedi dyfod i'r penderfyniad o gynyg bywioliaeth Eglwysig iddo, lle y caffai well tâl a byd mwy

esmwyth nag a allai gael yn mysg y Methodistiaid. Atebodd Mr. Richard yn gadarn a dibetrus: "Y mae y peth yn anmhosibl, syr." Synodd y boneddwr yn ddirfawr, a gofynodd iddo, "Paham?" Atebodd yntau: "Byddai derbyn y cynyg hwn yn hollol groes i'm cydwybod, gan fy mod o egwyddor yn ymneillduo oddiwrth yr Eglwys Sefydledig. Yn nesaf, yr wyf yn barnu y byddaf yn fwy defnyddiol yn y fan lle yr ydwyf. Ac yn drydydd, y mae y fath undeb ac anwyldeb rhyngof a'm brodyr fel y byddai y rhwyg yn annyoddefol i'm teimladau." Nis gallai y boneddwr feio ar y rhesymau hyn, ond dywedai gyda gwen anfoddog, ei fod yn ystyried Mr. Richard yn dra ffol, er ei les ei hun, wrth wrthod y fath gyfle.

I symio i fynu ganlyniadau y Neillduad, nid yw yn ymddangos i'r Methodistiaid gael colled o gwbl yn y Gogledd o herwydd cymeryd y cam yma. Tri o offeiriaid o fewn y dalaeth a berthynent i'r Cyfundeb, ac arosodd y rhai hyny yn ffyddlon fel cynt. Ychydig o golled a gafodd y Cyfundeb yn y Dehau ychwaith, gyda'r eithriad o Sir Benfro, a rhanau o Sir Aberteifi. Yn Mhenfro yr oedd dylanwad yr offeiriaid gryfaf; dyma eu tŵr a'u hamddiffynfa; a chan fod rhai o honynt, yn arbenig y Parch. D. Griffiths, Nefern, yn bregethwyr hyawdl, aethant mewn amryw o ardaloedd a chorph y bobl i'w canlyn. Y mae hyn yn wir am yr holl wlad o Aberteifi i lawr gyda glan y môr i Abergwaun. Dyma un o'r prif resymau am wendid Methodistiaeth yn Sir Benfro. I'r Cyfundeb, yn gyffredinol, modd bynag, bu y Neillduad yn foddion maeth a chynydd, a gosododd ynddo elfenau parhad. Ond bu y Neillduad yn andwyol i grefydd efengylaidd yn yr Eglwys Sefydledig. Ar y cyntaf ceisiai yr offeiriaid a arferent fynychu cyfarfodydd y Methodistiaid gynal math o gymanfaoedd; cyrchent y clerigwyr mwyaf eu dawn iddynt; ond er iddynt fod mewn bri am ychydig amser, ni chymerasant afael ar fywyd y genedl; ac fel yr oedd yr offeiriaid a gawsent eu lefeinio i raddau ag yspryd Methodistiaeth yn marw o un i un, aeth y cyfarfodydd yn fwy anmhoblogaidd ac yn llai eu dylanwad, ac yn y diwedd diflanasant agos yn hollol. Am y pregethwyr a'r cynghorwyr a droisant eu cefnau ar y Cyfundeb yn yr argyfwng hwn, ac a fwriasant eu coelbren gyda'r offeiriaid, darfu am eu poblogrwydd a'u defnyddioldeb; nid oedd lle iddynt yn yr Eglwys Sefydledig, na gwaith iddynt i'w gyflawni; dychwelodd ychydig yn eu holau, ond am y nifer fwyaf treuliasant weddill eu hoes mewn neillduedd, yn gwbl ddiddefnydd, ac yn sur eu hyspryd.



# PENOD XXXV

——:o:——

## YR OFFEIRIAID DDARFU LYNU.

*Rhieni y Parch. John Williams, Lledrod, yn ddyeithr i grefydd—Ei dad yn marw pan yn ieuanc, ac yntau yn cael ei ddwyn i fynu gan ei fodryb—Y mae yn llanc gwyllt, ond yn ddysgwr gwych—Yn cael ei ordeinio i guwradiaeth Lledrod a Llanwnws—Profi nad oedd yn Fethodist—Ofergoeledd yr ardal—Mr. Williams yn cael ei argyhoeddi trwy Williams, Llanfair—Yn pregethu gyda nerth—Ei Fethodistiaeth yn peri iddo orfod ymadael a'r Eglwys Sefydledig—Yn bwrw ei goelbren yn mhlith y Methodistiaid—Yn cael odfaeon nerthol—Ei ffraeth ddywediadau mewn cyfarfodydd eglwysig—Yn troi yn gryf o blaid y Neillduad—Ei nodwedd fel pregethwr—Ei farwolaeth—Geni y Parch. Howell Howells, Trehill, yn ardal Ystradgynlais—Y mae yn cael troedigaeth yn ieuanc—Ei hynodrwydd fel gweddiwr—Yn dechreu pregethu pan ar daith yn y Gogledd gyda Mr. John Evans, Cilycwm—Yn myned i'r offeiriadaeth—Yn guwrad yn Glyncorwg, a chwedi hyny yn St. Nicholas—Crefydd yn uchel yn Mro Morganwg ar y pryd—Llangan yn Jerusalem y wlad—Gwrthwynebiad Mr. Thomas, Tresimwn, iddo gael ei ferch yn wraig—Yn dyfod yn y blaen yn y byd—Gorfod ymadael a St. Nicholas—Cael ei droi allan o guwradiaeth Llanddiddan Fach—Ei ymlyniad wrth y Methodistiaid—Llythyrau—Ei nodwedd fel pregethwr—Marwolaeth y Parch. Howell Howells.*

YR offeiriaid ddarfu fwrw eu coelbren gyda'r Methodistiaid adeg cyffro y Neillduad oeddynt saith mewn rhifedi, sef pedwar yn y Deheudir a thri yn y Gogledd. Yn y Deheudir safodd y Parchn. John Williams, Lledrod; John Williams, Pantycelyn; Howell Howells, Trehill; a William Howells, Llangan. Yn y Gogledd, y Parchn. Thomas Charles, Simon Lloyd, a William Lloyd, Caernarfon. Yr ydym yn barod wedi ymdrin â hanes y Parchn. Thomas Charles, a John Williams, Pantycelyn; ac yn y benod hon sylwn yn fyr ar y gweddill o honynt.

Y cyntaf a ddaw dan ein sylw yw y Parch. John Williams, Lledrod. Cafodd efe ei eni yn y flwyddyn 1747, yn Penwernhir, ffermdy, tua haner milltir i'r gogledd-ddwyrain o Bontrhydfendigaid, yn Sir Aberteifi. Enwau ei riaint oedd William Rees Mathias, ac Anne Rees Mathias; a chan ganlyn arfer y dyddiau hyny cymerodd yntau enw cyntaf y tad yn gyfenw, a daeth yn John Williams. O saith o blant efe oedd yr ieuengaf ond un. Dywedir yn *Methodistiaeth Cymru* fod ei rieni ill dau yn grefyddol. Nid yw hyny yn gywir; bu farw ei dad pan nad oedd efe ond pedair mlwydd oed, ac nid yw yn ymddangos fod ynddo unrhyw dueddiad at grefydd. Nid oedd ei fam ychwaith, na neb o'r plant hynaf, yn proffesu. Eithr yr oedd Martha, merch Dolfawr, a'i fodryb yntau, chwaer ei fam, yn ddynes nodedig o dduwiol. Cawsai ei hargyhoeddi, yn ol pob tebyg, wrth wrando ar y Parch. Philip Pugh, gweinidog Presbyteraidd yn Llwynpiod, ac elai i wrando i Lwynpiod gyda chysondeb; eithr pan y daeth y Methodistiaid i'r gymydogaeth, gan sefydlu seiat yn Penlan, ger Swyddffynon, ymunodd Martha, Dolfawr, â hwy. Y hi a fu y prif foddion i gael pregethu gyntaf i bentref Pontrhydfendigaid; a dywed *Methodistiaeth Cymru* mai hi, "ar ei thraul ei hun," a adeiladodd y capel cyntaf yno. Wedi marw ei dad cafodd John Williams, gyda Martha, ei chwaer ieuangaf, eu hanfon at y fodryb hon i breswylio, a than ei haden hi y dygwyd y ddau i fynu. Yn mhen amser priododd Martha, Dolfawr, ag un John Thomas; nis gwyddom ddim am dano ef; eithr ymddengys na bu iddynt blant, ac felly cafodd y ddau blentyn amddifad o Benwernhir holl serch a gofal eu modryb a'u hewythr.

Yr oedd John Williams pan yn blentyn yn llawn chwareu; byddai mewn rhyw helynt yn barhaus, ac nid oedd terfyn ar

ei ddireidi a'i droion ysmala. Efe a fyddai yn arweinydd plant y gymydogaeth mewn pob math ar gamp. Eithr meddai dalent at ddysgu, a gofalodd ei fodryb roddi iddo bob cyfleustra i ddadblygu ei dalent. Dywedir y rhagorai ar ei gyfoedion mewn codymu, mewn chwareu pêl, ac mewn rhifyddiaeth. Yr oedd ysgol Ystradmeurig gerllaw, ar ba un yr oedd yr enwog Edward Richard yn athraw. Bu John Williams yma am flynyddoedd yn dysgu Groeg a Lladin, a phob gwybodaeth arall a ystyrid y pryd hwnw yn bwysig. Oddiyno anfonwyd ef i ysgol ramadegol Caerfyrddin, yr hon oedd dan ofal offeiriad o'r enw Mr. Maddox. Yr oedd yn ddealltwriaeth o'r cychwyn fod John Williams i gael ei ddwyn i fynu i'r offeiriadaeth ; dyna uchelgais ei fodryb tuag ato ; dyna hefyd oedd yr ysprydiaeth a dreiddiai drwy ysgol Ystradmeurig, ac yr oedd hyny yn gwbl gyson a'i dueddfryd yntau, oblegyd fod ynddo chwaeth at lyfrau. Nid oedd ynddo un awydd am achub eneidiau ; yn wir ni theimlasai unrhyw bryder gyda golwg ar ei gyflwr ei hun. Rhaid ddarfod iddo glywed Daniel Rowland droion pan yn llanc; tebyg yr elai gyda ei fodryb weithiau i'w wrando i Bontrhydfendigaid, a'r Hen Fynachlog ; teimlai hefyd gryn barch i'r Methodistiaid Calfinaidd, ond nid oedd trwy y cwbl wedi cael golwg ar ei euogrwydd a'i fryntni fel pechadur.

Derbyniodd ei urddau fel diacon gan Dr. Charles Moss, Awst 19, 1770, pan yn dair-ar-hugain mlwydd oed. Cawsai deitl i guwradiaeth Llanwnws a Lledrod gan y Parch. Daniel Jones, Sunny Hill, Tregaron. Daliai y gŵr hwn fywioliaethau pedair o eglwysydd plwyfol yn ei ddwylaw, sef Tregaron, y Fynachlog, Llanwnws, a Lledrod; yr oedd hefyd erbyn hyn mewn gwth o oedran, felly nis gallai gyflawni dyledswyddau ei swydd, hyd yn nod yn y dull arwynebol a difater y gwnelid hyny yr adeg hono, heb gymhorth cuwrad. Ar yr un pryd ofnai am y gŵr ieuanc o Ddolfawr ei fod yn tueddu gormod at y Methodistiaid. Ni chlywsai ddim yn ei erbyn i'r perwyl hwnw, eithr gwyddai am ei fodryb, Mrs. Martha Thomas, ei bod hi yn Fethodist zelog. Cyn rhoddi llythyr i Mr. Williams i'w gyflwyno i sylw yr esgob, mynai yr hen offeiriad ddealltwriaeth glir ar y mater hwn. "Y maent yn dweyd wrthyf mai Methodist wyt ti," meddai. Ar hyn atebodd y gŵr ieuanc mewn modd cyflym a chyffrous: "Na, nid wyf fi yn un o'r diawlaid." Boddlonodd hyn yr hen offeiriad, a chafodd y gŵr ieuanc gymeradwyaeth. Y mae y tŷ, yn mha un y cyfaneddai y Parch. Daniel Jones, yn awr yn dafarndy. Rhaid fod cyflwr yr Eglwys Wladol yn ddifrifol pan y dewisiai ei hoffeiriaid ddynion ieuainc yn arfer iaith anweddus i weinidogaethu i'w pobl, yn hytrach na rhai yn teimlo dros annuwioldeb y wlad. Wedi cael ei foddhau nad oedd a fynai y llanc â'r Methodistiaid, rhoddodd iddo lythyr cyflwyniad, a chafodd John Williams ei ordeinio gan Esgob Tyddewi. Gan yr un prelad cafodd ei ordeinio yn offeiriad, Medi 1, 1771.

Priododd yr un flwyddyn ag y derbyniodd ei gyflawn urddau, â Miss Anne Rosser, Llwyngronwen ; ac aethant i fyw i Ty'nddrainen, fferm yn nghymydogaeth Swyddffynon. Yr oedd ganddo gryn ffordd i'r eglwysi a wasanaethai ; ond meddai geffyl da, a diau nad oedd y gwasanaeth yn y naill na'r llall o honynt yn faith, nac yn cynyrchu blinder a lludded corph. Nid oedd yn ymdeimlo o gwbl a phwysigrwydd ei swydd ; carlamai dros y llithiau yn hollol anystyriol, ac yna traddodai rywbeth ar lun pregeth, na feddai ddim yn tueddu i ddeffro y difraw, nac i gysuro enaid trallodedig. Pwnc o fywioliaeth iddo ef oedd yr offeiriadaeth. Eithr yr oedd yn ei elfen gyda'r chwareuon ; ymdaflai i'r rhai hyn gyda holl frwdaniaeth ei natur ; ac fel yn nyddiau ei febyd efe a fyddai yn arweinydd pa le bynag y byddai. Adroddir ei fod yn chwareu pêl ar dalcen eglwys Lledrod un prydnhawn Sadwrn, yn llawn chwys, wedi taflu ei got, ac wedi torchi ei lewys. Mawr oedd swyn y chwareuyddiaeth ; ond yr oedd y dydd yn hwyrau, a saethai i'w gof yn awr ac yn y man nad oedd wedi parotoi pregethau ar gyfer tranoeth. O'r diwedd cydiodd yn ei got yn ddisymwth, gan ddweyd wrth ei gymdeithion : "Nis gallaf aros gyda chwi yn hwy ; er melused y gamp rhaid i mi fyned adref i barotoi pregeth ar gyfer yfory." "Na hidiwch," ebai un o'i gydchwareuwyr yn ol, "y mae pregethau Rowland, Llangeitho, genyf fi yn y tŷ ; cewch eu benthyg, a gellwch ddarllen yr un a fynoch." "Da iawn," atebai y cuwrad; "gwna un o'r rhai hyny y tro ; cleddyf Goliath ydyw, nid oes ei bath." Yna taflodd ei got i lawr drachefn, a chyda ei fywiogrwydd arferol chwareuodd hyd nes iddi fyned yn rhy dywyll. Ni chlywsom sut y bu gyda'r bregeth dranoeth ; tebygol

DARLUNIAU RHAI O'R CAPELAU A GOLLWYD I'R CYFUNDEB YN ADEG YR ORDEINIAD, YN Y FLWYDDYN 1811; AG O GAPELAU A ADEILADWYD YN EU LLE.



1.—EGLWYS NEFERN, PENFRO. 2.—Y CAPEL METHODISTAIDD YN NEFERN.
3.—CAPEL PRESENOL TREFDRAETH. 4.—CAPEL CYNTEFIG TREFDRAETH.
5.—CAPEL PRESENOL LLANDUDOCH. 6.—CAPEL CYNTEFIG LLANDUDOCH.

iddo ef ddarllen pregeth efengylaidd, gyffrous, Rowland, mor ddifeddwl ac anystyriol, fel na thalodd neb nemawr sylw i'r gwirioneddau a gynwysai.

Er na enillodd y Parch. John Williams nemawr enwogrwydd fel pregethwr yn y cyfnod hwn, aeth ei glod ar led mewn ystyr arall, sef fel darostyngwr ysprydion. Yr oedd y wlad yn llawn ofergoelaeth o fynydd i fôr; ond braidd nad oedd plwyfi Lledrod, Llangwyryfon, a Llanrhystyd, wedi eu meddianu yn llwyrach gan gred mewn bwganod, nag un rhan arall. Ac yn bur fuan wedi i Mr. Williams ddechreu gwasanaethu eglwys Lledrod, dyma ddau ddyn yn dyfod i'w dŷ, yn ddychrynedig eu gwedd, ac yn y cyffro mwyaf, gan ofyn ei gymhorth mewn trychineb enbyd oedd wedi dygwydd mewn tŷ yn mhen pellaf y plwyf. "Beth sydd yn bod?" gofynai iddynt. "O," meddai un o'r ddau, a'i anadl yn ei wddf, "aethom i godi corph dyn oedd wedi marw oddiar yr estyllen, i'w osod yn y coffin, ond fe gwympodd fel llysywen rhwng ein dwylaw i'r llawr, ac nid oes neb a feiddia gydio ynddo mwy." Y gred oedd fod y dyn wedi cael ei reibio yn ystod ei fywyd; ddarfod iddo dan ddylanwad yr ysprydion nychu i farwolaeth; eu bod gwedi i'r dyn farw yn aros yn ei gorph i wylio eu hysglyfaeth; ac mai yr arwydd o hyny oedd ei fod yn parhau yn ystwyth ar ol i'r anadl fyned allan. Felly, rhag ofn digio "y gethern," ni cheid dyn yn y wlad a gyffyrddai ag ef. Nid oedd Mr. Williams yn gwbl rydd oddiwrth ddylanwad yr ofergoeledd hon, er y gwyddai nad oedd gwirionedd ynddi. Ond teimlai fod ei gymeriad fel offeiriad yn chwareu yn y glorian, ac felly aeth gyda'r gwŷr, er ei bod yn nos, gyda phob ymddangosiad o wroldeb. "Ond bychan y gwyddent hwy, druain," meddai, "fy mod bron methu cael fy anadl wrth fyned at y tŷ, ac yn enwedig wrth fyned i mewn iddo. Gwyddwn yn dda nad oedd yno ddim, ond yr oedd yr hen argraffiadau yn glynu wrthyf." Modd bynag, gafaelodd yn y corph ar unwaith, a gosododd ef yn ei arch. Yn mhellach, er cadw ofnau i ffwrdd oddiwrth y teulu, arosodd yno trwy y nos. Aeth yr ystori am wrhydri yr offeiriad ar led trwy y wlad; credid yn ddisigl yn ei awdurdod ar fwganod y fro; a theimlai pawb fod offeiriad Lledrod rhyngddynt a'r gwaethaf o'r cyfeiriad hwnw. Meddai efe ar ol hyn: "Nid oedd fawr o fy ofn ar ysprydion drwg y pryd hwn, ond yr wyf yn meddwl iddynt gael peth o fy ofn yn mhen blynyddoedd ar ol hyn." Sef gwedi iddo ddechreu ymosod o ddifrif ar deyrnas y tywyllwch.

Er mor ddifater ydoedd am gyflwr ei wrandawyr yn ystod y cyfnod hwn, ac nad oedd y syniad am fod yn gyfrwng lles ysprydol iddynt wedi dyfod i'w feddwl; eto, y mae yn ymddangos ei fod yn llawn eiddigedd at boblogrwydd pregethwyr y Methodistiaid, ac yn arbenig ei fod yn ddig wrth y tyrfaoedd a gyrchent i Langeitho i wrando Rowland. Yn mhen blynyddoedd lawer ar ol hyn, pan yr oedd Mr. Lloyd, Cilpyll, wedi cloi capel Llanddewibrefi, at yr hyn yr ydym wedi cyfeirio yn barod, aeth rhywrai at Mr. Williams i ofyn ei gynghor ar yr amgylchiad. Ei ateb yntau ydoedd: "Gadewch y gŵr yn llonydd; un i dosturio wrtho ydyw; heb agor ei lygaid y mae, druan. Yr oeddwn i yr un fath ag e yn union pan yr oeddwn yn hen 'ffeiriad pwdr yn Lledrod. Yr oeddwn i yn teimlo y pryd hwnw, wrth weled y dynion yn myned yn heidiau dros y mynyddau i Langeitho, y pechwn i eu saethu hwy bob un; ond gwelais amser wedi hyny pan oedd hawyr i fi fyned gyda hwy. Heb agor ei lygaid y mae yntau."

Nid oes sicrwydd pa hyd y bu Mr. Williams yn gwasanaethu yn Llanwnws a Lledrod cyn cael troedigaeth. Ond rywbryd daeth Mr. Williams, offeiriad Llanfair Cludogau, yr hwn a elwid ar lafar gwlad, "Williams bach," i eglwys Lledrod i bregethu. Rhaid, wedi y cwbl, fod cryn ryddfrydigrwydd yn perthyn i'r cuwrad, oblegyd nid yn unig caniataodd yr eglwys iddo, ond aeth yno ei hun i'w wrando. Pregethwr tanllyd oedd "Williams bach," ac y mae yn anhawdd gwybod sut na fyddai rhagor o son am dano fel un o'r offeiriaid Methodistaidd. Y mae yn gwbl sicr iddo deithio cryn lawer o gwmpas, ac mai gydag ef yr aeth y Parch. Evan Richardson i Wynedd y tro cyntaf. Nid annhebyg iddo, fel amryw o ser dysglaer eraill, nad oes ond eu henwau yn aros yn bresenol, gael ei gymeryd ymaith yn ieuanc. Modd bynag, yr oedd ei bregeth yn eglwys Lledrod dan arddeliad amlwg; saethai fellt nes yr oedd dychryn yn teyrnasu, ac yn mysg eraill crynai y cuwrad fel dalen yr aethnen. Ac os rhyfedd y bregeth, hynotach y weddi ar y terfyn. Yn lle defnyddio gweddi allan o'r *Llyfr Gweddi Cyffredin* tywalltodd ei enaid gerbron yr Arglwydd, ar ran y gweinidog

a'r gynulleidfa; cyfaddefai nad oedd y naill ronyn yn well na'r llall; fod y gwrandawyr yn eifr, a'r gweinidog yn fwch gafr. Wedi i'r odfa derfynu, aed i'r tŷ gerllaw, ac meddai y Parch. John Williams wrth y pregethwr: "Wel, Mr. Williams bach, chwi adroddasoch lawer o'm beiau heddyw wrth y Brenin mawr." "A ddywedais i ormod?" gofynai yntau. "Naddo, naddo," ebai Mr. Williams, "ond chwi adawsoch yn anghof un peth pwysig." "Beth oedd hwnw?" "Ni ddarfu i chwi ofyn unwaith am i'r Arglwydd faddeu i mi." "O, gyda golwg ar faddeuant," meddai'r pregethwr, "rhaid i chwi ei geisio trosoch eich hun; a chwi ellwch ei gael yn rhad ac am ddim."

Ni fu y Parch. John Williams yr un dyn byth. Cydiodd y bregeth hono yn eglwys Lledrod yn ei enaid fel gwys oddiwrth Dduw; llanwyd ei galon â phryder annhraethadwy; bu am ryw hyd ar derfynau gwallgofrwydd; a'r fath oedd yr anobaith oedd wedi ei feddianu fel yr ofnai ei briod rhag iddo osod terfyn ar ei einioes. Pan yr elai allan i grwydro hyd y meusydd archai Mrs. Williams i'r gwasanaethwyr ei wylio. Gwelent hwythau mai ar ei liniau y byddai, yn nghonglau y caeau, a rhwng y llwyni cysgodfawr; a chlywent ef yn fynych yn ymbil am drugaredd. Un o'r pethau cyntaf a wnaeth oedd llosgi ei hen bregethau. Wrth weled rhyw bapyrach yn cael eu taflu i'r tân, gofynai Mrs. Williams iddo beth oeddynt. "Dim ond y pregethau," ebai yntau. "Cofiwch," meddai y wraig yn ol, "os gwaith neb a losgir, efe a gaiff golled." "Colled ydynt i gyd," meddai yntau; "ni wnaethant les i neb." Nid anghofiodd Mr. Williams byth yr ymdrech galed hon â Duw ar hyd caeau Ty'nddraenen; coffhâi am y "Setting ddu," fel ei galwai, tra fu byw. Y "Setting ddu" oedd y llwyni drain duon oeddynt yn lliosog iawn ar ben cloddiau, ac ar hyd caeau Ty'nddraenen; nid annhebyg mai oddiwrthynt hwy y cafodd y tyddyn ei enw. Mewn Cymdeithasfa, flynyddoedd lawer ar ol hyn, dywedai wrth gynghori pregethwyr: "Bûm i am flynyddoedd heb wybod beth oedd gwneyd yr un bregeth; ond pan aeth yn galed arnaf am genadwri, o dan y "Setting ddu" y ces i hi; ac yn union wedi i mi ei chael aeth yn rhy hallt i'r Llanwyr, fel y gorfu arna i eu gadael, ac y mae yn dda gen i byth i mi fyn'd i rywle lle y cawn i ddweyd fy meddwl wrth y bobl." Dro arall, mewn Cyfarfod Misol, dywedai: "Ni ddylai yr un pregethwr fod heb ryw borth, neu ystafell, i fyned yno am genadwri. Yr wyf yn siwr am yr holl bregethau a wnaeth les i'r bobl mai tan y 'Setting ddu' y ces i hwy."

Y mae yr adroddiad a geir yn *Methodistiaeth Cymru* am droedigaeth Mr. Williams yn wahanol. Meddai Mr. Hughes: "Nid oes sicrwydd am yr amser y dwysbigwyd y rhith-bregethwr gwyllt hwn, nac yn mha le; ond hyn sydd yn sicr, mai trwy wrando Daniel Rowland y cyrhaeddodd y saeth ei galon." Nis geill hyn fod yn gywir, oblegyd dywed Evan Rhys, Llannon, yn y farwnad a gyfansoddodd iddo, ac a gyhoeddwyd ar anogaeth Cyfarfod Misol Sir Aberteifi, fel y canlyn:—

> "Wrth wrando un Williams, o Lanfair,
> Y collodd bob hyder cael byw."

Yr oedd Evan Rhys yn un o gyfeillion mwyaf mynwesol Mr. Williams, Lledrod; teithiasant lawer yn nghyd gyda'r efengyl ar hyd a lled Sir Aberteifi, a buont feirw o fewn tair blynedd i'w gilydd. Nis gellir amheu ddarfod i Mr. Williams adrodd wrth ei gyfaill ddegau o weithiau am yr odfa yn mha un y saethodd dychrynfeydd Sinai i'w enaid, ac y gwelodd ei hun am y tro cyntaf yn bechadur euog gerbron Duw. Heblaw hyn, cafodd y farwnad hon ei chyhoeddi o fewn i chwech mis i farwolaeth Mr. Williams; a sicr ydyw, pe y cynwysai anghywirdeb ar y pwnc pwysig yma, y buasai rhywrai yn gosod eu bys ar y camgymeriad ar unwaith. Ar yr un pryd, efallai fod rhyw gymaint o wir yn yr hyn a ddywed Mr. Hughes; ac os mai dan bregeth "Williams bach" y cadd Mr. Williams, Lledrod, ei glwyfo, mai trwy weinidogaeth Daniel Rowland y dyferwyd balm i'w archollion. Ceir awgrym mai felly y bu yn ei eiriau ef ei hun, sef iddo weled adeg pan yr oedd yn hawyr ganddo fyned i Langeitho. Gadawodd "Williams bach" ef yn crynu yn ngwyneb cyfraith doredig, a sŵn taranau bygythion y ddeddf yn llenwi ei glustiau; eithr cyfeiriodd Rowland ef at y drugareddfa, a'r gwaed, ac yn yr olwg aeth yn heddwch tragywyddol ar ei enaid yntau.

Yr oedd Mr. Williams erbyn hyn nid yn unig yn ddyn newydd, ond hefyd yn bregethwr newydd, ac yn llawn awydd am ddwyn pechaduriaid at Waredwr. Un o'r Suliau cyntaf gwedi ei droedigaeth, hysbysodd ar derfyn y gwasanaeth, y byddai

yn dda ganddo gyfarfod ag unrhyw rai o'i wrandawyr oeddynt yn drallodus eu meddwl gyda golwg ar eu cyflwr, a nododd noson ac awr i gyfarfod. Efelychiad oedd hyn, bid sicr, o seiat y Methodistiaid. Yr amser penodedig a ddaeth, ond tri yn unig oeddynt wedi ymgynull i'w gyfarfod, sef un hen ŵr, a dwy hen wraig. Wedi dechreu y cyfarfod trwy ddarllen a gweddïo, aeth i siarad a'r rhai hyn.

"Pa beth," meddai wrth un o'r ddwy wraig, "sydd yn blino eich meddwl chwi?"

"Rhyw wayw rhyfedd o boenus sydd yn fy ochr," ebe hithau yn ol, "fel yr wyf yn methu na chysgu, na cherdded, na dim arall bron; ac mi ddaethum yma, syr, i ofyn ai nid oes genych chwi ryw gynghor rhagddo?"

"Ai nid yw mater eich enaid yn eich blino weithiau?" gofynai Mr. Williams.

"Na," oedd yr atebiad; "yr wyf yn gwbl dawel am fy enaid."

Wedi methu gwneyd dim o hon, trodd at yr hen ddynes arall, gan ofyn beth yn neillduol oedd yn ei blino hi.

"Mi ddaethum yma," ebai hono, "i ofyn eich cymhorth chwi, syr, i ymliw â'r *overseer;* y mae wedi tynu fy nhâl o'r plwyf i lawr, ac nis gallaf fyw ar yr ychydig wyf yn gael yn awr."

Yr oedd Mr. Williams erbyn hyn yn flin ei yspryd wrth weled y fath gaddug o anwybodaeth, a'r fath ddiofalwch perffaith am bethau ysprydol, a dechreuodd draethu yn ddifrifol wrthynt am eu sefyllfa druenus; fod byd arall yn agoshau, a bod afon fawr a dofn rhyngddynt a'r byd hwnw, tonau pa un oedd yn cario llawer tua'r môr marw tragywyddol. Gwrandawai yr hen ŵr ar y pethau hyn gyda dyfalwch; ac wrth glywed son am ddyfnder yr afon, a'r llifeiriant arswydus, torodd allan gan ddweyd: "Yr oedd genyf fi hen gaseg a nofiai unrhyw afon, mi wna lw; ond trueni mwyaf yn y byd y mae wedi ei gwerthu."

Dyma enghraifft o'r anwybodaeth dygn a feddianai y rhai a fynychent yr Eglwys Sefydledig yr adeg hono. Nid oedd eu meddyliau wedi eu deffro; nid oedd y gwasanaeth ond ffurf wag iddynt; yr oeddynt yn myned trwy y byd agos mor anystyriol ag anifeiliaid y maes. Nid oedd hyn yn ddangoseg o gyflwr cyffredinol y wlad; oblegyd yr oedd y Methodistiaid wedi bod yn cyhoeddi dystryw ar anwir fyd er ys cryn ddeugain mlynedd, a chanoedd wedi cael eu dwyn i wybodaeth o'r gwirionedd. Ond am y rhai oeddynt wedi cadw draw, ac wedi aros gyda Mr. Williams yn eglwysi Lledrod a Llanwnws, dyma y cyflwr tywyll yr oeddynt ynddo. Cafodd enghraifft o dywyllwch cyffelyb wrth ymweled a hen wraig glaf a arferai wrando arno yn gyson yn Llanwnws. Pan y gofynai iddi pa fodd yr ydoedd, atebodd: "Nid wyf yn dda; torodd rhywun gynffon fy nghi boreu ddoe, yn yr allt yna, ac yr wyf yn ofidus iawn o'i herwydd."

"Yr oedd yn myned ar ol cwningod, mae'n debyg gen i," atebai Mr. Williams.

"'Doedd dim *business* ganddynt gyffwrdd a nghi i," meddai yr hen wraig yn sarug.

Ceisiodd yntau droi yr ymddiddan at bethau ysprydol; dywedai wrthi, gyda difrifwch, ei fod yn gweled arwyddion adfeiliad ar ei thŷ, ac y byddai yn ol pob tebyg yn ymddatod yn fuan. Ond yn llythyrenol y deallai yr hen ddynes y cyfan, a dywedai: "Yr wyf wedi crybwyll am yr hen dŷ wrth y meistr tir lawer gwaith, ond nid oes un argoel am dano yn dyfod i'w adgyweirio." Efallai y gall rhai wenu uwchben yr atebion hyn, y rhai a fradychant y fath dywyllni ysprydol, ond yn sicr tueddant i dynu y deigr i lygad pob dyn ystyriol.

Dywedasom fod Mr. Williams erbyn hyn yn bregethwr newydd. Dechreuodd daranu yn erbyn pechodau y wlad gyda nerth ofnadwy; dychrynodd hyd yn nod y creaduriaid delffaidd a arferent ddyfod i'r Llan i wrando; aeth y son ar led fod rhyw gyfnewidiad rhyfedd yn mhregethau yr offeiriad, a llanwyd y ddwy eglwys fel nad oedd lle i'r bobl. Heb fod yn hir, cafwyd yno dywalltiadau nerthol o'r Yspryd Glân, nes cynyrchu sain cân a moliant, megys yn Llangeitho. Daeth Lledrod a Llanwnws yn gyrchfa gwerin afrifed ar y Suliau, ac ar ddyddiau eraill pan fyddai Mr. Williams yn pregethu; a gelwid am ei wasanaeth yn aml mewn eglwysi eraill. Wrth gyd-deithio yn mhen blynyddoedd ar ol hyn gyda Mr. David Jones, Dolaubach, i Gyfarfod Misol Blaenanerch, a phan yn pasio eglwys Blaenporth, dywedai: "Dyma Lan y bûm i yn pregethu ynddi lawer o flynyddoedd yn ol. Yr oeddwn yn traethu am fanylrwydd deddf Duw yn gofyn pechadur, ac yntau heb ddim i ateb iddi, nes yr aeth yn deimlad rhyfedd trwy y lle. Effeithiodd gymaint ar yr offeiriad nes iddo golli ei synwyrau,

ac ni fu yn alluog i gyflawni gwaith ei swydd byth ar ol hyny."

Ond nis gellid goddef difrifwch angherddol o'r fath hyn yn yr Eglwys Sefydledig; tawelwch oedd yr elfen a gaffai gymeradwyaeth yma; a chan fod Mr. Williams yn ei theimlo yn ddyledswydd arno i rybuddio yr annuwiol o'i berygl, ac yna i'w gyfeirio at Grist am ymwared, brysiodd rhywrai i achwyn ar ei ymddygiad wrth yr esgob. Cyhuddid ef yn mhellach o ymgymysgu â'r Methodistiaid, ac o fynychu eu cyfarfodydd. Nid oedd hyn mewn cymeradwyaeth yn Nhyddewi, a buan y derbyniodd yr offeiriad lythyrau rhybuddiol, yn erchi iddo ymatal, a newid ei ffordd, ar boen cael ei ddihatru o'i swydd. Cynghorai rhai o'i gyfeillion ef i fod yn fwy gochelgar; ond ni wrandawai efe, yr oedd wedi gosod ei law ar yr aradr, ac nid oedd am edrych yn ol. Yn y man deallodd fod bwriad i'w atal rhag gwasanaethu yn yr eglwysydd un o'r Suliau dilynol. Petrusai yn ngwyneb hyn pa fodd i ymddwyn, a brysiodd i Langeitho, at Daniel Rowland, i geisio cyfarwyddyd. Cynghorai y gŵr enwog hwnw ef i beidio myned mwyach i'r eglwysydd, fel na chaffai yr erlidwyr y pleser o'i fwrw allan; ond am iddo ddyfod ato ef i Langeitho y Sul canlynol. Felly y gwnaeth, a dyma ef wedi gadael yr Eglwys Wladol am byth. Dywedir, nis gwyddom ar ba sail, iddo gael cynyg cuwradiaeth y ddwy eglwys drachefn, a bod ei briod yn ei gymhell i'w chymeryd, "oblegyd yr haid blant;" ond ei ateb ef oedd: "Nis gallaf; nid dyna fy mhobl i; ac os cawn well ymborth i'm corph wrth fyned yn ol, nis gallwn gael heddwch cydwybod na chymeradwyaeth Duw." Pa hyd y bu Mr. Williams yn gwasanaethu yn yr Eglwys sydd ansicr. Dywed *Methodistiaeth Cymru* mai deuddeg mlynedd, ac iddo gefnu arni yn y flwyddyn 1784. Dywed yn mhellach, mai y flwyddyn hono y cynhaliwyd y Gymdeithasfa gyntaf yn Aberystwyth, a bod Mr. Williams ynddi; ac iddo gael y fath afael ar weddi wrth gadw dyledswydd yn y tŷ yn mha un y lletyai fel y torwyd allan i folianu. Clywyd y swn gan y cymydogion, nes yr ymgasglodd torf y tu allan; yn y man cydiodd y tân yn y rhai hyny, nes y dechreuasant hwythau foli Duw. Cyn hir ymunodd y rhai y tu fewn a'r rhai tu allan a'u gilydd, ac aethant yn nghyd i dŷ'r farchnad, lle y buont hyd wawr y boreu yn canu ac yn gorfoleddu.

Pan yr ymunodd y Parch. John Williams a'r Methodistiaid nid oedd capel ganddynt yn Mhontrhydfendigaid, nac yn Swyddffynon; cartref yr achos oedd Penlan, ffermdy ger Swyddffynon; yma y byddai pregethu, ac yma y cynhelid seiadau. Yn Mhenlan y cafodd yntau ei dderbyn i'r seiat. Yr hwn a lywyddai yn y cyfarfod oedd Sion o Gamer, cynghorwr digon anenwog, o gymydogaeth Tregaron; efe hefyd oedd arolygwr yr achos yn y lle. Llawenhâi y frawdoliaeth yn ddirfawr oblegyd yr aelod newydd; yr oedd ei fodryb, Martha, Dolfawr, yn aelod yma er ys blynyddoedd, ac yn gwneyd llawer o ddaioni. Yr oedd llestr Sion o Gamer yn llifo trosodd. Ar ol y seiat dywedai wrth ei gyfeillion: "Cawsom hen bysgodyn da i'r rhwyd yn Mhenlan." Ychwanegai: "Ffasiwn rhyfedd yw hon; hen gynghorwr fel fi yn derbyn 'ffeirad i'r seiat." Teimlai hyd y diwedd mai gwaith mawr ei oes oedd derbyn Williams, Lledrod, i'r seiat. Bu yr hen gynghorwr yn gydymaith i Mr. Williams ddegau o weithiau ar ol hyn, pan yn myned o gwmpas i efengylu; a byddai ambell dro yn cymeryd cyfle i gyfeirio at ei waeledd, ond byddai yn debyg o ychwanegu ar y terfyn ei fod wedi gwneyd un peth mawr yn ystod ei fywyd.

Nid oes genym ddefnydd i olrhain hanes Mr. Williams gwedi yr adeg yr ymunodd a'r Methodistiaid; mewn ystyr, y mae ei hanes yn darfod gyda fod ei ddefnyddioldeb yn dechreu; ond prawf pob peth iddo arwain bywyd nodedig o weithgar, ac i Dduw arddel ei lafur er dychweliad llawer. Gellir dweyd iddo ef adael yr Eglwys yn llwyr; nid haner Methodist a haner offeiriad ydoedd, ond pregethwr Methodistaidd trwyadl, heb yr awyddfryd lleiaf i ddychwelyd i'r Aipht, ar ba un yr oedd wedi cefnu. Gwnaeth wasanaeth dirfawr wrth weinyddu y sacramentau cyn y Neillduad; arno ef y dibynai Methodistiaid y Deheudir yn benaf am yr ordinhadau, gwedi marwolaeth Mr. Daniel Rowland. Darfyddodd ei gysylltiad â Lledrod gyda ei ymadawiad o'r Eglwys; ond "Williams, Lledrod," fu ei enw ar lafar gwlad byth. Fel y dywed y Parch. John Evans, Abermeurig: "Nid myned i Ledrod, ond dyfod o Ledrod a gysylltodd ei enw yn anwahanol â'r lle." Llwyddodd yr achos yn ddirfawr yn yr holl wlad hono gwedi ei ymuniad â'r Cyfundeb; cyfodwyd capelau yn y "Bont," ac yn Swyddffynon; a thrwy ei ddylanwad ef

ar Mr. Lloyd, Mabws, y cafwyd tir at y diweddaf.

Efallai mai dyma y lle mwyaf priodol i'w ddesgrifio fel dyn, ac fel pregethwr. Fel hyn ei darlunir gan Mr. D. Jones, Dolaubach: "Yr oedd yn ddyn cryf, bywiog, a golygus. Nid oedd lawer, os dim, yn fyr o chwech troedfedd o daldra. Yr oedd ei wyneb yn hir, ac ychydig o ôl y frech wen arno; talcen uchel, trwyn lled fawr, a llygaid yn tueddu at fod yn gauad, ond bob amser yn gwreichioni o sirioldeb, yr hyn a barai i'w gyfeillion fod bob amser yn hapus. Gwallt gwineu oedd ar ei ben, nes y gwnaeth henaint ef yn wyn. Yr oedd ei lais yn eglur ac yn glochaidd hyd tua chanol oed. Safai yn syth fel ffon, ac yr oedd ei holl symudiadau yn nodedig o fywiog." Gellir edrych ar y darlun hwn fel un hollol gywir o hono o'r canol oed yn mlaen, oblegyd adwaenai Mr. Jones ef yn dda, gwrandawodd ef yn pregethu ddegau o weithiau, a threuliodd lawer o oriau yn ei gymdeithas.

Am ei gymeriad fel pregethwr, y mae mwy o amrywiaeth barn. Pan yr ymunodd â'r Methodistiaid yr oedd yn llawn o yspryd y diwygiad, a pharhaodd felly am flynyddoedd. Y pryd hwn yr oedd ei lais yn hyfryd, ei enaid yn llawn tân, a'i awydd am gyrhaedd amcan mawr pregethu yn angherddol. Eithr tuag ugain mlynedd cyn ei farw cafodd dwymyn drom, ac yn hono collodd swyn ei lais yn gyfangwbl; o hyny allan llais garw, cras, oedd ganddo. Ond byddai ei bregethau yr adeg hon yn llawn o fater, ac ambell dro caffai odfaeon grymus, yn llorio pob peth o'u blaen. Mor bell ag y gallwn gasglu, yr oedd ei arddull yn dra syml, a'i iaith yn wladaidd a gwerinol; a phan y byddai yn cael odfa nerthol, rhyw ruthr fyddai ganddo, yn dyfod ar draws y gynulleidfa yn ddisymwth. Yr oedd Ebenezer Morris, Ebenezer Richard, a Thomas Richard, yn fwy eu doniau nag ef; ond gan ei fod yn offeiriad urddedig, ac yn hŷn na hwy mewn dyddiau, ystyrid fod gweddeidd-dra yn hawlio iddo ef bregethu yn olaf yn y Cyfarfodydd Misol a'r Cymdeithasfaoedd, ac o herwydd hyn bu yn gyfyng arno lawer tro. Ond nid yn anfynych caffai afael lwyr ar y gynulleidfa, er y dylanwad fuasai yn cydfyned a'r bregeth flaenorol.

Adroddir am dano yn Nghymdeithasfa Capel Newydd, yn Sir Benfro. Yr oedd hon yn Gymdeithasfa nodedig iawn. Ynddi hi cafodd Ebenezer Morris un o odfaeon mwyaf ei fywyd, wrth bregethu oddiar y geiriau: "Ffordd y cyfiawn sydd fel y goleuni." Addawsai boneddwr o'r ardal wneyd ei oreu gyda'r Gymdeithasfa ond iddo gael clywed Mr. Morris am ddeg o'r gloch. Cafodd ei ddymuniad, a chlywodd ef ar ei uchelfanau. Am ddau, pregethai y Parchn. Robert Griffith, Dolgellau; a John Williams, Lledrod. Gŵr nodedig am ei gallineb a'i drefnusrwydd oedd y Parch. Robert Griffith; meddai gynllun trefnus, yr hwn a weithiai allan yn fanwl a rheolaidd; ac yr oedd ei chwaeth yn bur, a'i eiriau yn ddewisedig a choeth. Cafodd odfa nodedig o ddymunol, a'r bobl wrth eu bodd, wrth lefaru ar y testun: "Yr hwn a'n hachubodd ni, ac a'n galwodd ni." Ni chlywsom beth oedd testun Mr. Williams, ond yr oedd i raddau yn drymaidd ar y cychwyn, ac hefyd dipyn yn glogyrnaidd. Ond cyn y diwedd taflodd ddylanwad, "megys pelen o dân," ys dywedai un, i ganol y gynulleidfa. Yr hyn a effeithiodd ar y dorf oedd ei ddesgrifiad o ddyn yn myned i golledigaeth. Wedi darlunio ei fywyd pechadurus, galwai ar y gynulleidfa i edrych arno ar glogwyn dinystr. Gan ddyrchafu ei lais fel taran, ac estyn ei freichiau hirion i lawr dros y *stage*, a'i holl wynebpryd mewn cyffro, bloeddiai: "A welwch chwi e; a welwch chwi e, yn cymeryd ei redfa yn ei rwysg dros y dibyn i lawr? 'Dyw e yn gwybod dim am y perygl sydd yn ei aros. Ond dyma fe ar y dibyn! A oes neb eill ei safio? Ond beth wna i ofyn; nac oes neb, ond Duw! Gofynwch iddo, bobl: 'Yn mawredd dy nerth cadw blant marwolaeth!' Fe fydd i lawr yn union oni ddaw ymwared. Ond fe all Duw achub." Gyda hyn yr oedd yn lle rhyfedd yno; miloedd wedi eu cyffroi i ymylon gwallgofrwydd, ac wedi codi ar flaenau eu traed, o herwydd bywiogrwydd y desgrifiad, ac fel pe am dremio a welent y dyn yn syrthio dros y dibyn. Ar y diwedd rhoddodd y penill hwnw allan:—

"Caed ffynon o ddŵr ac o waed,
I olchi rhai duon eu lliw."

Trodd allan yn orfoleddu mawr wrth ganu; dyblid a threblid y llinell olaf—

"Jerusalem hefyd ddaw'n lân."

Yr oedd degau o Gastellnewydd-Emlyn yn y Gymdeithasfa; cyfranogodd y rhai hyny o'r hwyl; ac aethant adref yr holl ffordd dan ganu. Wrth nesu at y dref, newidiodd rhai y llinell, gan floeddio:—

"Castellnewydd hefyd ddaw'n lân."

Yr oedd John Evans, Llwynffortun, i bregethu yn Nghastellnewydd y noswaith hono; a gwaeddai y rhai a ddeuent o'r Gymdeithasfa ar bobl y dref i ddyfod i'r cyfarfod, gan ddweyd: "Y mae i fod yn Bethel yma heno." Bethel yw enw y capel, a throdd yr odfa yn Bethel hefyd, oblegyd yr oedd yr efengylydd o Lwynffortun yn ehedeg yn nghanol y nef, a'r efengyl dragywyddol ganddo.

Cafodd Mr. Williams odfa effeithiol iawn dranoeth, yn Blaenanerch, wrth bregethu ar y "Dymhestl ar y môr." Wedi dangos dyogelwch y llong gyda goleuni mawr, gofynodd gyda nerth: "A ddewch chwi iddi, dywedwch? Yr wyf yn sicrhau i chwi ei bod yn ddigon saff. Mi ddangosaf un planc o honi yn awr i chwi, a dyma fe: Deuwch ataf fi bawb sydd yn flinderog ac yn llwythog, a mi a esmwythâf arnoch.' Dyna fe; mentrwch arno fel yr ydych; yr wyf yn sicrhau na ddifarwch chwi byth." Aeth yn folianu mawr yn y gynulleidfa yn yr olwg ar ddyogelwch yr iachawdwriaeth, ac yn clodfori yn y capel y bu llawer am oriau.

Pregethai ef, a'r Parch. Ebenezer Richard, yn Nghyfarfod Misol Llanddewi-Aberarth, am un-ar-ddeg y diwrnod olaf. Yr oedd llewyrch mawr yn cydfyned â geiriau Mr. Richard, pan yn llefaru oddiar y testun: "Canys hwn a seliodd Duw Dad." Dywedai fod Crist pan ar y ddaear mewn dillad gwas; ond fod Duw weithiau, pan y gwelai hyny yn angenrheidiol, yn codi cwr y llen, ac yn dangos sel y llywodraeth. Yr oedd y gwlith yn disgyn yn drwm, a'r bobl yn mwynhau yn rhyfedd. Ar ei ol cododd Mr. Williams. Ymddangosai y gynulleidfa i raddau yn siomedig; ofnent mai sychlyd a difywyd fyddai y gweddill o'r cyfarfod. Cymerodd yn destun, "Can. viii. 6: "Gosod fi megys sel ar dy galon." Marwaidd yn hytrach ydoedd ar y cychwyn; ond yn y man sylwodd: "Yr oedd pregeth fy mrawd yn dweyd fod Crist wedi ei selio i'n hachub ni; y mae fy nhestun inau yn mynegu dymuniad yr eglwys am gael bod yn arwydd ar galon Crist, i ddangos ei fod wedi cyflawni ei osodiad, yr un fath a milwr yn gwisgo *trophy* ar ei frest fel arwydd o fuddugoliaeth. Yr oedd fy mrawd yn dangos Crist wedi ei awdurdodi i achub; yr wyf finau am ddangos ei fod yn gwneyd ei waith, a bod y gwaith yn troi yn ogoniant iddo, yn sel ar ei galon, ac yn sel ar ei fraich.' Yn raddol dyma ei yspryd yn cyffroi, a'i eiriau yn gafaelu yn y dorf, yn arbenig pan aeth i son am farwor tanllyd cariad. Meddai: "Fflam yn taflu marwor tanllyd i bob cyfeiriad yw fflam cariad; a phan fyddo hon yn gwreichioni llawer ni all dynion annuwiol sefyll yn agos iddi. Y mae gyda ni hen flaenor yn Nhregaron, dim ond iddo ddod i'r golwg, faint bynag fyddo *force* y cythraul yn y lle, fe fydd yn siwr o glirio'r *pit*. Y mae gwreichionen bywyd o sancteiddrwydd, yn tarddu o gariad Crist, yn trechu dynion gwaethaf y wlad. Peidiwch gadael i'r gelyn eich cau i mewn yn ormodol; mynwch glirio'r *pit* weithiau." Erbyn hyn yr oedd ei yspryd wedi ei wefreiddio trwyddo; taflai ei freichiau o gwmpas, a bloeddiai gyda nerth: "O am gael tipyn o'r cariad yma i lawr! O am y gwreichion tanllyd hyn! Cliriai hyn sawyr y byd a'i arferion, a rhoddai dipyn o *scope* i ni yn nghanol cenhedlaeth ddrygionus a throfaus." Yr oedd y gynulleidfa oll yn ei law, a therfynodd y cyfarfod mewn cyffro dirfawr. Ar y terfyn canwyd y penill –

"O gariad, o gariad anfeidrol ei faint;"

ac aeth y bobl adref o un o'r odfaeon rhyfeddaf, wedi cael eu dal a dychryn. Ystyr yr ymadrodd "clirio'r *pit*" ydyw ceffyl mewn arwerthfa, a thorf o bobl o'i gwmpas, ac yntau yn cael ei yru o amgylch er mwyn eangu'r cylch. Bu son am y bregeth hon yn Sir Aberteifi am flynyddoedd, ac adnabyddid hi fel pregeth clirio'r *pit*.

Coffheir am odfa nerthol iddo yn Lledrod, mewn Cyfarfod Misol. Nid oedd dim neillduol yn y bregeth flaenaf; cysgai Mr. Richard, Tregaron, yn drwm trwy yr holl amser, oblegyd hun-glwyf oedd yr afiechyd a'i blinai ef yn ystod y rhan olaf o'i oes. Ond gyda bod Mr. Williams yn agor ei enau dyma'r naws yn newid; yn fuan yr oedd yspryd y pregethwr yn fflamio, a'r gwreichion yn cyniwair trwy y dorf; cyn haner y bregeth yr oedd y gynulleidfa wedi ei thoddi, ac yn wylo fel y gwlaw. Am Mr. Richard, ysgydwai ei gorph fel pe byddai dirgrynfeydd wedi ei ddal, a llifai y dagrau mawrion dros ei ruddiau. Adroddir fod Mr. Williams a'i freichiau i fynu, a'i fod yn bloeddio: "Bendigedig; yr wyf wedi cael byw i weled un *spring tide* yn Lledrod eto. Peidiwch rhyfeddu os bydd llestri rhai o honoch yn nofio yn braf cyn diwedd yr odfa." Pregethai unwaith hefyd yn

Llannon, nid yw yn gwbl sicr ai mewn Cyfarfod Misol; ei destun oedd: "Gelyniaeth hefyd a osodaf rhyngot ti a'r wraig.' Nid yw yn ymddangos fod yr odfa yn un neillduol o hwylus; eithr trafferthai efe gryn lawer i ddangos yr ymosodiadau a wnelid ar y pen gan un, ac ar y sawdl gan y llall. Ond cafodd afael ryfedd ar weddi wrth orphen; ac yn mysg pethau eraill dywedai: "Tyn dy sodlau atat, Arglwydd mawr; y mae'r gelynion ar dy ol; ond 'does dim eisiau iddynt gael y *sport* o ysigo cymaint a dy sawdl, ond i ti frysio i fyned â dy waith yn y blaen."

Y mae yn amlwg oddiwrth y pethau a nodwyd fod "Williams, Lledrod," yn bregethwr effeithiol, a'i fod ar amserau yn cael odfaeon gorchfygol; ond braidd na ragorai yn fwy yn y seiat nag yn y pwlpud. Yma yr oedd ei onestrwydd trwyadl, ei ffordd wladaidd o siarad, ei barodrwydd uniongyrchol, a phertrwydd ei arabedd, yn ei ddwyn i gysylltiad agos â dynion crefyddol; ac y mae llu o'i ddywediadau yn y cymdeithasau eglwysig ar glawr a chadw yn y gwahanol gymydogaethau hyd y dydd hwn. Wrth gynghori yr ieuenctyd unwaith, dywedai mai gan ryw hen wraig y cawsai yr eglurhad goreu ar gyfrwystra'r diafol. "Ebe yr hen wreigan wrthyf: 'Fe ddaeth y geiriau hyn i fy meddwl, 'Nid ydym ni heb wybod ei ddichellion ef;' 'ac mi welais yn union fod ryw wendid yn ei deyrnas e, cyn y rhaid iddo arfer dichellion i'w dal i fynu.' Yr oedd yr hen wraig yn *right* ei gwala; gochelwch chwithau fyned i geisio propio teyrnas sydd yn rhy wan i sefyll heb gymhorth dichellion twyllodrus." Wrth siarad a brawd mewn profedigaeth, dywedai: "Amgylchiadau sydd yn dangos pa fath grefydd sydd genym; anhawdd gwybod beth sydd yn y gasgen cyn ei thapio. Tapiwyd Cain, ac fe aeth yn llofrudd; tapiwyd Abraham, 'a chyfaill Duw y galwyd ef;' tapiwyd Joseph, a dywedodd, 'a allaf fi wneuthur y mawr ddrwg hwn, a phechu yn erbyn Duw?' Tapiwyd Job, a dywedodd, 'Bendigedig fyddo enw yr Arglwydd; ond tapiwyd ei wraig, a'r hyn a ddywedodd hono oedd, 'Melldithia Dduw a bydd farw.'"

Dygwyddodd yn Lledrod unwaith fod merch ieuanc wedi digio wrth ei mam, a hyny, fel yr ymddengys, heb ryw lawer o achos; a daeth yr achos gerbron Mr. Williams, yn y cyfarfod eglwysig. Daeth y fam yn fuan i delerau, gan ddweyd ei bod yn barod i unrhyw beth, ac os oedd wedi gwneyd cam â'i merch ei bod yn gofyn ei maddeuant. Ond parhau yn ystyfnig a wnelai yr eneth; ymddangosai mor galed a'r adamant. "Beth," ebai yntau; "a faddeui di ddim i dy fam? Y fam a'th gariodd yn ei chroth yn galed arni am fisoedd; y fam a'th esgorodd pan oedd rhwng byw a marw; y fam a'th sugnodd ar ei bronau, ac a'th gadwodd nos a dydd rhag pob bwystfil niweidiol, pan na allet ti syflyd cam. Cofia mai dy fam ydyw. Pwy a dosturia wrthi os na wna ei merch? Pwy sydd a mwy o rwymau arni na'r ferch a fagodd?" Yr oedd yr araeth yn nodedig o doddedig; aethai teimladau yr aelodau cyffredin yn llymaid er ys meityn, a llifai eu dagrau yn ddiymatal; ond am yr eneth, arosodd hi mor ddideimlad a'r graig, ac ymddengys mai ei diaelodi fu raid. Yn y cyflwr hwnw y bu farw, yn wrthddrych dirmyg yr holl wlad.

Cawsai ei anfon gan y Cyfarfod Misol i gynorthwyo eglwys Ceinewydd i ddewis blaenoriaid, ac er cyfarwyddo yr aelodau pa fath ddynion i'w hethol, cymerodd ei ddameg i'r perwyl a ganlyn: "Yr oedd gŵr a gwraig yn ein gwlad ni," meddai, "ag eisiau gwas mawr arnynt adeg Calangauaf, a gofynai Evan i Mary, 'Beth wyt ti yn feddwl wnawn ni am was mawr eleni?' 'Wn i ddim,' ebai Mary; 'beth wyt ti yn feddwl?' 'Wel,' meddai Evan, 'yr w i wedi meddwl am Sianco, yr ail was. Mae Sianco yn un gofalus iawn. Os bydd bwlch yn y clawdd fe fydd e yno a'i gaib a'i raw yn union yn ei godi; os bydd clwyd yn agored, fe fydd e yn debyg o'i gweled a'i chau; os tŷr rhai o'r gwartheg i mewn i'r *clover*, nes myned mewn perygl o chwyddo, fe fydd e yn siwr o'u canfod, ac o frysio am feddyginiaeth. Pan ddelo adref rywbryd yn y nos, os clyw e'r ceffylau yn cicio eu gilydd yn yr ystabl, fe fydd yn sicr o'u tawelu cyn myned i orphwys. Ac os bydd hi yn ystormus, a'r tasau gwair a'r yd mewn perygl o noethi, fe fydd Sianco yno yn union yn rhoddi tusw yn ei le.' 'Yr w i o'r un farn yn hollol,' ebai Mary; 'beth pe baem yn ei alw i'r tŷ?' Hyny a wnaed, ac meddai'r gŵr wrtho: 'Sianco, 'rym ni wedi meddwl dy wneyd yn was mawr 'leni.' 'O, 'dw i ddim yn ffit, meistr bach,' ebai Sianco. 'Ië, fe godwn ni yn dy gyflog di,' meddai Evan. 'Yr w i yn cael llawer mwy nag w i yn haeddu yn awr,' ebai'r

gwas. 'A wyt ti wedi blino yn ein gwasanaeth ni?' 'Nac wyf, meistr anwyl; mi garwn fod yn eich gwasanaeth chi byth.' 'Wel,' ebai Evan, 'a wnai di ufuddhau i fod?' 'Gwna i, os ydych chi yn y ngweled i yn ffit, ond rhaid i chwi ddangos i mi beth i'w wneyd.' Chwiliwch chwithau am ryw Sianco yr ail was fel yna, fe wna flaenor rhagorol i chwi. Y mae llawer o fylchau eisiau eu cau yn eglwys Dduw, a da fyddai cael gwas llygeidiog i'w canfod. Y mae llawer o afiechyd ag eisiau ei drin, rhag i'r bobl farw yn eu pechodau." Cartrefol iawn oedd y ddameg, a gwladaidd oedd yr iaith a ddefnyddiai Mr. Williams, ond yr oedd y gwanaf ei amgyffred yn deall, a dywedir i'r eglwys fod yn llwyddianus i gael blaenor o'r nodwedd a ddesgrifid.

Dywedai efe ei feddwl yn gwbl ddidderbynwyneb, a medrai fod yn llym pan fyddai galw am hyny. Yn Swyddffynon yr oedd dyn a adwaenai yn dda, yn dweyd profiad uchel yn y seiat; eithr gan nad oedd ei fywyd cyffredin yn cyd-dystiolaethu â'r hyn a ddywedai, amheuodd Mr. Williams ei gywirdeb. Ond myned yn hyfach a wnelai y gŵr, gan ddadleu ei fod wedi cael sicrwydd gyda golwg ar ei gyflwr gerbron Duw, a'i fod yn meddu gorfoledd a goleuni byth oddiar hyny. Methodd Mr. Williams ddal ei haeriadau yn hwy, a llefodd allan yn gynhyrfus: "Pen i gyd; pen i gyd; rhaid i ti gael crefydd y galon, neu ynte ti ai i dân." Eithr medrai fod yn dyner pan welai arwyddion o edifeirwch, a hynod fedrus y byddai wrth drin clwyfau a thywallt balm i archollion. Yn Mhontrhydfendigaid, unwaith, yr oedd dyn yn cael ei geryddu am feddwdod; amlygai ofid dwys oblegyd ei gam-ymddygiad, ac oblegyd iddo dynu gwarth ar enw Crist; a phan y tueddai rhai o'r blaenoriaid i fod yn galed arno, dyma Mr. Williams ar ei draed, ac meddai, a'r dagrau yn llifo: "A darawn ni yr hwn a darawodd Duw?" Dro arall, yn Nhregaron, pan oedd gwraig gerbron oblegyd ryw drosedd, a phawb yn edrych yn dra diystyrllyd arni, anogai Mr. Williams rywrai i siarad. Hyn ni wnai neb dros amser; a dyma yntau i lawr o'r pwlpud bach, lle yr eisteddai ar ol pregethu, a holodd y ddynes a oedd hi yn gweled ei hunan yn bechadur. Cyfaddefodd hithau ei bod; ei bod yn bechadur mawr iawn; ac nad oedd yn gweled yr un lle i droi iddo am ymwared ond at Iesu Grist. Wrth holi am y pechadur a'r Ceidwad, a derbyn atebion syml a dirodres, toddodd ei deimlad ef, a theimlad pawb yr un modd. "Dyma hi, bobl fach," meddai; "dyma'r man y mae yn rhaid i ni ddod iddo i gyd. Dyma lle y gorfu i fi fy hunan fyn'd, a dyma lle y ces i fy mywyd." Cafodd y wraig ei lle yn nghanol boddlonrwydd pawb, a dywedir iddi fod yn Gristion gloyw o hyny hyd ei bedd.

Meddai ystor o synwyr cyffredin, a deuai hyny i'r golwg yn aml wrth gadw seiat, a thrin y gwahanol amgylchiadau a ddeuent gerbron. Yn Llangeitho, unwaith, ymdriniai ag achos rhywrai a gyhuddid o feddwi mewn arwerthfa. "Yr wyf yn synu at ddynion," meddai, "eu bod yn meddwi mewn *auction* o un man yn y byd, gan y gwyddant mai er mwyn eu twyllo i roddi mwy na'u gwerth am y pethau a osodir i fynu y cânt y ddiod. Wedi yfed bydd dyn call yn gweled sypyn gymaint a thâs, a thâs gymaint a mynydd; bydd yn gweled y llo blwydd gymaint a'r eidion tair blwydd, a'r eidion tair blwydd gymaint ag elephant. Yn ol yr olwg yma ar bethau y bydd yn cynyg. Y mae yn drueni bod crefyddwyr fel chwi yn gwneyd eich hunain y fath ffyliaid ar g'oedd y byd."

Byddai yn anfaddeuol ynom i basio yn ddisylw y seiat ryfedd yn Llangeitho, yn y flwyddyn 1819, ar ddechreu un o'r diwygiadau mwyaf a ysgydwodd Gymru. Dechreuodd gyda phregeth o eiddo Mr. Richard, Tregaron, foreu Sul, ar y geiriau: "A'r rhai hyn a ânt i gospedigaeth dragywyddol." Yr oedd nerthoedd dwyfol yn ysgwyd y lle y boreu hwnw; gwelwai pechaduriaid gan ddychryn; eu gliniau a gurent yn nghyd, fel eiddo Belsassar yn y wledd ar ol gweled y darn llaw yn ysgrifenu ar galchiad y pared. Mr. Williams oedd yn cynal seiat yno yr wythnos ganlynol, a gwelid dau-ar-bymtheg o wynebau newyddion yn mysg y frawdoliaeth, yn gofyn am le yn nhŷ Dduw. Wrth eu holi o un i un, a phawb yn tystio mai y bregeth ryfedd boreu'r Sabbath oedd wedi peri iddynt dori'r ddadl, gwaeddai Mr. Williams yn gyffrous: "Rhyfedd gynifer saethodd e ag un ergyd!" Aeth ei deimladau yn hynod ddrylliog wrth ymddiddan â'r ymgeiswyr. "Pwy yw y bachgen bach yma?" gofynai am un. "Mab Morgan," oedd yr atebiad. "Mab Morgan, ai ïe? O machgen i, y mae dy dad yn y nefoedd er ys blynyddau, ac y mae yn dda genyf dy wel'd dithau heddy' yn dechreu'r

ffordd i fyn'd ar ei ol.' Yr oedd ganddo rywbeth tyner o'r fath i'w ddweyd wrth bob un, nes yr oedd yr hen aelodau a'r ymgeiswyr yn myned yn swp o deimlad. Effeithiodd y diwygiad hwn yn fawr arno er nefoleiddio a thyneru ei yspryd. Yn flaenorol, tueddai at fod yn ddysgyblwr llym; yr un pryd ni fyddai neb yn digio wrtho, oblegyd ei gydwybodolrwydd llwyr i'r gwirionedd; eithr yn awr, pan yr oedd y deheuwynt tyner yn chwythu mor hyfryd ar yr ardd, aeth bron yn analluog i ddysgyblu. Pan y gosodwyd achos yn galw am ddiarddeliad ger ei fron, safodd yn syn gerbron yr eglwys, a dywedodd: "Wn i ddim beth yw y mater; 'dw i ddim mor barod i hyn ag y bûm. Gwelais amser pan nad oeddwn yn gofalu diarddel aelod, tra yn gweled cyfiawnder o'm plaid, ond yn awr y mae fy nheimladau yn rhy ddrylliog, a buasai yn well genyf fod yn rhywle na gorfod trin yr achos hwn yma."

Yr ydym wedi sylwi ddarfod i Mr. Williams ddyfod yn Fethodist trwyadl. Yr oedd ei gariad at y Cyfundeb yn gryf; teimlai barch diderfyn i'w draddodiadau, ac i arferion y tadau, yn arbenig yr hyn a welsai gan Daniel Rowland, ac nid o'i fodd ef y caffai hen derfyn ei symud. Gan iddo ddyfod allan mor gryf i bleidio ordeiniad gweinidogion, a hyny pan yr oedd ei frodyr offeiriadol yn dangos y fath wrthwynebiad, tueddwn i feddwl ei fod wedi clywed Daniel Rowland yn awgrymu mai i hyny y byddai raid i bethau ddyfod yn y diwedd. Anmharod fyddai i dderbyn cyfnewidiad mewn pethau bychain. Yr arferiad yn Sir Aberteifi oddiar dyddiau Rowland gyda golwg ar y cymundeb, oedd fod yr holl aelodau yn dyfod yn mlaen at yr allor—felly y gelwid y set fawr y pryd hwnw—er mwyn cyfranogi. Dyna arferiad Mr. Williams o'r cychwyn. Ond cyn diwedd ei oes clywodd fod y Parch. Edward Jones, Aberystwyth, wedi newid y dull, gan beri i'r cymunwyr eistedd ar y llawr, ac yntau yn cymeryd yr elfenau o gwmpas. Yn y Cyfarfod Misol cyntaf ar ol hyny, dyma Mr. Williams ar ei draed, ac yn rhoddi araeth ar arfer y Cyfundeb o'i ddechreuad yn nglyn â gwasanaeth y cymun; "ond," meddai, "yr wyf yn clywed fod rhai yn y dyddiau hyn yn rhuthro yn anystyriol ar draws defod y tadau, dynion na welwn ni byth mo'u gwell." Yr oedd Mr. Jones yn y Cyfarfod Misol, ac meddai: "Mae yn debyg mai fi yw y pechadur; nid oeddwn yn meddwl dim drwg yn yr hyn a wnaethum, ond yn unig fy mod yn meddwl fod y drefn hon yn fwy gweddaidd. Nid wyf yn meddwl ychwaith fod genych chwithau yr un rheswm dros alw y bobl bob yn haid at yr allor, ond mai fel hyny yr ydych wedi arfer." Sut y terfynodd y ddadl, nis gwyddom; ond ni lwyddodd Mr. Williams i basio un math o gerydd ar y Parch. Edward Jones.

Cyfranogai hefyd i raddau o'r rhagfarn a goleddid gan rai o'r tadau yn erbyn rhoddi dysgeidiaeth uchel i bregethwyr. Pan yr oedd y Parch. John Rees, Tregaron, yn dechreu gyda gwaith y weinidogaeth yn Ffosyffin, gofynai ganiatad y Cyfarfod Misol i gael myned i Cheshunt, i Athrofa yr Iarlles Huntington. Buasai yn flaenorol yn ysgol Neuaddlwyd, gyda Dr. Phillips, ac yr oedd y ddysgeidiaeth a gawsai wedi creu gwanc yn ei yspryd am ragor. Mor bell ag yr ydym yn deall, caniatâd i fyned i'r athrofa yn unig a ofynai; nid oedd yn bwriadu pwyso ar y Cyfundeb am gynaliaeth o gwbl. Ac yr oedd wedi amlygu ei feddwl i Mr. Richard, Tregaron, yn flaenorol, a chwedi derbyn ei gymeradwyaeth i'r amcan. Ond pan y daeth y mater gerbron y Cyfarfod Misol dyma Mr. Williams i fynu, ac yn dweyd yn awdurdodol: "Chei di ddim myn'd, John. Y mae digon o ddynion o'r *colleges* i'w cael yn awr; creaduriaid balch, nad ydynt dda i ddim ond i ddilyn bywyd segur. Os wyt am ddyfod yn bregethwr mawr, John, dos i gysgod rhyw berth, a delia fwy â'r dirgel. Oni bai am y Setting ddu wnaethwn i yr un bregeth a wnelai les i neb. Cred fi, John, yr wyt wedi cael digon o ysgol." Yn gyffelyb hefyd y llefarodd y Parchn. Ebenezer Morris, a David Evans, Aberaeron, a rhwystrwyd y gŵr ieuanc i dori ei syched am wybodaeth. Cofus gan lawer i'r Parch. Lewis Edwards, D.D., flynyddoedd lawer ar ol hyn, gael ei annghefnogi mewn cyffelyb fodd, pan y dymunai ganiatad i fyned am gwrs o addysg i un o'r prif ysgolion. Ymddengys y teimlad yma i ni yn rhyfedd, ond cyn beio gormod ar yr hen frodyr, a'u condemnio o gulni dall, dylem gofio eu bod yn gweled offeiriaid Cymru, agos yn y cyfanswm, llawer o ba rai oeddynt wedi cael eu dwyn i fynu yn y prif ysgolion, ac ambell un o honynt yn ysgolhaig gwych, yn gwbl amddifad o'r ddoethineb sydd oddiuchod, ac yn hollol ddifater am gyflawni eu gwaith fel gweinidogion y Gair. Nid diffyg ysgol-

heigion a barai fod y wlad yn flaenorol i'r diwygiad Methodistaidd wedi suddo i baganiaeth, ond diffyg pregethwyr effro. Nid rhyfedd, felly, fod Williams, Lledrod, ac eraill, yn ofni gyru pregethwyr ieuainc i'r colegau, rhag iddynt hwythau gael eu dal gan ddifrawder cyffelyb. Efallai hefyd nad oedd y brodyr yn tybio y gwnelai Athrofa Cheshunt John Rees yn well pregethwr. Modd bynag, cymerodd Mr. Rees y gwrthwynebiad yn yr yspryd goreu, ac aml y cyfeiriai yn y pwlpud, ac wrth gadw seiat, at Setting ddu Williams, Lledrod.

Fel amryw o'i gydoeswyr yr oedd yn dipyn o reolwr yn y Cyfarfod Misol. Efe gan amlaf a lywyddai os byddai yn bresenol; ac anfynych y pryd hwnw y byddai unrhyw fater yn cael ei roddi i fynu i bleidlais. Dywedai y cadeirydd ei farn, ystyrid hyny yn ddeddf, a thawai pawb. Yr oedd cryn nifer o gynghorwyr yn perthyn i Gyfarfod Misol Sir Aberteifi, a thueddent i fyned ormod oddicartref, nes y byddai yr eglwysi yn grwgnach eu bod yn cael eu beichio; felly byddid weithiau dan orfodiaeth i wrthod caniatad iddynt, ac fel rheol ar Williams, Lledrod, y disgynai mynegu y ddeddf. Yr oedd yr hen gynghorwr, Isaac James, Penygarn, yn gryn bechadur yn yr ystyr yma. Unwaith yr oedd Edward Coslett ac yntau wedi cytuno i fyned ar daith i Wynedd. Mor bell ag y gwyddom, nid myned ar wahoddiad yr oeddynt. Ond pan aeth Isaac James i ofyn caniatad y Cyfarfod Misol dyma ddywedodd Mr. Williams wrtho: "Yr ydych chwi, Isaac bach, yn grydd, a dylech lynu wrth eich crefft; os ewch chwi bant fel yma o hyd chwi dwyllwch y bobl am esgidiau, a byddwch wrth dwyllo y wlad gyda golwg ar beth am eu traed yn tynu yr oll a bregethwch i lawr. Rhaid i'r bobl gael esgidiau; ac os na chânt gyda chwi hwy a ant lle y cânt. Y mae arna i ofn, Isaac, y gwnewch chwi niwed i'r grefft fel yna. A mwy na'r cwbl, yr wyf yn ofni y bydd twyll y crydd yn myned yn drech na phregeth y pregethwr. Setlwch wrth eich crefft, Isaac." Ebai Isaac yn ol: "Gadewch i fi gael myn'd y tro hwn, ac ni cheisiaf byth drachefn." Tarawodd Mr. Williams ei droed wrth y llawr yn awdurdodol, a dywedodd: "Ar fy ngair i, Isaac, chewch chwi ddim myn'd." Ond yr oedd Isaac erbyn hyn wedi ymgynhyrfu o'i du yntau, ac meddai: "Mi af y tro hwn, a gwnewch fel y mynoch â mi wedi i mi ddod yn fy ol; eithr dyma'r daith ddiweddaf." Myned a wnaeth; ond gan ei fod wedi cyrhaedd gwth o oedran, a'i fod wedi addaw nad elai drachefn, cafodd ddianc yn ddigerydd.

Un o ddynion manylaf y wlad oedd Mr. Williams; byddai yn fanwl gyda gorchwylion y teulu a'r tyddyn; rhaid i bob pryd bwyd fod ar y bwrdd i'r fynyd, a gofalai fod pawb yn myned at eu gorchwylion ar yr amser priodol. Dangosai yr un manylwch gyda gorchwylion y Cyfarfod Misol; yr oedd anmhrydlondeb yn annyoddefol iddo. Dywedai un a'i hadwaenai fod ganddo oriawr fechan, tua maint llygad eidion, ac mai wrth hono byddai yn rheoli y sir. Croniclir iddo ddechreu yr odfa unwaith yn Llanafan pryd nad oedd ond un hen wraig yn bresenol, a thro arall yn Mlaenplwyf, pan nad oedd ond dau yn y capel. Pregethai yn aml yn Llangeitho, a gofalai y gynulleidfa fod yno erbyn amser dechreu, oblegyd gwyddent yr elai ef yn mlaen a'r cyfarfod, pobl neu beidio. Un tro yr oedd ei gyhoeddiad yn Nghapel Drindod; dygwyddodd fod y Parch. D. Griffiths, Nefern, yn gwasanaethu mewn eglwys gyfagos tua'r un adeg. Yr oedd Mrs. Lloyd, Bronwydd, boneddiges nodedig o grefyddol a hael, yn fawr ei hawydd am glywed y ddau, Mr. Williams a Mr. Griffiths. Daeth heibio Capel Drindod yn ei cherbyd, ac anfonodd ei gwas at Mr. Williams i ddymuno un cais oddiar ei law, sef iddo beidio dechreu yr odfa y tro hwn nes y byddai hi wedi dychwelyd yn ei hol o'r eglwys, ar ol clywed Ficer Nefern. Ebai yntau yn ol wrth y gwas: "Ewch, a dywedwch wrth Mrs. Lloyd y dechreuaf fi yr odfa at y fynyd ei cyhoeddwyd; ond y geill hi wneyd fel y myno, aros i'r cwrdd neu beidio." Aros wnaeth y foneddiges. Yr oedd gwroldeb Mr. Williams yn fwy gan y gwyddai mai teulu y Bronwydd a berchenogai yr holl wlad o gwmpas; fod Capel Drindod wedi ei adeiladu ar eu tir, ac ar eu traul, a'u bod yn cyfranu haner cant punt yn flynyddol at gynal yr achos. Ond nid annhebyg ei fod yn cofio ymddygiad Mr. Griffiths adeg y Neillduad, yn arbenig ei waith yn cau capel Nefern, yn rhinwedd ei awdurdod fel ymddiriedolwr. Dywedai David Jones, Dolaubach, am y Parch. John Williams, nad oedd hanes iddo dori ei gyhoeddiad erioed, oddigerth mewn achos o selni; ac anfynych y dygwyddai hyny mewn cysylltiad ag ef, gan iddo gael iechyd da agos trwy ei oes. Nid oedd na

gwlaw nac eira, nac ystorm, a'i rhwystrai i fyned i bregethu pan fyddai wedi addaw. Un boreu Sabbath yr oedd yn bwrw eira yn erwin; cyn hir cododd yn wynt cryf, fel yr oedd y ffyrdd yn debyg o gael eu cau i fynu gan y lluwchfeydd. Barnai y teulu mai rhyfyg ynddo fyddai ceisio myned at ei gyhoeddiad. Ond nid oedd yn bosibl ei atal; mynai wneyd y prawf, llwyddo neu beidio, a llwyddo a wnaeth.

Yr ydym wedi cyfeirio eisioes at ei ddefnyddioldeb yn nglyn â gweinyddiad yr ordinhadau yn Sir Aberteifi cyn y Neillduad. Nid yw yn ymddangos i'r galwadau am ei wasanaeth yn y cysylltiad hwn leihau ar ol yr ordeinio. Y mae braidd yn sicr iddo fedyddio mwy o blant na neb yn ei oes. Flynyddoedd yn ol, tystiai canoedd o hen bobl o gwmpas Llangeitho, Lledrod, a Thregaron, mai efe oedd wedi eu bedyddio, ac mai o'i law ef y derbyniasent y cymun cyntaf. A phan yr adeiladid capel newydd efe, yn ddieithriad, a wahoddid i gyfranu y tro cyntaf. Yr oedd ei fod yn offeiriad urddedig yn un rheswm am hyn, oblegyd yn raddol y diflanodd rhagfarn llawer o'r Methodistiaid yn erbyn gweinidogion y Cyfundeb. Byddai torf liosog yn dyfod yn nghyd adeg y cyfranu cyntaf mewn capel. Adroddir am dano yn gweinyddu y cymundeb am y tro cyntaf yn y Penant; yr oedd y llawr a'r oriel mor llawn o ddynion fel mai o braidd y gellid anadlu yno; cyfodai Mr. Williams y ddysgl a'r bara i fynu i'w dangos i'r dyrfa, ac meddai: "Dyma fe, bobol fach; dyma bortread o Grist croeshoeliedig wedi dyfod atom ni y Methodistiaid. Cadwyd ef yn hir o fewn terfynau yr Eglwys, ond agorwyd y drws iddo ddyfod atom ni y Cenhedloedd o'r diwedd." Daeth rhyw lewyrch o'r nefoedd gyda'r geiriau; aeth yn wylo hyfryd trwy y lle. Yr oedd rhai yn wrthwynebol i ddwyn yr ordinhad i'r capel, ond cyn diwedd y gwasanaeth diflanasai pob rhagfarn. Felly hefyd y bu mewn amryw leoedd eraill.

Un-ar-bymtheg o gapelau oedd gan y Methodistiaid yn Sir Aberteifi pan yr ymunodd Williams, Lledrod, â hwy. Bu yn cadw Cyfarfodydd Misol mewn llawer man cyn fod yno gapel. Ceir hanes am dano ef a Mr. Gray yn pregethu mewn Cyfarfod Misol yn y Borth, ar gŵr uchaf Sir Aberteifi, ar ben yr odyn galch. Yn Llanarth, mewn cyfarfod cyffelyb, pregethai oddiar *horse-block;* ac yn Soar, ar y mynydd rhwng Llanddewibrefi a Llanwrtyd, oddiar ben clawdd Bronyrhelem. Ond lliosogodd yr addoldai yn y sir yn gyflym, yn neillduol yn y rhan uchaf. Efallai mai i'r Parch. Ebenezer Richard yn benaf y perthyn y clod am hyn, ond y mae yn sicr fod Mr. Williams, hyd eithaf ei allu, yn ei gynorthwyo, ac yn dal ei freichiau i fynu. Yr oeddynt hwy ill dau yn gweled yn mhellach yn y cysylltiad yma, ac yn fwy byw i angen y wlad, nag Ebenezer Morris, yn ngodreu y sir, a Thomas Richard, yn Sir Benfro. Llanwasant yr holl wlad a chapelau, o Lanbedr i fynu hyd y Graig, ar dueddau Machynlleth, fel mai prin y gallai unrhyw enwad arall gael lle i osod ei big i mewn. I'w gweithgarwch a'u rhagofal hwy ill dau y dylid priodoli fod y rhan uchaf o Sir Aberteifi agos yn gyfangwbl yn meddiant y Methodistiaid.

Ni fu Mr. Williams yn byw yn Lledrod erioed; ei gysylltiad â'r eglwys yno a barodd i enw y lle lynu wrtho. Am y rhan gyntaf o'i fywyd priodasol preswyliai yn Ty'nddraenen, ger Swyddffynon; bu ar ol hyny am beth amser yn byw yn Nhregaron, lle yr adeiladodd dŷ iddo ei hun, gan fwriadu preswylio ynddo weddill ei oes. Ond yn mhell cyn ei farw preswyliai yn Mhentre Padarn, fferm tua dwy filltir o Langeitho. Daethai y lle hwn ar werth, prynodd yntau ef, ac ynddo y gorphenodd ei yrfa. Cafodd fyw i weled hir ddyddiau; yr oedd yn fab pedwar ugain mlwydd a phedair pan y galwyd ef i noswylio. Cafodd iechyd a nerth i bregethu hyd o fewn ychydig i'w farwolaeth. Ychydig a wyddom am ei gystudd diweddaf, heblaw ei fod yn fyr a chaled. Wedi iddo gael ei gyfyngu i'w dŷ bu y Parch. Ebenezer Richard yn ymweled ag ef droion. Y tro diweddaf, dywedai Mr. Williams: "Yr wyf yn clywed swn y cerbyd yn dod, ac mi allwn feddwl ei fod mewn brys." "Beth wnawn ni ar eich ôl, Mr. Williams bach," gofynai Mr. Richard. "O, mae yr arch yn saff," ebai yntau; a chwedi aros ychydig i gasglu nerth, ychwanegodd: "Duw Israel yw efe sydd yn rhoddi nerth a chadernid i'r bobl." Aeth Mr. Richard adref yn brudd, wedi ffarwelio a'i hen gyfaill am byth ar y ddaear. Wrth ei weled mor alarus, gofynai Mrs. Richard iddo pa fodd yr oedd Mr. Williams. Ebai yntau yn ol, a'r dagrau yn llifo dros ei ruddiau: "Ar ben, ar ben! O yr hen gyfeillion anwyl! Y mae Mr. Williams, Lledrod, eto bron cyrhaedd atynt." Gwir

oedd ei eiriau, oblegyd ar ddydd Sabbath, Awst 29ain, 1831, ehedodd yspryd y Parch. John Williams i wlad y gwynfyd pur. Y Mercher a'r Iau canlynol, ac efe eto heb ei gladdu, cynaliai ei frodyr eu Cyfarfod Misol yn Lledrod, a mawr oedd eu galar oblegyd colli un yr edrychent oll arno fel tad. Siaradai Mr. Richard ac eraill gyda theimlad dwys, a disgynai y dagrau yn gawodydd ar lawr y capel.

Tranoeth, sef dydd Gwener, oedd diwrnod ei gladdedigaeth, ac ymgasglodd tyrfa fawr i'w anrhydeddu. Yn Mhentre Padarn pregethodd y Parch. Ebenezer Richard, oddiar y geiriau: "Ac Eliseus oedd yn gweled, ac efe a lefodd, Fy nhad, fy nhad, cerbyd Israel a'i farchogion. Ac nis gwelodd ef mwyach; ac efe a ymaflodd yn ei ddillad, ac a'u rhwygodd yn ddeuddarn." Sylwai yn gyntaf ar yr hyn oedd Elias i Eliseus, tad. "Yr oeddwn yn adwaen amryw yn Sir Benfro,' meddai, "y rhai a gawsent droedigaeth trwy weinidogaeth ein hanwyl frawd, a hyny cyn i mi gael y fraint o'i weled yn bersonol erioed; daethum i adnabod eraill wedi hyny yn y sir hon, a thuallan iddi, y rhai a dystient yr un peth. Yr oedd ei weinidogaeth yn ddigon i hollti creigiau, pan y daeth allan gyntaf at y Methodistiaid, ac am flynyddoedd ar ol hyny. Yn ail, yr hyn oedd Elias i Israel, cerbyd a marchogion. Y mae Williams, Lledrod, hefyd wedi bod i grefydd yn fwy na gwasanaeth byddin o gerbydau a marchogion i wlad. Bu felly yn ei fywyd sanctaidd, ei weinidogaeth effro, ei ymosodiadau parhaus ar bechodau gwlad ac eglwys, ei ofal manwl am yr eglwysi, a'i arweiniad doeth a dyogel mewn llawer awr gyfyng. Yn drydydd, ei ymadawiad, 'Nis gwelodd ef mwyach.' Ni welwch chwithau mo Mr. Williams eto, nac yn mhwlpud y capel, nac yn y côr mawr, yn rhybuddio a chynghori. Yn bedwerydd, yr hyn a wnaeth Eliseus yn ganlynol, sef llefain ac ymaflyd yn ei ddillad. Y mae eisiau i ninau gofio heddyw pwy ydym yn gladdu. Colled fawr yw colli un o fath hwn; dyged Duw ni i gydnabod hyny. A ydych yn gwybod am rywun sydd wedi cydio yn ei fantell?" Yr oedd dylanwad rhyfedd yn myned gyda geiriau Mr. Richard; wylai yn hidl wrth draddodi, oblegyd yr oedd ei ymysgaroedd wedi ymgynhyrfu, ac wylai y bobl wrth wrando. Yna aed yn orymdaith tua mynwent Llanwnws; yr oedd y pellder tua deng milltir, ond er ei bod yn ddiwrnod gwlyb, a bod y ffordd yn faith, ni throes y bobl yn eu holau. Ac yn mynwent yr eglwys lle y dechreuodd bregethu y rhoddwyd gweddillion y Parch. John Williams i orphwys hyd foreu yr adgyfodiad. Terfynwn ein sylwadau am dano trwy ddifynu ychydig benillion allan o'r farwnad a gyfansoddwyd iddo gan y Parch. Evan Rees, Llannon:—

"Barchedig John Williams, o Ledrod,
Orphenodd ei ddiwrnod, mae'n wir;
Gŵr grymus, llafurus, heb orphwys,
Gŵr medrus o 'madrodd, a phur.
Gŵr hynod ei hanes, a chynhes,
Fe deithiodd ar neges ei Dduw,
Diangodd oddiyma trwy angeu,
Mae gartre' heb boenau yn byw.

Wrth wrando un Williams, o Lanfair,
Y collodd bob hyder cael byw;
Pryd hyny y canfu o ddifri'
Fod eisiau cymodi â Duw;
Pan ddaeth y gorchymyn yn sydyn,
Adfywiodd ei bechod a'i rym,
Dan deimlad o hwnw bu farw,
A'i ddyrnod oedd chwerw a llym.

Yr euraidd wisg oreu a ddygwyd,
Am dano fe'i gwisgwyd yn hardd,
Sef dysglaer gyfiawnder yr Iesu,
A weithiodd drwy chwysu yn yr ardd;
Fe laddwyd y llo oedd basgedig,
Yn ddiddig fe'i dygwyd yn mla'n,
I wledda ar gariad trag'wyddol,
Nes chwariodd llu nefol eu cân.

Dechreuodd bregethu mewn bythau,
Mynwentau, capelau, lle c'ai;
Trwy Ogledd a Dehau fe deithiodd,
Fe lenwid y lleoedd lle b'ai;
Pregethai yr Iesu a'i swyddau,
A'i deitlau, yn oleu a llawn,
Dwyfoldeb ei berson trag'wyddol,
A rhinwedd anfeidrol yr iawn.

* * * *

Llangeitho, waith huno'n brawd ffyddlon,
Sy'n teimlo ei chalon yn brudd;
A Sir Aberteifi o ddifri'
Mewn cyni a galar y sydd,
Waith colli hen dad oedd mor enwog,
A gwas oedd mor wresog ei sêl;
Gadawodd ei arfau o'i wirfodd,
Diangodd i'r nefoedd heb gêl."

Y nesaf o'r offeiriaid Methodistaidd a ddaw dan ein sylw yw y Parch. Howell Howells, Trehil. Prin y gellir ei ystyried ef yn un o feistriaid y gynulleidfa; ni fu yn cael ei gydnabod ar unrhyw adeg o'i oes yn bregethwr mawr; ond yr oedd ei yspryd yn wresog, ei fuchedd yn bur, a bu ei ddefnyddioldeb yn helaeth, ac felly haedda fwy o le yn hanes y Cyfundeb na'r cyfeiriad byr a wneir ato yn *Methodistiaeth Cymru*. Ganwyd ef Mai 12, 1750, yn Ystradgynlais, ardal sydd yn wladol yn perthyn i Frycheiniog, ond a ffinia ar

Forganwg, ac a'i holl gysylltiadau, yn fasnachol a chrefyddol, yn nglyn wrth y sir hono. Ni wyddom ddim am rieni Howell Howells, ond y mae genym sail i gasglu eu bod yn gysurus eu hamgylchiadau, ac y gwrandawent, yn achlysurol o leiaf, yn y capel anwes *(chapel-of-ease)* oedd gerllaw. Elai yntau yno, a phan yn llanc tua phedair-ar-bymtheg mlwydd oed, parodd rhywbeth a wrandawodd iddo ddechreu meddwl am ei gyflwr, ac yr ydym yn ei gael yn ymuno a'r seiat Fethodistaidd oedd wedi cael ei sefydlu ar y Palleg. Derbyniad hytrach yn oeraidd a gafodd gan yr hen frodyr ar y cyntaf; nid oedd wedi bod yn crynu dan Sinai, ac nis gallai osod ei fys ar y pryd a'r fan y cymerodd y tro mawr le ar ei achos. Ond daeth yn amlwg yn fuan ei fod wedi cyfarfod â'r Gwaredwr, er nas gallai ddweyd pa bryd, mor wirioneddol ag y cyfarfu Saul ag ef gerllaw Damascus.

Ymgymerodd y llanc Howell a bywyd crefyddol, fel ei dygid yn mlaen yn mysg y Methodistiaid, ar unwaith. I Langeitho yr elai y ffyddlonaf o bererinion Ystradgynlais i gymuno; ac elai yntau gyda hwy, gan groesi y Mynydd Du, ac ar draws dyffryn ffrwythlawn Towi, a chwedi hyny yn groes i ddyffryn Teifi, heb deimlo gronyn o flinder, oblegyd melusder y gymdeithas. Daeth yn fuan i gael ei adnabod fel un hynod mewn gweddi. Yr oedd ei galon mor gynhes, a'i yspryd mor ddrylliog, fel y cymhellid ef i ddechreu yr odfaeon i'r pregethwyr, ac yn fuan dechreuodd fyned o gwmpas gyda hwy yn eu teithiau. Daeth John Evans, Cilycwm, yn adnabyddus ag ef; un o gedyrn Dafydd oedd efe, ac aeth y ddau yn nghyd am daith i'r Gogledd. Cofier mai fel cyfaill y pregethwr yr ai Mr. Howells, nad oedd ei swyddogaeth ef yn ymestyn yn mhellach na gofalu am y ceffylau, a dechreu y cyfarfodydd. Ond oblegyd ei ddawn gweddi cymhellodd John Evans ef i ddweyd gair oddiar adnod wrth y bobl; hyny a wnaeth yntau; pregethodd yn ystod y daith o hyny allan, a dychwelodd yn ol i'r Ystrad yn llefarwr llawn dwf. Ymddengys fod yr erledigaeth yn enbyd yn Ngwynedd y pryd hwn; ymgasglodd dynion creulawn er baeddu y ddau ŵr dyeithr droiau; buont yn ofni am eu hoedl mewn aml i fan; ond yr Arglwydd a'u gwaredodd rhag cael un niwed o bwys.

Eithr yr oedd bryd Mr. Howells ar fod yn rhywbeth amgen na chynghorwr; penderfynai fyned yn offeiriad. Gyda'r bwriad hwnw aeth yn y flwyddyn 1778 i ysgol ramadegol Llanddowror, yr hon a gawsai ei sefydlu gan yr Hybarch Griffith Jones. Ar y 23ain o Fedi, 1781, ordeiniwyd ef i fod yn ddiacon gan Dr. Warren, Esgob Tyddewi; ac yn mhen blwyddyn namyn un diwrnod cafodd ei urddo yn offeiriad gan yr un gŵr. Nid oedd yn cefnu ar y Methodistiaid, nac yn gwanhau ei gysylltiad â hwy mewn un modd, wrth ymgymeryd â'r offeiriadaeth; offeiriaid Eglwys Loegr a ystyrid yn arweinwyr ganddynt y pryd hwn, ac o law offeiriaid yn unig y derbynient y sacramentau.

Cuwradiaeth gyntaf y Parch. Howell Howells oedd yn Glyncorwg, plwyf digon anghysbell rhwng mynyddoedd Morganwg. Pa hyd y bu yn gwasanaethu yma nis gwyddom, na pha lwyddiant fu ar ei lafur. Yr ydym yn ei gael yn nesaf yn guwrad yn St. Nicholas,* plwyf rhwng y Bontfaen a Chaerdydd, a thua'r un pellder oddiwrth y ddwy dref. Deallwyd yn fuan ei fod yn Fethodist; tynodd cynhesrwydd ei yspryd bobl wrth y canoedd i wrando, fel yr aeth yr eglwys yn orlawn. Byddai y gwrandawyr yn aml yn tori allan i glodfori, nes y byddai muriau yr eglwys yn adsain gan eu moliant; nid yn anfynych byddai yr offeiriad yn ymuno â hwy gan droi i ganmawl ar ganol y bregeth. Yn sicr, nid offeiriad fel hwn oedd y dyn a hoffai boneddigion Bro Morganwg. Carent hwy gael un a farchogai gydag asbri ar ol y cwn hela, ac a unai â hwy i ymlid dwrgi; un a fynychai y gwleddoedd, a gymerai y blaen yn y ddawns, ac a brofai ei hun yn gydymaith diddan nosweithiau hirion y gauaf wrth y pentan yn nhafarnau y Bontfaen a Chaerdydd. Gwarthus o beth yr ystyrient fod yr hwn a weinyddai yn yr eglwys ar y Sul yn ymgymysgu a'r bobl benboeth, ac yn poethi ei hunan wrth bregethu, nes peri i'r gwrandawyr golli meddiant arnynt eu hunain. Aeth rhai tua'r palasdy esgobol, yn Llandaf, i achwyn; ond chwareu teg i'r Esgob Watson, ni fu prelad mwy hynaws, neu yn hytrach, difater, yn gwisgo meitr; ac ni fu yn galed ar guwrad Methodistaidd St. Nicholas, er ei wysio ger ei fron amryw weithiau. Yr oll a wnelai fyddai ei anog i beidio tramgwyddo y clerigwyr hyd y medrai.

Yr oedd yn amser bendigedig ar grefydd

* Gwel ddarlun o eglwys St. Nicholas, cyf. i., tudalen 394.

yn Mro Morganwg yr adeg hon. Daethai amryw o offeiriaid efengylaidd i'r ardaloedd o gwmpas, megys Basset, i St. Ffagan; Howells, i St. Nicholas; a Jones, i Langan. Yr oedd y cymdeithasau bychain yn blodeuo fel rhosyn mewn canlyniad, a byddai aml i hen bererin yn canu wedi cael gollyngdod i'w enaid. Llangana a ystyrid yn Jerusalem; yno yr esgynai y llwythau i folianu enw yr Arglwydd. Byddai seiat paratoad yn cael ei chynal yn nghapel Salem, Pencoed, bob Sadwrn pen mis; tynai y crefyddwyr yno yn awchus o bob cyfeiriad; ac ni fyddai cuwrad St. Nicholas un amser yn esgeuluso y cyfarfod. Yn gyffredin byddai yno wledd o basgedigion breision, ac o loyw-win puredig. Nid anaml byddai Mr. Howells a'i yspryd wedi cynhesu trwyddo wrth son am y Gŵr fu farw, ac yn canu ei hoff benill: —

> "Fe'm cofiodd Duw yn foreu, foreu;
> Fe roes fy enw yn mhlith yr achau;
> Nis gall na byd, na chnawd, na Satan,
> Ddim blotio fy enw inau allan."

A chwedi gorphen canu byddai yn llamu fel hydd. Anaml y dychwelai adref nos Sadwrn; arosai, a rhai offeiriaid duwiol eraill, i gynorthwyo Mr. Jones i gyfranu dranoeth. "Ac," meddai y Parch. Edward Mathews, "un o fil os na fyddai wedi cael gollyngdod yn rhinwedd angeu'r groes, ac yn bloeddio concwest ar dwyn Llangana cyn myned oddiyno." Nis byddai ar ben ei hun yn y gorchwyl; ymunai degau ag ef i folianu yr Arglwydd.

Ychwanega Mr. Mathews: "Byddai aml offeiriedyn hunanol yn chwyrnu yn gas oblegyd hyn, gan fwgwth yr esgob i gymeryd gafael yn eu gwarau, yr hyn a barai beth diflasdod weithiau. Ond wedi hyny yr oedd ambell awel o Galfaria yn ei chlirio hi i dragywyddoldeb, nes yr oedd swn cwnach y byd yn dystewi yn swn bloeddiadau teulu y gwaed o flaen arch Duw. Yr Hybarch Jones a efengylai ac a gyhoeddai heddwch, a fynegai ddaioni, a gyhoeddai iachawdwriaeth, a ddywedai wrth Seion, 'Dy Dduw di sydd yn teyrnasu,' nes y byddai holl rwystrau y byd yn erthylu ac yn diflanu.'

Un o'r clerigwyr a deimlai yn fwyaf gwrthwynebus at Mr. Howells oedd offeiriad Tresimwn; ond yr oedd ei ferch, Miss Thomas, o yspryd gwahanol. Ymgyfathrachai hi â'r Methodistiaid; nid oedd yn aelod o'r seiat efallai, ond hoffai ymrwbio yn y crefyddwyr, ac ymddiddan am bethau'r deyrnas. Daeth hi a Mr. Howells i gydnabyddiaeth, ac ymblethodd serchiadau y naill am y llall. Ond pan yr aeth at ei thad i ofyn ei llaw, gwylltiodd hwnw yn enbyd, danododd iddo ei Fethodistiaeth, gan ei orchymyn i beidio tywyllu ei ddrws ef byth. Ond cariad a chwardd yn ngwyneb rhwystrau, a phenderfynodd y ferch ieuanc, gan na chai briodi gyda chymeradwyaeth ei thad, y gwnelai y tro hebddo. Ychydig ddyddiau cyn y briodas bu math o chwil-lys ar ei hachos; daethai ei hewythr yno, a galwyd hi i mewn i'r parlwr at ei thad ac yntau. Bygythient hi yn enbyd; dywedai ei thad os mai gyda Mr. Howells yr ai, na chaffai ddyfod o fewn muriau ei dŷ ef byth; ac ychwanegai: "Ni ddaw y dyn yma i ddim daioni, nid oes dim yn ei ben ond canlyn y Methodistiaid." Ond er cymaint y bygwth a'r dwrdio priodi a wnaethant.

Aethant i fyw gwedi eu priodas i dyddyn heb fod yn nepell, o'r enw Nantbrân. Nid oedd Mr. Howells fawr o ffermwr, a phrophwydai y doethion mai nid hir y byddai pethau cyn rhedeg i'r pen. Y brophwydoliaeth hon, fel llawer o rai eraill, ni chyflawnwyd. Yr oedd Mrs. Howells yn ddynes ofalus, gynil, ac yn meddu medr i drin y byd. Llwyddodd eu hamgylchiadau yn rhyfedd; yr oedd bendith yr Arglwydd ar yr hyn oedd yn y tŷ ac yn y maes. Meddai Mr. Mathews: "Yr oedd y tyddyn yn ffrwytho iddo ef, ac yntau yn ffrwytho i Dduw, a Duw yn bendithio y ddau." Bu iddynt ddau o blant, y rhai a fuont feirw yn eu mabandod. Nid oedd na Mr. Howells na'i briod yn tueddu at fod yn llawgauad; os oeddynt yn cynilo, gwnaent hyny fel y medrent gyfranu. Daeth eu tŷ yn llety fforddolion; gwyddai pob crwydryn y cai le i gysgodi yno dros y nos. Yr oedd y cynghorwyr Methodistaidd o bob cwr o'r wlad yn cyrchu tuag yno, a derbynient bob croesaw. Gwedi i Mrs. Howells farw cafodd ef gyfoeth dirfawr ar ol brawd iddi yn Lloegr. Bu yntau yn hael arnynt; cyfranodd filoedd o bunoedd at achosion crefyddol yn ystod ei fywyd, a gadawodd yn ei ewyllys symiau mawrion i glirio dyled capelau.

Yr oedd Rheithor St. Nicholas yn dra anfoddlawn i ymddygiadau ei guwrad; achwynai oblegyd y lliaws pobl fyddai yn tyru i'r eglwys, gan ddweyd eu bod yn cadw dirfawr drwst, ac yn dryllio'r eisteddleoedd. Ond ymddengys fod Mr. Howells wedi cael trwydded arni gan yr esgob, ac felly nas gallai y rheithor ei yru i ffwrdd,

heb ddyfod yno i wasanaethu ei hun. Hyn o'r diwedd a wnaeth. Nid hir y bu Mr. Howells cyn cael cuwradiaeth Llanddiddan Fach, plwyf a ffiniai ar St. Nicholas. Dilynwyd ei weinidogaeth yma gyda'r un effeithiau; cyrchai y werin yno o bob rhan o'r wlad; dywedir y deuent Sul pen mis wyth neu ddeg milltir o gwmpas, i wneyd cof am farwolaeth yr Arglwydd. Ond nid hir y cafodd ei ddyoddef yn Llanddiddan Fach. Daethai Dr. Marsh i esgobaeth Llandaf, ac yr oedd yn benderfynol o chwynu y Methodistiaid allan o fysg ei glerigwyr. Anfonodd y prelad hwn gynygiad iddo trwy law Mr. Deere, rheithor y plwyf, sef ar iddo naill ai ymadael a'r Eglwys neu ynte a'r Methodistiaid, mai un o'r ddau oedd i fod. Nid yw yn ymddangos iddo fod mewn petrusder am y cwrs i'w gymeryd, naddo am awr; trodd ei gefn ar Eglwys Loegr am byth, a bwriodd ei goelbren yn llwyr ac yn hollol yn mysg y Methodistiaid. Dygwyddodd hyn yn y flwyddyn 1818, sef pan yr oedd yn 68 mlwydd oed.

Nid yw yn ymddangos i'r Parch. Howell Howells deithio llawer; Bro Morganwg oedd maes ei lafur ef. Nis gallai ymryddhau i fyned nemawr o gwmpas pan mewn cysylltiad â'r Eglwys, am fod oll ofal y plwyf ar ei ysgwyddau. A phan y trowyd ef allan yr oedd yn hynafgwr, a'i iechyd wedi dechreu gwaelu. Fel y darfu i ni awgrymu, nid oedd yn ddoniol fel pregethwr; ac eto, yr oedd ei yspryd gwresog, a'i ddawn gweddi arbenig, yn peri ei fod yn hynod gymeradwy gan gynulleidfaoedd Morganwg. Gyda golwg ar ei hynodrwydd mewn gweddi, dywed Mr. Mathews: "Byddai pawb wrth eu bodd pan yr amgylchynai yr hen bererin orsedd gras, ac yr ymdrechai â Duw drosto ei hun a'r gynulleidfa. Rhyw ymdrechwr anghyffredin â Duw oedd ein tad ymadawedig; codymai yn fynych â'i Grëwr; cariai y fuddugoliaeth ar y Jehofa, a deuai allan yn fuddugol wedi ei fendithio."

Yr oedd anwyldeb mawr rhyngddo a'i frodyr. Wedi iddo fethu myned i'r Cymdeithasfaoedd byddai yn talu sylw manwl i'w gweithrediadau; nid anfynych byddai yn anfon ei gofion yno mewn llythyr llawn o wres, a byddai darllen y llythyr yn cynhesu calon yr holl frawdoliaeth. Pryderai am arch Duw, ac o'i neillduedd anfonai siars i'r pregethwyr a'r blaenoriaid ar iddynt fod yn ffyddlawn. Ceir copi o amryw o'i lythyrau yn Nghofiant y Parch. Ebenezer Richard, ysgrifenydd Cymdeithasfa y Dê, a chredwn mai dymunol fyddai cofnodi un o honynt, fel esiampl o'r gweddill. Dyma y modd yr ysgrifena :—

"Trehil, Mawrth 10, 1826.

"Anwyl a pharchedig frodyr,—Yr wyf yn hyderu y bydd i chwi ei gymeryd yn garedig genyf anfon hyn o linellau atoch er anogaeth. Mae yr achos mawr yr ydych wedi eich anrhydeddu i fod gydag ef, wedi gorwedd yn bwysig ar fy meddwl tlawd, a gobeithio, er fy ngwaeledd mawr, yn agos at fy nghalon; a gallaf ddweyd yn aml fy mod wedi ofni yn fawr am arch Duw, sef ei achos mawr yn ein plith. Ond hyn a allaf ddweyd gyda gradd o hyder gobeithiol; credu yr wyf fod y cwmwl yn aros uwchben y gwersyll hyd yn hyn, ac na ymadawa oddiyno nes y bo'r udgorn yn swnio i beri i'r gwersylloedd gychwyn yn mlaen, ac ymladd eu ffordd tua thir eu gwlad, ac arch Duw yn cael ei dwyn i'w bro ei hun, i dir Israel, i Fynydd Seion, dinas y Duw byw, gyda llawenydd a gorfoledd, cynghanedd a dawnsio. 'Tegwch bro, a llawenydd yr holl ddaear yw Mynydd Seion,' eglwys Dduw. Duw a adwaenir yn mhalasau hon yn amddiffynfa.

"Er fy mod wedi fy amddifadu o'r fraint o fod yn eich plith, tebygwn fod fy enaid a'm calon yn chwenychu anadlu gyda chwi am lwyddiant yr achos yn ein plith. O frodyr anwyl, gweddïwch drosof finau. Byddwch ffyddlon ar ychydig hyd y diwedd, fe'ch gosodir ar lawer. Gweithiwch, llafuriwch, cloddiwch at y Graig, nes derbyn o'i thrysorau. Os palla'r manna o'r nefoedd, cawn hen yd y wlad yn gynaliaeth, nes myned adref i'r etifeddiaeth anniflanedig, na syflir un o'i hoelion yn dragywydd.

"Dymunaf arnoch o galon, ac o angenrheidrwydd, i ddodi at y blaenoriaid a stewardiaid *societies* yn ein sir, a'r siroedd, i ddeffro gyda'r gwaith; trafaelu a chyniwair trwy'r pyrth; parotoi ffordd y bobl; palmantu'r brif-ffordd, a'i digaregu, fel y galler codi'r faner i'r bobloedd. Tebygwn fy mod yn clywed swn tyrfa yn dyfod; rhaid i'r addewidion gael eu cyflawni; 'bydd mynydd tŷ yr Arglwydd wedi ei sicrhau yn mhen y mynyddoedd, a'r holl genhedloedd a ddylifant ato.' O, na oleuai yr Arglwydd ni yn fwy, nes y byddem yn prisio ac yn gwerthfawrogi ein braint o fod gydag achos mor ardderchog a gogoneddus. Fe dry allan yn y diwedd yn elw anher-

fynol; y 'can' cymaint yn y byd hwn, ac yn y byd a ddaw fywyd tragywyddol.'—Hyn oddiwrth eich ewyllysiwr da, a'ch anwyl frawd, H. HOWELLS."

Teimlir fod y llythyr yn dyfod o fynwes gynhes, ac arddengys sylw manwl ar symudiadau y Cyfundeb, a gofal calon am ei lwyddiant. Temtir ni i osod i mewn yma ateb Mr. Richard i lythyr arall oddiwrth Mr. Howells at y Gymdeithasfa, am ei fod yn brawf o'r lle uchel a feddai yn mharch y frawdoliaeth, ac hefyd mor nodweddiadol o ddawn yr ysgrifenydd. Fel hyn yr ysgrifena :—

"Tregaron, Medi 3, 1827.

"Barchedig frawd, a thad yn yr efengyl,—Eich llythyr gwerthfawr a melus at Gymdeithasfa Llangeitho, yr hwn a ddyddiwyd Gorphenaf 20, a ddaeth yn brydlawn i fy llaw, ac a ddarllenwyd genyf i glywedigaeth yn nghylch tri chant o bregethwyr a blaenoriaid o Ogledd a Deheudir Cymru, yn gynulledig yn y Gymdeithasfa, am un o'r gloch, yr 8fed dydd. Anwyl syr, y mae yn anmhosibl i mi fynegu i chwi deimladau y Corph wrth wrando ei ddarllen; gwrandawyd ef gyda llawer o ddagrau a llawenydd, a chyda theimladau dwfn o orfoledd a hiraeth ; gorfoledd wrth weled un o'r brodyr hynaf yn y Corph yn byw yn nghymydogaeth y nef; gorfoledd wrth ddeall ei fod yn cael ffrwythau gwlad yr addewid ar drosolion i'r ardal lle y mae yn byw ; gorfoledd wrth ganfod ei galon mor gynhes at yr arch, a gweision ei Arglwydd sydd ar y maes gyda hi ; a gorfoledd hefyd wrth weled nad yw wedi colli sylw ar, na serch at, long ein Corph bach ni yr hon sydd yn nghanol llawer o donau. A hiraeth dwys hefyd am weled eich gwyneb unwaith eto yn ein mysg ; hiraeth am yfed yn helaeth o'r un yspryd ag sydd mor gyflawn ar ein hanwyl frawd sydd yn rhwym ; a hiraeth hefyd am y boreu dedwydd pan gaffom gyfarfod yn yr un gymanfa dragywyddol, heb neb o'r teulu yn eisiau, na neb ond y teulu yn nghyd.

"Gorchymynodd yr holl Gorph, yn un llais, eu cofio yn y modd serchocaf a charedicaf, a'u bod yn ddiffuant ddiolchgar i chwi am eich llythyr syml, ffyddiog, ac efengylaidd, darlleniad pa un a barodd i lawer brawd egwan wrth ei glywed fyned yn hyf, a dywedyd : 'Awn, a meddianwn y wlad.' Rhwymasant finau, fel eu hysgrifenydd gwael, i drosglwyddo y penderfyniad uchod i chwi, syr. Ond o na fuasai y gorchwyl yn syrthio ar rywun mwy cyfaddas ! Y mae gofid arnaf feddwl ysgrifenu at ŵr sydd yn byw tan wlith Hermon, a minau yn Gilboa ; at ŵr sydd ar ben Pisgah yn gweled y wlad sydd yn llifeirio o laeth a mêl, a minau yn nyffryn y celaneddau, a glyn lladdedigaeth.

'Swn y rhyfel,
Ydyw'r fan rw' i eto'n byw.'

"Yr oedd pob rhan o'ch llythyr yn wir fuddiol ; ond pan yr ydych yn agos i'r diwedd, mewn gwaed milwr, yn gwaeddi ar eich brodyr i godi'r banerau, a sefyll yn eu rhesau, ac yn sicrhau y ceir gorchymyn i danio yn fuan, yr oedd byddin ein Hisrael ni yn barod i floeddio i'r gad gyda hyn. Parhewch, anwyl syr, ac na ddiffygiwch anfon yn aml atom bob cyfleustra a gaffoch, canys y mae yn wir hoff genym glywed oddiwrthych. Cofiwch ni yn wastadol fel Corph yn eich gweddïau beunyddiol, ac nac anghofiwch y gwaelaf o'ch brodyr oll, a'ch gwas yn yr efengyl, EBENEZER RICHARD, Ysgrifenydd."

Yn ngoleuni y llythyrau uchod, yn nghyd â'r hanes ydym wedi ei roddi, hyderwn y medd ein darllenwyr syniad gweddol gywir am yr offeiriad o Drehil ; eu bod yn ei ganfod yn gynhes o yspryd, yn hael o galon, yn bregethwr cymeradwy, er nad yn ymgais at bethau pell ac uchel, yn ofalus am achos Duw, ac yn nghlwm a'i frodyr er methu bod yn eu plith. Amlwg yw y carai'r Methodistiaid yn angherddol. Nid oes hanes am dano yn cymeryd rhan yn mrwydrau y Neillduad ; nid oedd dadleu yn gyson â'i anianawd, ac yn Mro Morganwg yr oedd i raddau allan o'r tân, gan nad oedd yno nemawr gwrthwynebiad i'r hyn yr amcenid ato. Ond y mae yn sicr fod Mr. Howells yn cymeradwyo ordeinio gweinidogion o fysg y Corph. Wedi colli Jones, Llangan ; Ebenezer Morris, ac Ebenezer Richard, a rhai o gyffelyb yspryd, oedd y cyfeillion yn mha rai yr ymaflai. Ni fu ef erioed yn ddim ond Methodist, a phan y rhoddwyd ar ddeall iddo nas gallai aros yn yr Eglwys heb ymwrthod â'i Fethodistiaeth, yn gwbl ddibetrus ffarweliodd â'r Sefydliad Gwladol, a chadwodd ei le yn mysg ei frodyr.

Bu yn briod ddwywaith. Ei ail wraig oedd Miss Samuel, Bontfaen, dynes nodedig o grefyddol a haelionus. Digon tebyg mai merch iddo o'r briodas hon a briodwyd â'r Parch. Thomas Harris, Hwlffordd. Wedi iddo adael Nantbrân preswyliai yn Nhrehil, fferm fechan ychydig i'r gogledd o



PARCH. SIMON LLOYD, B.A., PLAS-YN-DRE, BALA.



COFLECH Y PARCH. SIMON LLOYD, B.A., BALA.

([illegible] y tufewn i Eglwys Llanycil.)



Parch. William Howells, Longacre, Llundain.

St. Nicholas. Drwy ei offerynoliaeth ef y caed capel yn Nhrehil; neu yn hytrach y caed caniatad i droi tŷ byw yn gapel; oblegyd nid oedd yr un tirfeddianydd yn yr ardal a roddai dir ar rent i adeiladu addoldy i'r Methodistiaid arno. Yr ydym yn cofio yr hen dy-cwrdd* yn dda; gwellt oedd ei do, pridd oedd ei lawr, a meinciau trwsgl diaddurn oedd ynddo i eistedd; ac fel yr ydoedd ni cheid prydles arno, ond yr oedd yr eglwys fechan yn gwbl at drugaredd perchenog yr adeilad. Mor ddiweddar a deng-mlynedd-ar-hugain yn ol gwrthodai Mr. Bruce, tadcu arglwydd presenol Aberdar, dir at gapel. Pa ryfedd fod pellder dirfawr wedi myned rhwng gwerin Cymru a meistriaid tiroedd!

Cafodd Mr. Howells fyw i'r oedran patriarchaidd o bedwar-ugain-mlynedd-a-deuddeg. Cyn ei glafychu dywedai wrth Mr. Mathews ei fod yn methu cymodi â marw; fod och gwastadol yn ei feddwl wrth fyfyrio ar yr amgylchiad; "ond," meddai, "nid wyf yn ofni dim yr ochr draw i'r dwfr, y mae yn heddwch rhyngof a'r wlad hono er ys llawer blwyddyn. Ofni'r *passage* yr ydwyf, nid y Barnwr; ofni yr ymddatod, ac nid edrych yn ngwyneb Duw." Bu yr Arglwydd yn dyner wrtho yn yr ystyr yma, oblegyd byr fu ei gystudd, a chroesodd trosodd yn mreichiau yr Iesu heb wybod am ryferthwy ac ymchwydd yr Iorddonen. Hunodd Ionawr 19, 1842, a chladdwyd ef yn mynwent Soar, Tresimwn. Traddododd y Parch. William Evans, Tonyrefail, bregeth nodedig o gyfaddas ar yr achlysur. Ac yno, yn un o lanerchau prydferthaf Morganwg, y gorphwys rhan farwol y Parch. Howell Howells, mewn gwir ddyogel obaith am adgyfodiad i fuchedd dragywyddol.

* Gwel ddarlun o gapel presenol Trehil, cyf. i., tudalen 395.



# PENOD XXXVI.

——:o:——

## YR OFFEIRIAID DDARFU LYNU *(parhad).*

*William Howells yn Fethodist—Teulu Llwynhelyg—William yn gwrthod myned yn gyfreithiwr—Yn parotoi i'r offeiriadaeth, ac yn myned i Rydychain—Cael siomedigaeth tra yno, a'i iechyd yn gwanychu mewn canlyniad—Ei ordeiniad, dadl rhyngddo a'r Esgob Watson—Yn dyfod yn guwrad i Langan—Ei boblogrwydd fel pregethwr—Marwolaeth Mr. Jones, Llangan—Gwrthod y fywioliaeth i'r Parch. William Howells am ei fod yn Fethodist—Ei guwradiaeth gyntaf yn Llundain—Esgob Llundain yn ymholi yn ei gylch—Ei boblogrwydd dirfawr yn mysg pob gradd—Gwrthod y fywioliaeth iddo ar farwolaeth Mr. Goode—Y mae yn cymeryd prydles ar gapel esgobol Longacre—Ei nodweddion fel dyn, ac fel pregethwr—Hanesion am dano—Darnau o'i bregethau—Ei farwolaeth—Rhieni y Parch. William Lloyd, Caernarfon—Y mae yn tyfu yn ddifater am grefydd—Yn graddio yn Rhydychain—Y mae yn ffafrddyn gan Esgob Bangor, a boneddigion Môn—Ei droedigaeth hynod—Y mae yn myned i'r seiat at y Methodistiaid—Ei ymadawiad a'r Eglwys—Y mae yn gwisgo ffedog ledr fel barcer—Yn preswylio yn Nefyn, yna yn Brynaera, ac yn ddiweddaf yn Nghaernarfon—Ei nodweddion fel pregethwr—Ei gystudd olaf, a'i farwolaeth—Haniad y Parch. Simon Lloyd, B.A.—Yn cael addysg dda, ac yn dyfod yn ysgolor gwych—Ei helynt gyda'r Esgob—Ei ymuniad a'r Methodistiaid—Ei nodweddion fel llenor a phregethwr—Ei farwolaeth.*

YR ydym yn hawlio y Parch. William Howells, Llangan, neu "Howells, Longacre," fel un o'r offeiriaid ddarfu lynu wrth y Methodistiaid, er mai o fewn cylch yr Eglwys Sefydledig yn benaf y llafuriodd trwy ystod ei oes. Y mae yn sicr ei fod yn bleidiol i'r Neillduad; yn wir, yr ydym yn ei gael yn cymeryd rhan yn y gwasanaeth ordeinio yn y flwyddyn 1814. Yn mhellach, pa bryd bynag y deuai ar ymweliad i Gymru, at y Methodistiaid yr ymwasgai; dangosai yn amlwg mai hwy oedd ei bobl; ei bleser mwyaf oedd cael bod yn bresenol yn y Cymdeithasfaoedd, ac ystyriai y Parch. David Charles, Caerfyrddin, y pregethwr galluocaf a wrandawodd erioed.

Ganwyd William Howells yn mis Medi, 1778, yn Llwynhelyg, un o ffermydd mwyaf a brasaf Bro Morganwg. Ei dad oedd Mr. Samuel Howells, gŵr o deulu cyfrifol, ac yn fawr ei barch yn ardal y Bontfaen. Bu i Mr. Samuel Howells ddeuddeg o blant, yr hynaf o ba rai oedd William. Fel yn gyffredin gyda theulu lliosog gwasgarodd plant Llwynhelyg i bob parth o'r byd, a chymerasant wahanol gyfeiriadau, yn ol tueddfryd eu natur. William a ddygwyd i fynu i'r offeiriadaeth, Jonathan a ymunodd a'r fyddin, ac a fu yn gadben yn y 73 gatrawd, a chwedi ymladd brwydrau poethion dan Wellington yn Portugal, ac yn yr Yspaen, a orphenodd ei yrfa yn Nghaerdydd, tua'r flwyddyn 1846. Thomas a ymfudodd i'r India Orllewinol, ac a fu hyd ei farw yn arolygydd planhigfa. Arosodd amryw gartref i ddilyn galwedigaeth dawel eu tad, a bu dwy o'r merched farw heb briodi.

Ond â'r hynaf o'r plant, sef William Howells, y mae a fynom ni. Yr oedd er yn fachgen o duedd ddifrifol, yn fwy hoff ganddo lyfr na chyd-chwareu a'r plant, ac o gydwybod mor dyner fel y collai ei gwsg am noswaith gyfan os meddyliai ei fod wedi cyflawni unrhyw ddrwg. Yr oedd ei rieni yn mynychu yr Eglwys gyda chysondeb, a dygent yr holl deulu yno gyda hwy. Yr oedd ei fam yn nodedig am ei duwioldeb, a diau i'w chynghorion dwys a'i gweddïau taerion ddylanwadu yn gryf yn ffurfiad cymeriad ei mab hynaf. Hynodid tref Pontfaen yr adeg hon gan ysgolion rhagorol; hi yn ddiau oedd Athen Morganwg. Treuliodd William Howells ddyddiau ei febyd yn "Ysgol yr Eryr," o dan ofal un Mr. Williams, gŵr tal, teneu, unllygeidiog, yn ysgrifenu â'i law chwith, ac a ddesgrifid gan ysgrifenydd doniol, fel "un o'r ysgol-

feistri goreu a ddarfu erioed ysgwyd gwialen fedw.'' Y plentyn yw tad y dyn; a daeth elfenau ei gymeriad yntau i'r golwg yn amlwg tra yn llanc yn "Ysgol yr Eryr." Ni ddywedai anwiredd er dim; os troseddai unrhyw reol cyfaddefai ei fai ar unwaith, a hyny er gwybod mai cosp ddidrugaredd a fyddai yn canlyn. Weithiau caffai ei osod yn is-athraw, ac er ei fod yn dra hynaws o ran tueddfryd, ni wnai na bygwth na gweniaeth beri iddo fod yn anffyddlawn i'r ymddiriedaeth a osodasid ynddo. Dysgai yn gyflym, ac yr oedd yn ysgolor gwell na'r cyffredin o'i gyfoedion pan y gadawodd yr ysgol yn bedair-ar-ddeg mlwydd oed.

Bwriadai ei dad ei ddwyn i fynu yn gyfreithiwr, a gosododd ef mewn swyddfa yn y gymydogaeth i'r dyben hwnw. Y mae yn sicr nad oedd wedi holi y llanc am ei duedd, nac wedi talu y sylw priodol i'w anianawd, onide ni fuasai yn anwesu y cyfryw fwriad. Byr a fu arosiad William yn swyddfa'r cyfreithiwr; deallodd yn fuan, neu tybiodd ei fod yn deall, nas gallai lwyddo yn yr alwedigaeth hono heb arfer cyfrwystra, os nad rhywbeth yn ymylu ar dwyll. Aeth adref at ei dad, a dywedodd nad ai yn gyfreithiwr byth. Deallwyd fod ei feddwl yn tueddu at yr offeiriadaeth, ac er mwyn ei barotoi ar gyfer yr alwedigaeth urddasol gosodwyd ef dan ofal y Parch. John Walters, rheithor Llandochan, gŵr tra dysgedig, ac awdwr geirlyfr Cymraeg a Saesneg o gryn enwogrwydd. Pedair blynedd y bu yma cyn i Mr. Walters farw. Meddai William Howells duedd gref at farddoniaeth, ac ar farwolaeth ei feistr cyfansoddodd farwnad iddo, yr hon a gyhoeddwyd yn un o bapyrau Caerloyw. Dygodd hyn ef i sylw yr enwog Robert Raikes, yr hwn a anfonodd ato gan ei gymhell i ymroddi i ysgrifenu i'r wasg. Ond ordeiniasid ef i bethau uwch a gwell. Bu am beth amser yn ganlynol dan ofal Dr. Williams, athraw Ysgol Ramadegol Pontfaen; ac yn mis Ebrill, 1800, aeth i Rydychain.

Gwanaidd o iechyd, ac eiddil o gyfansoddiad ydoedd er yn blentyn; eithr tra yn Rhydychain cyfarfu a siomedigaeth, trwy gael ei wrthod gan ryw ferch ieuanc y rhedasai ei serch arni; ac effeithiodd hyn gymaint ar ei feddwl nes ei ddwyn agos i byrth y bedd. Wedi cael ei adfer i raddau nis gallai ymroddi i'w efrydiau fel cynt, eithr cerddai y meusydd o gwmpas y ddinas, a'i Destament Groeg yn ei law, ac nid anfynych y plygai ar ei liniau, mewn rhyw gongl neillduedig, gerbron Arglwydd yr holl ddaear. Daeth ei gyflwr fel pechadur i wasgu arno mewn modd difrifol. Er ei fod yn flaenorol yn tueddu at grefydd, yn foesol ei rodiad, a'i fwriad yn sefydlog ar y weinidogaeth, nid ystyriai ei fod wedi cael gafael achubol ar Waredwr. Ond yn awr yn ei gyfyngder datguddiwyd yr Iachawdwr iddo, a daeth yn alluog i ddiolch am y siomiant a'i cyfarfuasai. "Gallwn eich cymeryd yn awr," meddai flynyddoedd ar ol hyn wrth gyfaill, "i'r llanerchau o gwmpas Rhydychain, lle y byddwn yn arfer darllen, a gweddïo, ac ymdrechu gyda Duw, a lle y galluogodd Yspryd Duw fi i edrych ar Grist fel y perl gwerthfawr." Arferai ddweyd am Rydychain: "Yno y cafodd yr Arglwydd o hyd i mi." Y pryd hwn daeth yn gydnabyddus a Mr. Hinton, gweinidog y Bedyddwyr yn Rhydychain, a bu gweinidogaeth a chyfeillach bersonol y gŵr hwnw o les dirfawr iddo. Yn ei waeledd medrai anghofio ei hun yn mhrofedigaethau dynion eraill. Tra yn y brifysgol cymerwyd cydefrydydd iddo, o ardal y Bontfaen, yn glaf gan dwymyn heintus; o herwydd dychryn yr haint yr oedd yn anhawdd cael neb i wylio ac i wasanaethu yn yr ystafell wely; eithr er gwaned ydoedd, cyflwynodd Mr. Howells ei hun i'r gorchwyl, ac arosodd i fynu gyda'r claf noswaith ar ol noswaith, hyd onid oedd allan o berygl. Nid rhyfedd i'w iechyd dori lawr yn gyfangwbl mewn canlyniad.

Gorfu iddo ymadael o Rydychain yn y flwyddyn 1803, heb gymeryd graddau, a'i ddysgwyliadau i raddau mawr wedi cael eu siomi. Wedi dychwelyd i dŷ ei rieni, yn Llwynhelyg, ymroddodd hyd y caniatâi ei wendid i barotoi ar gyfer ei ordeiniad; ymwelai hefyd a'r cleifion yn mhentref Penllin a'r cwmpasoedd, gan ddarllen a gweddïo gyda hwynt, a'u cynghori mewn modd tra difrifol. Wedi i hyn ddyfod yn wybyddus deuai cynulleidfa i wrando arno agos bob hwyr, fel na byddai lle yn y bwthyn lle y cynghorai, a chafodd Mr. Howells ei hun yn bregethwr heb yn wybod iddo ei hun. Gofidiai ei dad yn enbyd fod ei fab, dysgeidiaeth yr hwn oedd wedi costio cymaint o arian iddo, yn diraddio ei hun trwy fyned yn "bregethwr pen 'stôl;" ond nid gwaeth ganddo ef ben ystol na phen rhywbeth arall, ond cael cyfle i wneyd daioni i bechaduriaid oedd ar ddarfod am danynt. Yr adeg hon daeth yn gydnabyddus â Mr. Jones, Llangan,

plwyf yr hwn oedd o fewn ychydig filltiroedd i'w gartref, a daeth y ddau yn gyfeillion mynwesol. Hoffai Mr. Jones y gŵr ieuanc oblegyd grymusder ei feddwl, ei olygiadau clir ar wirioneddau yr efengyl, a'i benderfyniad i wasanaethu yr Iesu yn ffyddlawn heb ofalu am fygythion na gwenïaeth neb. Pan yr oedd offeiriaid efengylaidd mor brin yn y wlad, llawenydd diderfyn i'r "udgorn arian" o Langan, oedd gweled dyn ieuanc yn cyfodi â'i yspryd ar dân gan awydd am achub eneidiau. Yr oedd Mr. Howells, o'r ochr arall, yn edmygydd diderfyn o'r hen offeiriad; sylwai am dano ei fod yn uno ynddo ei hun symledd patriarch a zêl danllyd apostol; ac ar un achlysur dywedai: "Yr oedd rhyw fath o hanfodiad gan fy enaid i yn enaid y dyn hwnw; yr oedd i mi yn bob peth ag y gallai dyn fod."

Ceir profiad Mr. Howells yr adeg hon wedi ei ysgrifenu ganddo ef ei hun. Meddai: "Pan ataliwyd fi oddiwrth fy efrydiau trwy oruchwyliaeth dywyll o eiddo Rhagluniaeth, ac yn enwedig wedi i mi gael fy ngoleuo i ryw fesur i weled gwerth y llyfrau a ysgrifenasid gan ddynion duwiol a dysgedig, yr oeddwn am beth amser yn methu deall beth oedd yr Arglwydd yn ewyllysio wneyd â mi, neu beth oedd amcan yr oruchwyliaeth dywyll hono tuag at un a fwriadasid, debygid, i waith y weinidogaeth, ac yr oeddwn bron digaloni. Ond yn awr, er pan y'm galluogwyd i ail ddechreu fy astudiaeth yn yr Ysgrythyrau Sanctaidd, yr wyf, mi feddyliwn, yn gweled llaw ddoeth a thyner Tad yn yr holl dro, ac yn dymuno diolch iddo yn gywir. Efe a'm cauodd i fynu, yn wir, am dymhor, megys o fewn plygiadau a thudalenau fy nghalon fy hun, i ddarllen y llythyrenau duon sydd wedi cael eu hargraffu yno gan bechod, nes y'm tarawyd a dychryn wrth weled y cynwysiad, ac y gellais ddywedyd gyda'r apostol: 'Ys truan o ddyn wyf fi: pwy a'm gwared oddiwrth gorph y farwolaeth hon?' Ond yn awr, diolch i Dduw, gan fy mod yn gallu darllen dalenau yr Ysgrythyrau, fe'm cynorthwyir i ddeall, mewn ffordd na ddeallais erioed o'r blaen, gymeriad y pechadur a ddarlunir yno yn cyfateb yn hollol i'r eiddof fy hun. Ac O! drugaredd annhraethadwy, gallaf hefyd yn awr ganfod gogoniant, gwerthfawrawgrwydd, a defnyddioldeb anmhrisiadwy y Gwaredwr dwyfol, fel yn hollol addas i angen y fath bechadur, ac yn hollol y fath Archoffeiriad ag oedd weddus i ni." Gwelwn yn y geiriau hyn fod y gŵr ieuanc yn deall yr efengyl, a'i fod yn nodedig o addfed o ran ei syniadau.

Yn mis Mehefin, 1804, cyflwynodd William Howells ei hun i Esgob Llandaf i gael ei ordeinio. Aethai trwy yr arholiad yn dra boddhaol, ond yr oedd rhywrai wedi ceisio gwenwyno meddwl yr Esgob ato, oblegyd ei fod yn ymgymysgu â'r Methodistiaid. Gŵr rhyddfrydig, neu yn hytrach difater, oedd yr Esgob Watson; dangosai bob goddefgarwch at Mr. Jones, Llangan, ac eraill, pan yr oedd clerigwyr Morganwg yn dwyn achwynion trymion i'w herbyn; nid yw yn ymddangos iddo am foment goledd y syniad o wrthod Mr. Howells, ond meddyliodd y gallai ei ddysgu yn fanylach yn egwyddorion crefydd. Dechreuodd holi y gŵr ieuanc am ei syniadau; amddiffynai yntau hwynt gyda medr a pharodrwydd, gan droi yn ol olygiadau ei arglwyddiaeth. Aeth yn ddadl gyfeillgar yn y palas esgobol; teimlai yr esgob ei fod yn cael ei wasgu i'r mur; a dywedai ar y terfyn, gyda gwên ar ei wyneb: "Mr. Howells, yr ydym wedi newid lle â'n gilydd; yn lle fy mod i yn eich profi chwi, mi fy hunan sydd wedi cael fy mhrofi." Heb ragor o wrthwynebiad cafodd William Howells ei ordeinio i guwradiaeth Llangan.

Yr oedd Ficer Llangan a'i guwrad o gyffelyb syniadau; yr oeddynt ill dau yn fwy o Fethodistiaid nag o Eglwyswyr; dilynent y Cyfarfodydd Misol a'r Cymdeithasfaoedd gyda chysondeb; a chydnabyddid hwy fel arweinwyr yn y Cyfundeb. Pregethent mewn ysguboriau, tai anedd, neu ar y maes agored, fel y byddai cyfleustra yn rhoi, heb ofalu a oedd y tir lle y safent wedi ei gysegru ai peidio. Hynododd Mr. Howells ei hun yn fuan fel duwinydd galluog; byddai ei feistrolaeth ar y pynciau a ystyrid yn ddyrus yn peri syndod i'r gwrandawyr. Y ficer a ystyrid y mwyaf swynol a thyner ei ddawn, ond tueddai hen grefyddwyr Morganwg i gredu fod y cuwrad yn medru treiddio yn ddyfnach i athrawiaethau yr efengyl. Mewn cyfarfod blynyddol, mewn rhan o Forganwg, pregethai y ddau yn nghyd. Mr. Howells a lefarai yn nghyntaf fel yr oedd yn weddus. Ei fater oedd Mabolaeth Crist. Dechreuodd yn hynod ostyngedig trwy gyfeirio at ei ieuenctyd, a'i anwybodaeth, a datganai obaith y gwnai ei dad parchedig yn yr efengyl, yr hwn oedd i'w ganlyn, gywiro unrhyw gamgymeriad y gallai syrthio iddo.

Yna ymdaflodd i'w fater; ac mor ardderchog a goleu oedd y gwirioneddau a draethai, ac mor feistrolaidd oedd yr ymdriniaeth, fel y synodd yr holl dorf, a chafodd odfa hynod o effeithiol. Y peth cyntaf a wnaeth Mr. Jones, wrth godi ar ei ol, oedd gofyn gan y gynulleidfa weddïo dros y gŵr ieuanc oedd newydd eu cyfarch; ar i'r Arglwydd roddi digon o ddrain ar ei ffordd, fel na chaffai ei dra-ddyrchafu, rhag ar ol boreugwaith clir i'w haul fachludo dan gwmwl. Prawf gweddill hanes Mr. Howells na fu y weddi hono yn ddisylw gan yr Arglwydd.

Yn bur fuan wedi i Mr. W. Howells gael ei gyflawn urddau, symudodd y Parch. D. Jones o Langan i Manorowen, yn Sir Benfro, ac felly disgynodd holl ofal y plwyf, am agos yr oll o'r flwyddyn, ar ysgwyddau y cuwrad. Cyn hir ceisiwyd ganddo wasanaethu dau blwyf cymydogaethol, sef Eglwys Fair a Llandyfodwg, yr hyn a wnaeth, er mawr lawenydd i'r plwyfolion. Yn Llandyfodwg yr oedd elfen Undodaidd gref; a chymerodd yntau ddirfawr boen, trwy bregethu, a thrwy ymweliadau personol preifat, i geisio argyhoeddi y cyfeiliornwyr. Ymddengys fod amryw o honynt yn ddynion o gryn allu; dywedai, wedi iddo fyned i Lundain, fod "rhai o honynt yn gystal ymresymwyr a Dr. Priestley;" a phriodolai, yn gam neu yn gymhwys, eu medr dadleuol i'r cymhorth a dderbynient oddiwrth y diafol. Nis gwyddom faint o lwyddiant a ganlynodd ei ymdrechion. Modd bynag, gwedi ymadawiad Mr. Jones, ymdaflodd y cuwrad gyda holl yni ei natur i'w waith mawr. Efengylaidd oedd nodwedd ei weinidogaeth. Y pynciau ar ba rai y traethai fyddent y ddau gyfamod, cwymp Adda fel pengyfamodwr dros ei holl had; person Crist fel Duw-ddyn; mawredd ofnadwy perffeithiau Duw fel eu hamlygir yn y gyfraith; iawn holl-ddigonol y Gwaredwr; gweithrediadau effeithiol yr Yspryd Glân, &c., &c. Llefarai mewn iaith syml, gyda difrifwch dirfawr, ac yn aml gyda hyawdledd fyddai yn cario pob peth o'i flaen. Desgrifia un ysgrifenydd Gymdeithasfa yn Morganwg, y bu efe yn bresenol ynddi pan yn blentyn. Ar ddiwrnod teg yn yr haf ymgasglasai torf fawr yn nghyd. Mewn maes cyfleus yr oedd esgynlawr wedi cael ei chodi, ar ba un yr eisteddai rhai degau o offeiriaid a phregethwyr. Pregethai y Parch. William Howells am chwech yn y boreu, a'i fater oedd yr adgyfodiad. Ychydig o'r sylwadau a arosodd ar feddwl y llanc, ond cofiai yn dda am y bregeth, ac am ei dylanwad ar y dyrfa liosog; yn enwedig pan y cyffelybai Mr. Howells, a grymusder ei ddarfelydd yn dysgleirio yn ei wyneb, gyrph y saint yn dyfod i fynu o'r bedd i'r *phœnix* yn ymddyrchafu o ludw ei riant, a chyda holl nerth bywyd newydd yn grymusu ei adenydd, yn ehedeg i fynu i ymddifyru yn llewyrch yr haul. Traddodwyd pregethau galluog, gan feistriaid y gynulleidfa, yn y Gymdeithasfa hono; ond cydunai pawb wrth ddychwelyd na ddaeth yr un i fynu mewn nerth a dylanwad â phregeth cuwrad Llangan, am chwech o'r gloch yn y boreu.

Llaw ddehau Ficer Llangan oedd Mr. Howells. Tueddai Mr. Jones at fod yn boethlyd o dymher. Mantais oedd hyn iddo wrth bregethu; gwasanaethai fel olew ar yr olwynion; byddai gwirioneddau yr efengyl wedi eu poethi yn nghynhesrwydd ei galon yn anorchfygol pan eu hyrddid i ganol cynulleidfa fel bwledau. Ond byddai y dymher hon yn anfantais iddo wrth ymwneyd â dynion. Eithr am ei briod, ei anwyl Sina, heddychwraig oedd hi, a phan y gwelai ef yn cyffroi i raddau a ystyriai yn ormodol, dywedai, "Dafydd;" gan osod ei llaw ar ei ysgwydd, a byddai yntau ar unwaith yn tyneru ac yn dyfod mor llariaidd ag oen. Cariadus oedd y ddau yn eu bywyd, ac yr oeddynt wedi ymgyfamodi â'u gilydd y caffai eu llwch orwedd, nid mewn daear wedi ei chysegru gan esgob, ond yn mynwent Salem, Pencoed. Ac yno y gosodwyd gweddillion Mrs. Jones. A phan y bu efe farw yn Manorowen, darfu i dros ugain o ddynion cryfion, gan gofio am y cyfamod, ymroddi yn wirfoddol i gludo ei gorph ar eu hysgwyddau o Sir Benfro i fynu. Anfonwyd cenad ar farch i fynegu hyny i'w ail wraig; ond pan yr oedd y fyddin naill ai ar, neu wedi cychwyn, cyfarfyddwyd hwy gan y genad, yn dwyn hysbysrwydd na chaniateid ei gorph iddynt, ac mai yn naear Penfro, mewn mynwent berthynol i'r Eglwys Sefydledig, y rhaid ei gladdu. Teimla trigolion yr ardal hyd y dydd hwn oblegyd nad yw esgyrn Mr. Jones yn gorwedd yn eu mysg, fel y dymunai. Ond i ddychwelyd at ei berthynas ef â Mr. Howells. Llawenydd i'w yspryd, pan y deuai ar ymweliad â'r plwyf, oedd gweled fod gogoniant Llangan yn cael ei ddal i fynu, fod y tyrfaoedd yn cyrchu yno o bob rhan o'r wlad fel cynt, yn enwedig ar Sul

y cymundeb; a bod yr efengyl yn cael ei phregethu gydag effeithiolrwydd a ffyddlondeb.

Ond yn y flwyddyn 1810, fel y sylwyd, bu y Parch. David Jones farw, ac felly terfynodd cuwradiaeth Mr. Howells yn Llangan o angenrheidrwydd. Gwrthodwyd ei gais am y fywioliaeth, a hyny yn unig oblegyd ei Fethodistiaeth. Fel hyn yr ysgrifena y Parch. W Williams, Abertawe:* "Wedi marwolaeth ei beriglor, y Parch. D. Jones, Llangan, gwnaeth gais at y noddwr anrhydeddus am y fywioliaeth. Nis gallai ei arglwyddiaeth foddloni miloedd trwy ddim yn fwy na chydsynio. Pwy mor gymhwys i lanw lle yr efengylydd peraidd, yr hwn oedd wedi casglu y fath gynulleidfa i Langan o holl gyrau y wlad, ag offeiriad tanllyd Llwynhelyg? Hyn oedd yr unig lwybr a ymddangosai i bob un adnabyddus ag amgylchiadau y wlad, i gadw y tyrfaoedd rhag cael eu gwasgaru ar y mynyddoedd fel defaid heb ganddynt fugail. Ond tybiai ei arglwyddiaeth yn wahanol. 'Yr ydych yn Fethodist, Howells,' meddai, 'yr ydych yn Fethodist, ac nid wyf yn dewis rhoddi y fywioliaeth i Fethodist; oni buasai eich bod felly, chwi a'i cawsech yn y fan.' 'Gwir, fy arglwydd,' atebai yntau; 'pa un a rynga bodd i'ch arglwyddiaeth roddi y fywioliaeth i mi ai peidio, Methodist wyf fi.' Dyma ben ar hyny. Ond gwybydder nad gwneyd esgus yr oedd ei arglwyddiaeth er mwyn cael llonydd ganddo. Fe gawsai y fywioliaeth oni bai hyny; ïe, fe'i cawsai pe buasai ond addaw ymddiosg o'i Fethodistiaeth. Yr oedd gan ei arglwyddiaeth barch i'r teulu; yr oedd rheswm am hyny; a rhoddodd brofion o'i barch iddynt. Gosododd ei frawd nesaf yn ysgrifenydd ar fwrdd hen long ryfel yn Sheerness; a rhoddodd ei ddylanwad dros un arall o honynt i fyned yn swyddog yn y fyddin. Nid oedd un o honynt hwy wedi ei lygru! Ond ni chai William fywioliaeth Llangan oblegyd ei fod yn Fethodist; ac ni wnai William na lliwio na gwadu y ffaith; ni wnai nac ymddyosg, nac addaw ymddyosg o'i Fethodistiaeth, am holl fywioliaethau y byd. Dyma egwyddor, onide, ddarllenydd? Oni thybi dy fod yn clywed ei lais cryf, penderfynol, yn adsain y geiriau, 'Methodist wyf fi?'"

Teimlodd y Parch. W. Howells yn ddwys oblegyd gorfod tori ei gysylltiad â'i gynulleidfa yn Llangan. Meddai eto guwradiaeth y ddau blwyf arall, ac ymddengys ei fod yn cael ei dalu yn dda am barotoi boneddwr ieuanc cyfoethog ar gyfer un o'r prif ysgolion, fel nad oedd ei amgylchiadau bydol yn un brofedigaeth iddo. Am tua blwyddyn wedi marw Mr. Jones bu yn gwasanaethu yn Eglwys Fair a Llandyfodwg, ac yn pregethu yn mysg y Methodistiaid. Eithr yn Hydref, 1811, cawn ef yn troi ei gefn ar wlad ei enedigaeth, ac yn cymeryd cuwradiaeth yn Llundain. Beth a'i cymhellodd i gymeryd y cam hwn? Nid unrhyw awydd am boblogrwydd a chlod; ac yn sicr nid unrhyw oerfelgarwch at ei frodyr Methodistaidd, oblegyd yr oedd ei gariad atynt yn angherddol. Meddai unwaith: "Pe na buasai y Methodistiaid Calfinaidd wedi gwneyd mwy dros fy ngwlad, druan, na'r esgobion Cymreig, buasai y diafol, er ys talm, wedi honi hawl i'r Dywysogaeth fel ei esgobaeth ei hun." Ac ni ddarfyddodd ei hiraeth am wlad ei dadau ar ol iddo ei gadael. Pan yn fawr ei barch yn y brifddinas, dywedai: "Mi a roddwn fydoedd lawer, weithiau, pe y gallwn alw yn ol y teimlad hwnw fyddai yn aml yn llenwi fy mynwes pan yn myned o fwthyn i fwthyn, yn mysg pobl syml eu calon, y rhai a arferent fy nerbyn yn enw fy Meistr, megys angel Duw." Sut y cyfrifir am ymadawiad y Parch. William Howells â Chymru? Os oedd wedi cael cas ar wrthwynebiad yr esgobion i'r efengyl, ac ar draha noddwyr bywioliaethau, paham na fuasai yn cymeryd ei le fel pregethwr teithiol yn mysg y Methodistiaid, fel Charles, o'r Bala; Williams, Lledrod, ac eraill? Credwn fod yr ateb i'w gael yn ei serch at Langan. Pe yr arosai yn Nghymru, ei gartref o angenrheidrwydd fyddai Llwynhelyg; ychydig o bellder oedd oddiyno i Langan; ac yr oedd gweled yr eglwys a fuasai unwaith yn Jerusalem Bro Morganwg wedi cael ei gadael heb addolwyr, a'r llwybr ati yn glasu am nad oedd nemawr yn ei deithio, oblegyd mai ysglodyn sych o offeiriad a wasanaethai ynddi; yr oedd gweled hyn yn ormod i deimlad Mr. Howells, a phenderfynodd adael Cymru, er hoffed oedd o honi, yn hytrach na bod yn llygad-dyst o olygfa mor drist.

Ei guwradiaeth gyntaf yn Llundain oedd yn mhlwyfydd St. Andrew a St. Anne, ger Blackfriars, o dan Mr. Goode, y periglor. Darlunir Mr. Howells, pan yr aeth i Lundain, gan ei fywgraffydd Seisnig,

---

* Ysgrif yn y *Traethodydd.*

fel dyn afler ei wisg, anwybodus, neu ynte difater, parthed moesgarwch cymdeithasol cyffredin, gydag acen Gymreig drom, a'i ddull o ymadroddi yn boenus i glustiau diwylliedig. Ychwanegir ei fod yn ysmygwr mawr, yr hon arferiad, medd ei hanesydd, a ddygodd gydag ef o Gymru! Yr ydym yn protestio yn erbyn y fath ddesgrifiad; nid yw amgen nag anferthlun. Tybed nad oes ysmygwyr i'w cael yn mysg gweinidogion ac offeiriaid heblaw yn Nghymru? A ellir tybio am foment fod dyn o dynerwch yspryd Mr. Howells, wedi cael ei fagu yn un o deuluoedd parchusaf Morganwg, wedi troi mewn cymdeithas uwchraddol yn nyddiau ei ieuenctyd, ac wedi cael ei ddwyn i fynu mewn ysgolion gramadegol, ac yn Rhydychain, nes dyfod yn ysgolor gwych; a ellir tybio ei fod heb wybod sut i ymddwyn fel boneddwr yn mha gylch bynag y caffai ei hun? Gwir na luniai ei foesgarwch wrth reolau Arglwydd Chesterfield; ei fod yn hollol rydd oddiwrth goegni a mursendod; na wisgai fodrwyau ar ei fysedd, ac na ofalai am gael y brethyn tecaf ar ei gefn; ond yn mhob peth sydd yn cyfansoddi gwir foneddigeiddrwydd yr oedd William Howells yn foneddwr bob modfedd o hono.

Nid hir y bu yn Llundain cyn i'w bregethu dynu sylw. Yr oedd offeiriad yn pregethu Calfiniaeth efengylaidd, ac yn dweyd y gwir dros asgwrn ei gefn, a hyny gyda hyawdledd a nerth, yn ddyeithrbeth yn y brifddinas; ac aeth son am guwrad hynod St. Anne ar led, yn mhell ac yn agos. Cyrhaeddodd yr hanes am dano at yr esgob. A ryw ddiwrnod dyma Mr. Goode yn derbyn llythyr oddiwrth Dr. Randolph, Esgob Llundain, yn holi pwy a pha fath oedd ei guwrad newydd; ac yn ychwanegu fod rhyw foneddwr wedi ymweled a'r eglwys, gan ddysgwyl, oblegyd yr hyn a glywsai, gyfarfod â ffolineb a hynodrwydd, ond fod y cuwrad wedi myned yn mhellach na dim oedd wedi dybio yn bosibl. Yr oll a wnelsai Mr. Howells, yn lle darllen pregeth sych heb ynddi ddim ymborth i enaid, na'r un bach i gydio yn nghydwybod pechadur, oedd cyhoeddi gwirionedd Duw fel un yn ei gredu, a chyhoeddi yr efengyl gyda hyawdledd areithyddol na chlywid yn aml yn eglwysydd Llundain. Chwareu teg i Mr. Goode; safodd y tucefn i'w guwrad, ac atebodd yr esgob trwy ddweyd mai gŵr ieuanc o Gymru oedd Mr. Howells; ei fod wedi cael iddo y cymeriad uchaf; ac na wyddai efe (Mr. Goode) am un bai ynddo, os na feddai ar y mwyaf o'r tân Cymreig i gyfarfod calonau oerion y Saeson. Nis gallai y periglor bregethu nemawr ei hun oblegyd gwaeledd ei iechyd, ond wedi cael llythyr yr esgob, daeth un Sul i St. Anne i weled a chlywed drosto ei hun. Er ei syndod yr oedd yr eglwys yn orlawn; ni welsai y fath gynulleidfa yno erioed o'r blaen; ac yr oedd y Cymro ieuanc yn traddodi yr efengyl gyda'r fath nerth nes y llanwyd Mr. Goode ag yspryd diolch. "Yr oedd meddyliau yn y bregeth yna," meddai, "y rhoddaswn unrhyw beth am eu cofio."

Eithr er fod y rheithor yn ddyn efengylaidd, ac yn foddhaus tuhwnt ar wasanaeth Mr. Howells, nid oedd y gyflog a roddai iddo ond annheilwng hollol. Dywed bywgraffydd y Parch. William Howells iddo ar adegau ddyoddef eisiau bara beunyddiol. Amheua Mr. Williams, Abertawe, hyn. "Yr oedd hynodion yn perthyn iddo ef," meddai; "ac efallai i hyny beri iddo deimlo rhai anghyfleusterau, ond peth arall yw gorfod o wir dlodi oddef eisiau. Gwyddom yn dda na bu Llwynhelyg tra y bu efe byw, ac yn hir wedi hyny, heb gyflawnder o angenrheidiau dyn. Gwyddom hefyd na fu heb gyflawnder o gariad at William Howells, ac o ofal am dano." Diau fod hyn oll yn wir; ac eto gallwn yn hawdd synio am ddyn llawn teimlad a meddylgarwch yn dewis dyoddef prinder yn hytrach nac amlygu ei angen i'w berthynasau. Tra yn guwrad yn St. Anne bu ar ymweliad ddwy waith, fel yr ydym yn tybio, a gwlad ei enedigaeth. Yr oedd yn bresenol yn Nghymdeithasfa Llangeitho, yn y flwyddyn 1814, ac efe a offrymai yr urdd weddi ar derfyn y gwasanaeth ordeinio. Ni chofnodir iddo bregethu yn y Gymdeithasfa, yr hyn sydd yn syn. Y tebygolrwydd yw ddarfod iddo bregethu, ond yn Saesneg, a hyny rhwng dwy bregeth Gymraeg, ac felly i'w odfa ef ddianc heb gael sylw. Mor bell ag y gwyddom dyma y tro olaf i'w draed sangu daear Cymru.

Yn mis Ebrill, 1816, bu Mr. Goode, ei beriglor, farw, a dyma yntau unwaith eto wedi cael ei daflu i wyneb y maes. Gwnaeth gais am y berigloriaeth; yr oedd yr hawl i gyflwyno gŵr i'r swydd yn nwylaw'r plwyfolion; ac o herwydd mawr boblogrwydd Mr. Howells, a'r afael oedd ganddo ar serchiadau y rhai a'i gwrandawent, gellid meddwl mai arno ef y syrthiai y coelbren. Ond ni ddygwyd etholiad

erioed yn mlaen mewn dull mwy gwaradwyddus; yr oedd y tafarndai yn agored yn ffafr y rhai a gydymgeisient ag efe; ac nid oedd pall ar bob dyfais y gallai dichell ddod o hyd iddi. Yn ei erbyn yr aeth y bleidlais. Ychydig oedd y mwyafrif yn ei erbyn. Gwedi cael adchwiliad diflanodd y mwyafrif bychan hwnw nes myned agos yn ddim; a chredai cyfeillion Mr. Howells pe cai yr achos ei godi i'r Canghell-lys mai efe a enillai y fuddugoliaeth. Ond â hyn ni wnai mewn un modd gytuno, a throdd ei gefn ar y bobl y llafuriasai yn eu mysg am agos i bum' mlynedd.

Bu am agos i flwyddyn fel colomen Noah, heb le i roddi ei droed i lawr. Yr oll a weddillasid iddo oedd cael darlith nos Sul, yn eglwys St. Antholin, yn Watling Street; am yr hyn y derbyniai y swm mawr o ddeunaw punt yn y flwyddyn! Gwnaed ymdrechion dirif i gael cuwradiaeth iddo, ond ni fynai offeiriaid Llundain ei wasanaeth. Meddai ei fywgraffydd, yr hwn y gellid dibynu ar ei dystiolaeth yn y mater hwn, oblegyd yr oedd yntau yn offeiriad: "Hyd y foment y bu farw yr oedd yn yr Eglwys Sefydledig bersonau a gredent eu bod yn cyflawni y pechod anfaddeuol pe yr agorent ddrws eu pwlpud i Mr. Howells." A pheth oedd ei fai? Dim ond ei fod yn ffyddlon i'w Dduw, yn traethu yr athrawiaethau efengylaidd a geir yn articlau yr Eglwys yn gystal ac yn y Beibl; a'i fod yn traddodi, nid yn ol y dull oeraidd cyffredin, ond gyda gwres ac argyhoeddiad, ac mewn arddull annhebyg i bawb eraill.

Yn y flwyddyn 1817 prynodd brydles capel esgobol yn Longacre, lle y gallai wasanaethu heb ofyn cenad nac esgob na rheithor. Yr oedd yr anturiaeth yn un bwysig; â swm mawr, wedi cael eu benthyca iddo gan ei gyfeillion, y gwnaethai y pryniad; yr oedd yn rhaid gwario arian lawer i adgyweirio y capel cyn y gellid ei ddefnyddio; ac nid oedd gwaddol yn perthyn iddo; rhaid i Mr. Howells ddibynu am ei gyflog ar ardreth yr eisteddleoedd. Yma y bu hyd ddydd ei farwolaeth. Daeth yn boblogaidd ar unwaith; tyrai dynion i'w wrando o bob cyfeiriad, yn bendefigion, yn aelodau seneddol, ac yn farsiandwyr, yn gystal a'r tlodion, llwm eu bord a charpiog eu gwisg, o ardal y Seven Dials. Buasai y poblogrwydd mawr hwn yn codi yn mhen aml un, ac yn peri iddo atal y gwirionedd oddiwrth y cyfoethogion, y rhai yr oedd eu cerbydau yn rhesi hirion ar yr heol lle y safai y capel; ond ni wnaeth un cyfnewidiad yn William Howells; yr un oedd efe yn Longacre a phan y cynghorai oddiar ben ystol mewn tŷ anedd yn mhentref Penllin.

Nis gallwn olrhain ei hanes yn y brifddinas yn hwy, rhaid i ni frysio i roddi desgrifiad o'i nodweddion. O ran ei gorph, dyn tal, main, a theneu ydoedd; meddai drwyn mawr, a genau llydan agored, fel pe bai wedi cael ei lunio er byrlymu ymadroddion allan. Nis gellid yn fynych weled dau mwy annhebyg nag efe a Mr. Jones, Llangan. Yr oedd efe mor llym ag ellyn, tra yr oedd Mr. Jones yn fyr, yn llydan, ac yn gorphol. Eithr yn ystod ei guwradiaeth yn Llangan, byddai yr un gŵn yn gorfod gwasanaethu i'r ddau, ac nid bychan yr anghyfleustra a barai hyny yn fynych. Byddai y wisg offeiriadol yn llithro dros ysgwyddau Mr. Howells hyd haner ei freichiau, a mawr fyddai ei helynt yntau yn ei chyfodi eilwaith ac eilwaith. Ond un Sabbath treuliodd ei amynedd allan, ymaflodd yn y gŵn, gan ofyn yn haner llidus: "Beth yw rhyw ddyryswch fel hyn?" Ond yn y man cofiodd ei fod yn bechod ysgeler, i'w gospi gan farnwyr, i geisio dweyd dim wrth bechaduriaid mewn lle cysegredig felly heb y gŵn. Cododd ef o'r llwch, rhoes ef am dano eilwaith, ac aeth yn y blaen gyda'i bregeth fel pe na buasai dim wedi dygwydd.

Yr oedd yn ddiarebol am ei haelioni a'i garedigrwydd; adwaenai begeriaid Llundain ef yn dda, a gwyddent os byddai rhywbeth yn ei logell na chaent fyned ymaith oddiwrtho yn waglaw. Ni ddychymygodd erioed fod Rheolwr y byd yn rhoddi moddion iddo er mwyn eu cadw. "Cynorthwywyd fi, minau a gynorthwyaf y nesaf," oedd ei arwyddair. "William," meddai ei chwaer wrtho unwaith, pan oedd gartref yn Llwynhelyg; "ewch i'r cwpbwrdd, a rhoddwch damaid i'r dyn tlawd yna sydd wrth y drws." Nis gallai gael swydd mwy hyfryd; "gwnaf, yn siwr," meddai. I'r cwpbwrdd yr aeth, a rhoddodd y dorth a'r cosyn yn gyfan fel yr oeddynt. "Howells," meddai Dr. Nichol, o Ryde, wrtho ychydig cyn ei farwolaeth, "yr ydych yn myned yn mlaen mewn oedran, ac yn debyg o fod yn dlawd; paham na roddech rywfaint i gadw erbyn hen ddyddiau, yn lle cyfranu y cwbl fel yna?" "O, fy ffrynd," meddai yntau, "y mae genyf fi ddigon tra y gallaf bregethu, ac ar ol i mi fethu caiff fy nghynulleidfa

fy nghadw.' Dyna ei ddull ef o fyw. A ganlyn oedd yr adran gyntaf yn ei destament diweddaf: "Yr wyf yn maddeu i bawb sydd yn fy nyled."

Gyda holl dynerwch ei natur meddai yspryd llewaidd, ac ni phetrusai geryddu troseddwr, beth bynag fyddai ei safle, a hyny heb betruso dim gyda golwg ar y canlyniadau. Meddai y Parch. W. Williams, Abertawe: "Ceryddai fai, nid trwy ddywedyd, 'y mae rhai fel-a'r-fel, ac y mae hyny yn ddrwg iawn, ond nid wyf yn dywedyd eich bod chwi felly.' Nid chwareu fel hyn â beiau ac â chydwybodau pobl y byddai efe, fel rhywun yn ceisio dyfetha y naill trwy dwyllo y llall. Na, rhoddai ei fys ar y bai, ac ar y beius. 'Dyma y drwg,' meddai, a zêl yn gwreichioni yn ei lygaid tanbaid; 'dyma y canlyniad, a dyma yr euog.' Beth? Ofn dyn ar William Howells, o Longacre? Na fu erioed! Nid oedd arno fwy o ofn dyn nag o ofn ceiliog y rhedyn. 'Fy ngwrandawyr,' meddai un Sabbath, yn Longacre, 'fy ngwrandawyr! Yr ydych yn gyfarwydd â chymeriad y gŵr sydd newydd gael ei benodi i esgobaeth ——. Rhoddodd yr Arglwydd i ni Lyfr Gweddi da, ac erthyglau rhagorol; ond ryw fodd, y mae penodiad ein hesgobion, hyd yn hyn, yn aros yn llaw'r diafol.' Nid llawer o wŷr o'i urdd ef a fuasai yn ddigon dewr i gyhoeddi yn nghlyw amryw o aelodau dau Dŷ y Senedd, nad oedd gwir anrhydeddus brif-weinidog ei Fawrhydi, yn mhwnc penodi esgob, ddim gwell nag offeryn yn llaw y gŵr drwg. Ond dyna y fath un oedd William Howells."

Deallai frawdoliaeth y teulu dynol yn drwyadl. Cynorthwyai ddyn pa bryd bynag y caffai gyfle, ac ni ofalai yn mha ddull, ond iddo fod yn onest. Safai unwaith ar y palmant yn ymyl heol bur serth yn y brifddinas; yr oedd yn gwlawio yn drwm ar y pryd. Sylwai ar ddyn tlawd yn ceisio tynu *truck* llwythog i fynu y rhiw. Yr oedd y dyn, druan, yn tynu tuag i fynu, ond y llwyth yn pwyso tuag i waered; ac o'r ddau y llwyth a ymddangosai fel yn cael y trechaf. Tybiodd Mr. Howells ei fod yn canfod yn yr helynt ffrwyth y cwymp. "Pechod," ebai, "dyma un o dy gastiau di." Gyda hyn neidiodd i ganol yr heol, ac heb ofni llychwino ei ddwylaw offeiriadol, ymaflodd yn nghorn y ferfa; tynodd ei eithaf, tynodd y dyn yntau ei oreu, a rhwng y ddau dyna y llwyth yn fuan ar ben y bryn.

Gyda golwg ar ddull ei weinidogaeth, dywed y Parch. William Williams eto: "Nid yn fynych y bydd neb wrth bregethu yn dweyd cymaint *wrth* ei wrandawyr ag efe. Rhywbeth yn cael ei ddweyd *wrth* ei wrandawyr; rhyw genadwri atynt; dyna oedd ei bregeth ef o'r dechreu i'r diwedd. William Howells ei hunan, yn nghanol ei gymydogion, ydoedd efe yn y pwlpud, fel yn mhob man arall. Y mae ambell un yn dyosg o hono ei hunan pan esgyno risiau yr areithfa. Yn y tŷ capel y mae fel efe ei hun, ond y mynyd y cauo ddrws y pwlpud ar ei ol, dyna fe fel pe byddai wedi colli ei hunaniaeth *(identity)*. Nid yw ffurf ei wyneb yr un fath; y mae cyfnewidiad mawr wedi dyfod dros ei lygaid; ac am ei lais y mae mor annhebyg i'r hyn ydoedd fynyd yn ol ag yw swn tabwrdd i sain udgorn. Y mae wedi myned yn greadur dyeithr ar unwaith, yr hwn, debygid, sydd yn dywedyd rhywbeth wrth y ser. Tybio a wnaeth nad dywedyd yw pregethu, ac o dan ganlyniadau anhapus y dybiaeth hono y mae yn llafurio ddyddiau ei oes. Gwir yw fod William Howells yn ddyn o dymher danllyd; yr oedd yn ymgynhyrfu drwyddo draw; yn ysgwyd ei freichiau, yn taraw y pwlpud, ac yn rhoddi ambell i floedd nes yr oedd y capel yn adsain. Ond ymgynhyrfu wrth siarad a'r bobl byddai; a gellit benderfynu pan yr ymgynhyrfai efe ei fod yn dywedyd rhywbeth y dylasit tithau ymgynhyrfu o'i blegyd. Ond nid oedd perygl i unrhyw ymgynhyrfiad o'i eiddo ei hun, nac unrhyw swn o eiddo ei wrandawyr, beri iddo golli llinyn yr ymresymiad, a myned i ddyryswch. Cymerer hanesyn bach fel prawf.

"Yr oedd dyn yn byw yn Mhenybont-ar-Ogwr, o'r enw George Watson, brodor o'r Alban, yr hwn oedd yn byw wrth gludo nwyfau ar ei gefn, ar hyd a lled Sir Forganwg; ond yn annhebyg i lawer o bobl yr alwedigaeth hono, yr oedd y Sior hwn yn ofni yr Arglwydd. Nid ydym yn cofio ddarfod i ni weled neb yn gwneyd peth mwy tebyg i wrando â'i holl galon nag a fyddai efe bob amser yn yr odfaeon. O, ei 'amen, amen,' anwyl ef! Y mae yn adsain yn ein clustiau y fynyd hon. Yr hen frawd brwd! Y mae erbyn hyn, yn ol pob tebyg, wedi myned i dangnefedd. Byddai bob amser yn gwrando ar Mr. Howells yn yr Hen Gastell, Llangan, Salem, &c. Un Sabbath soniai y pregethwr am Grist yn gwaredu dynion oddiwrth eu gofidiau. Ac meddai: 'Nid yw Crist, bobl, yn myned

a rhyw faich gydag ef i bob man yr elo, fel y gwelwch ambell i ddyn; O na! tynu beichiau i lawr yw ei waith ef.' Ond yn sydyn cofiodd fod y gŵr anwyl o Ysgotland yno yn gwrando; ymataliodd, edrychodd o amgylch, sefydlodd ei lygaid ar ŵr y beichiau, a dywedodd: 'George Watson bach, peidiwch a theimlo, 'doeddwn i yn meddwl dim am danoch; mewn gwirionedd, am Fab Duw yr oeddwn i yn son.' Cafodd y rhan hon o'r bregeth effaith ddwys ar George Watson, ond yn mlaen yr aeth y pregethwr gyda ei bwnc."

Nid hawdd fyddai taflu William Howells oddiar ei echel. Aeth unwaith i wrando yr hynod W. Huntingdon, pregethwr bras, cwbl anniwylliedig, ond a feddai lawer o dalent naturiol, ac a fendithiwyd gan Dduw i fod yn fendith i laweroedd. Cyffyrddodd rhyw sylw yn y bregeth a chalon Mr. Howells; methodd gadw ei deimlad danodd heb ei ddangos, trwy wenu a dweyd "Amen.' Sylwodd y pregethwr arno, a thybiodd ei fod yn ei wawdio; ymataliodd, a chan sefydlu ei lygaid arno, dywedodd mewn dull awdurdodol: "Am ba beth y chwarddwch chwi, foneddwr? Os na ellwch ymddwyn yn well, ewch allan." Buasai hyn yn ddigon i yru ambell Gymro diniwed i lewyg; ond nid oedd W. Howells yn gweled fod un niwed wedi dygwydd. Yr oedd y pregethwr wedi camsynied, dyna i gyd; gair bach a osodai y cwbl yn ei le drachefn. Cyfododd ar ei draed, a dywedodd yn berffaith ddigyffro: "Syr, nid chwerthiniad ydoedd, ond gwên o gymeradwyaeth i'ch sylwadau chwi." Tawelwyd yspryd y pregethwr, a gwrandawodd Mr. Howells gyda boddhad mawr hyd y diwedd.

Yn ei ddull o feddwl cyfunai Mr. Howells ddyfnder yr athronydd, a dychymyg hedegog y bardd, a cheir yn ei bregethau adranau yn dwyn yn amlwg y nodweddion hyn. Fel enghraifft, cymerer a ganlyn gyda golwg ar y gwyrthiau: "Buasai y gwyrthiau, oni bai iddynt beidio, yn cymylu gogoniant yr Hen Destament a'r Newydd; byddai gwŷr a gwragedd yn esgeuluso y Beibl mewn helwriaeth ar ol arwyddion a rhyfeddodau; a byddai ffydd, wedi cael ei chaethiwo gan synwyroliaeth, yn nythu gyda'r dryw wrth y ddaear, yn lle ehedeg gyda'r eryr yn y ffurfafen, gyda holl deulu'r nef ar ei haden. Braint ddwyfol credinwyr yr oes hon, yn ngweithrediad y ffydd hono, 'yr hon yw sicrwydd y pethau nid ydys yn ei gweled,' pa un bynag ai yn yr amser a aeth heibio, yn y presenol, neu y dyfodol, yw cael cymdeithas fwy aruchel a gwyrthiau na'r rhai a'u gwelsent yn cael eu cyflawni. Wedi iddynt ateb eu pwrpas unwaith, yn eu heffeithiau hynod a newydd, yn drugarog ac yn ddoeth, pallodd y rhyfeddodau hyn, fel y byddai i ogoniant y Duw a'u cyflawnodd barhau ar dudalenau ysprydoliaeth i anerch yspryd anfarwol yn hytrach na synwyrau y credadyn. 'Am i ti fy ngweled y credaist; bendigedig yw y rhai ni welsant ac a gredasant.' Yr hwn sydd wedi ystyried yn drwyadl, ac wedi teimlo yn ddwfn, a fyddai yn dra anmharod i wyrth ymwthio yn y blaen, tra y byddai ef mewn dedwyddid yn dal cymundeb â'i Dduw."

Meddai gyflawnder o gymhariaethau, a gweithiai hwy allan mewn modd hynod o feistrolaidd a thlws. Cymerer y gymhariaeth ganlynol am y bwa: "I deulu Noah, golygfa arswydus oedd gweled cwmwl, yn gyflawn o daranau, a thymhestl, ac o ddiluw; ymddangosai fel ail-ymgasgliad o elfenau dinystr yn erbyn byd euog. Ond darfu i'r Arglwydd, yn ei dosturi ac yn ei drugaredd, nid yn unig addaw na ddygai ddiluw drachefn i ddinystrio pob cnawd, ond yn mhellach rhoddodd arwydd o'i gyfamod, a gosododd ei fwa i orwedd ar fynwes elfenau dial. Trwy ei ordeiniad, rhaid i elfenau dial eu hunain wrthdaflu ac adlewyrchu gogoniant yr haul; gorfodir hwy i ranu lliwiau cyntefig goleuni, a'u dangos yn eu gogoniant gwreiddiol eu hunain. Gorchymynir i deulu Noah sefydlu eu llygaid ar y bwa yn y cwmwl, fel y byddo i'w holl ofnau gael eu toddi i ffwrdd. Adgofia hyn ni o amryw wirioneddau pwysig. Yr ydym yn edrych i Galfaria, ac yn gweled y bwa wedi cael ei osod yn ei holl orwychder ar gymylau duaf elfenau dialedd; yr ydym yn gweled gogoniant Haul y Cyfiawnder yn cael ei adlewyrchu yno; yr ydym yn canfod y perffeithiau, y rhai a gyfarfyddant yn y Jehofah, bob un yn ei phrydferthwch a'u gogoniant ei hun. Arddangosa elfenau dialedd, y rhai a ymdorasant yn eu holl ddig ar ben y Messiah, i lygad ffydd fwa y dwyfol briodoleddau yn cyfarfod ac yn cydgordio yn iachawdwriaeth euog ddyn. Yno trugaredd a gwirionedd a ymgyfarfuant, cyfiawnder a heddwch a ymgusanasant. Tuag yno y mae y credadyn yn wastad i gyfeirio llygad ei ffydd, fel y byddo i'w ofnau ddiflanu, ac y byddai i obaith a llawenydd breswylio yn ei fynwes."

Profa yr hanes canlynol y feistrolaeth a feddai ar gymhariaethau, ac mor hawdd iddo oedd eu defnyddio. Brydnhawn y dydd y bu farw ymddangosai yn suddo yn gyflym; ni sylwai ar ddim ac ni ddywedai air, a hynod o egwan y curai y galon. Penderfynodd y meddyg, yr hwn oedd yn Gristion da, wneyd ymdrech i'w gyffroi trwy gyfrwng ei feddwl. Dechreuodd siarad am ddyn a fuasai unwaith fel drych gogoneddus yn adlewyrchu perffeithiau y Duwdod. Aeth yn mlaen i ddweyd fod y drych wedi cael ei ddryllio yn chwilfriw yn y cwymp, ond dywedai fod y darnau yn cynwys rhyw olion o'r gallu gynt, a'u bod i raddau eto, er yn anmherffaith, yn adlewyrchu y priodoleddau dwyfol. Treiddiodd synwyr y dywediad i feddwl Mr. Howells, er fod ei draed yn mhell yn yr afon; casglodd yn nghyd ei nerth oedd yn prysur ddiflanu, ac meddai, a'i lygaid yn gwreichioni: "Y mae eich cymhariaeth yn fy adgofio o hanesyn a glywais am diger, yr hwn wrth erlyn ar ol ei ysglyfaeth a redodd i dŷ, ac a welodd ei lun yn y drych. Gan dybio mai ei elyn ydoedd, neidiodd arno, nes dryllio y drych yn gant o ddarnau. Ond wrth weled tiger yn hylldremu arno allan o bob darn, efe a ffodd am ei fywyd, yn ddychrynedig rhag ei gyffelybrwydd ei hun wedi ei liosogi." Cymhariaeth gywrain i ddyfod oddiwrth ddyn â'i haner yn mro marwolaeth, onide? Y gwirionedd a ddysgai Mr. Howells trwy ei fywyd, a'r hwn a geisiai ei ddangos trwy gyfrwng y gymhariaeth, oedd mai nid delw Duw ond delw'r diafol a adlewyrchir gan bechadur syrthiedig.

Cyfansoddiad gwanaidd a feddai y Parch. William Howells trwy ei holl fywyd, ac yn y flwyddyn 1832, yr oedd yn amlwg ei fod yn tynu at derfyn ei yrfa. Traddododd ei bregeth olaf yn nghapel Longacre ar ddydd Sabbath, Tachwedd 11, oddiar Salm lxxxvii. 7: "Yn nydd fy nghyfyngder y llefaf arnat, canys gwrandewi fi." Y dydd Mawrth canlynol cymerwyd ef yn glaf, a'r Sabbath nesaf ehedodd ei yspryd pur i wlad yr hedd, yn y bymthegfedflwyddyn-a-deugain o'i oed. Nid oedd claddfa yn gysylltiedig â Longacre; capel anwes *(chapel-of-ease)* heb dderbyn cysegriad esgobol ydoedd; felly gosodwyd corph Mr. Howells i orwedd yn y fynwent gysylltiedig âg Eglwys y Drindod Sanctaidd, Cloudlesley Square, Islington. Gwasanaethwyd ar yr achlysur gan amryw offeiriaid; a'r Sul canlynol traddodwyd dwy bregeth angladdol iddo yn Longacre; un gan y Parch. Mr. Melvill, a'r llall gan yr anrhydeddus Baptist Noel. Gosodwyd *tablet* hardd o farmor er coffadwriaeth am dano ar fur Eglwys y Drindod, ar draul ychydig gyfeillion a'i parchent ac a'i carent. Y fath oedd ei boblogrwydd, a chymaint y serch a deimlid ato, fel y darfu i'w farwolaeth ddisymwth beri i don o alar gael ei theimlo dros yr holl deyrnas.

Y nesaf o'r offeiriaid Methodistaidd a ddaw dan ein sylw yw y Parch. William Lloyd, Caernarfon. Nid rhyw lawer o'i hanes sydd ar gael, yn arbenig hanes boreu ei oes; byddai ef ei hun i raddau yn annhueddol i son am yr adeg hono ar ei fywyd, oblegyd efallai iddi gael ei threulio mewn oferedd. Ymddengys ei fod yn fab i Mr. Robert Lloyd, Penmaes, ger Nefyn. Yr oedd ei dad yn brif-swyddog y cyllid (*customs*) yn Mhorthdy'nllaen. Ganwyd y bachgen William yn y flwyddyn 1771. Bu yn dysgu sillebu a darllen mewn rhyw ysgol yn Nefyn; yna anfonwyd ef i ysgol ramadegol Botwnog; ac oddiyno cafodd ei anfon i Rydychain. Yr oedd yn ddysgwr gwych; meddai serch cryf at ieitheg; dywedir iddo enill cwbl feistrolaeth ar y Lladin, ac hyd ddiwedd ei oes, llyfrau yn yr iaith hono a ddarllenai yn benaf. Ond yr oedd yn gwbl anystyriol am bethau ysprydol; nid oes hanes i'w gyflwr euog gerbron Duw wasgu arno erioed; ac yn ddifeddwl am y pethau a berthynent i'w heddwch y treuliodd flynyddoedd ei ieuenctyd. Gwnaeth gynydd mawr mewn dysgeidiaeth tra yn Rhydychain, a graddiodd yno, ac yr oedd boneddigion Nefyn a'r cwmpasoedd yn teimlo cryn ddyddordeb ynddo.

Nid oedd anhawsder i ysgolor rhagorol fel efe i gael ei urddo, nac i ddod o hyd i guwradiaeth yn ganlynol. Ni ystyrid duwioldeb yn gymhwysder i'r weinidogaeth yn yr Eglwys Sefydledig y pryd hwnw, onide ni dderbyniasai y llanc William Lloyd hawl i weini mewn pethau sanctaidd; yn hytrach yr oedd ei fod yn ddifeddwl am grefydd, ac yn arbenig ei fod yn elyn i'r Methodistiaid, yn ei ffafr. Yn ychwanegol, yr oedd yn ddyn ieuanc nodedig o brydferth o ran pryd a gwedd; yn siriol ei dymher, yn foneddigedd ei foes, ac yn barod i ymuno mewn unrhyw chwareuaeth. Cafodd ei ordeinio gan Dr. Cleaver, Esgob Bangor, Medi 20, 1801; ac ar y seithfed dydd o'r mis canlynol trwydded-

wyd ef i guwradiaeth Llanfair-yn-neubwll a Llanfihangel, yn Sir Fôn. Ymaflodd yn ei ddyledswyddau gyda yr anystyriaeth a nodweddai offeiriaid Môn ar y pryd. Wedi rhedeg dros y llithiau yn ddifeddwl, a thraddodi rhywfath o bregeth oer, heb ddim i bechaduriaid ynddi, yn y llanau ar y Sul, teimlai ei fod wedi cyflawni yr hyn oedd ddyledus arno, ac ni phryderai oblegyd annuwioldeb a drygfoes ei blwyfolion. Ymddengys ei fod yn ymdroi cryn lawer yn nghymdeithas boneddigion Môn, a'i fod yn uno â hwy yn eu llygredigaethau. Byddai hefyd yn aml yn y palas esgobol, yn Mangor, ac yr oedd yr esgob yn hynod hoff o hono. Addefai Mr. Lloyd ar ol hyn na phetrusai y pryd hwnw am ei anfoniad i'r weinidogaeth; ei fod yn ystyried ei waith yn myned trwy y ffurfiau rhagbaratoadol arferol, a'i urddiad gan esgob, yr edrychai arno fel olynydd yr apostolion, yn ddigon o sail ei fod wedi cael ei osod yn ei swydd gan Ben yr eglwys.

Pa hyd y bu yn y cyflwr anystyriol hwn nis gwyddom i fanylwch, ond y mae yn ffaith iddo gael ei ddeffro o'i gysgadrwydd pechadurus. Ac y mae y dull y deffrowyd ef yn brawf y medr yr Yspryd Glân ddefnyddio pob math o foddion i arwain pechadur i sefyll uwchben ei fater. Yr oedd prif bregethwyr y Methodistiaid yn ymweled a Môn yn fynych, ac yn ysgwyd yr ynys o ben bwy gilydd iddi â nerth eu gweinidogaeth; yr oedd John Elias yn arbenig yn tynu y miloedd i'w ganlyn, ac yn eu llorio â grym ei areithyddiaeth. Eithr nid oedd y pethau hyn yn cyffwrdd â'r Parch. William Lloyd; nid ai efe yn agos i gyfarfodydd y Methodistiaid; buasai yn sarhad ar urddas boneddwr dysgedig fel efe i ymgymysgu â phobl mor gyflawn o benboethni. Ymunai â boneddigion y wlad i'w gwawdio, a diau iddynt fod yn wrthddrychau difyrwch i Mr. Lloyd a'i gymdeithion uwchben eu gwydrau lawer gwaith. Ond gan na ddeuai ef i glywed pregethwyr dynol, defnyddiodd Duw anifail mud i beri iddo glywed.

Dyma yr hanes fel yr arferai ef ei hun ei adrodd. Cafodd fenthyg ceffyl gan un Mr. John Williams, Lledwigan, i fyned i gonffirmasiwn, neu fedydd esgob. Y Sabbath ydoedd, ac yr oedd torf o offeiriaid, a nifer mawr o fawrion y wlad, wedi ymgynull i'r gwasanaeth. Wedi i'r ddefod gael ei gweinyddu, yr oedd ciniaw dda wedi cael ei harlwyo, a bid sicr yr oedd yr offeiriad dysgedig o Lanfair yn mysg y gwahoddedigion a eisteddent wrth y bwrdd. Y fath oedd y swyn a dynai o gyfeddach y gwin, ac o'r gymdeithas lygredig, fel yr aeth yr amser heibio yn ddiarwybod iddo, ac yr oedd yn hwyr y dydd arno yn cyrhaedd adref. Felly gorchymynodd i'r gwas gymeryd y ceffyl i'r cae, a'i gadw yno hyd dranoeth. Rhag ofn ei fod yn anifail barus, aeth y gwas i roddi llyffethair am ei draed; llwyddodd i osod y gadwyn yn sicr am un egwyd, ond cyn iddo allu ei sicrhau wrth yr egwyd arall, rhuthrodd yr anifail i ffwrdd. Wrth ei fod yn rhedeg yn wyllt curid ef gan y gadwyn haiarn, nes ei anafu yn enbyd, a chlwyfwyd ef nes ei wneyd yn ddiddefnydd o hyny allan. Teimlai y Parch. William Lloyd yn ddwfn oblegyd yr anffawd, yn enwedig gan mai ceffyl benthyg ydoedd; ni wyddai pa fodd i'w ddychwelyd i'w berchenog, na pha beth i'w ddweyd wrtho. Nid ydym yn gwybod sut y bu rhwng Mr. Lloyd a Williams, Lledwigan; ond methai yr offeiriad ieuanc ymryddhau, rywsut, oddiwrth yr helynt. Aeth i holi ei hun ai nid oedd rhywbeth yn galw am y brofedigaeth. Cofiodd mai dydd yr Arglwydd ydoedd; mai mewn gloddesta gyda chwmni llygredig dan rith cyflawni gwasanaeth i Dduw y treuliasai y diwrnod; dechreuodd weled pechadurusrwydd ei arferion, ac euogrwydd ei gyflwr, nes y llanwyd ei feddwl â gofid anaele. Crwydrai ar hyd y meusydd fel dyn gwallgof, ac ofnai ddatguddio teimladau ei fynwes i neb. Yr oedd trefn Duw i faddeu ar sail angau'r groes yn gwbl ddyeithr iddo, er y darllenai ei Feibl bob Sul yn yr eglwysydd.

Gwnaeth ei oreu i gyrhaedd tawelwch ar dir y cnawd; elai yn amlach i'r gyfeddach a'r dawnsfeydd; ymroddai yn llwyrach i rysedd ac annuwioldeb; ond troai pob ymgais i geisio diffodd fflamau cydwybod euog yn y dull hwn yn fethiant; yn hytrach enyn yr eirias yn fwy a wnelai. Bob tro yr ymwelai a'i gyfeillion llygredig dychwelai yn fwy dolurus ei feddwl. Er ceisio ysgwyd ymaith ei drallod aeth am dro i Nefyn, ardal ei enedigaeth. Un diwrnod, wedi marchogaeth allan i'r wlad, gwelai wraig yn dyfod i'w gyfarfod. Yn y man adnabu hi, ei bod yn un o hen gyfeillion ei ieuenctyd; daeth i'w gof ei bod yn nodedig am ei digrifwch a'i ffraethineb; a'i fod ef a hithau wedi bod yn cydddawnsio lawer noson. Siriolodd trwyddo wrth ei gweled; credai y cai rywbeth ganddi a yrai ei brudd-der ymaith, a dis-

gynodd oddiar gefn ei geffyl i'w chyfarfod. Eithr wedi iddo ei chyfarch atebai y ddynes ef gyda'r difrifwch a'r gweddeidd-dra mwyaf. Ofnodd Mr. Lloyd ddarfod iddo wneyd camgymeriad, mai nid yr hon a dybiai ydoedd, a gofynodd ei maddeuant. "Na," ebai'r ddynes, "nid ydych wedi camgymeryd; myfi ydyw." "Beth yw y mater, ynte," ebai Mr. Lloyd, "eich bod yn edrych mor sobr? A oes rhai o'ch perthynasau wedi marw?" "Nac oes dim felly," meddai'r wraig; "ond yr wyf wedi gweled fy mod yn bechadures fawr, a'm bod wedi gwrthryfela yn erbyn yr Arglwydd. A rhaid i ni, Mr. Lloyd bach, gael edifeirwch a maddeuant am ein pechodau, ac am ein ffolineb yn myned i'r cymdeithasau llygredig, a'r chwareuon annuwiol, yn nyddiau ein hieuenctyd, onide yn ol y byddwn." Nid oedd gan yr offeiriad air i ateb; trodd ymaith yn siomedig heb gael yr hyn a ddysgwyliai. Yn y modd hyn "chwenychai lenwi ei fol â'r cibau a fwytai'r moch, ac ni roddodd neb iddo." Cyffelybai ei hun yn ganlynol i bysgodyn wedi cael ei drywanu gan dryfer, yn disgyn i'r dyfnder, ac yn esgyn i'r wyneb i geisio ymryddhau oddiwrthi, ond pob ysgogiad yn sicrhau ei gafael yn dynach ynddo ac yn dyfnhau yr archoll, nes yn y diwedd y bu raid iddo ildio a chymeryd ei ddal yn gaeth gan y gallu a'i gorchfygasai.

Penderfynodd ddweyd ei drallod wrth rywun a fedrai gydymdeimlo ag ef, a'i gyfarwyddo i gilfach â glan iddi. Gwyddai mai ofer fuasai iddo geisio arllwys ei ofid i glustiau esgob Bangor, na neb o offeiriaid Môn; eithr adnabyddai hen ŵr tlawd yn ardal Rhoscolyn, yr hwn a berthynai i'r Methodistiaid, ac a gyfrifid yn nodedig o dduwiol. Torodd trwy bob gwrthwynebiadau i gymdeithasu â'r dyn tlawd hwnw, a dyna y moddion a fendithiwyd i'w ddwyn i bwyso ar Grist am iachawdwriaeth. O hyny allan yr oedd William Lloyd yn ddyn newydd. Ni welwyd ef mwyach yn y gwleddoedd a'r dawnsfeydd. Nid ymunodd â ieuenctyd llygredig yr ardal mewn ymryson neidio. Dechreuodd bregethu gyda difrifwch yn yr eglwysydd, a sefydlodd gyfarfodydd gweddi mewn tai anedd. Synai ei hen gyfeillion yn aruthr; teimlent eu bod wedi colli prif addurn eu cyfarfodydd. Buan yr achwynwyd arno wrth yr awdurdodau; ac nid hir y bu cyn cael llythyrau bygythiol oddiwrth yr esgob, yn ei orchymyn i beidio efelychu y Methodistiaid, onide byddai raid cymeryd ei drwydded oddiarno. Anwiredd i'w gospi gan farnwyr y dyddiau hyny oedd bod yn ddifrifol wrth bregethu, ac ymuno â dynion cyffredin i gadw cyfarfod gweddïo; nis gellid goddef y fath beth yn esgobaeth Bangor. I wneyd ei drosedd yn fwy fyth, yr oedd wedi ceisio sefydlu seiadau, yn mha rai y rhoddid cyfle i'r neb a fyddai yn drallodus am ei gyflwr i fynegu ei deimlad.

Yn fuan rhoddodd brawf arbenig o'r difrifwch a lanwai ei yspryd. Cawsai dydd o ympryd cyffredinol ei gyhoeddi oblegyd y rhyfeloedd a anrheithient Ewrob yr adeg hon, ac oblegyd yr ofn cyffredinol a deimlid rhag i Napoleon lwyddo i anfon ei fyddinoedd i Brydain, a darostwng y wlad. Cynaliai y Methodistiaid gyfarfod gweddi yn Nghaergeiliog, am naw yn y boreu, ac yr oedd Mr. Lloyd i wasanaethu yn eglwys Llanfair am un-ar-ddeg. Terfynwyd y cyfarfod yn y capel yn brydlawn, ac aeth y gynulleidfa i'r eglwys yn llu. Erbyn myned yno, y rheithor, dyn tra llygredig ei foes, oedd yn darllen y llithiau a'r gweddïau; a theimlai y gynulleidfa yn siomedig. Yn fuan, modd bynag, daeth Mr. Lloyd i mewn, a golwg wael iawn arno. Wedi i'r person ddarfod darllen, esgynodd y cuwrad i'r pwlpud, a difrifwch yn eistedd ar ei wedd; gafaelodd yn y Beibl, gwrthododd y wenwisg a gynygid iddo, ac anerchodd y gynulleidfa yn y modd a ganlyn: "Wel, gyfeillion, yr ydym wedi ymgynull yma heddyw i ymprydio; ond yr wyf yn credu na fu ein hymprydiau yn y blynyddoedd a aethant heibio ond rhagrith noeth; oblegyd nid oes genym hanes ddarfod i genedl erioed edifarhau yn wirioneddol a pharhau i gyflawni yr un pechodau yn ganlynol, gan gael ei bygwth â'r un barnedigaethau. Yr wyf yn ofni mai cenedl wedi ei rhoddi i fynu i farn yw y Prydeiniaid. Ond pa un bynag am hyny mi a ddarllenaf destun, sydd ag ynddo ddefnydd cysur cryf i bob gwir Gristion, beth bynag a fydd diwedd y pethau hyn: 'Y dydd hwnw y cenir y gân hon yn nhir Judah,' Esaiah xxvi. 1." Edrychai y rheithor yn syn, ac agorai y gynulleidfa ei llygaid; ond yn mlaen yr aeth Mr. Lloyd, a thraddododd bregeth dra effeithiol.

Am ei ymuniad â'r Methodistiaid cymerodd le yn y modd a ganlyn. Yr oedd seiat yn cael ei chynal gan y Methodistiaid yn Nghaergeiliog yn bur foreu dydd gwyl Mihangel; gan mai dydd gwyl ydoedd yr oedd gwasanaeth gan Mr. Lloyd yn eglwys Llanfihangel, ond yn nes yn y blaen yn y

dydd, ac ar ei ffordd i'r eglwys dyma ef yn myned i'r seiat er cynyg ei hun yn aelod. Gwan iawn oedd yr achos yn Nghaergeiliog y pryd hwn, ac ychydig oedd wedi cydymgynull. Synai yn aruthr arnynt oll wrth weled yr offeiriad yn dyfod atynt; synent yn fwy pan glywsant ei fod am ddyfod yn aelod; ac aeth yn ddystawrwydd yn y gymdeithas am enyd. Yn y man anturiodd rhywun ofyn iddo beth oedd ei olygiadau am dano ei hun fel pechadur, a pha fodd yr oedd yn meddwl cyfarfod â'i Farnwr. Atebai yntau yn Ysgrythyrol ei fod yn gwbl druenus ynddo ei hun, ac mai trwy ffydd yn Nghrist yn unig yr oedd yn dysgwyl cael bywyd tragywyddol. Golygfa ddyddorol oedd gweled offeiriad dysgedig, wedi ei ddwyn i fynu yn Rhydychain, yn cael ei holi gerbron ychydig o bobl dlodion, am y pethau a berthynent i'w heddwch. Tueddai pawb i roddi derbyniad iddo. Ond cododd hynafgwr call o'r enw David Lloyd i fynu, a dywedodd fod ganddo ef gwestiwn i'w ofyn. "Mr. Lloyd," ebai, "a ydych chwi yn bwriadu arddel crefydd fel ei harddelir genym ni, yn ei gwaradwydd, a'r croesau sydd yn ei chanlyn, ynte ai taro mewn am dro a wnaethoch?" Atebodd yntau: "Gan fy mod yn credu eich bod yn galw ar enw yr Arglwydd o galon bur, yr wyf yn bwriadu treulio fy oes yn eich plith." Boddlonodd hyn bawb; derbyniwyd yr offeiriad yn aelod o'r seiat, ac anogwyd ef i fyned i'r Cyfarfod Misol. Aeth yntau yn ei flaen yn llawen ei yspryd, wedi bwrw ei goelbren yn mysg pobl Dduw, a gweinyddodd yn yr eglwys yn Llanfihangel.

Cyd-deithiai Thomas Jones, o Amlwch, a Rice Lloyd, Treflysg, ag ef i Gyfarfod Misol Môn, pob un o honynt yn grynedig, am ei fod yn ymddangos yno am y tro cyntaf. Ni hysbyswyd ni pa fath dderbyniad a gafodd W. Lloyd, ond y mae yn sicr fod yn llawen gan y frawdoliaeth ei weled, pe na bai ond am y cymhorth a roddai offeiriad Methodistaidd arall gyda gweinyddiad yr ordinhadau. Yr oedd yn bresenol hefyd yn y Cyfarfod Misol nesaf. Wrth ddychwelyd o hwnw trodd cyfaill ato, gan ddweyd: "Y mae cyfarfod gweddi yn ein cymydogaeth ni heno." Yr oedd y lle tua thair milltir o breswylfa Mr. Lloyd, ac heb fod yn un o'r plwyfau y gwasanaethai ynddynt. "Aie," ebe ef; "mi a ddeuaf iddo, ac a lefaraf ychydig eiriau, os caf ganiatad." Felly y bu, a dyma y bregeth gyntaf iddo mewn adeilad heb ei gysegru. Ar derfyn y cyfarfod aeth dyn ato i ofyn a wnelai roddi ei gyhoeddiad i bregethu yn ei dŷ ef yr wythnos ganlynol, ac addawodd yntau gyda phob parodrwydd. Gwnaed y cyhoeddiad yn hysbys trwy y wlad o gwmpas, a daeth torf liosog yn nghyd fel na chynwysai y tŷ ei haner; heb betruso dim esgynodd Mr. Lloyd i ben y gwrych y tu allan, ac yn y fan hono, ar gwr y ffordd fawr, efe a bregethodd Grist gyda dylanwad mawr. O hyn allan ni pheidiodd efengylu pa le bynag y caffai gyfleustra, a daeth yn bregethwr Methodistaidd llawn blu, gan gymeryd rhan yn arweiniad y seiadau, a mynychu y Cyfarfodydd Misol.

Hawdd deall i hyn greu cyffro dirfawr trwy Fôn, a bod yr Eglwyswyr culion, erlidgar, yn teimlo yn ddwys. Yn fuan cyrhaeddodd y newydd y palas esgobol yn Mangor, a dyma y cuwrad yn cael gwys i ymddangos gerbron ei arglwyddiaeth, i roddi cyfrif o'i oruchwyliaeth. Dywedir fod yr esgob, oedd yn garedig iddo tra yn ddifater am gadwedigaeth eneidiau, yn dra chwerw; condemniai ef fel heretic, am ymuno â'r bobl benboeth a aflonyddent ar heddwch y wlad; ond amddiffynai Mr. Lloyd ei hun gyda medr, a dywedai fod y Methodistiaid lawn mor aiddgar dros erthyglau athrawiaethol yr Eglwys a'i arglwyddiaeth ei hun. Dan wg yr esgob y bu raid iddo ymadael. Fel y darfu i ni sylwi, dyn llygredig o fuchedd, a chwbl ddifater am grefydd oedd y rheithor dan ba un y gwasanaethai Mr. Lloyd; ond meddai deimladau dynol hawddgar, a syniad uchel am anrhydedd, am hyny condemniai yn llym yr achwynwyr a ddug ddrygair am ei guwrad at yr esgob, yn gystal a'r esgob ei hun am ei chwerwder a'i gulni.

Pan yr ymunai Mr. Lloyd a'r Methodistiaid nid yw yn ymddangos ei fod wedi penderfynu troi ei gefn ar yr Eglwys; yr oedd rhai, yn arbenig yn y Dê, yn dal bywioliaethau Eglwysig, ac eto yn Fethodistiaid zelog; o bosibl mai felly y golygai yntau fod. Nid ydym yn deall iddo gael ei droi ymaith o'i guwradiaeth, nac i esgob Bangor gymeryd ei drwydded oddiarno. Am beth amser gwasanaethai yn y Llanau, a llefarai mewn tai anedd o gwmpas fel pregethwr teithiol. Ond cyn hir deallodd mai anmhosibl iddo fyddai parhau y cysylltiad dyblyg; nid oedd awyrgylch y Llan yn dygymod a'i dueddfryd mwyach.

Aeth hefyd i deimlo yn anesmwyth gyda golwg ar amryw bethau yn ei gwasanaeth;

sef y gorfodid ef i fedyddio plant dynion annuwiol cyhoeddus; y rhaid iddo roddi y cymun bendigaid i wŷr a adwaenai fel dynion anllad a meddw, y gwyddai eu bod yn bwyta damnedigaeth iddynt eu hunain wrth dderbyn; ac nas gallai gladdu y dyhiryn mwyaf yn y fro heb ddatgan ar gyhoedd ei fod yn cael ei osod yn y pridd "mewn gwir ddyogel obaith o adgyfodiad i fuchedd dragywyddol." Gwelai fod llawer o Babyddiaeth yn aros yn yr Eglwys, megys arwyddnodi y baban a llun y groes wrth ei fedyddio. Ac ni oddefid iddo fyned y tu allan i derfynau ei blwyfydd i ddweyd wrth ei gydwladwyr am Geidwad pechadur, heb gael ei alw i gyfrif. O herwydd hyn oll penderfynodd ysgwyd ymaith hualau yr Eglwys Wladol yn llwyr.

Gadawodd Mr. Lloyd yr Eglwys tua'r flwyddyn 1807. Wedi taflu ei guwradiaeth i fynu, yr oedd yn rhaid iddo ymorol am foddion cynaliaeth. Erbyn hyn ymsefydlasai brawd iddo fel barcer yn nhref Caernarfon, ac ato yr aeth ar y cychwyn, gan weithio yn y barcerdy, gyda ffedog o'i flaen, yn gwbl ddifalch. Teimlai yr offeiriaid fod y swyddogaeth sanctaidd yn cael ei sarhau trwy y fath ymddygiad. Gwarthus o beth yn eu golwg oedd fod offeiriad urddedig yn gwisgo ffedog ledr. Dywedai un o honynt na thaflodd neb gymaint o anmharch ar y wenwisg ag a wnaeth Mr. Lloyd. Ond yn mlaen yr aeth efe, gan bregethu pa le bynag y caffai alwad ar y Suliau, a thrin y lledr yn y barcerdy ar yr wythnos. Yn mhen rhyw gymaint o amser symudodd o Gaernarfon i Nefyn, at ei fam a'i chwaer, a bu yno am rai blynyddoedd yn edrych ar ol y tipyn tir oedd ganddynt. Caffai yma fwy o hamdden at waith y weinidogaeth, a bu yn hynod ddefnyddiol gyda phregethu a chyfranu. Cawn ef gwedi hyn yn Brynaera, heb fod yn nepell o Glynog, yn cadw ysgol. Yr oedd yn athraw rhagorol, a llwyddodd ei ysgol yn ddirfawr. Yn y flwyddyn 1817 symudodd i Gaernarfon; cadw ysgol a wnelai, a bu ganddo ysgol flodeuog, hyd y flwyddyn 1826, pryd y priododd a Miss Jane Roberts, ac y rhoddes ei ysgol i fynu. Meddai ei wraig gryn gyfoeth; yn ychwanegol yr oedd yn ddynes wir grefyddol, a bu yn gymhorth mawr iddo gyda gwaith yr Arglwydd.

Parodd ei ddyfodiad i Gaernarfon gryn gyffro yn y dref; nid bob dydd y ceid offeiriad wedi cefnu ar yr Eglwys yn pregethu mewn capel Methodistaidd. Dygodd hyn liaws i'w wrando na arferent dywyllu drysau capeli Ymneillduol; ac yn wir, na ddeuent i unrhyw foddion cyhoeddus o ras; eithr wedi iddynt ddechreu, a chael blas, daethant yn wrandawyr cyson, a llawer o honynt yn aelodau ffyddlawn. Y tro cyntaf y pregethodd yno daeth torf mor aruthrol yn nghyd fel nas gallai yr addoldy eu cynwys; ni welid y fath dyrfa y pryd hwnw oddieithr ar adeg Cymdeithasfaoedd; ei destun oedd Rhuf. ii. 5, ac wrth ei fod yn llefaru am drysori digofaint llanwyd meddwl pawb a dychryn. Ymddengys mai ar gopa mynydd Sinai y safai yn mlynyddoedd cyntaf ei weinidogaeth. Manylwch gofynion deddf yr Anfeidrol; cyflwr pechadurus dyn wrth natur; a thrueni yr hwn a fyddai farw yn anedifeiriol; dyma brif faterion ei bregethau. Efallai fod a fynai dwysder ei argyhoeddiad ef ei hun a rhoddi y pwynt hwn i'w bregethu. Ac yn bur fynych caffai gyfarfodydd tra effeithiol. Byddai difrifwch ei yspryd, a phwysigrwydd ei genadwri, yn cydio yn meddwl ei wrandawyr, nes y byddent yn aml yn cael eu llanw â rhyw ddwysder fel o dragywyddoldeb. Eithr yn raddol enillwyd ei feddwl i fyfyrio ar gariad Duw, gogoniant person a swyddau y Cyfryngwr; doethineb a graslonrwydd yr iachawdwriaeth, a'i chwbl gymhwysder ar gyfer y pechadur mwyaf. Newidiodd hyn arddull ei weinidogaeth, ac oddiyma hyd ddiwedd ei oes mab tangnefedd ydoedd yn benaf, a chyhoeddi heddwch i bell ac i agos fyddai ei hoff orchwyl.

Yn ol a glywsom, pregethwr tra anghyfartal ydoedd. Byddai weithiau yn anhwylus ei ddawn, ac yn afrwydd ei draddodiad, a'r gwasanaeth yn flinder iddo ei hun, ac heb lesoli llawer ar eraill. Brydiau eraill llewyrchai yr Arglwydd ar ei yspryd; esgynai i uchelfanau y maes; dylifai ei eiriau gyda nerth o'i enau nes gorchfygu pawb. Y prif reswm am yr odfaeon marwaidd a gaffai oedd ei ddiffyg ymddiried ynddo ei hun. Darllenai lawer ar y Tadau Lladinaidd; dygasid ef i raddau mawr yn gaeth ganddynt, nes yr ofnai ddweyd dim yn y pwlpud nad oedd wedi weled yn eu gwaith hwy. Prin yr ymgymerai efe â'r cyfrifoldeb o roddi mynegiant i unrhyw olygiad heb gael sail amlwg iddo yn ysgrifeniadau yr hen dduwinyddion a gyfrifid yn iach yn y ffydd. Byddai yn aml felly mewn hualau trymion; cuddid ei ddawn naturiol gan ddigalondid; a byddai y bregeth a'r traddodiad o honi

yn mhell islaw iddo ef ei hun. Bryd arall, modd bynag, tywynai llewyrch ar ei feddwl a barai iddo anghofio y tadau a'r duwinyddion; chwythai yr awel yn gryf arno; lledai yntau ei hwyliau yn ogoneddus i'r gwynt; a byddai ei ddawn naturiol yn cael cyflawn chwareu teg. Cafodd lawer odfa effeithiol, a diau i'w weinidogaeth fod yn foddion achubiaeth i ddegau.

Ei hoff faes oedd yr Epistol at yr Ephesiaid. Yma yn benaf y myfyriai, ar ryw gyfran o hono yn gyffredin y pregethai; a rhyw ymadrodd o'r epistol hwn fyddai pwnc ei ymddiddan yn y seiat breifat. Pan yn rhydd o'r llyffetheiriau a'u rhwyment byddai yn aml wrth bregethu yn holi ac yn ateb; holai Paul am y prynedigaeth sydd yn Nghrist, ac am yr iachawdwriaeth yn tarddu o ras; yna byddai Paul yn ateb, ac yn egluro, ac yn gogoneddu y drefn, nes y byddai y gwrandawyr wrth eu bodd. Ond yr oedd yn fwy o weddïwr nag o bregethwr. Byddai rhyw ymdrech yn ei weddi yn wastad; adgofiai y gynulleidfa o Jacob yn ymdrechu â'r angel, ac yn gwrthod gollwng onis bendithid ef. Teimlid weithiau ei fod yn dynesu mor agos at y Presenoldeb dwyfol, fel ag i allu llefaru wrth Dduw mor naturiol a chyfeillgar a gŵr wrth ei gyfaill. Yr oedd ei dduwioldeb yn ddiarebol. Arferid ei alw gan ei gyfeillion yn "Mr. Lloyd dduwiol a diniwed."

Blinwyd ef yn fawr yn niwedd ei oes gan rywrai yn ymdrechu ei berswadio i ddychwelyd i'r Eglwys Wladol. Ar un llaw ceisient ei ddychrynu trwy ei alw yn wrthgiliwr; ar y llaw arall addawent iddo gyflog dda, a lle esmwyth. Yn mhellach, dywedent bob drygair am y bobl yr oedd wedi bwrw ei goelbren yn eu mysg, gan eu galw yn dlodion, yn anwybodus, yn anfoneddigaidd, a chan gyfenwi eu gweinidogion yn wŷr y cotiau gleision. Effeithiai hyn yn ddirfawr ar ei feddwl, yn enwedig gan fod ei iechyd yn prysur ddadfeilio. Meddai, dan wylo, ar ei wely angau: "Rhedeg ar y bobl oreu genyf yn y byd, y rhai y mae Duw yn amlwg yn eu mysg. Os tlodion, maent yn dduwiol; os annysgedig, mae wyneb yr Arglwydd gyda hwynt; os cotiau gleision, hwy y mae yr Arglwydd wedi ddefnyddio fwyaf i arloesi y tir. I fynu yr aiff achos Crist; ac i fynu yr aiff ei achos gyda'r Methodistiaid Calfinaidd hefyd."

Dechreuodd ei natur adfeilio tua blwyddyn a haner cyn ei farwolaeth. Gwanhaodd yn raddol nes yr aeth yn analluog i fyned at ei gyhoeddiadau, ac yna yn rhy wan ei natur i bregethu gartref. Eithr pregethodd yn Nghaernarfon tua thair wythnos cyn ei ymadawiad. Bu am beth amser yn methu syrthio ar destun; dywedai wrth ei wraig ei fod am lefaru ar y geiriau: "Os ydym ni heb gredu, eto y mae efe yn aros yn ffyddlawn." Ond yn mhen ychydig dewisodd destun arall: "Fy mhlant bychain, y pethau hyn yr wyf yn eu hysgrifenu atoch, fel na phechoch." Ac fel rheswm dros y newidiad dywedai: "Yr oedd arnaf ofn cyfeiliorni wrth lefaru oddiar yr adnod o'r blaen, ond yr wyf yn sicr na fethaf wrth anog y bobl i beidio pechu.' Dyma ei destun olaf; nid yw yn ymddangos iddo allu gadael ei dŷ wedi hyn. Trwy yr oll o'i gystudd dangosai amynedd mawr; nid ofnai dragywyddoldeb o gwbl, oblegyd gwyddai fod Duw ag yntau mewn heddwch, ond bu am beth amser mewn dychryn rhag loesion marwolaeth. Gwelodd yr Arglwydd yn dda yn hyn ei waredu rhag ofn drwg. Yr wythnos olaf y bu byw ceisiai gyfansoddi pregeth ar gyfiawnhad a sancteiddhad; yn ei eiddilwch methai gofio ei destun; ond dywedai ei fod yn dechreu gydag "Am hyny." "Ai yr adnod hon ydyw?" gofynai ei wraig: "Am hyny, gan ein bod wedi ein cyfiawnhau trwy ffydd, y mae genym heddwch tuag at Dduw." "Ië, dyna yr adnod," meddai. Yna dechreuodd bregethu ar ei gefn yn y gwely. "Dau fater sydd yn y bregeth heddyw, sef cyfiawnhad a sancteiddhad. Y mae cyfiawnhad yn weithred unwaith am byth, a sancteiddhad yn waith yn cael ei ddwyn yn mlaen yn raddol. Mae cyfiawnhad wedi pasio arnaf fi am dragywyddoldeb; mae sancteiddhad heb ei gwblhau arnaf eto; bydd wedi ei orphen yn mhen diwrnod neu ddau, ac yna af finau i ffordd yr holl ddaear." Wrth sylwi ar y rhan olaf o'r adnod, "trwy ein Harglwydd Iesu Grist," methai fyned yn ei flaen gan orfoledd; eithr dyrchai ei lais mewn moliant a chân, a churai ei ddwylaw yn nghyd.

Aeth ychydig gyfeillion i ymweled ag ef y dydd Mawrth cyn ei farw. Cawsant ef ar uchelfanau y maes; ac adroddai iddynt yn dra thoddedig ac effeithiol y fuddugoliaeth ddiweddar a enillasai ar Satan. "Bu Satan yn fy nghuro yn drwm y dyddiau o'r blaen, gan haeru fy mod yn rhagrithiwr, ac na thalai fy nghrefydd ddim. Yr oedd Jane, fy ngwraig, yn taeru â mi mai Satan oedd yn dweyd, ac na ddylwn ei goelio, gan nad oedd ond tad y celwydd.

Ond yr oeddwn ninau, ysywaeth, yn coelio Satan o flaen fy ngwraig. Erbyn heddyw yr wyf yn gweled mai Jane oedd yn dweyd y gwir. Yr oedd hi yn dweyd wrthyf y pryd hwnw fod genyf grefydd iawn. Nid oeddwn yn ei choelio, ond mi welaf yn awr ei bod yn gywir. Y mae genyf wir grefydd; y mae gwreiddyn y mater ynof." Yna torodd allan i orfoleddu, fel y teimlai y brodyr eu bod wrth borth y nef. Y gair olaf a ddywedodd cyn cau ei lygaid yn yr angau oedd: "Y mae yn dawel iawn oddimewn." Tonau yr Iorddonen a ymchwyddent ac a lifeirient drosto; daear a giliai, a thragywyddoldeb a ymagorai i'w dderbyn. Trwy niwl y glyn caffai gipolwg ar y Barnwr a'i lyfr agored; ond yr oll a ddywedai y Cristion yn y meddiant o'r tangnefedd sydd uwchlaw pob deall oedd: "Y mae yn dawel iawn oddimewn." Gan gyfeirio at hyn dywedai y Parch. David Jones, Caernarfon: "Rhaid ei fod yn teimlo ei gydwybod o dan waed y taenelliad, ac yn canfod yr un gwaed wedi gwneuthur hanes ei fywyd ar lyfr y Barnwr yn annarllenadwy byth. Yr oeddwn yn dychymygu y fynyd hono fy mod yn ei weled fel llong o dan lawn hwyliau, o flaen awel deg, yn myned i mewn i'r porthladd dymunol yr ochr draw, gan syllu ar filoedd o seintiau ac angylion oeddynt yn sefyll ar y *pier-head* yn dysgwyl am ei ddyfodiad atynt; a'i fod yntau yn cyfodi ei faner i fynu i wyddfod daearolion, ac yn argraffedig arni mewn llythyrenau amlwg: "*Mae yn dawel iawn oddimewn.*"

Bu farw Ebrill 16, 1741, pan yn driugain-a-deg mlwydd oed. Y dydd Mawrth canlynol hebryngwyd ei gorph i fynwent Llanbeblig, lle y gorphwys mewn gobaith hyd foreu caniad yr udgorn. Daeth torf liosog yn nghyd, ac yn nghanol arwyddion helaeth o alar y rhoddwyd ei ran farwol i orwedd yn y ddaear. Y noson hono traddodwyd pregeth angladdol gan y Parch. John Jones, Talsarn, oddiar Heb. xiii. 7, 8.

Yr olaf o'r offeiriaid ddarfu lynu wrth y Methodistiaid a ddaw dan ein sylw yw y Parch. Simon Lloyd, B.A., Bala. Yr ydym yn barod wedi adrodd hanes boneddwr o'r Bala, sef Mr. Simon Lloyd, Plasyndref, yn ymweled â Howell Harris yn Nhrefecca, ac yn syrthio mewn serch at yr eneth landeg a ddaeth i agor y drws iddo, sef Miss Sarah Bowen, o'r Tyddyn, fel na orphwysodd nes ei chael yn gymhares bywyd. Mab hynaf y ddeuddyn hyn oedd y Parch. Simon Lloyd, B.A. Cafodd ei eni yn y Bala yn y flwyddyn 1756. Y mae cymeriad ei reini yn brawf digonol iddo gael meithriniad crefyddol, yn gystal a phob mantais addysgol. Yn ol pob hanes, yr oedd yn blentyn difrifol, a gadawodd ei ddygiad i fynu yn mysg y Methodistiaid argraff ar ei feddwl na fedrodd dim ei ddileu. Pan yn llanc, anfonwyd ef i ysgol ramadegol yn Bath; ymddengys fod amryw o Gymry yno yr un pryd; ac arferai y llanciau gynal cyfarfod gweddi Cymraeg yn ystafell un o honynt. Weithiau, byddent yn cael hwyl, nes tori allan i folianu; ac adroddir am un tro arbenig, pan y darfu i'r meistr, ar ol clywed cryn ystwr, fyned i mewn; a pheth a welai ond Simon Lloyd a'i gymdeithion yn llawn cyffro, ac yn neidio fel iyrchod. O Bath anfonwyd ef i Rydychain; yr oedd ef a Mr. Charles yno yr un pryd, ac fel cyfaill i Mr. Lloyd yr ymwelodd y Parch. Thomas Charles a'r Bala gyntaf. Cadwodd Simon Lloyd ei grefydd yn Rydychain; daeth o hyd i ddynion ieuainc o'r un dueddfryd ag ef ei hun; ac yn lle gwastraffu eu horiau hamddenol mewn oferedd, fel y gwnelai y rhan fwyaf o'r efrydwyr, cynhalient gyfarfodydd i weddïo ac i efrydu yr Ysgrythyrau. Cyn ymadael o'r Brifysgol, graddiodd yn B.A.

Cafodd Mr. Lloyd ei urddo yn ddiacon tua'r flwyddyn 1779, gan Esgob Caerloyw a Bryste, a rywle yn nghymydogaeth dinas Bryste yr oedd ei guwradiaeth gyntaf. Bu yma am tua thair blynedd, a derbyniodd ei lawn urddau fel offeiriad. Ond yr oedd ei galon yn hiraethu am Gymru; yr oedd ei dad hefyd erbyn hyn wedi croesi yr Iorddonen, a'i fam wedi cael eu gadael yn weddw, ac yn unig, fel y penderfynodd efe ddychwelyd i'r Bala, a gwneyd ei gartref yn Plasyndref, preswylfod ei hynafiaid. Bu am lawn ugain mlynedd gwedi ei ddychweliad mewn cysylltiad â'r Eglwys Sefydledig, ac yn gwasanaethu fel cuwrad mewn gwahanol leoedd. Cawn iddo fod yn gwasanaethu yn y cymeriad hwn yn Llandegla, Bryneglwys, Llangwm, Llanycil, a Cherig-y-druidion. Diau mai bychan oedd y gyflog a gaffai; ond nid arian a'i cymhellai i lynu wrth y weinidogaeth, oblegyd meddai ddigon o gyfoeth i fyw yn annibynol; eithr yr oedd ei yspryd yn llawn awydd am lesoli ei gyd-ddynion. Yn ol pob tebyg, byr fu ei arosiad yn mhob un o'r lleoedd a nodwyd; yr oedd ei ddifrifwch, ei ffyddlondeb i'r hyn a ystyriai yn waith

ei swydd, ei ymdrechion gyda chateceisio ieuenctyd yr ardaloedd, ac yn neillduol ei waith yn ymgyfathrachu â'r Methodistiaid, yn rhwystrau anorfod ar ei ffordd i barhau. Gwrandawai ar gynghorwyr a phregethwyr y Methodistiaid; elai i'w capelau, a thrwy hyn rhoddai dramgwydd dirfawr i'r clerigwyr. Nis gellid goddef dyn o'r fath fel cuwrad, hyd yn nod pe y gwasanaethai am ddim; buan yr achwynid arno wrth y rheithor, a phrysurai hwnw i roddi iddo rybudd i ymadael.

Am ymadawiad Mr. Lloyd â'r Eglwys Sefydledig, rhydd *Methodistiaeth Cymru* yr hanes canlynol: "Yr oedd Mr. Lloyd yn guwrad yn Bryneglwys yn Ial, yn Sir Ddinbych, a chan nad oedd yn byw yn mhell o'r Bala, aeth Mr. Charles i ymweled âg ef, yr hwn erbyn hyn oedd wedi gadael yr Eglwys, ac wedi ymuno â'r Methodistiaid. Gan fod Mr. Charles, fel yntau, wedi derbyn urddau Eglwysig, ceisiai Mr. Lloyd ganddo weinyddu yn y llan y diwrnod hwnw, canys gwyddai fod offeiriaid yn y Deheudir, ar ol ymuno â'r Methodistiaid, yn arfer pregethu yn awr ac eilwaith yn y llanau. Cydsyniodd Mr. Charles a'r cais, a phregethodd y Sabbath hwnw yn eglwys y plwyf. Am fod Mr. Lloyd yn ymarweddu yn fwy bucheddol, ac yn pregethu yn fwy efengylaidd a diderbyn-wyneb na'i ragflaenoriaid yn Bryneglwys, ac nag y gwnelai offeiriaid y dyddiau hyny yn gyffredin, yr oedd llawer o'i blwyfolion yn teimlo braidd yn anniddig eisioes; a darfu i'w waith yn caniatau i Mr. Charles weinyddu yn yr eglwys roddi mantais iddynt i ddangos eu gwrthwynebiad. Yr oedd yn dygwydd hefyd fod y rhai mwyaf eu cyfoeth a'u dylanwad oedd yn byw yn yr ardal yn mysg yr anfoddogion hyn; yr oeddynt yn cashau pob peth oedd yn debyg o effeithio diwygiad. Penderfynodd y gwŷr hyn nad oedd y cuwrad ieuanc i gael ei ffordd ei hun yn y cyfeiriad yr oedd yn cychwyn ynddo; ac erbyn y Sabbath dilynol, er ei fawr syndod, yr oedd drws yr eglwys wedi ei gloi; ac er iddo daer erfyn, nis gadawyd iddo fyned i mewn. Gan nas gallai fyned i mewn, penderfynodd yntau bregethu y boreu hwnw yn y fynwent; ond, ar ol iddo ddechreu y gwasanaeth, daeth cyfaill ato i ddeisyf arno ymatal, gan fod nifer o ddynion yn bwriadu ymosod arno, a'i faeddu. Gweithredodd yntau ar y cynghor hwn, ac ymgiliodd; a'r pryd hwnw efe a adawodd yr Eglwys yn yr hon yr urddwyd ef yn weinidog."

Nid yw yr adroddiad uchod o eiddo y Parch. John Hughes ond yn rhanol gywir; cynwysa amryw gamgymeriadau o bwys. Nid oedd Mr. Charles wedi gadael yr Eglwys pan y gweinyddodd yn lle Mr. Lloyd yn Bryneglwys; yr achlysur iddo gymeryd lle ei gyfaill oedd gwaeledd iechyd Mr. Lloyd; ac ymddengys iddo wasanaethu yno am beth amser. Nid Mr. Lloyd ychwaith gafodd ei rwystro i fyned i'r eglwys mewn canlyniad, eithr Mr. Charles ei hun. Fel hyn yr ysgrifena efe: "Y Sul diweddaf daeth yr holl blwyf (plwyf Bryneglwys) ataf, yn cael eu blaenori gan ddau neu dri o'r trigolion penaf, gan fy nghyfarch mewn dull garwach na dim a arferwyd ataf yn flaenorol. Rhoisant i mi orchymyn caeth na phregethwn mwyach yn eu heglwys, 'canys,' meddent, 'yr ydych wedi melldithio digon arnom yn barod.'" Nid gwir ychwaith ddarfod i Mr. Lloyd, y pryd hwn, droi ei gefn ar yr Eglwys Sefydledig; bu mewn cysylltiad â'r Eglwys am o leiaf bymtheg mlynedd yn mhellach, sef hyd tua chanol y flwyddyn 1802. Ond y mae yn ddigon tebyg ddarfod i'w waith yn anfon Mr. Charles i gymeryd ei le fod yn achos iddo golli ei guwradiaeth.

Ceir adroddiad gwahanol yn y *Dictionary of Eminent Welshmen*. Yno, dywedir ddarfod i Syr Watkin W. Wynn ei benodi i guwradiaeth barhaol Llanuwchllyn; ond i Dr. Horsley, Esgob Llanelwy, wrthod cadarnhau y penodiad; felly iddo orfod troi ei gefn ar y lle, ac iddo yn bur fuan ymuno â'r Methodistiaid. Yr ydym, trwy ddirfawr drafferth, wedi llwyddo i ddod o hyd i'r gwir ffeithiau. Tua chanol y flwyddyn 1800, daeth bywioliaeth Llanuwchllyn yn wag trwy farwolaeth yr offeiriad a weinyddai yno. Yr oedd y plwyf erbyn hyn, cydrhwng yr Annibynwyr a'r Methodistiaid, wedi ei enill yn bur llwyr i wrando yr efengyl; a mawr awyddai y plwyfolion am gael offeiriad efengylaidd i'r fywioliaeth. Y noddwr oedd Syr Watkin Williams Wynn, a gwnaeth wardeniaid yr eglwys gais ato yn enw a thros y plwyfolion, yn erfyn ar iddo benodi y Parch. Simon Lloyd, B.A., i'r swydd wag. Oblegyd rhyw resymau anhysbys i ni, oedodd Syr Watkin wneyd y penodiad; eithr cydunodd fod Mr. Lloyd i gael gweinyddu yno hyd nes y caffai efe

hamdden i feddwl am ŵr cymhwys. Bu y fywioliaeth yn wag felly am agos i ddwy flynedd, a Mr. Lloyd yn gweinyddu yno, er mawr foddlonrwydd i breswylwyr y plwyf. Pa lwyddiant a fu ar ei lafur, nis gwyddom; nid oedd yn bregethwr poblogaidd, nac yn helaeth ei ddawn, ond yr oedd ei olygiadau yn efengylaidd, ac ni phetrusai ddweyd y gwir. Wedi hir ddysgwyl, dyma lythyr iddo oddiwrth Syr Watkin yn ei gyflwyno yn ffurfiol i guwradiaeth barhaol Llanuwchllyn. Nid oedd dim yn eisiau bellach ond cael cadarnhad Esgob Llanelwy i'r apwyntiad. Yn lle ei roddi, yr hyn a wnaeth yr Esgob Horsley oedd gwysio Mr. Lloyd i Lanelwy, i ateb am ei gamymddygiadau. Wedi myned i'r palas esgobol, gwelai fod ei arglwyddiaeth mewn tymher ffyrnig. "Ai nid ydych chwi," ebai'r Esgob, "yn arfer mynychu capelau y Sismaticiaid?" Atebai Mr. Lloyd yn fwyn mai Methodistiaid oedd ei rieni, mai gyda'r bobl hyny y cawsai yntau ei ddwyn i fynu o'i febyd; ei fod yn credu ddarfod i'r Arglwydd eu harddel i wneyd daioni dirfawr yn Nghymru, ac felly yr arferai fyned i'w gwrando trwy ei oes, ond na wnaethai hyny yn ddiweddar fel ag i beidio tramgwyddo y clerigwyr. Holai yr Esgob yn nesaf, ai nid oedd ei wraig a'i blant yn myned i wrando Thomas Charles, gŵr oedd wedi cefnu ar Eglwys ei dadau, ac wedi ymuno â'r hereticiaid. Atebai Mr. Lloyd fod ei deulu yn arfer gwrando ar Mr. Charles. Ar hyn, collodd yr Esgob bob rheolaeth arno ei hun; fflachiai ei lygaid mewn llid, a bloeddiai: "Beth! Y chwi, mewn urddau sanctaidd, ac yn goddef i'ch plant fyned i wrando y penboethiaid! Nid ydych amgen penboethyn eich hun!" Ceisiai Mr. Lloyd amddiffyn ei hun trwy ddweyd fod cryn ffordd i Lanycil, yr eglwys agosaf, a'i fod yn anmhosibl i'r plant fyned yno ar dywydd ystormus. "Paham na chadwch hwy gartref," ebai ei arglwyddiaeth, "gan roddi y catecism iddynt i'w ddysgu, yn lle eu goddef i fyned i dŷ cwrdd y Sismaticiaid?" Cwestiwn olaf yr Esgob ydoedd gyda golwg ar ordeiniad, o ba le yr oedd wedi tarddu. Atebai yntau ei fod wedi dyfod yn mlaenaf oll oddiwrth Grist, yr hwn a'i hymddiriedodd yn ganlynol i'w eglwys; ei fod ef (Mr. Lloyd) yn ffafriol i ordeiniad esgobol, ond ei fod yn credu y meddai cyfundebau crefyddol eraill weinidogion awdurdodedig a theilwng. Ni wrandawai ei arglwyddiaeth ychwaneg; gorchymynodd i Mr. Lloyd fyned i'r ystafell nesaf. Yn fuan, galwyd arno i ddychwelyd, a dywedodd yr Esgob ei fod wedi penderfynu na wnai ar unrhyw gyfrif gadarnhau ei apwyntiad i fywioliaeth Llanuwchllyn, ac yn mhellach, y rhaid iddo roddi ei drwydded i fynu, fel nas gallai wasanaethu mwyach mewn unrhyw eglwys o fewn cylch esgobaeth Llanelwy.

Prawf yr helynt mai dyn tymherog, cul ei olygiadau, a llawn o ragfarn, oedd yr Esgob Horsley; coleddai gasineb llawer cryfach at y Methodistiaid nag at y diafol; ac nis gallai oddef zêl a difrifwch yn ei glerigwyr yn nghyflawniad dyledswyddau eu swydd. Bai mawr y Parch. Simon Lloyd oedd myned i wrando pregethwyr y Methodistiaid, a goddef i'w wraig a'i blant yn y Bala fyned i'r capel lle y gweinyddai Mr. Charles. Nid yw yn ymddangos i'r gwrthodiad effeithio llawer ar Mr. Lloyd. Meddai fodd i fyw yn gysurus heb ddiolch i Esgob Llanelwy. Ac y mae yn amlwg mai gyda y Methodistiaid yr oedd ei galon er ys blynyddoedd; hwy oedd pobl ei dad a'i fam; ac wrthynt hwy y teimlai yntau ymlyniad, er ei fod wedi cael ei ddwyn i fynu i'r offeiriadaeth. O'r flwyddyn 1802 hyd ddydd ei farwolaeth, gyda hwy y bu yn llafurio. Nid oedd, fel y darfu i ni sylwi, yn feddianol ar ddoniau dysglaer; nis gallai gyffroi torf ar faes y Gymanfa, na thoddi cynulleidfa i ddagrau wrth bregethu mewn capel; ond bu ei weinidogaeth yn nodedig o fuddiol; ac yn arbenig bu o wasanaeth dirfawr gyda chyfranu, cyn i'r Cyfundeb ordeinio gweinidogion i weinyddu y sacramentau. Teithiodd lawer gyda'r efengyl; ac er ei fod yn ŵr dysgedig, wedi cael dygiad da i fynu, yn meddu golud y byd hwn mewn helaethrwydd, byddai yn hollol gartrefol yn y tai tlodion lle y croesawid gweinidogion y Methodistiaid yn fynych.

Bu yn efrydydd caled trwy ystod ei oes; hoffai wybodaeth, a theimlai ddyddordeb dwfn mewn ymchwiliadau Beiblaidd. Ysgrifenodd amryw lyfrau da, ond y penaf o honynt oll oedd ei *Amseryddiaeth Ysgrythyrol*. Dywedir iddo dreulio deng-mlynedd-ar-hugain mewn llafur gyda y llyfr hwn, ac y mae yn un o'r ychydig lyfrau a adawsant argraff ddofn ar Gymru. Ysgrifenodd hefyd *Esboniad ar Lyfr y Datguddiad;* ac am ddwy flynedd gwedi marw Mr. Charles, efe a olygai y *Drysorfa*. Bu mewn gwendid a nychdod am gryn amser,

cyn iddo gael ei alw oddiwrth ei waith at ei wobr, yr hyn a gymerodd le Tachwedd 6, 1836, ac efe yn bedwar-ugain mlwydd oed. Claddwyd ef yn meddrod y teulu yn Llanycil, ac yno, gerllaw dyfroedd tawel llyn Tegid, y gorphwys ei weddillion marwol mewn gobaith.

Dyn boneddigaidd o foes ydoedd y Parch. Simon Lloyd, ac un o'r rhai mwyaf llariaidd a gostyngedig a droediodd ddaear. Ni chymerai ran mewn dadleuon; nid oes hanes am dano yn ymryson â neb, ar unrhyw fater, ac eto, meddai olygiadau clir am wirioneddau mawrion yr efengyl, a medrai eu hamddiffyn yn fedrus, os byddai galw am hyny. Yr oedd yn gwbl bleidiol i'r Neillduad; credwn iddo ddatgan ei farn fel yn ffafriol i'r cam yma yn flaenorol i Mr. Charles. Cawn ef yn y seiat fawr yn Liverpool, Sulgwyn, 1811, yn uno gyda Mr. Charles i ofyn am i'r ordeiniad agoshaol fod yn destun gweddi ddifrifol ar ran yr holl eglwysi. Cafodd barch mawr gan y Methodistiaid; yr oedd ei hawddgarwch, ei ddwfn ostyngeiddrwydd, ei barodrwydd i ymgymeryd âg unrhyw orchwyl y caffai ei alw ato, yn nghyd a'i dduwioldeb diamheuol, yn mwy na gwneyd i fynu am absenoldeb talent bregethwrol ddysglaer ynddo. Bu fyw yn serch ei frodyr, ac yr oedd mawr alar am dano pan fu farw.

Cyn gadael yr offeiriaid Methodistaidd ddarfu lynu wrth y Cyfundeb adeg y Neillduad, rhaid i ni geisio ateb un cwestiwn sydd wedi cael ei ofyn i ni droiau, sef, a oedd yr offeiriaid hyn, wedi gadael yr Eglwys Sefydledig, yn defnyddio y Llyfr Gweddi Cyffredin yn y gwasanaeth cyhoeddus? Y mae rhai yn tybio eu bod, yn enwedig gan y darllenwn am Mr. Charles yn darllen y gwasanaeth o flaen y Parch. John Williams, Pantycelyn, yn Nghaer. Ond dylid cofio mai yn yr addoldy perthynol i'r Parch. Philip Oliver y cynhelid y cyfarfod. Offeiriad oedd Mr. Oliver er ei fod wedi gadael yr Eglwys; defnyddiai ef y Llyfr Gweddi tra y bu byw, ac y mae genym sail i gredu yr arferid ei ddarllen yn y gwahanol gapelau a berthynent iddo am ryw gymaint o amser gwedi ei farw. Ond y mae genym y seiliau cadarnaf dros ddatgan na ddefnyddid y Llyfr Gweddi gan yr offeiriaid Methodistaidd, oddigerth pan yn gweinyddu yn y llan. Pan yr ai Jones, Llangan, Griffiths, Nefern, ac eraill o'r offeiriaid ddarfu aros yn nghymundeb yr Eglwys tra y buont byw, ar daith, fel rheol byddai rhyw gynghorwr yn cyddeithio â hwy fel cyfaill; y cynghorwr hwnw fyddai yn myned trwy ranau arweiniol y cyfarfod, ac efallai yn pregethu ychydig yn fyr yn mlaenaf; yna, byddai yr offeiriad yn canlyn, wedi cael y gynulleidfa yn barod mewn ansawdd hwylus. Nid oedd lle i'r Llyfr Gweddi mewn cyfarfod felly. Am Daniel Rowland, yn Llangeitho, fel yn mhob man arall gwedi iddo gael ei droi allan o'r Eglwys, ni fyddai un amser yn dechreu y cyfarfod ei hun; rhyw gynghorwr nodedig am ei ddawn gweddi a wnelai hyny yn ddieithriad; a byddai hwnw gwedi terfynu cyn y deuai Mr. Rowland i mewn i'r capel. Deuai efe i mewn trwy y "drws bach" oedd y tu ol i'r pwlpud mor sydyn ag yspryd; pregethai fel angel o'r nefoedd, nes codi y gynulleidfa i hwyl orfoleddus; yna, ciliai allan mor ddisymwth ag y daethai i mewn, gan adael y bobl yn canu ac yn gorfoleddu. Yn awr, ni oddefid i gynghorwr ddarllen y Llyfr Gweddi; ni fyddai ei ddarllen ychwaith yn debyg o fod y parotoad ar gyfer y bregeth a hoffai Rowland; ac y mae yn gwbl sicr na ddefnyddid ef o gwbl. Y rheol oedd, pan fyddai yr offeiriaid yn gwasanaethu mewn adeilad wedi derbyn cysegriad esgobol, defnyddient y Llyfr Gweddi; ond pan y pregethent mewn capel heb ei gysegru, neu ar y maes, ni fyddai y Llyfr yn cael ei arfer.



# PENOD XXXVII.

——:o:——

## YR OFFEIRIAID DDARFU GEFNU.

*Pwy a feddylir wrth yr Offeiriaid Methodistaidd—Coffadwriaeth y rhai ddarfu gefnu wedi cael ei esgeuluso—Nathaniel Rowland yn cael ei ddwyn i fynu i'r offeiriadaeth—Ei enwogrwydd mewn dysgeidiaeth ac mewn dawn—Ei yspryd trahaus a thra-arglwyddaidd—Helynt y capelau yn Hwlffordd—Nathaniel Rowland yn cael ei ddiarddel oddiwrth y Methodistiaid—Teulu y Parch. David Griffiths, Nefern—Yn cael ei ddwyn at grefydd yn ieuanc—Yn priodi Miss Bowen, Llwyngwair—Yn cael ei urddo yn offeiriad—Yn ymwasgu at y Methodistiaid, ac yn pregethu mewn lleoedd annghysegredig—Ei wroldeb—Boneddigeiddrwydd ei ymddangosiad—Yn bregethwr nodedig—Desgrifiad o hono fel pregethwr—Elfenau eraill yn amlwg yn ei gymeriad—Yn blaenori yn yr ymdrech yn erbyn y Neillduad—Ei fywyd gwedi ei ymadawiad a'r Methodistiaid—Cyfarfod weithiau a'i frodyr gynt—Ei farwolaeth—Y Parch. William Jones, Llandudoch—Y Parch. D. Davies, Cynwil—Offeiriaid eraill y dywedir iddynt gefnu ar y Methodistiaid.*

EFALLAI mai priodol fyddai i ni ddeffinio pwy a olygwn wrth yr offeiriaid Methodistaidd. Ar y cychwyn, fel Methodist y cyfrifid pob offeiriad os byddai ei rodiad yn addas, a'i athrawiaeth yn efengylaidd, ac os byddai yn rhybuddio ei blwyfolion gyda dwysder i ffoi rhag y llid a fydd. Erbyn y Neillduad, yr oedd y diwygiad Methodistaidd wedi lefeinio yr Eglwys Wladol i raddau, fel yr oedd cryn nifer o offeiriaid yn ngwahanol barthau y wlad yn pregethu yn rymus, yn oleu, ac yn effeithiol, a'r bobl gyffredin yn tyru i'w gwrando. Eithr y rhai a ddynodir fel "offeiriaid Methodistaidd" yw yr offeiriaid hyny, yn ychwanegol at bregethu yr athrawiaethau efengylaidd, a efelychent y Methodistiaid yn eu dull o ddwyn yn mlaen y gwasanaeth crefyddol, gan gynhal cyfarfodydd gweddïo, a seiadau profiad, ac arfer dysgyblaeth; ac yn mhellach, a ymunent yn ffurfiol â'r Methodistiaid i gario gwaith y diwygiad yn mlaen, trwy bresenoli eu hunain yn y Cyfarfodydd Misol a'r Cymdeithasfaoedd, a chymeryd rhan yn yr ymdriniaeth breifat. Am rai o honynt, buont yn deithwyr mawrion, ac yn pregethu yn y Gogledd a'r Dê, pa le bynag y caent ddrws agored. Am eraill, ychydig a deithiasant; ni feddent y cymhwysderau gofynol at hyny; teimlent hefyd, efallai, annhueddrwydd i bregethu mewn lleoedd annghysegredig; ond yr oeddynt yn cefnogi pregethu y lleygwyr, ac yn cydymuno yn yr ysgogiad cyffredinol i efengyleiddio y wlad. A'r offeiriaid hyn, ddarfu aros yn yr Eglwys pan y penderfynodd y Methodistiaid neillduo pregethwyr o'u mysg eu hunain i gyflawn waith y weinidogaeth, y mae a fynom yn bresenol.

Drwg genym i ni, er pob ymchwil, fethu cael llawer o'u hanes; enwau amryw o honynt yn unig sydd wedi cyrhaedd i lawr hyd atom ni. Pa fodd eu hargyhoeddwyd, beth oedd nodwedd eu gweinidogaeth, pa erledigaethau a ddyoddefasant, a pha lwyddiant fu ar eu llafur, sydd gwestiynau nas gellir eu hateb yn bresenol. Y wobr a ddaeth i'w rhan am droi eu cefnau ar eu brodyr oedd cael eu hebargofi yn llwyr. Prin y gellid dysgwyl yn wahanol. Yn sicr, ni pherthynai i'r Methodistiaid gadw coffadwriaeth yr offeiriaid hyn yn wyrdd; oblegyd torasent o'u gwirfodd, oddiar ragfarn Eglwysig, ac awyddfryd am gadw gafael ar eu bywioliaethau, y cysylltiad a fuasai unwaith yn bodoli rhyngddynt a'r Cyfundeb, a gwnaethent hyny gyda llawer o chwerwedd yspryd. O'r tu arall, ni ofalai yr Eglwyswyr am godi cofgolofnau iddynt, oblegyd yr oedd eu cysylltiad blaenorol â'r Methodistiaid, a'r yspryd diwygiadol a'u meddianai, wedi eu gwneyd yn gwbl anmhoblogaidd yn mysg y mwyafrif o'r offeiriaid. Yr ydym wedi chwilio y

cyfnodolion Eglwysig gyda dyfalwch, er ceisio dod o hyd i hanes yr offeiriaid Methodistaidd ddarfu lynu wrth yr Eglwys, ond anaml a phrin ydyw hyd yn nod unrhyw gyfeiriad atynt. Daethom ar draws tynelli o rwbel yn y ffurf o athrod ar yr Ymneillduwyr, ac o ddifriaeth ar eu gweinidogion; ond am yr offeiriaid ddarfu ymdrechu gwneyd yr Eglwys yn allu ysprydol yn Nghymru, prin y ceir crybwylliad. Felly, anmhosibl gwneyd cyfiawnder â hwy yn bresenol. Fel Methodistiaid yr edrychent arnynt eu hunain gwedi y Neillduad, ond mai Methodistiaid oddifewn i'r Eglwys oeddynt. Parhäent i gario yn mlaen arferion a defodau y Methodistiaid; ac yn wir, honent fod y rhai a aethant allan wedi colli pob hawl i'r enw, ac mai hwy yn unig oedd y gwir Fethodistiaid. Buont am beth amser yn croesawu cynghorwyr teithiol i'w hysgoldai, ac yn ceisio cynhal Cyfarfodydd Misol a Chymdeithasfaoedd; ond buan y trodd yr ymdrech yn fethiant. Un rheswm am hyny oedd, mai pregethwyr diddawn oedd yr offeiriaid hyn gan mwyaf, er fod yn perthyn iddynt eithriadau anrhydeddus. A'r rheswm arall oedd, mai yn mysg y rhai ddarfu ymneillduo yr oedd enaid y diwygiad.

Y cyntaf o'r rhai hyn a ddaw dan ein sylw yw y Parch. Nathaniel Rowland. Cyfaddefwn nad hollol gywir ei restru yn mysg yr offeiriaid ddarfu gefnu, gan iddo, bedair blynedd cyn y Neillduad, gael ei ddiarddel gan y Methodistiaid; ond oddiar amryw resymau, haedda ei hanes ryw gymaint o gofnodiad, a chredwn mai dyma y lle goreu i wneyd hyny. Efe oedd fab hynaf y Parch. Daniel Rowland, Llangeitho, y Diwygiwr enwog. Dywed traddodiad y bu i Daniel Rowland amryw feibion yn flaenorol, y rhai a fedyddiasid yn Daniel, ond i bob un o honynt farw yn fabanod bychain. Cymerodd y rhieni hyn yn awgrym nad oedd Rhagluniaeth yn foddlawn i'r enw Daniel gael ei barhau yn y teulu, ac felly, cyfenwasant y nesaf yn Nathaniel, gan ddeall yr enw fel Na-Daniel, neu Nid-Daniel. Modd bynag, tyfodd y bachgen hwn i addfedrwydd oedran, a gwelodd hir ddyddiau. Cafodd yr addysg oreu, a graddiodd yn anrhydeddus yn Rhydychain. Dygodd ei dad ef i fynu i'r offeiriadaeth, a diau y bwriadai iddo gymeryd ei le ef fel arweinydd yn mysg y Methodistiaid. Nid oedd heb lawer o sail i'w obaith, oblegyd yr oedd Nathaniel Rowland, heblaw bod yn ysgolor gwych, yn meddu talentau gweinidogaethol dysglaer, ac yr oedd y Methodistiaid, oddiar y parch diderfyn a goleddent at ei dad, yn barod i'w osod i eistedd yn y gadair uchaf. Yn fuan gwedi ei urddo yn offeiriad gan Esgob Tyddewi, priododd â Miss Margaret Davies, unig blentyn y Parch. Howell Davies; ac mewn canlyniad, symudodd i fyw i'r Parke, yn Sir Benfro, lle preswylfod ei briod. Trwy y briodas hon daeth yn feddianol ar gyfoeth lawer, gan gynwys, heblaw llawer o olud ychwanegol, dŷ y Parch. Howell Davies yn Hwlffordd, a phalas ac etifeddiaeth y Parke. Bu i Nathaniel a Margaret Rowland bump o blant, sef dau fab a thair merch. Nathaniel, y mab hynaf, a fu byw a marw yn y Parke, ac ni phriododd. John a ddygwyd i fynu yn feddyg, ac a aeth allan i'r India; eithr ni ddychwelodd, ac ni adawodd epil. Priododd y merched â dynion ieuainc o'r gymydogaeth, ac wyrion i un o honynt sydd yn preswylio yn y Parke yn bresenol.

Y mae yn sicr fod y Parch. Nathaniel Rowland yn meddu doniau dysglaer, a'i fod yn bregethwr nodedig o boblogaidd. Am hyn y mae genym dystiolaeth yr hen Fardd o Bantycelyn yn y farwnad a gyfansoddodd i'w dad: -

"Ti, Nathaniel, gwas y nefoedd,
  Gwylia ar y gorlan glyd,
Gasglodd Rowland, dy dad ffyddlawn,
  Trwy ryw orchest fawr yn nghyd;
Uwch mewn dysg, nid llai mewn doniau,
  Saf fel llusern oleu, glir,
I helpu ei ddefaid ef i gadw
  Yr union ffordd i'r nefol dir.

Bydd yn dad i'r Assosiasiwn;
  Ac os teimli'th fod yn wan,
Ti gai help gwir efengylwr,
  Dafydd onest o Langan."

Medrai Williams adnabod pregethwr; a phe y dadleuid mai cariad angerddol at Rowland a barai iddo ddweyd fod ei fab yn gyfartal iddo mewn doniau, rhaid addef fod geiriau yr hen Fardd yn brawf didroiyn-ol o athrylith wych y Parch. Nathaniel Rowland. Yn gyffelyb y tystiai yr hen bobl a'i cofient yn mysg y Methodistiaid. Ni addefent ei fod cyfuwch a'i dad, ac y mae yn sicr nad oedd; ond dywedent fod ganddo lais cryf a pheraidd, gyda llywodraeth dda arno; ei fod yn draddodwr medrus ac effeithiol, ac y byddai weithiau yn cael odfaeon hynod o nerthol. Wrth "dad i'r Assosiasiwn," y golygir math o

archesgob yn mysg y Methodistiaid; term Howell Harris ydoedd, yr hwn a ddefnyddiai am ei swydd o arolygydd cyffredinol ar y seiadau. Prin yr oedd eisiau anog Nathaniel Rowland i gymeryd yr awdurdod i'w ddwylaw; gwnaethai hyny mewn rhan cyn i'w dad farw. Yr oedd ei uchelgais yn ddiderfyn, a chefnogid ef yn ei wanc am awdurdod gan yr holl offeiriaid a berthynent i'r Methodistiaid, oddigerth Jones, Llangan. Gwedi marw ei dad, aeth ei draha yn annyoddefol. Addefa pawb, er gwahaniaethu mewn barn gyda golwg ar y rhan a gymerodd eraill yn y drafodaeth, mai Nathaniel Rowland oedd yr arweinydd yn niarddeliad Peter Williams. Cynhyrfid ef yn hyn, nid gan zêl dros burdeb athrawiaeth, ond gan awyddfryd cael oddiar y ffordd y gŵr a feddai, ar gyfrif henafiaeth, dysg, pwysau cymeriad, poblogrwydd, a gwasanaeth, fwyaf o hawl i eistedd yn y deyrngadair. Cefnogwyd ef yn hyn gan Ficer Nefern, a bu Jones, Llangan, yn ddigon digalon a llwfr i fod yn ddystaw.

Anffawd ddirfawr i grefydd yn y wedd Fethodistaidd arni oedd mynediad y Parch. Nathaniel Rowland i Sir Benfro. Bu balchder ei yspryd, ei draha, a'i ormes ar y seiadau, agos ei dyfetha. Dygir tystiolaeth unfrydol i'w falchder; dywedai Rowland Hill am dano mai efe oedd y cythraul balchaf a welodd erioed. Hawliai awdurdod unbenaethol yn y Gymdeithasfa, ac, hyd oni chyfododd y Parch. Ebenezer Morris i safle, ni feiddiai neb ei wrthwynebu. Glynai yn dyn wrth yr Eglwys Wladol, er y camwri a dderbyniasai ei dad ganddi. Tebyg mai nid serch at yr Eglwys ychwaith a barai hyn, ond ei fod am bwysleisio ar ei safle fel offeiriad, a dangos y rhagor mewn urddas oedd rhyngddo ef a'r pregethwyr diurddau. Ni weinyddai y sacramentau yn y capelau Methodistaidd; cyn hir, aeth i wrthod pregethu ynddynt. Gofynai y frawdoliaeth iddo bregethu yn nghapel Abergwaun; ei ateb dieithriad ydoedd: "Na wnaf, byth;" pregethai yn yr eglwys, ac yna ai i dŷ hen ferch, yr hwn oedd yn llawer rhy fychan, ac yn gwbl anghyfleus, i weinyddu y cymun. Yn nanedd ei wrthwynebiad pendant y llwyddodd Jones, Llangan, i gael gan y Gymdeithasfa benodi capel Abergwaun fel un o'r lleoedd yn mha rai yr oedd y sacramentau i gael eu gweinyddu. Yn gyffelyb y bu gyda Chaerfyrddin. Pan y gofynai Mr. Charles, pan nad oedd ond blaenor, am ganiatad i gofio am angau'r groes yn nghapel Heol-y-dwfr; atebai Mr. Rowland: "Na chewch, y mae capel Llanlluan yn ddigon agos;" ac er ei waethaf y caniatawyd y cais. Eto, yr oedd ef ei hun yn gweinyddu y cymundeb bob mis mewn capel heb ei gysegru yn Hwlffordd. Nid rhyfedd fod dynion yn gwingo yn erbyn y fath benchwibandod a thrawslywodraeth, ac i ganoedd, gawsent eu hargyhoeddi trwy weinidogaeth rymus y Tadau Methodistaidd, droi eu cefnau ar y Cyfundeb, gan ymuno â'r Annibynwyr a'r Bedyddwyr. Deugain mlynedd gormes Nathaniel Rowland sydd yn cyfrif yn benaf am wendid Methodistiaeth yn Mhenfro y dydd hwn. Dywed traddodiad am Mr. Rowland ei fod nid yn unig yn uchelgeisiol a balch, eithr hefyd yn dra chybyddlyd; iddo geisio tori ewyllys ei dad, ac mai trwy roddi iddo dri chant o bunoedd dros ben yr hyn oedd yn dyfod i'w ran y medrodd y teulu ei dawelu.

Pregethai yn Hwlffordd yn y Tabernacl, capel a adeiladwyd gan y Methodistiaid, yn benaf trwy offerynoliaeth y Parch. Howell Davies. Yn *Hanes Eglwysi Annibynol Cymru*, priodolir adeiladiad y capel i Whitefield, ac awgrymir fod elfen Annibynol yn yr eglwys o'r cychwyn. Y mae hyn yn gwbl gamarweiniol. Yr oedd Methodistiaid yn Hwlffordd cyn erioed i Whitefield ymweled â'r lle; cawsent eu hargyhoeddi trwy weinidogaeth gyffrous Howell Harris, a Howell Davies, a'r diweddaf a fu a'r llaw flaenaf mewn cysylltiad a'r capel. Ychydig oedd Whitefield yn ymyraeth ag adeiladu capelau, ac y mae amheuaeth a fu troed iddo erioed o fewn Tabernacl Hwlffordd. A ganlyn yw y modd yr aeth y capel a'r eglwys yn eiddo i'r Annibynwyr. Pan yr oedd Mr. Nathaniel Rowland wedi bod yn absenol am rai misoedd, a'r eglwys wedi cael ei hamddifadu o'r cymun sanctaidd mewn canlyniad, gofynwyd i un Cadben Joss gyfranu. Un o bregethwyr Rowland Hill oedd efe, ac ymddengys ei fod wedi cael caniatad i weinyddu y sacramentau yn eglwysi Mr. Hill. Efe a bregethai yn awr yn y Tabernacl yn ystod absenoldeb Mr. Rowland, ac ar gais yr eglwys yn y lle, ymgymerodd a chyfranu. Ar ganol gweinyddiad yr ordinhad, pwy wnaeth ei ymddangosiad yn y drws ond Nathaniel Rowland; cyffrodd drwyddo, am yr edrychai ar hyn fel ei hawlfraint ef; ac, mewn

tymher danllyd, aeth i'r llofft. Wedi gorphen y gwasanaeth, gwnaeth ymosodiad brwnt ar y swyddogion; dywedai mai efe oedd perchenog y capel, nad oedd gan neb hawl i weinyddu ynddo heb ei ganiatad, a bygythiai eu troi allan. Brysiodd y swyddogion mewn canlyniad i feddianu gweithred y capel, yr hyn a ddarfu iddynt lwyddo i'w gyflawni, trwy dalu i fynu y *mortgage* oedd arno; ac yna heriasant Nathaniel Rowland i wneyd ei waethaf. Ymadawodd yntau; canlynwyd ef gan gryn nifer o'r aelodau; ac ar ol bod yn cyfarfod am gryn amser ar lofft rhyw *warehouse*, adeiladwyd capel yn Heol-y-bont, yr hwn a elwid yn Gapel Rowland. Nid oedd dim Annibyniaeth yn perthyn i'r Tabernacl gwedi i Mr. Rowland droi ei gefn; Methodistiaid a addolent ynddo, ond eu bod mewn cysylltiad â chyfundeb yr Iarlles Huntington. Ac mewn cysylltiad â'r Cyfundeb hwnw y parhaodd yr eglwys hyd o fewn rhyw ddeng-mlynedd-ar-hugain yn ol. Y pryd hyn, pan yr oedd un Mr. Stamper yno yn weinidog, aed i alw y Tabernacl yn gapel Annibynol, a chyfaddaswyd y weithred gyfreithiol, mor bell ag yr oedd hyny yn ddichonadwy, at ffuflywodraeth yr Annibynwyr.

Yn ol pob tebyg, yn enw Mr. Nathaniel Rowland y tynwyd allan weithred capel Heol-y-bont, ac felly, yn gyfreithiol, ei eiddo personol ef ydoedd. Tua dechreu y bedwaredd-ganrif-ar-bymtheg, dechreuodd sî anhapus ymdaenu am gymeriad Nathaniel Rowland; ei fod yn bwyta ac yn yfed yn anghymesur; ac y byddai yn esgyn i'r pwlpud weithiau dan ddylanwad diodydd meddwol. Ar y cychwyn, nid oedd hyn ond rhyw sibrwd yn y gwynt; ni cheid neb i ddyfod yn mlaen â thystiolaeth bendant. Ond tua'r flwyddyn 1807, caed profion diymwad fod y cyhuddiad yn wirionedd, a phenderfynodd y Gymdeithasfa gynal cyfarfod arbenig i drin y mater yn Nghastellnewydd-Emlyn. Yr Hybarch David Jones, Llangan, oedd yn y gadair. Profwyd ef yn euog tu hwnt i bob amheuaeth; nid oedd gan yr offeiriaid, y rhai, oblegyd parch i'w dad, a theimlad da ato yntau, a hoffent ei amddiffyn, air i'w ddweyd drosto. Y cwestiwn nesaf oedd, pa gerydd i'w roddi arno? Awyddai rhai am ei drin yn dyner, a pheidio cario allan ddysgyblaeth eithafol. Eithr cyfododd Mr. Ebenezer Morris, gan gynyg fod pob cysylltiad rhyngddo a'r Methodistiaid i gael ei dori, yr hyn a eiliwyd gan Mr. Charles, Caerfyrddin. Y fath oedd grym eu hymadroddion, a'r argyhoeddiad dwfn o gydwybodolrwydd a garient i fynwesau pawb, fel yr aeth y cyfarfod yn gyfan gyda hwynt. Ceisiai y cadeirydd gan Mr. Morris roddi y cynygiad i'r cyfarfod, am na allai ef gan ei deimlad. "Yn enw Iesu Grist mi a'i gwnaf," ebai yntau. Hyny a wnaeth, a dyma ddwylaw pawb i fynu fel gallt o goed; dywedir i'r holl offeiriaid oedd yn bresenol godi ei dwylaw.

Dyma Nathaniel Rowland wedi cael ei ddiarddel o'r Cyfundeb y bu ei dad yr offeryn cryfaf i osod ei sail. Ond yr oedd yn offeiriad yn yr Eglwys Sefydledig eto; ac nid yw yn ymddangos i Esgob Tyddewi wneyd unrhyw sylw o'i ddrygfoes; a llai fyth ei geryddu am ei fai. Efe hefyd oedd perchenog y capel Methodistaidd yn Heol-y-bont, Hwlffordd. Daliodd afael ynddo ar ol y diarddeliad, gan bregethu a gweinyddu y sacramentau o'i fewn, a diau iddo gael rhywrai i lynu wrtho. Eithr am y Methodistiaid ffyddlon i'r Cyfundeb, bu raid iddynt hwy chwilio am le i addoli y drydedd waith. Nid rhyfedd felly fod y Methodistiaid yn gymharol weiniaid yn Hwlffordd, gan i ddau o'u capelau gael eu lladrata oddiarnynt.

Pa hyd y bu Mr. Rowland yn gweinidogaethu yn nghapel Heol-y-bont wedi ei ddiarddeliad, nis gwyddom. Ymddengys na allodd gasglu cynulleidfa yno wedi i'r Methodistiaid gilio, ac yn y diwedd iddo ddigaloni, a rhoddi y lle i fynu. Yn bresenol, y mae "Capel Rowland" yn cael ei ddefnyddio, os cawsom ein hiawn hysbysu, fel efail gôf. Y mae hanes Mr. Nathaniel Rowland o'i ddiarddeliad i'w fedd yn gorwedd tan leni o dywyllwch. Mor bell ag y gallwn gasglu, ni fu ganddo fywioliaeth yn yr Eglwys erioed; gan ei fod yn ŵr o gyfoeth, nid oedd raid iddo wrth un. Y tebygolrwydd yw y byddai yn gwasanaethu yn achlysurol yn y llanau o gwmpas ei gartref, pan fyddai galw am ei wasanaeth; ond mai ei brif orchwyl oedd gofalu am ei etifeddiaeth yn y Parke. Cafodd fyw i oedran teg; a chlywsom ddarfod iddo, yn mhell cyn ei farw, gael goruchafiaeth ar y pechod fyddai yn ei fynych dripio. Bu farw yn y Parke, yn y flwyddyn 1831, yn 82 mlwydd oed, a chafodd ei gladdu yn Henllan Amgoed. Y mae cryn nifer o'i ddisgynyddion yn y rhan hono o Benfro yn bresenol.

Y nesaf a ddaw dan ein sylw yw y Parch. David Griffiths, Nefern, Sir Benfro. O'r offeiriaid ddarfu gefnu ar y Methodistiaid adeg y Neillduad, gan lynu wrth yr Eglwys Sefydledig, efe oedd y penaf yn ddiau, yn gystal a'r mwyaf poblogaidd a'r dysgleiriaf ei ddawn. Dywedir yr hànai ei rieni o blwyf Llandygwydd, yn rhan isaf Sir Aberteifi; ond cyn i'r bachgen David gael ei eni yr oeddynt wedi symud i'r Felin Lan, yn nghymydogaeth Narberth. Enw ei dad oedd John Griffiths, brethynwr wrth ei alwedigaeth, a gŵr tra chymeradwy yn yr ardal y preswyliai. Rhaid ei fod yn gysurus arno o ran ei amgylchiadau, oblegyd llwyddodd i roddi addysg gwell na'r cyffredin i'w blant. Ymddengys fod gwythïen o athrylith yn rhedeg trwy y teulu. Bu John, yr hynaf ond un o'r meibion, yn weinidog o gryn enwogrwydd yn nghyfundeb yr Iarlles Huntington. Ond â David, yr hynaf o'r plant, y mae a fynom ni. Cafodd ei eni yn y flwyddyn 1756, yn y Felin Lan, plwyf Llanbedr Velfrey, Sir Benfro. Am helyntion ei ieuenctyd yr ydym yn gwbl anwybodus; felly yr ydym hefyd am ei argraffiadau crefyddol cyntaf, ac am y modd y dygwyd ef i orphwys ar Waredwr. Nid oedd y Felin Lan yn rhyw bell iawn o Landdowror, lle y gweinidogaethai y Parch. Griffith Jones; ac awgryma y Parch. Josiah Thomas Jones, yr hwn oedd yn gâr agos i David Griffiths, yn ei *Eiriadur Bywgraffyddol o Enwogion Cymru*, mai trwy ddylanwad pregethu y gŵr enwog hwnw y dygwyd y bachgen David gyntaf i ystyriaeth o'i gyflwr. Prin y geill hyn fod yn gywir, oblegyd nid oedd David Griffiths ond pum' mlwydd oed pan fu farw Griffith Jones. Tebycach o lawer iddo gael ei argyhoeddi i fywyd dan weinidogaeth y Parch. Howell Davies, yr hwn a bregethai ac a weinyddai y sacramentau gyda chysondeb yn Eglwys Mounton, yr hon oedd yn gyfagos i Narberth. Yr oedd David Griffiths yn bedair-mlwydd-ar-ddeg oed pan fu farw Howell Davies. Cafodd gwedi hyny gyfleusterau lawer i wrando ar Howell Harris, Daniel Rowland, a Williams, Pantycelyn, ac anhawdd meddwl na ddarfu i'w gweinidogaeth gyffrous hwy effeithio yn ddwfn arno, a bod yn ddylanwad cryf yn ffurfiad ei gymeriad.

Fel y darfu i ni sylwi, cafodd addysg dda gan ei rieni, a bu am beth amser yn astudio yr ieithoedd clasurol yn Ysgol Ramadegol Penfro. Pan yn llanc ieuanc deunaw mlwydd oed cyflogwyd ef gan Mr. Bowen, Llwyngwair, i fod yn athraw teuluaidd i'w feibion. Perthynai Mr. Bowen i'r Methodistiaid; yn ei dŷ ef y lletyai y Diwygwyr pan ddeuent i'r gymydogaeth i efengylu; y mae yn bur sicr fod awydd arno am gael gŵr ieuanc crefyddol a difrifol yn athraw i'w blant; ac felly credwn fod apwyntiad David Griffiths i'r swydd mewn oedran mor ieuanc yn brawf cryf ei fod yn barod wedi cael ei gyfnewid trwy ras, ac yn ymwasgu at y Methodistiaid. Yn nhŷ mab i Mr. Bowen, sef Cadben Bowen, y bu y Parch. Ebenezer Richard yn athraw teuluaidd ar ol hyn.

Ymddengys fod David Griffiths y pryd hwn yn ddyn ieuanc glandeg, o ymddangosiad tywysogaidd, ac yn dra boneddigaidd o ran ymddygiad. Nid rhyfedd felly i ferch henaf Mr. Bowen syrthio mewn cariad âg ef. Rhedodd ei serch yntau arni hithau, ac unwyd y ddau yn nghyd mewn glân briodas. Tueddai efe yn gryf at y weinidogaeth; ac ar y 17eg o Hydref, 1779, pan yn dair-ar-hugain mlwydd oed, urddwyd ef yn ddiacon gan Dr. Warren, Esgob Tyddewi. Gan yr un gŵr ordeiniwyd ef i'w lawn urddau fel offeiriad, Medi 3, 1780. Torodd allan ar unwaith yn bregethwr poblogaidd; yr oedd yn llawn o yspryd y diwygiad, a llenwid yr eglwysi yn mha rai y gweinidogaethai. Yn mhen tua phedair blynedd gwedi ei urddiad, sef yn y flwyddyn 1783, daeth ficeriaeth Nanhyfer, neu Nefern, yn wag. Yn llaw yr Arglwydd Ganghellydd yr oedd y penodiad, a thrwy ddylanwad Mr. Bowen, yr hwn a drigai o fewn y plwyf, ac a arferai fyned i'r eglwys yno i gymuno, cafodd y Parch. David Griffiths ei apwyntio i'r fywioliaeth. Ymestynai parc Llwyngwair bron hyd eglwys Nefern; felly, yn y palas yno gyda'i dad-yn-nghyfraith y preswyliai Mr. Griffiths ar ol derbyn y ficeriaeth. Yno y ganwyd ei blant ac y dygwyd hwy i fynu; ac fel "Griffiths, Llwyngwair," yr adwaenid ef ar hyd a lled y wlad.

Hyd y Neillduad, ymgyfathrachai Mr. Griffiths a'r Methodistiaid. Daeth i gydnabyddiaeth bersonol â'r Parch. Daniel Rowland; llawenychai y gŵr hwnw yn fawr o herwydd dysgleirder ei athrylith, ac efengyleidd-dra ei athrawiaeth. Unwaith, wedi ei wrando yn llefaru, dywedai wrtho: "Fy mab, yr wyf yn gweled eich bod wedi cael gafael ar y wythïen euraidd; gofalwch gadw arni,

gan roddi yr holl ogoniant i Dduw." O hyny allan byddai Mr. Griffiths yn myned yn aml i Langeitho yn ystod bywyd Rowland, er cynorthwyo y Diwygiwr enwog i gyfranu i'r miloedd oedd wedi ymgynull yno o bob parth o Gymru. Fel rheol, byddai amryw o deulu Llwyngwair yn teithio tuag yno mewn cerbyd; eithr marchogaeth ar farch golygus a wnelai y Parch. David Griffiths yn ddieithriad, a hyny fel boneddwr, gyda gwas yn ei ganlyn, a dywedir fod ei ymddangosiad yn nodedig o urddasol. Daeth i gydnabyddiaeth hefyd â'r Parch. David Jones, Llangan, a theithiodd y ddau gryn lawer yn nghyd trwy Gymru, gan efengylu anchwiliadwy olud Crist. Ar y cychwyn ymataliai Mr. Griffiths rhag pregethu mewn lleoedd annghysegredig, tra y byddai Mr. Jones yn cyhoeddi efengyl gras pa le bynag y gwelai gyfleustra, heb ofalu a oedd y lle wedi ei gysegru gan esgob ai peidio. Ond yn raddol enillwyd Mr. Griffiths i efelychu ei esiampl.

Caiff y Parch. David Griffiths ei hun adrodd am y modd y pregethodd gyntaf y tu allan i furiau yr Eglwys Wladol. Meddai: "Yr oedd Mr. Jones (Jones, Llangan,) a minau yn pregethu yn y boreu, mewn rhyw eglwys yn Sir Fynwy. Er fod yno gynulleidfa liosog, tra chaled oedd hi arnom ein dau. Yr oedd cyhoeddiad Mr. Jones i bregethu yn y prydnhawn mewn ffermdy yn y gymydogaeth. Aethum inau gydag ef er mwyn ei wrando, heb y bwriad lleiaf i bregethu fy hun. Gan ei bod yn brydnhawn teg a hyfryd, a lluoedd wedi ymgasglu yn nghyd, gosodwyd ef i bregethu allan ar gareg farch. Dygodd gŵr y tŷ ystol i minau i eistedd wrth ei ochr. Wedi iddo orphen, ymaflodd gŵr y tŷ yn y Beibl, daeth ag ef ataf, gosododd ef yn fy llaw, gan ddywedyd mewn dull awdurdodol: 'Rhaid i chwi bregethu, syr, i'r dyrfa sydd yn dysgwyl wrthych.' Pan ddywedais na wnawn, rhoddodd ei freichiau am danaf, a gosododd fi i sefyll ar y gareg farch. Nid oedd dim i'w wneuthur bellach ond ymroi ati, neu fod yn y cywilydd, ac ni chefais well odfa erioed. Clywais wedi hyny ddarfod i amryw gael eu hachub yn yr odfa hono." Dyma Mr. Griffiths wedi tori trwy yr ia; o hyny allan trwy yr holl daith, fel ei gyfaill Mr. Jones, ni holai pa un a oedd yr adeilad yn mha un y pregethai wedi ei gysegru ai peidio, eithr traethai air y bywyd yn ddiofn, pa le bynag y rhoddid iddo gyfleustra. Gwedi hyn ymwasgodd yn agosach at y Methodistiaid; cyfodwyd capel Methodistaidd yn ymyl eglwys Nefern, yn mha un y pregethai y cynghorwyr diurddau. Byddai yntau bob amser yno yn gwrando, os dygwyddai fod gartref. Yn y capel hefyd y cynelid y seiadau, a'r cyfarfodydd gweddïo, a'r ficer fyddai yr arweinydd yn mhob cyfarfod. Yn fuan daeth eglwys Nefern yn Jerusalem y rhan hono o Sir Benfro. Yno yr ymgynullai y Methodistiaid i gymuno o Abergwaun, Trefin, Trefdraeth, Eglwyswrw, a lleoedd cymydogaethol eraill. Yn aml byddai yr enaint nefol yn disgyn yn drwm, nes llanw y tŷ a'i berarogl; gwelid y pererinion oedd wedi ymgynull yno o wahanol fanau, mewn hwyl hyfryd yn molianu yr Arglwydd.

Yn ystod blynyddoedd cyntaf ei weinidogaeth, teithiodd y Parch. David Griffiths lawer ar hyd a lled Cymru mewn cysylltiad a'r Methodistiaid; yr oedd enw "Griffiths, Llwyngwair," yn air teuluaidd yn Ngwynedd, yn gystal a'r Dê; canlynai y bobl ef yn lluoedd o'r naill ardal i'r llall, a mawr fyddai y dylanwad mewn aml i odfa. Yn Ngwynedd, o leiaf, rhaid iddo oedd pregethu yn mhob math o leoedd; mewn capel, lle y byddai capel wedi ei adeiladu; neu ynte, mewn ysbubor, mewn tŷ anedd, neu ar y maes. Nid oedd eglwys yn agored iddo trwy Wynedd oll. Y mae yn sicr hefyd y gweinyddai yr ordinhadau mewn lleoedd annghysegredig; oblegyd byddai Methodistiaid y Gogledd, yn flaenorol i'r Neillduad, yn dal ar bob ymweliad o eiddo yr offeiriaid Methodistaidd, er cael gweinyddiad o swper yr Arglwydd. Nis gallai yntau mewn un modd wrthod; gan yr arferai gynorthwyo Rowland i gyfranu yn nghapel Gwynfil, adeilad na fu troed esgob erioed o'i fewn, nis gallai roddi unrhyw reswm dros nacau. Yr amser cyntaf y teithiai i'r Gogledd, yr oedd yr hen yspryd erlidgar heb ddarfod; curid y pregethwyr yn ddidrugaredd, ac aflonyddid ar y cyfarfodydd; eithr nid yw yn ymddangos i neb wneyd ymosodiad ar Mr. Griffiths, oblegyd ei fod yn offeiriad urddedig, ac hefyd oblegyd ei olwg urddasol, a'r yspryd llewaidd a'i meddianai.

Fel prawf o'i wroldeb dwfn, cymerer yr hanesyn canlynol. Tua'r flwyddyn 1787, yn adeg rhyfeloedd blinion Buonaparte, glaniodd tua phedwar-cant-ar-ddeg o Ffrancod yn Sir Benfro, mewn lle heb fod yn nepell o Abergwaun; eithr cyn iddynt wneyd nemawr niwed, gorchfygwyd hwy,

a chawsant eu cymeryd yn garcharorion. Penderfynodd Mr. Griffiths, mewn undeb â Mr. Jones, Llangan, yr hwn ar y pryd oedd yn briod a'i ail wraig, ac wedi symud i fyw i Manorowen, gynal cyfarfod crefyddol bob blwyddyn ar draeth Wdig, fel coffadwriaeth am y waredigaeth. Yn y cyfarfod cyntaf, pregethai y ddau offeiriad, a chynorthwyid hwy gan amryw bregethwyr o enwogrwydd. Bu y cyfarfodydd hyn yn boblogaidd am flynyddoedd; cyrchai tyrfaoedd yn nghyd o bob rhan o'r wlad, ac yn fynych byddai y pregethu mewn nerth, a'r bobl yn foddfa o ddagrau. I'r cyfarfod hwn, gan y meddai ryw gymaint o nodwedd filwrol, y cyrchai llawer o foneddigion Penfro, Caerfyrddin, ac Aberteifi; a blin yw adrodd nad oedd eu hymddygiad bob amser yn weddus, ac nad oeddynt mewn prydferthwch a phriodoldeb moes yn esiampl i'r werin. Yn un o'r cyfarfodydd yma llefarai y Parch. David Griffiths; a thra y cyhoeddai efe air y deyrnas, yr oedd nifer o foneddigion a boneddigesau ar gwr eithaf y dorf yn ymddwyn yn gwbl anystyriol; gan farchogaeth yn ol ac yn mlaen ar hyd y traeth, siarad a'u gilydd, ac weithiau tori allan i chwerthin yn uchel. Ni fu ar Griffiths, Nefern, erioed ofn dyn; safodd ar ganol ei bregeth, estynodd allan ei law, a gwaeddodd ar uchaf ei lais, nes peri i bawb glywed: "Chwi, y gwŷr mawr yna, y rhai ydych yn aflonyddu y cyfarfod, ac a edrychwch heddyw mor anystyriol, cofiwch na bydd meirch i'w marchogaeth yn uffern, ar yr hwn le y mae eich gwynebau!" Daliwyd y boneddwyr gan ddychryn; cywilyddiasant oblegyd eu hanystyriaeth, a chafwyd perffaith lonyddwch ganddynt i orphen y cyfarfod.

Y mae yn sicr fod y Parch. David Griffiths, Nefern, yn bregethwr anghyffredin. O'r holl offeiriaid a fuont yn dal cysylltiad â Methodistiaeth, y mae yn amheus a oedd un, ag eithrio Daniel Rowland ei hunan, i fynu ag ef mewn dawn ymadroddi. Meddai beirianau llafar o felusder a grym anarferol; dywedid am dano y gallai bregethu am ddwy awr ar faes y gymanfa, nes peri i'r miloedd a ymgynullasent yno gael eu hoelio wrth ei wefusau, a hyny heb gael ei orddiwes gan grygni, na theimlo unrhyw anghyfleustra. Yn wir, dywed traddodiad y daliai i bregethu weithiau am dair awr. Perchenogai holl anhebgorion siaradwr effeithiol. Ni fyddai un amser yn methu cael gair; meddai gyflawnder o iaith gref, hawdd i'r werin ei deall, yr hon a ffrydiai allan dros ei wefusau mor ddidrafferth a'r dwfr yn rhedeg i'r pant. Yr oedd gwresawgrwydd ei dymher yn fantais ddirfawr iddo fel areithydd; poethai y meddyliau yn nhân ei yspryd, a buan y gosodai y gynulleidfa ger ei fron yn oddaith. Yn ychwanegol, dywedir ei fod yn dduwinydd da, yn efengylaidd ei syniadau, ac yn medru gosod allan ei feddwl yn glir. Rhwng pob peth yr oedd yn un o feistriaid y gynulleidfa; braidd na ragorai mewn grym, os nad mewn melusder a swyn, ar ei gyfaill o Langan.

Dywedir fod golwg nodedig o foneddigaidd arno yn y Gymdeithasfa, yn Llangeitho, pan yn anerch y dyrfa. Ei ymddangosiad ydoedd dywysogaidd, eisteddai awdurdod ar ei wynebpryd, a'i ben oedd yn wỳn gan bowdr yr apothecari, yn unol âg arfer boneddwyr y cyfnod hwnw. Clywid ei lais peraidd a soniarus yn ngwr pellaf y dorf. Ei lygaid eryraidd a gyniweirient trwy yr holl gynulleidfa. Prawf pob symudiad, ystum, ac acen, ei fod yn un o feibion athrylith. Yn fuan y mae y bobl yn ymgynhyrfu; daw Amenau yn gawodydd allan o fynwesau yr hen bererinion; clywir aml Hosanna, a gwelir traed rhai yn gadael y llawr. Yr offeiriaid a'r pregethwyr ar yr esgynlawr ydynt yn mwynhau yn hyfryd; mor awyddus ydynt am wrando fel yr amneidiant ar y bobl i dewi. Ceir gosteg am ychydig, ac â yr efengylydd yn ei flaen i gyhoeddi gair yr iachawdwriaeth; ond dyma rywbeth eto yn cael ei ddweyd sydd yn tanio enaid pererinion Seion, ac yn eu galluogi i daflu eu beichiau oddiar eu gwàr. Tra y byddo y nefoedd yn tywallt ei bendithion gyda'r fath helaethrwydd ofer ceisio gan y bobl i fod yn ddystaw; dybla yr Amenau, ail enyna y mawl, a gorphenir y cyfarfod mewn gorfoledd sydd yn adsain y cymoedd. Yn ol a glywsom, ar ochr dyner yr efengyl yr hoffai draethu; Gerizim oedd ei hoff fynydd lle yr arferai sefyll, er yr esgynai i gopa Ebal ambell dro. Meddai ei Farwnadwr:—

"Nes i fryn y groes na Sinai
Safai ei areithfa ef."

Dywedai un ei bod yn werth myned gan' milltir i'w weled a'i glywed. Cofnoda ei Fywgraffydd na chafodd gyfle i weled Mr. Griffiths nes yr oedd agos i ddeugain mlwydd oed, ond na chanfu erioed harddach, prydferthach, na boneddigeiddiach

dynoliaeth. Meddai yr Iarlles Huntington lygad barcud i ganfod y gwir bregethwr; buan y disgynodd ei golygon ar Ficer Nefern, ac apwyntiodd ef yn un o'r pedwar o Gymru i wasanaethu yn ei chapelau yn Llundain, yr hyn a wnaeth gyda chymeradwyaeth am lawer o flynyddoedd. Y tri arall oeddynt, Nathaniel Rowland; Jones, Llangan; a T. Charles, o'r Bala.

Ysgrifenodd y Parch. John Owen, Thrushington, y desgrifiad canlynol o ddoniau a dullwedd Mr. Griffiths yn pregethu: "Yr oedd ymddangosiad Mr. Griffiths yn yr areithfa yn barchus; ei lais yn beraidd, a'i lefariad yn rhwydd. Ond yr hyn oedd yn ei hynodi oedd, yr ymruthriadau—os goddefol y gair—a wnai ar droiau ar y gynulleidfa, fel nad oedd braidd yn ddichonadwy ei wrthsefyll. Nid oedd ei lais yn uchel ond ar brydiau. Byddai, gan amlaf, yn llwyr arafaidd yn trin yr hyn fyddai ganddo mewn llaw mewn modd digyffro, ac eto yn eglur, yn syml, ac yn ddengar. Yr oedd, wrth ddechreu, fel pe buasai am gael gafael ar ddeall a sylw ei wrandawyr, ac megys yn darparu y ffordd er dwyn yn mlaen yr hyn oedd efe yn ddymuno ei argraffu ar eu meddyliau a'u calonau. Fel y byddai yn nesau at yr hyn oedd fwyaf pwysig, yr oedd ei wyneb megys yn dadebru, ei lais yn dyrchafu yn seingar, a'i holl agwedd yn gynhyrfiol; ac yna, torai allan mewn modd tra nerthol a'i holl egni, nes y byddai ei eiriau yn treiddio trwy yr holl dyrfa. Gwelais ganoedd ar unwaith yn cael eu rhoddi mewn syndod dwys, a'r dagrau yn treiglo dros ruddiau llaweroedd. Nid hwy y parhäai yr ymgyrch grymus hwn nag y byddai yn ofynedig. Adferai drachefn i'w ddull a'i agwedd blaenorol. Cymerai bwnc arall mewn llaw, neu ran arall o'i destun. Nid oedd arno, yn mron un amser, ddiffyg defnydd neu eiriau, er ei fod yn lled araf yn aml wrth ddechreu trin rhyw fater. Triniai y pwnc nesaf, feallai, mewn modd gwahanol. Arferai ymadroddion byr a dwys, gan ddywedyd pethau treiddiol, dengar, a thoddedig. Cymerai ddull ymddiddanol mewn llais cyfaddas, eto mewn modd fel pe buasai ei galon yn llefaru. Yr oedd mwy o amrywiaeth yn ei ddull nag a welais yn neb arall. Agorai ac eglurai ei destun yn eglur ac yn dawel; ymddiddanai yn fwynaidd, ymresymai yn araf, cynghorai yn garuaidd, cysurai yn doddedig, ceryddai yn llym, ac eto yn dosturiol; taranai yn ddychrynllyd, a gorfoleddai a'i holl egni, a'r cwbl gyda'r gweddeidd-dra mwyaf. Nid oedd un ymddangosiad o ddyfais neu fwriad mewn un dull a arferai; ond yr oedd y cwbl yn gynhenid, yn deilliaw, yn ol pob ymddangosiad, yn reddfol o agwedd ei feddwl, ac o'i ysgogiadau tufewnol, ac yn unol a'r hyn y byddai yn ei draethu. Diameu iddo ar y cyntaf lafurio am ddull addas, a chyrhaeddodd hyny trwy ymarferiad. Yr oedd efe, yn ddiau, wedi dwys ystyried anian dyn; ac ymdrechai i arfer y dull a'r modd mwyaf tebyg i agor y deall, i enill sylw, ac i effeithio ar y galon a'r teimladau. Ac fe ddylai hyn fod yn wrthddrych mwy o sylw nag ydyw gan weinidogion y Gair, nid er enill poblogrwydd, ond er achub eneidiau. Nid oedd dim yn null Mr. Griffiths a arddangosai fod ganddo un dyben arall. Nid boddloni y glust, ond diwygio y galon, oedd ei holl amcan. Ni arferai un amser eiriau chwyddedig, ond geiriau gwirionedd a sobrwydd. Nid doethineb dyn a gyhoeddai, ond 'y ddoethineb sydd oddi uchod.'"

Buasai yn dda genym adael y darlun yn y fan hon; ond y mae tegwch hanesyddol yn ein rhwymo i gyfeirio at nodweddion eraill perthynol iddo, y rhai y rhaid eu dwyn i amlygrwydd er iawn ddeall ei gysylltiad a'i frodyr y Methodistiaid, a'r safle a gymerodd adeg y Neillduad. Tueddai yn naturiol at fod yn awdurdodol; nid oedd dim yn amlycach yn ei gymeriad na dewrder hyf a phenderfynol. Yn raddol, tyfodd y nodweddion hyn perthynol iddo dros fesur calon; aeth yn draawdurdodol, yn dra-arglwyddaidd, ac i osod ei iau yn drom ar ei frodyr yn y Cymdeithasfaoedd ac yn y Cyfarfodydd Misol. Dirywiodd ei benderfyniad i fod yn wrthnysigrwydd; ni chymerai ei wrthwynebu er dim; ofer fyddai ymresymu âg ef, a cheisio ei ddarbwyllo; oni chaffai ei ffordd, byddai yn rhuo nes dychrynu pawb, ond rhai mor benderfynol ag yntau. Dywed ei Fywgraffydd iddo glywed, gan un o'r hen bobl a'i hadwaenai yn dda, na feiddiai neb trwy holl ystod ei oes agor ei enau i roddi gair o gynghor iddo ar unrhyw amgylchiad, ac nad oedd neb yn alluog i'w drin ond ei Dad nefol.

Fel prawf o ystyfnigrwydd ei dymher, cymerer yr hanes a ganlyn. Pan yr oedd Mr. Griffiths yn Llwyngwair, bu farw mab bychan iddo, plentyn nodedig o swynol a phrydferth. Teimlodd yn ddir-

fawr, ac ymddigiodd ynddo oblegyd yr oruchwyliaeth; yn lle cusanu y wialen, aeth i feio ar yr Arglwydd; am amryw fisoedd cauodd ei hun yn ei dŷ, gan wrthod gwasanaethu yn yr eglwys, na phresenoli ei hun mewn unrhyw gyfarfod crefyddol. Eithr medr Duw ddarostwng cyndynrwydd dynion ystyfnig; buan y clafychodd merch fechan iddo, pymtheg mis oed, yr hwn afiechyd a derfynodd yn angeuol. Daeth cryn nifer o offeiriaid i'r angladd, amryw o ba rai a gynygient wasanaethu drosto y Sabbath canlynol. Ni ddywedai yntau air mewn atebiad; eisteddai yn fud fel delw, ond profai llinynau ei wyneb fod brwydr a therfysg o'i fewn. O'r diwedd, mentrodd ei briod ato, gan ofyn: "Pwy, fy anwylyd, sydd i wasanaethu yn yr eglwys y Sul nesaf?" Yr oedd ef erbyn hyn wedi cael buddugoliaeth ar ei yspryd cyndyn, ac atebodd gyda thawelwch: "Mi a wasanaethaf fy hun." "Na, na," ebai hithau; "gwell i ni gael rhywun arall." "Na,' meddai ef yn ol; "yr wyf wedi ymgyndynu gormod; y mae yn llawn bryd i mi ymostwng bellach, gan ystyried y wialen, a phwy a'i hordeiniodd." Os na fedrai dynion ei drin, gwyddai Duw yn dda pa fodd i'w gael i'r llawr. Am flynyddoedd lawer cyn ei farw, gweithredai fel ynad heddwch; a chyfaddefa ei Fywgraffydd ei fod yn un o'r rhai mwyaf uchelfryd ar y fainc, y llymaf ar droseddwyr, a'r mwyaf annheg yn ei weinyddiadau o'r gyfraith. Sut y mae cysoni tynerwch ac efengyleidd-dra ei weinidogaeth, a'r dymher uchelfryd dra-arglwyddaidd a'i meddianai, ac a'i galongaledwch ar y fainc wrth weinyddu y gyfraith, nis gwyddom. Y mae dyn yn gyflawn o anghysonderau, ac yr oedd y Parch. David Griffiths yn cael ei anurddo gan ffaeleddau a'i gwnelent yn ddyn anhawdd cydweithio ag ef, ac anmhosibl dwyn ei iau.

Rhaid cadw mewn cof hefyd nad oedd Mr. Griffiths wedi asio wrth y Methodistiaid agos mor glos a llwyr a'r Parch. David Jones, Llangan. Methodist oedd Mr. Jones yn mlaenaf oll, ac Eglwyswr yn ail; pe y cawsai ei wasgu i argyfwng, pryd y byddai raid iddo naill ai rhoddi i fynu ei fywioliaeth, neu ynte ymatal rhag pregethu yr efengyl yn mysg y Methodistiaid, buasai yn troi ei gefn ar y Llan heb foment o betrusder; nid oes amheuaeth yn ein meddwl mai ymlynu wrth y Methodistiaid a wnelai gwedi y Neillduad pe y cawsai fyw. Ond nid dyma safle Ficer Nefern. Gwir ei fod yn ymgyfenwi fel un o'r Methodistiaid; y deuai i'w Cyfarfodydd Misol, ac y pregethai yn eu Cymdeithasfaoedd. Addefwn yr elai weithiau ar deithiau hirion i Wynedd, ac i ranau o'r Deheudir, gan bregethu pa le bynag y caffai ddrws agored, heb ofyn dim er mwyn cydwybod. Ond ni phregethai ar y maes agored, nac mewn capel heb ei gysegru, yn Sir Benfro, ar un cyfrif. Ni weinyddai y sacramentau ychwaith yno ond yn yr eglwys. Yn mlynyddoedd olaf ei gysylltiad a'r Methodistiaid, cyfyngid ei wasanaeth i'r Cyfundeb, o leiaf yn y Dê, i lywyddu yn y cynhadleddau, a phregethu yn y Cymdeithasfaoedd. Eglwyswr ydoedd ef, yn gyflawn o ragfarnau Eglwysig, ac yn edrych i lawr ar y pregethwyr diurddau, er fod amryw o honynt yn gyfartal iddo mewn doniau, ac yn tra rhagori arno mewn ymroddiad a gwasanaeth. Pe na buasai cwestiwn neillduad gweinidogion wedi codi, prin yr ydym yn meddwl y gallasai y Parch. David Griffiths barhau yn hir mewn cysylltiad a'r Methodistiaid; nid oedd yn bosibl i ddynion yn meddu hunanbarch ac annibyniaeth, fel Ebenezer Morris, a David Charles, ymostwng i'w draha; a rhaid iddo yntau gael bod yn arglwydd neu yn ddim.

Nid awn i ymhelaethu yn awr ar helynt yr Ordeiniad, a'r gwrthwynebiad a ddangoswyd gan yr offeiriaid. Ficer Nefern oedd yr arweinydd yn y gwrthwynebiad hwn. Efe a orchymynai droi allan o'r Cymdeithasfaoedd y rhai a ddygent y pwnc i sylw; efe a ymgymerai a throi yn ol resymau Ebenezer Morris, a Thomas Jones, o Ddinbych, hyd ag yr oedd hyny yn bosibl iddo; ac efe a arweiniai yr offeiriaid Methodistaidd ddarfu gefnu yn eu henciliad. Gweddus cydnabod nad colled arianol oedd wrth wraidd ei wrthwynebiad. I'r offeiriaid, bu y Neillduad yn golled yn yr ystyr hwn. I'w llogellau hwy yr elai holl arian y cymundeb; cyrhaeddai y rhai hyny yn fynych swm mawr, gan y byddai amryw foneddigion yn aml yn derbyn wrth y bwrdd, ac yn cyfranu yn haelionus. Derbyniai rhai o'r offeiriaid fwy oddiwrth eu Methodistiaeth nag oddiwrth eu bywioliaethau. Eithr prin yr ydym yn tybio ddarfod i'r rhagolwg am y golled ddylanwadu ar Mr. Griffiths er peri iddo wrthwynebu y symudiad. Yr oedd ef yn oludog o bethau y byd hwn. Daliai y fywioliaeth gyfoethocaf yn holl Benfro, a daethai cyfoeth dirfawr i'w

ran mewn canlyniad i'w briodas â merch Llwyngwair. Codai ei wrthwynebiad o ddau gyfeiriad. Un oedd ei ragfarnau Eglwysig. Ni fedrai ymostwng i fod ar yr un tir a'r pregethwyr yr arferai edrych i lawr arnynt o uchder ei gadair offeiriadol. Y llall oedd ymryson teuluaidd a gyfodasai rhyngddo a'i frawd-yn-nghyfraith, Cadben Bowen, Llwyngwair. Yn flaenorol i hyn, yr oedd Mr. Griffiths a'i deulu wedi symud o balas Llwyngwair; yr oedd Cadben Bowen ag yntau yn mhell o fod ar delerau cyfeillgar; a chan fod Cadben Bowen yn troi yn gryf o blaid neillduo gweinidogion o fysg pregethwyr y Cyfundeb, yr oedd hyny yn ddigon o reswm ynddo ei hun, yn annibynol ar bob peth arall, i beri i'r Parch. David Griffiths wrthwynebu.

Darfu i'w enciliad effeithio yn dra niweidiol ar Fethodistiaid rhan uchaf Sir Benfro, gan eu gwanhau a'u lleihau mewn rhif yn ddirfawr. Yn Nefern ac yn Llandudoch yr arferai aelodau y seiadau gymuno yn yr ardaloedd hyny. A phan y collasant eu capelau yn Nefern, Llandudoch, ac Eglwyswrw, nid oedd calon ynddynt i adeiladu rhai newyddion; felly, ymunodd y rhan fwyaf o honynt a'r Eglwys Sefydledig. Teg cyfaddef hefyd fod a fynai dysgleirder doniau gweinidogaethol Mr. Griffiths â hyn, oblegyd yr oedd swyn anorchfygol bron yn ei bregethu, a pharhaodd yn ei boblogrwydd hyd ddiwedd ei oes. Y mae yn bur sicr i'r Ymraniad beri gofid iddo yntau. I ŵr fel efe, oedd yn llawn o ddawn gweinidogaethol, ac yn ymhyfrydu mewn cyfarch torf, rhaid mai teimlad dwys oedd gorfod cadw draw oddiwrth Gymdeithasfaoedd y Methodistiaid, lle y byddai deng mil o bobl wedi ymgynull i wrando gair y bywyd. Anhawdd meddwl hefyd, wedi i chwerwder a phoethder y ddadl basio, na fyddai ei galon weithiau yn dyheu am gymdeithas ei frodyr gynt, a pha rai y meddai fwy o gydnawsedd yspryd, er pob gwahaniaeth barn, nac a'r offeiriaid sychion oeddynt o'i gwmpas. Eithr wedi y Neillduad cyfyngodd ei hunan agos yn gyfangwbl i'w blwyf.

Modd bynag, cawn hanes am dano mewn ychydig amgylchiadau yn dyfod i gyffyrddiad a'i hen gymdeithion Methodistaidd, a'i fod yn dangos arwyddion o bleser. Un tro, yr oedd Cymdeithasfa yn Aberteifi, dyddiad pa un nid ydym yn gofio yn bresenol. Ymgynullasai torfeydd o bob rhan o'r wlad i wrando. Ar yr esgynlawr yr oedd prif bregethwyr y Cyfundeb yn Ngwynedd ac yn y Dê. Gwelid yno hefyd amryw o offeiriaid yr Eglwys Sefydledig, y rhai a gydymdeimlent i raddau a'r diwygiad Methodistaidd, er nad oeddynt wedi gadael y Llan. Yn eu mysg yr oedd Mr. Griffiths, Nefern, wedi methu gwrthsefyll swyn y Gymdeithasfa. Y prif bregethwr yn y brif odfa oedd John Elias, a chafodd yno un o'r odfaeon nad ânt yn anghof byth. Wrth gyhoeddi gair y deyrnas, gwresogai ei yspryd, fflachiai tân allan o'i lygaid, ei eiriau oeddynt fel marwor llosgedig yn disgyn ar gydwybodau ei wrandawyr. Yn fuan, dyna bob llygad wedi ei hoelio ar y pregethwr, a'r gynulleidfa yn foddfa o ddagrau. Mwy grymus y mae y dylanwad yn myned, cyfodi y mae y dwfr, nes myned yn y man yn ddyfroedd nofiadwy. Y dorf sydd fel pe wedi ei dal â syndod, a'r gwŷr parchedig ar yr esgynlawr ydynt yn wylo fel plant. B'le y mae Ficer Nefern? Wedi ymwthio yn mlaen i'r ffrynt i ymyl y pregethwr, wedi ei lwyr orchfygu, a'i ddau lygad fel dwy ffynon. Ar y terfyn, dyma Mr. Griffiths a Mr. Elias, y ddau wrthwynebydd gynt, yn dyfod wyneb yn wyneb. Un edrychiad, a dyma y cariad blaenorol yn ail enyn, yr holl ymddadleu wedi ei lwyr anghofio, a dyma y ddau yn syrthio ar yddfau eu gilydd, gan grio dros y lle. Braidd na ddywedem fod yr amgylchiad yn flaenbrawf o'r nefoedd, am ba un y canwyd mor felus:—

"Bydd pawb o'r brodyr yno'n un
Heb neb yn tynu'n groes."

Clywsom hefyd ddarfod i Mr. Griffiths a Mr. Ebenezer Morris ddyfod i gyfarfyddiad â'u gilydd yn bur fuan gwedi y Neillduad. Tynodd y pregethwr ei het, a moes-gyfarchodd yn barchus; ond am yr offeiriad aeth ef heibio y tu arall i'r heol yn ddisylw. Dygwyddodd y cyffelyb amryw droiau; Mr. Morris yn ymddwyn bob tro yn addfwyn, boneddigaidd, a charuaidd, a Mr. Griffiths yn gwbl anfoesgar. Modd bynag, y tro nesaf y gwelai Ebenezer Morris ficer Nefern yn dyfod i'w gyfarfod, dywedodd ynddo ei hun: "Y mae terfyn i oddefgarwch a hirymaros; mi a adfesuraf iddo fel y mae efe yn mesur i mi; mi a'i pasiaf heb gymeryd arnaf ei weled." Hyny a wnaeth. Prin yr oedd wedi myned ugain llath cyn ei fod

yn clywed llais Mr. Griffiths yn galw: "Ebenezer Morris!" A dyma'r ficer yn troi ato, gyda braich estynedig, gan ddweyd: "Ebenezer anwyl! Pa fodd yr wyt ti? Gad i ni gael ysgwyd dwylaw, ac anghofio pob peth anhyfryd a fu, a bod yn ffryndiau mwy hyd y bedd." Ac ysgwyd llaw a fu yno o'r galon! Cyfarfu y ddau ddegau o weithiau wedi hyn, ac er eu bod mewn gwersylloedd gwahanol, un yn Eglwyswr a'r llall yn Fethodist, yr oedd eu Cristionogaeth yn gryfach na'u sectyddiaeth, ac edrychent ar eu gilydd fel brodyr yn yr efengyl.

Dro arall, tua dwy neu dair blynedd cyn huno o Mr. Griffiths, yr oedd yn Sul cymundeb yn Nefern, a chynulleidfa dda wedi cydymgynull. Ar yr un Sabbath yr oedd y Parch. John Evans, Llwynffortun, ar gyhoeddiad mewn rhyw le yn y gymydogaeth, Trefdraeth yn ol pob tebyg. Teimlai Mr. Evans flys angerddol am glywed ei hen gyfaill; a chan fod yr odfa yn y capel yn dechreu yn foreu, bu yn alluog i gael yr hyn a ddymunai. Pan aeth i mewn i'r eglwys yr oedd y llithiau agos trosodd, a dyma y Parch. David Griffiths yn esgyn i'r pwlpud, a'i wallt yn wyn fel eira, a'i wyneb wedi ei rychio gan helyntion amser, ond a'i lygaid mor eryraidd a threiddgar ag erioed. Nis gwyddom yn mha ran o'r Ysgrythyr y cymerodd ei destun; ond cynhyrfwyd ei yspryd ynddo wrth weled "Evans, Llwynffortun" wedi dyfod yno. Cafodd odfa nerthol iawn; yr olew nefol a redai yn ddibrin, ac yr oedd y pregethwr Methodistaidd yn mwynhau gymaint a neb, gan ddweyd "amen" yn uchel. Arosodd Mr. Evans ar ol i gyfranogi o gymun y saint; nis gwyddom beth oedd teimlad y ficer wrth estyn yr elfenau iddo, ond diau eu bod yn dra chymysglyd, a bod adgofion y dyddiau gynt yn llanw ei feddwl. Ar derfyn y gwasanaeth canwyd yr emyn felusber—

"Fe welir Seion fel y wawr,
Er saled yw ei gwedd."

Am y gymdeithas a ddilynodd, nid oes genym ond dychmygu. Diau ei bod yn gynhes, yn hiraethlawn, ac yn gref, gan fod y ddau yn teimlo na chaent weled wynebau eu gilydd mwy.

Yn mhell cyn ei farw yr oedd Mr. Griffiths wedi prynu etifeddiaeth helaeth yn nghymydogaeth Eglwyswrw, a elwid y Berllan. Adeiladodd yno balas gwych, ac yma y preswyliodd hyd derfyn ei oes. Gan ei fod o yspryd gweithgar, ac yn llawn bywyd, a darfod rhwystro un cyfeiriad i'w yni redeg trwy ei ymwahaniad oddiwrth y Methodistiaid, trodd ei feddwl at amaethu, gan ymdaflu i'r gorchwyl gyda ei holl frwdfrydedd arferol. Cymerodd i'w law rai canoedd o erwau o dir, a daeth i gael ei ystyried y ffermwr mwyaf llwyddianus yn holl Benfro. Nid oedd y fath wenith yn marchnad Hwlffordd a gwenith y Berllan, na'r fath ychain yn myned i ffair. Trwy ei wybodaeth am natur anifeiliaid medrai fagu y ceffylau a'r gwartheg goreu yn yr holl wlad. Efe hefyd ydoedd un o'r ymddiriedolwyr dan ewyllys Madam Bevan, yn yr hon y gadawsai y foneddiges hono ddeng mil o bunoedd at gynal yr ysgolion cylchynol, a gawsent eu cychwyn a'u cynal am flynyddoedd gan yr Hybarch Griffith Jones. Ceisiodd rhai o'r perthynasau dori yr ewyllys, a chymeryd meddiant o'r arian; taflwyd yr achos i'r Canghelllys, lle y bu am ddeng mlynedd ar hugain. Eithr ni lwfrhaodd Mr. Griffiths, ac ni phallodd ei ffydd; a thrwy ei yni ef medrwyd cadw y gymunrodd, oedd erbyn hyny wedi treblu mewn gwerth drwy ychwanegiad y llôg, at wasanaeth plant tlodion Cymru.

Drwg genym na chafodd orphen ei oes heb gyfarfod â llawer o ofidiau. Bu y rhan fwyaf o'i blant farw yn eu mabandod. Un mab a dyfodd i oedran gŵr; cafodd hwnw bob manteision gwybodaeth, ac anfonwyd ef i Rydychain i orphen ei addysg. Eithr siomi gobeithion ei dad a wnaeth, gan ymroddi i oferedd. Credir fod a fynai yr holl helbul a achoswyd iddo gan ei unig fab hwn a phrysuro dydd ei ymddatodiad. Ar y 18fed o Fedi, 1834, ehedodd ei yspryd i wlad y gwynfyd pur. Y dydd Mawrth canlynol, cludwyd ei weddillion marwol i'r eglwys lle y bu yn gwasanaethu am dros haner can' mlynedd; gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parch. Mr. Thomas, Begelly, hen offeiriad a gawsai ei urddo yr un dydd a'r ficer ymadawedig; ac oddifewn i'r muriau y claddwyd gŵr Duw. Bernir fod yn nghymydogaeth tair mil o bobl wedi ymgynull i dalu iddo y gymwynas olaf.

Y mae yn sicr fod y Parch. David Griffiths yn un o'r pregethwyr mwyaf hyawdl a esgynodd i bwlpud yr Eglwys yn Nghymru. Mewn gallu areithyddol ni ragorai neb arno ond Rowland. Anhawdd esbonio paham y mae Williams, Pantycelyn, yn ei farwnad ar ol Rowland, wrth

anog Nathaniel Rowland i fod yn "dad i'r assosiasiwn," gan addaw iddo gymhorth "Dafydd hyfwyn o Langan," yn gwbl ddystaw am Ficer Nefern. Efallai mai un rheswm am hyny oedd oedran y Parch. David Jones, yr hwn oedd dros ugain mlwydd yn hŷn na Mr. Griffiths. Ond yr oedd y Parch. David Griffiths wedi cyrhaedd enwogrwydd mawr cyn i Rowland farw, ac yn cael ei osod yn ffrynt y Gymdeithasfa yn Llangeitho. A oedd yr hen fardd yn deall nad oedd Ficer Nefern wedi ymdaflu i wasanaethu y Cyfundeb fel Mr. Jones, a'i fod yn glynu yn dynach wrth yr Eglwys Sefydledig? Modd bynag, nid ydym am syrthio allan âg ef yn hwy. Y mae yn ddiau iddo fod yn foddion i achub llawer o eneidiau, ac i rwymo briwiau llawer o rai ysig eu calon; a chan iddo droi llawer i gyfiawnder ei fod heddyw yn mysg y rhai sydd yn dysgleirio fel y ser, byth ac yn dragywydd. Terfynwn ein coffa am dano trwy ddifynu dau benill allan o'i farwnad:—

"Ag un droed ar Fynydd Sinai
Yn y mellt, y mwg, a'r tân,
Cym'rai'r gyfraith yn ei freichiau,
Ac a'i daliai hi o'n blaen;
Yn ei gwyneb, du gauadlen
Gwlad y gwaeau giliai draw,
Nes bai'r dyrfa yn arswydo;
Annuwiolion faent mewn braw.

Y droed arall ar Galfaria,
A'i ddau lygad ar y gwa'd,
Trwy ba un mae ffordd i'r euog
I wynebu at y Tad;
Trefn yr achub a ddarluniai,
A rhinweddau'r aberth drud,
Terfynedig yn y cynghor,
Oesoedd maith cyn dechreu'r byd."

Am y Parch. William Jones, Llandudoch, ychydig a wyddom heblaw ei fod yn bregethwr efengylaidd, ac yn ymgyfathrachu â'r Methodistiaid. Dywedir mai brodor o Forganwg ydoedd; a chafodd ei apwyntio i ficeriaeth Llandudoch tua'r flwyddyn 1776. Nid anhebyg felly ei fod wedi cael ei lefeinio âg elfenau y diwygiad Methodistaidd trwy offerynoliaeth Mr. Jones, Llangan. Heblaw Llandudoch daliai fywioliaethau Llantwd a Monington; a dywedir mai efe hefyd oedd ag eglwys y Mwnt, ger Aberteifi. Yn ol *Methodistiaeth Cymru*, y Parch. William Jones oedd sylfaenydd yr achos Methodistaidd yn Llandudoch. Anhawdd genym feddwl y gall hyn fod yn gywir; oblegyd arferai Howell Harris, Daniel Rowland, a Howell Davies, basio trwy y lle gyda chysondeb, ac y mae pob lle i gasglu i seiat gael ei ffurfio yma yn gynar, yr hon oedd dan arolygiaeth yr hen gynghorwr, William Richards. Nid yw yn anmhosibl i'r achos bychan yma ddiffodd yn ystod y cynhwrf rhwng Harris a Rowland, ac mai y Parch. William Jones fu yn foddion i'w ail gychwyn. Modd bynag, trwy ei offerynoliaeth ef y cafwyd capel yma; yn ol pob tebyg, ei enw ef yn unig oedd yn y weithred; felly pan giliodd ef adeg y Neillduad, collodd y Methodistiaid y capel o angenrheidrwydd.

Nid yw yn ymddangos fod Mr. Jones yn enwog fel pregethwr. Bychan oedd ei ddawn, ond yr oedd yn gwbl efengylaidd, ac felly yn tynu cynulleidfaoedd mawrion i'w wrando. Heblaw mynychu y Cymdeithasfaoedd a'r Cyfarfodydd Misol, byddai yn cynal seiat a chyfarfod gweddi gyda chysondeb, yn Llandudoch, gan gymeryd rhan flaenllaw ynddynt ei hun. Byddai y pregethwyr diurddau yn pregethu gyda chysondeb yn y capel; ni esgeulusai Mr. Jones odfa os byddai gartref; ac yn ei dŷ ef y croesawid y cynghorwyr yn ddieithriad. Dywed traddodiad fod ei wraig yn ddynes nodedig o grefyddol a lletygar. Ymddengys fod dylanwad Mr. Griffiths, Nefern, yn fawr arno, ac fel Mr. Griffiths, glynu wrth yr Eglwys a wnaeth pan y penderfynodd y Methodistiaid ordeinio gweinidogion o'u mysg eu hunain. Felly collodd y Cyfundeb y capel, ac nid yn unig y capel, eithr yr holl aelodau eglwysig a'r gynulleidfa, ac ni fu pregeth gan y Methodistiaid gwedi hyny yn y lle am chwarter canrif. Ond glynai y Parch. William Jones wrth yr arddull Fethodistaidd hyd ei fedd, gan gynal seiat profiad a chyfarfod gweddi. Felly y gwnelai Mr. Griffiths, Nefern, a'i ddysgyblion, y diweddar Mr. Hughes, Caron, a'i frawd, sef y diweddar Esgob Llanelwy. Felly hefyd y gwnaeth y Parch. Henry James Vincent, ei olynydd, am agos i ddeugain mlynedd, a'i fab-yn-nghyfraith yntau. Yn wir, y mae gwedd Fethodistaidd ar yr Eglwys Sefydledig yn Llandudoch hyd y dydd hwn. Parheir i roddi arbenigrwydd ar y cyfarfod gweddi a'r seiat. Cynelir ysgol ddyddiol yn yr hen gapel, ond "capel" yw ei enw o hyd ar lafar gwlad. Bu Mr. Jones farw yn fawr ei barch, Hydref 31, 1825, sef yr un flwyddyn a'r Parch. Ebenezer Morris. Gosodwyd *tablet* farmor er coffadwriaeth am dano ar fur canghell yr eglwys, ac arni y mae yr ysgrif a ganlyn:—



BLAENYWERN, CARTREF Y PARCH. EBENEZER MORRIS.



COFADAIL Y MORRISIAID YN MYNWENT TROEDYRAUR.

"SACRED TO THE MEMORY OF THE
REV. WILLIAM JONES
WHO FOR NEARLY 50 YEARS WAS VICAR OF THIS PARISH,
AND DIED ON THE 31ST OCTOBER, 1825,
AGED 76 YEARS."

Y Parch. David Davies, Cynwil, oedd un arall o'r offeiriaid ddarfu gefnu. Pregethwr bychan ydoedd, byr ei ddawn, ac afrwydd ei ymadrodd, ond yr oedd wedi ymuno a'r Methodistiaid, ac yn mynychu eu cyfarfodydd neillduol. Byddai efe, ac eraill o'r offeiriaid Methodistaidd prin eu dawn ymadroddi, yn fynych mewn profedigaeth yn y Cymdeithasfaoedd; rhaid oedd eu gosod i bregethu; fel rheol, byddai un o'r pregethwyr mwyaf hyawdl yn pregethu o'u blaen, gan yr hawliai urddas y swydd offeiriadol iddynt lefaru yn olaf. Adroddir am y Parch. John Elias, y tro cyntaf y daeth i'r Deheudir, yn pregethu mewn Cymdeithasfa. Cafodd odfa nerthol dros ben; yr oedd y bobl wedi eu hoelio wrth ei wefusau, a dylanwad ei areithyddiaeth ddigyffelyb wedi trechu pawb. Ar ei ol cyfodai Mr. Davies, Cynwil. Eithr druan o hono! Beth a wna yr hwn a ddaw ar ol y brenhin? Yr oedd yr hen offeiriad, gyda ei barabl afrwydd, ei ddawn cras, a'i bregeth fechan, ddiddim, fel pe y tywelltid dwfr oer ar y bobl, gwedi y dylanwad angherddol blaenorol. Methodd llawer ddal, a throisant i ffwrdd wedi diflasu yn gyfangwbl.

Ni wyddom ond y nesaf peth i ddim am yr offeiriaid eraill ddarfu gefnu. Yn *Methodistiaeth Cymru*, gosodir yn eu mysg y Parch. J. Hughes, Sychbant; y Parch. Daniel Jones, a Hez. Jones, ei frawd. Gwir am Mr. Hughes, Sychbant, ei fod yn ŵyr i Mr. Gray, Abermeurig; iddo gael ei fagu yn Fethodist, a bod delw y Methodistiaid ar ei weinidogaeth; ond nid ydym yn deall iddo ymgyfathrachu a'r Methodistiaid wedi cael ei urddo yn offeiriad; felly, prin y gellir dweyd iddo ef "gefnu." Am y Parch. Daniel Jones, offeiriad Radyr, ger Caerdydd, oedd efe, a pherthynai i'r cyfnod cyntaf, cyn Griffiths, Nefern, a Jones, Llandudoch; ac yr oedd wedi huno yn yr angau cyn i gwestiwn y Neillduad gyfodi i beri aflonyddwch. Perthyn i'r un cyfnod yr oedd Hezeciah Jones, ei frawd, ac mewn undeb â'r Methodistiaid y terfynodd efe ei yrfa.



# PENOD XXXVIII.

——:o:——

## EBENEZER MORRIS.

*Lle genedigaeth Ebenezer Morris—Ei rieni yn symud i ddyffryn Troedyraur—Tyfu yn fachgen direidus a gwyllt—Yn symud i Drecastell—Ei argyhoeddiad—Yn dechreu pregethu—Y mae yn enill sylw ar unwaith—Yn dychwelyd i Dwrgwyn—Yn cael ei osod i bregethu yn Llangeitho—Marwolaeth Rowland—Marwolaeth Dafydd Morris—Ebenezer Morris yn cael ei alw yn fugail, ac yn priodi—Desgrifiad o hono—Ei ddewrder—Diarddeliad Nathaniel Rowland—Gosod taw ar y ddiacones—Tynerwch Mr. Morris—Michael Penuwch—Nerth a phereidd dra llais Mr. Morris—Yn ei ogoniant ar faes y Gymdeithasfa—Rhai o'i odfaeon hynod.*

Y MAE yn amheus a gyfododd seren ddysgleiriach yn ffurfafen pwlpud Cymru na'r Parch. Ebenezer Morris. Er fod dros driugain-a-deg o flynyddoedd, bellach, er pan alwyd ef i noswylio, y mae ei enw yn air teuluaidd yn ein gwlad hyd y dydd hwn, a'i goffadwriaeth yn fendigedig. Pan y cychwynodd ef bregethu yr oedd llywodraeth y Cymdeithasfaoedd yn gyfangwbl yn llaw yr offeiriaid; prin y meiddiai neb eu gwrthwynebu; ac yr oedd y parch a delid iddynt gan y werin bobl yn ymylu ar addoliad. Ond yn rhinwedd ei alluoedd gweinidogaethol digyffelyb, dewrder didroi-yn-ol ei yspryd, ei ddifrifwch angherddol, a'r cyflawnder o ddoethineb ar ba un yr oedd yn feddianol, nid hir y bu y Parch. Ebenezer Morris cyn esgyn yn uwch na hwy mewn dylanwad, gan gipio y deyrnwialen o'u dwylaw, a hyny yn gwbl ddiymgais. Efe, yn ddiau, oedd arweinydd y Cyfundeb yn y Dè gwedi marw Rowland. Bu Nathaniel Rowland, a Griffiths, Nefern, am dymhor, yn ceisio gosod eu hiau ar yr eglwysi. Eithr gormesu a wnelent hwy, gan lywodraethu trwy drais; ond eisteddai Mr. Morris yn frenin trwy gydsyniad ewyllys yr holl Gorph. A'r fath le oedd iddo yn nghydwybod pawb, fel y teimlai dynion cryfion, fel Ficer Nefern, arswyd yn ei bresenoldeb.

Yr oedd Ebenezer Morris yn fab i Dafydd Morris, yr hwn yntau oedd yn bregethwr digyffelyb. Ganwyd ef yn y flwyddyn 1769, mewn ffermdy o'r enw Henbant, yn gyfagos i Ledrod, Sir Aberteifi. Y mae y tŷ wedi malurio er ys blynyddoedd, fel nad oes yn aros ddim i ddangos y fan lle y safai. Eithr cofir yr hen fagwyrydd gan rai sydd yn awr yn fyw, mewn cae gwair perthynol i Henbant, ychydig bellder oddiwrth y tŷ presenol. Yn y flwyddyn 1774, symudodd ei rieni o gymydogaeth Lledrod i Benffos, ger Troedyraur, yn rhan isaf Sir Aberteifi, pan yr oedd y plentyn Eben yn bum' mlwydd oed. Cafodd addysg dda; a bu am rai blynyddoedd mewn ysgol ramadegol a gedwid yn eglwys Troedyraur, gan offeiriad o'r enw Davies. Dywedir am dano ei fod yn fachgenyn nwyfus, yn gyflym o gof, yn gallu meistroli ei wersi yn gwbl ddidrafferth, ac yn ychwanegol, yn llawn direidi a chastiau. Arferai bechgyn yr ysgol ymdrochi yn yr afon Ceri. Eithr yr oedd un llynclyn ar yr afon, a elwid y Pwll-dwfn, i'r hwn ni anturiai neb ond y nofwyr mwyaf profiadol. Un diwrnod safai rhyw hogyn yn gyfagos i'r pwll, â'i wyneb ar y dwfr; daeth Eben Penffos, yn ddystaw o'r tu ol iddo, a rhoes iddo wth ddisymwth nes ei daflu i'r llynclyn peryglus. Gan na fedrai y llanc nofio bu mewn perygl am ei fywyd. Nid cynt yr agorwyd drws yr ysgoldy nag y galwyd y troseddwr bychan i gyfrif. Ymesgusodai yntau trwy ddweyd: "Beth wyddwn i na allai nofio fel pysgodyn?" Dywedir i barodrwydd ei ateb, ac ysmiciad direidus ei lygad, ddylanwadu ar Mr. Davies, nes peri iddo ei ollwng yn rhydd yn ddigosb. Am Eben ei hun, medrai efe nofio fel pysgodyn; ac os byddai rhyw un yn y gymydogaeth yn nofiedydd gwell na'r cyffredin, dywedid ei fod agos gystal nofiwr ag Eben Morris, Penffos.

Awyddai ei dad iddo fyned yn bregethwr;



PARCH. EBENEZER MORRIS, TWRGWYN,
SIR ABERTEIFI.

ond wrth weled mor gyflawn ydoedd o ysmaldod, a'i fod mor amddifad o ddifrifwch, anobeithiai Dafydd Morris y caffai ei ddymuniad ei gyflawni, a dywedai weithiau yn bruddglwyfus: "Ni welaf yn Ebenezer ond pob anghymhwysder i'r pwlpud. Y mae ei frawd Dafydd yn fachgen da, o feddwl difrifol a dwys, a thebyg mai efe fydd y pregethwr." Eithr yr oedd Mrs. Morris a mwy o afael yn Eben, ac yn gryfach ei ffydd gyda golwg arno; dywedai weithiau wrth ei phriod pryderus: "Yr wyf yn credu y gwrandewir fy ngweddïau ar ran Ebenezer, ond ni chefais ddim boddlonrwydd eto yn nghylch Dafydd." Pan yn llanc dwy-flwydd-ar-bymtheg, symudodd Mr. Ebenezer Morris i Drecastell-yn-Llywel, Sir Frycheiniog, i gadw ysgol ddyddiol. Nid yw yn sicr pa fodd y cafodd wahoddiad i le mor bellenig; y tebygolrwydd yw i'w dad son am dano wrth glywed pobl Trecastell yn ymholi am ysgolfeistr. Modd bynag, y mae yn amlwg erbyn hyn fod y symudiad o Dduw. Pan adawodd Sir Aberteifi yr oedd Eben Morris yn ddifeddwl am ei gyflwr, ac yn gwbl ddyeithr i'r pethau a berthynent i'w heddwch. Rhaid ei fod wedi gwrando prif bregethwyr yr oes, a hyny yn rhai o'u hodfaeon mwyaf nerthol. Ymwelai Daniel Rowland yn fynych a Thwrgwyn; deuai Williams, Pantycelyn, a Jones, Llangan, yn fynych heibio yno yn eu tro; nid esgeulusai pregethwyr penaf Gwynedd y lle, mewn modd yn y byd, ar eu teithiau; ond er mor alluog oeddynt i dynu mewn bwa, ac er mor llym a miniog y saethau a daflent at gydwybodau pechaduriaid, ni lynodd yr un saeth yn nghalon mab hynaf Dafydd Morris; ac yn wir nid yw yn ymddangos iddo gael un math o glwyf. Ar yr un pryd, camgymeriad fyddai tybio ei fod yn llencyn anfoesol; ni chawsai un felly ei oddef i gadw ysgol yn mysg hen Fethodistiaid Trecastell. Tystiolaeth hen fam yn Israel a'i hadwaenai oedd ei fod yn fachgen llawen a difyr dros ben, yn gyflawn o arabedd, yn hoffi clywed pregethwr doniol, ond heb broffesu crefydd, ac heb arwyddion pryder parthed ei gyflwr.

Eithr yr oedd gan Dduw fwriadau pwysig yn nglyn â'r ysgolfeistr ieuanc. Tua dwy flynedd wedi iddo symud i Drecastell, daeth pregethwr heibio o'r enw Dafydd William Rhys, neu, a chanlyn cofnodau Trefecca, Dafydd Williams. Hànai efe o'r un ardal ag Ebenezer Morris, sef Lledrod; a gelwid ef weithiau yn Dafydd Williams, Swyddffynon. Awgryma *Methodistiaeth Cymru* mai yr un ydoedd a David Williams, Llysyfronydd. Prin yr ydym yn meddwl fod y dybiaeth yn gywir. Credwn mai Dafydd Williams y gôf ydoedd, tad y Parch. J. Williams, M.A., hen athraw enwog Ystradmeurig, yr hwn yntau oedd yn dad i'r Archddiacon Williams, yr hynafiaethydd enwog. Pregethwr bychan ydoedd, ac yn Swyddffynon y treuliodd ei holl oes. Nis gwyddom beth oedd ei destun yn Nhrecastell, na pha fath odfa a gafodd; ond aeth rhyw saeth oddiar ei fwa ar ei hunion i galon yr ysgolfeistr digrefydd. Methodd y llanc ddarganfod meddyginiaeth i'w glwyf "nes cael eli o Galfaria;" ac nid hir y bu cyn cyflwyno ei hun fel aelod o'r gymdeithas eglwysig yn y lle. Nis gallai Ebenezer Morris fod yn hanerog gyda dim; ar unwaith dechreuodd weddïo ar ddiwedd yr ysgol gyda'r plant, a chymeryd rhan yn y cyfarfodydd gweddi yn y gynulleidfa gyhoeddus. Darganfyddwyd yn fuan ei fod yn feddianol ar ddoniau rhyfeddol; meddai ryw afael ar ei liniau, yn gystal a phriodoldeb ymadrodd, a melusder llais, nes gorchfygu pawb. Er pan y cawsai droedigaeth yr oedd mor nodedig am ei ddifrifwch ag oedd yn flaenorol am ei ysmaldod; treuliai ei amser pan allan o'r ysgol mewn dwys fyfyrdod uwchben Gair Duw. O herwydd y pethau hyn anogwyd ef i ymroddi i bregethu yr efengyl, a chydsyniodd yntau.

Dyma Ebenezer Morris yn bregethwr ac efe ond llanc pedair-blwydd-ar-bymtheg oed, a newydd gael ei ddychwelyd at grefydd. Torodd allan ar unwaith yn bregethwr rhyfeddol o rymus a phoblogaidd, a gwelwyd fod seren o'r maintioli mwyaf wedi codi. Yn ol *Methodistiaeth Cymru*, yn nhŷ un Llewelyn Dafydd, Llwynynn, y traddododd ei bregeth gyntaf. Ond yn ol ei gofiant yr oedd yr hen flaenor Llewelyn Dafydd wedi marw cyn i Mr. Morris fyned i Drecastell; a dywedir mai yn Llwyncôr, tŷ un Morgan Price, y llefarodd am y waith gyntaf. Tua blwyddyn a haner y bu yn Nhrecastell gwedi dechreu pregethu, ond bendithiwyd ei weinidogaeth yn y capel, ac yn yr amaethdai yn yr ardal, mewn modd rhyfedd. Daeth cynifer a phump-ar-hugain yr un noson i'r seiat i geisio aelodiaeth eglwysig, a thystient oll, oddigerth un, mai wrth wrando ar Mr. Morris y cawsent eu hargyhoeddi. Yn fuan ymwelodd a'i rieni; crefai y brodyr yn Nwrgwyn arno am odfa;

ac addawodd yntau draddodi pregeth ryw noswaith yn ffermdy Troedyraur. Y boreu hwnw aeth ei dad ac yntau ar neges i Gastellnewydd-Emlyn; ac ar eu dychweliad trodd Ebenezer i Droedyraur; ond cymerodd ei dad arno fyned yn ei flaen tua chartref, rhag bod yn un rhwystr iddo. Daeth tyrfa fawr yn nghyd, fel na chynwysai yr amaethdy eu haner; allan yn yr awyr agored ar y gareg farch y llefarai y gŵr ieuanc. Cafodd odfa ryfeddol o effeithiol. Ei lais nerthol a lanwai ddyffryn prydferth Troedyraur; ei ymadroddion a ddisgynent gyda nerth anorchfygol ar galonau ei wrandawyr; teimlai pawb fod Ebenezer Morris yn un o genhadon y nefoedd, ac yn ŵr y mynai Duw ei arddel. Pwy oedd ar y clawdd yn gwrando, wedi methu myned adref, ond Dafydd Morris. Nis gellir desgrifio ei deimladau, a thorodd allan mewn diolchgarwch ar derfyn yr odfa, gan ddweyd: "Ni bydd yr efengyl byth farw, tra byddo Eben fy mab yn fyw."

Pan heb fod dros ugain oed, ac heb fod yn pregethu am ragor na blwyddyn, aeth am daith i Ogledd Cymru fel cyfaill i'r Parch. David Parry, o Lanwrtyd. Ni chawsai rheolau caethion gyda golwg ar bregethwyr ieuainc eu ffurfio y pryd hwnw; nid oedd eisiau caniatad Cyfarfod Misol ychwaith i fyned ar daith; yr oedd y maes yn rhydd, a'r ddeddf a deyrnasai oedd: "*the survival of the fittest.*" Pregethwr tyner a thoddedig oedd Dafydd Parry; nid peri i bechaduriaid grynu a wnelai, ond eu swyno â melusder ei ddawn; os na cheid meddyliau dyfnion yn ei bregethau byddai yn wastad yn cludo coflaid o efengyl. Prin y mae tegwch wedi cael ei wneyd â choffadwriaeth y gŵr enwog hwn. Er, mor bell ag y mae genym hanes, na ddygwyddodd dim eithriadol yn ystod y daith, y mae yn sicr i'r pregethwr ieuanc dderbyn lles. Heblaw fod tuedd mewn pregethu amryw weithiau yn y dydd i dynu allan ei ymadferthion, diau ddarfod i gyfarwyddiadau a chynghorion David Parry fod o les dirfawr iddo. Er i'r "cyfaill" fyned yn enwocach na'i feistr, coleddai Mr. Morris y syniadau uchaf am ddoniau a chymeriad yr efengylwr o Lanwrtyd. Unwaith pan y pregethai Mr. Parry mewn Cymdeithasfa yn Sir Forganwg, a'r nefoedd yn gwenu arno, mor effeithiol oedd y dylanwad ar Ebenezer Morris, fel y torodd allan ar y terfyn i ddweyd: "Y mae yr Arglwydd fel pe byddai yn rhwym o arddel yr hyn a ddywed David Parry."

Fel y sylwyd, prin blwyddyn a haner yr arosodd yn Nhrecastell wedi cychwyn ar waith y weinidogaeth; dychwelodd i Dwrgwyn i dŷ ei rieni, gan bregethu gair y deyrnas trwy yr holl ardaloedd. Aeth y son am dano fel pregethwr anghyffredin trwy yr holl wlad. Clywodd Daniel Rowland yr hanes, a mynodd ei osod, ac efe heb fod yn ddwy flwydd oed o bregethwr, i lefaru wrth y gynulleidfa yn Llangeitho, y Sadwrn o flaen y cymundeb. Pregethasai Rowland ei hun am un-ar-ddeg fel arfer; a chan fod canoedd o ddynion wedi ymgynull i'r pentref a'r wlad erbyn y cymundeb dranoeth, yn unol â'i ddefod gyson o osod y goreu o'r pregethwyr i lefaru yn y prydnhawn, dewisodd fab ei hen gyfaill Dafydd Morris i anerch y dorf. Cyn y Sul canlynol yr oedd Rowland wedi cael ei alw i'r orphwysfa. Cyfeiriai yr hen bobl at y cyd-ddygwyddiad rhyfedd: Y pregethwr mwyaf a welodd Cymru, os nad a welodd y byd, yn traddodi ei bregeth olaf y Sabbath, a'r pregethwr mwyaf ar ei ol yn traddodi ei bregeth gyntaf yn Llangeitho y Sadwrn blaenorol. Gellid meddwl nad oedd Duw am gymeryd Aaron o'r cysegr daearol i'r cysegr fry, heb yn gyntaf ddwyn i'r amlwg Eleazar, yr hwn oedd i fod yn olynydd iddo. Pregethai Mr. Morris am y tro cyntaf yn Llangeitho, Awst 8, 1790; bu farw Daniel Rowland yn mhen wythnos, sef Awst 15.

Nid hir y bu Ebenezer Morris heb i dri amgylchiad pwysig ddyfod i'w gyfarfod, y rhai yn ddiau a fuont yn foddion i symbylu ei feddwl, ac i beri iddo ymroddi yn llwyrach nag erioed i waith y weinidogaeth. Y cyntaf oedd marwolaeth ei dad, yr hwn a ddygwyddodd Medi 17, 1791, sef yn mhen tuag un mis a blwyddyn gwedi ymadawiad Rowland. Bu Dafydd Morris farw yn nghanol ei ddyddiau, pan nad oedd ond 47 mlwydd oed. Yr oedd Ebenezer Morris ar daith yn y Gogledd, mewn cysylltiad â Chymdeithasfa Caernarfon, pan ddygwyd y newydd iddo. Nid rhaid dweyd i'r amgylchiad effeithio yn ddirfawr arno, oblegyd nid yn unig collasai dad anwyl a thyner, eithr yr oedd y Methodistiaid yn Sir Aberteifi wedi colli y ddau bregethwr hynotaf a feddent, ac yr oedd eu hymadawiad hwy o angenrheidrwydd yn ei wthio ef i'r ffrynt. Heblaw Mr. Morris ieuanc, dau bregethwr o

enwogrwydd oedd o fewn cylch y Cyfarfod Misol wedi i Dafydd Morris gael ei alw adref, sef Mr. Williams, Lledrod, a Mr. Gray, Abermeurig. Yr oedd y Parch. John Thomas, Aberteifi, er ei fod rai blynyddoedd yn hŷn nag Ebenezer Morris, heb gychwyn ar y weinidogaeth eto. Felly, yr ydym yn cael Mr. Morris yn yr eilfed-flwyddyn-ar-hugain o'i oedran, a phan nad oedd ond rhyw dair blynedd er pan y dechreuasai bregethu, yn cael ei wthio gan amgylchiadau, neu yn hytrach, gan Ragluniaeth Duw, i fod yn arweinydd yn mysg ei frodyr yn Sir Aberteifi, ac yn fuan yn y Deheudir oll.

Yr ail amgylchiad y cyfeiriasom ato oedd ei briodas â Miss Mary Jones, o'r Dinas, lle o fewn rhyw dair milltir i Dwrgwyn. Dywedir yn *Methodistiaeth Cymru* iddo briodi pan yn ugain oed. Nid yw hyn yn gywir. Yn ol ei Gofiant, yn mhen blwyddyn wedi marw ei dad, sef yn 1792, pan yr oedd yn dair-ar-hugain oed, yr aeth i'r ystad briodasol. Collasai Mary Jones ei mam pan yn eneth fechan seithmlwydd; a chawsai ei chymeryd mewn canlyniad at ei hewythr a'i modryb, y rhai oeddynt yn ddiblant, i'r Dinas, lle y cafodd ei dwyn i fynu fel eu merch fabwysiedig. Meddai y teulu gyflawnder o gyfoeth; yr oedd Mrs. Jones, y fodryb, yn mhellach yn nodedig am ei synwyr a'i chrefydd. Gyda hwy yr arferai Daniel Rowland, Williams, Pantycelyn, ac eraill o'r Diwygwyr, letya pan ddeuent heibio ar eu teithiau. Geneth sobr, yn mawr hoffi gwrando yr efengyl, a holl gydymdeimlad ei hyspryd gyda'r diwygiad, oedd Mary Jones o'r cychwyn; ond ni cheisiodd am aelodiaeth eglwysig hyd pan yn ddeunaw oed. Gwnaeth hyny y pryd hwnw yn Nghastellnewydd-Emlyn, ar anogaeth yr hen Fardd o Bantycelyn, yr hwn oedd wedi sylwi ar grefyddolder ei hyspryd, a'i hymddygiad gwylaidd. Cynygiodd boneddwr ieuanc o'r gymydogaeth, perchenog llawer o diroedd ac eiddo, ei phriodi; teimlai ei hewythr yn ffafriol iawn iddo; ond gwrthododd hi yn bendant ieuo yn anghymarus gydag un o'r rhai digred, ac i Ebenezer Morris y rhoddodd ei llaw. Ffromodd ei hewythr yn aruthr; ni ystyriai y cyngorwr ieuanc o Benffos, yr hwn na pherchenogai ond ei geffyl a'i gyfrwy, yn deilwng o law ei nîth ef; cafodd Mary Jones fyned allan o'r tŷ yn waglaw, ac yn ei ewyllys ddiweddaf nid oedd cymaint a son am ei henw, eithr yr holl gyfoeth a drosglwyddwyd i'w brawd.

Gyda golwg ar helynt dilynol Mr. a Mrs. Morris, caiff y diweddar Barch. John Rees, gynt o Dwrgwyn, ac wedi hyny o Dregaron, lefaru: "Ar ol priodi, aeth (Mrs. Morris) i fyw at ei hanwyl briod i Benffos, anedd-dy ei thad-yn-nghyfraith, sef yr enwog bregethwr Mr. Dafydd Morris, yr hwn oedd wedi marw er y flwyddyn cyn hyny. Nid oedd ei phriod ond gŵr ieuanc, er ys ychydig amser wedi dechreu pregethu; a diau iddo ef, a'i wraig hoff, ddyoddef cryn galedi am rai o'r blynyddoedd cyntaf. Er hyny, ni adawodd Duw Mrs. Morris i fyned yn ddiwobr, hyd yn nod yn y byd hwn, am ei zêl a'i chariad yn gwrthod etifeddiaeth ddaearol, o serch at Dduw a'i bobl. Trodd ei dewisiad er daioni iddi; yr oedd Duw Jacob yn ei hamddiffyn ac yn ei llwyddo. Cynyddodd ei phriod yn nodedig mewn doniau a defnyddioldeb gyda gwaith y weinidogaeth, nes enill sylw neillduol oddiwrth fyd ac eglwys. . Dechreuodd Rhagluniaeth wenu trwy ei fod ef (Mr. Morris) yn derbyn ychydig gan yr eglwysi am ei lafur, a thrwy ei hiawn drefniad a'i diwydrwydd hithau gartref. Ar ol marwolaeth ei hewythr o'r Dinas, daeth ei hanwyl frawd, David Jones, Ysw., i feddiant o'i diriogaeth a'i feddianau; ac o'i ewyllys da a'i gariad at ei chwaer, efe a'i hanrhegodd â swm mawr o arian. Yr oedd y gŵr haelionus hwn yn un crefyddol a duwiol; bu yn flaenor yn eglwys Salem er pan adeiladwyd y capel yn 1811, hyd ddydd ei farwolaeth yn 1833; ac y mae ei weithred garedig a boneddigaidd at ei anwyl chwaer yn deilwng o goffâd parchus. Darfu hyn alluogi Mr. Morris i brynu tyddyn o dir, ac i adeiladu arno dŷ newydd a hardd, yr hwn a elwir Blaenywern. Adeiladwyd ef yn y flwyddyn 1804; ac yno y cawsant eu cydlawenhau yn ol y blynyddoedd y gwelsant ddrygfyd."

Awgryma ymadrodd yn ysgrif y Parch. John Rees, y trydydd amgylchiad pwysig a ddaeth i gyfarfyddiad â Mr. Morris, yn fuan gwedi marw ei dad, sef y cyfeiriad at dderbyn tâl oddiwrth yr eglwysi. Cawsai Dafydd Morris ei alw yn fugail ar eglwysi dyffryn Troedyraur; ar yr alwad hono y symudasai o Ledrod i Dwrgwyn; ac, yn ol dim a allwn gasglu, efe oedd y bugail cyntaf, yn ystyr bresenol y gair "bugeiliaeth," a fu yn mysg y Methodistiaid. Gwedi huno o Dafydd Morris, galwyd ei fab i gymeryd ei le yn y cysylltiad hwn

hefyd. Golygai y fugeiliaeth ei fod yn pregethu yn bur fynych i'r cynulleidfaoedd hyn, yn cynal cyfarfodydd eglwysig yn eu mysg; yn ymweled â'r cleifion, yn cynghori y rhai a welai yn pellhau oddiwrth yr efengyl, gan arolygu yr achos yn ei holl amrywiol ganghenau, a derbyn rhyw gymaint o gydnabyddiaeth am hyny. Sicr yw ddarfod i'r cysylltiad hwn fod o fantais nid yn unig i'r eglwysi, ond hefyd iddo ef. Dygodd ef i ymdeimlad a'i gyfrifoldeb; galwodd allan holl ymadferthoedd ei yspryd mewn llafur; gorfododd ef i ddarllen yn helaeth, ac i fyfyrio yn ddwys, er cael ebran ffres i'r bobl; a rhoddodd iddo gyfleustra dymunol i bregethu yn aml i'r un rhai. Yn ol tystiolaeth unfrydol yr hen bobl, yr oedd efe yn un o'r bugeiliaid goreu. Llywodraethai yn effeithiol, er gyda phob tynerwch; gosodai ei ofn ar droseddwyr a phobl hoff o gynhen; dywedir fod crybwyll enw Eben Morris wrth weithredwyr anwiredd yn peri iddynt grynu trwyddynt; ac i'r parch arbenig a deimlid ato y priodolid yr heddwch a ffynai yn holl eglwysi ei ofal trwy ei holl ddyddiau. Diau mai bychan oedd ei gyflog, ond yr oedd mawr ofal ar ran y bobl am ei sicrhau. Cyfranogai hyd yn nod merched gweini o'r awyddfryd hwn, oblegyd pan eu temtid weithiau i brynu rhyban, neu wisg ddrudfawr, dywedent wrth eu gilydd: "Rhaid i ni ofalu cadw ein cyfran at gyflog Eben Morris." Fel prawf o'r parch mawr a deimlid ato gan yr holl wlad o gwmpas, gallwn gyfeirio at un ffaith. Pregethai unwaith yn Blaenanerch ar ddiwrnod o'r wythnos. Canol gauaf ydoedd; a chyn i Mr. Morris allu myned adref yr oedd y ffordd oddiyno i Dwrgwyn wedi ei llenwi âg eira, ac yn gwbl annhramwyadwy. Ymddangosai iddo y rhaid iddo aros lle yr ydoedd am amser maith. Ond penderfynodd pobl yr ardal agor ffordd iddo trwy yr eira; aeth rhywun dewr trwy y lluwchfeydd hefyd i Dwrgwyn, i anog y preswylwyr yno i gychwyn ar y cyffelyb orchwyl o'r cyfeiriad hwnw; yn y man cyfarfyddodd y ddau gwmni a'i gilydd, a chafodd gwas yr Arglwydd ffordd rydd i'w gartref rhwng muriau eiraog gwynion ac uchel.

Efallai mai dyma y lle goreu i ddesgrifio y dyn oddiallan. Prin yr ydym yn credu mai dyn byr ydoedd, er mai felly ei darlunir yn gyffredin. Dywedwyd wrthym ar awdurdod dda ei fod yn gymharol dal, ond oblegyd ei wneuthuriad cadarn, ac iddo dewychu yn ddirfawr, ymddangosai yn fyr. Ei ysgwyddau oeddynt lydain a chryfion, ei wyneb yn dêg, ac fel pe wedi ei gymhwyso i osod allan deimladau ei fynwes, ei lygaid yn eryraidd a threiddgar, a'i enau yn llydan, fel y gweddai i enau areithiwr. Arwyddai ei wefusau, yn neillduol y wefus isaf, benderfyniad anhyblyg. Cyfunai ei agwedd arwyddion o awdurdod a sirioldeb. Bu farw cyn gweled henaint, ac eto gwynodd ei wallt yn gynhar, a theneuodd ar ei goryn, fel yn y blynyddoedd olaf y gwisgai gap du yn y pwlpud. Rhwng hyn, yn gystal a bod yn rhaid iddo wrth wydrau er gweled i ddarllen, ymddangosai gryn lawer yn hŷn nag ydoedd. Fel y dywedai un, yr oedd yn llonaid pwlpud o bregethwr, a'r olwg arno yn dra pharchedig.

Daeth yn fuan yn un o dywysogion y pwlpud Cymreig, a hyny mewn cyfnod pan yr oedd cewri yn trigo ar y ddaear. Bu am y rhan fwyaf o'i oes yn cydlafurio a'r ail dô o offeiriaid Methodistaidd, megys Jones, Llangan; Davies, Llanfyrnach; Jones, Llandudoch; a Griffiths, Nefern; dynion gwlithog eu dawn, peraidd eu llais, efengylaidd eu hyspryd, a mawr eu dylanwad. Yn ei adeg ef hefyd cyfodasai nifer o bregethwyr diurddau yn Nghymru, y rhai ni welodd y byd erioed eu rhagorach, ac nid llawer o'u cyffelyb. Yr ydym yn cyfeirio at Robert Roberts, Clynog; ei frawd, John Roberts; John Jones, Edeyrn; John Elias; Richards, Tregaron; Richards, Abergwaun; Charles, Caerfyrddin; Evans, Llwynffortun; John Thomas, Aberteifi; ac eraill. Cedyrn Dafydd oedd y rhai hyn; meistriaid y cynulleidfaoedd, y rhai a fedrent saethu â bwa i drwch y blewyn. Nid gormod dweyd i Ebenezer Morris, cyn ei fod yn ddeg-ar-hugain oed, ymwthio i'r rheng flaenaf oll yn eu mysg o ran poblogrwydd, dylanwad, ac awdurdod; a'i fod, mewn rhyw gyfeiriadau, beth bynag, yn rhagori ar un o honynt. Cyrhaeddodd y safle hon yn gwbl ddiymgais o'i du ei hun; daeth iddo yn deg fel etifeddiaeth, o herwydd arucheledd ei ddoniau, grymusder a dylanwad ei weinidogaeth, ei ddwfn gydwybodolrwydd a'i wrolder, yn nghyd a'i gymeriad pur. Pan ar ei deithiau dylifai yr holl ardaloedd i'w wrando, ac anaml y methai gael goruchafiaeth ar ei wrandawyr. Meddai yr hen batriarch, Siencyn Thomas, Penhydd, wrtho unwaith, yn ei ffordd

ryfedd ei hun: "Ti a ddeuaist trwy y wlad y tro cyntaf ar gefn ceffyl mawr dy dad; ond yn awr y mae genyt gystal ceffyl ag yntau. Gochel gwympo, fachgen!"

Y mae yn bur sicr nad fel meddyliwr dwfn y rhagorai Ebenezer Morris, nac ychwaith yn nghywreinrwydd cyfansoddiad ei bregethau. Ychydig o amser a gaffai yn ei lyfrgell, oblegyd y galwadau diderfyn oedd am ei wasanaeth. Byddai yn dilyn Cyfarfodydd Misol y sir gyda chysondeb difwlch; anaml y byddai ei le yn wag yn un o Gymdeithasfaoedd y Deheudir; ai i un neu ddwy o Gymdeithasfaoedd Gwynedd bob blwyddyn; a dylid cofio mai nid myned a dyfod ar ei union, fel cyrchu dwfr o afon, a wnelai, ond y golygai pob Cymdeithasfa bellenig daith o amryw wythnosau, rhwng myned a dychwelyd. Pan gartref drachefn, byddai yn pregethu ac yn cadw seiat yn un o'r eglwysi dan ei ofal bob dydd trwy y flwyddyn, oddigerth Llun a Sadwrn. Pregethai dair gwaith bob Sul, ac nid anfynych gweinyddai yr ordinhad o swper yr Arglwydd ddwywaith. Cadwai odfaeon mewn tai anedd; pregethai mewn angladdau yn mhell ac yn agos, ac ar fwrdd agos i bob llong newydd a fyddai yn myned allan i'r môr o borthladd Aberaeron i lawr hyd Aberteifi. Hawdd gweled fod ei amser i ddarllen a myfyrio yn brin, a bod yn anmhosibl iddo gyfansoddi pregethau cywrain, a gorphenedig. Ond gwnelai ddefnydd da o'r ychydig amser a gaffai yn mysg ei lyfrau. A dywedai ei wrthwynebydd mawr, Mr. Griffiths, Nefern, na welodd ei gyffelyb am wneyd hufen llyfr yn eiddo iddo ei hun mewn byr amser. Ei hoff awdwyr oeddynt y duwinyddion Puritanaidd, yn arbenig Dr. Owen. Anaml y byddai sylw da yn dianc heb iddo ei weled a'i feddianu; gosodai arno ei ddelw ei hun, gan ei gyfaddasu at ffurf arbenig ei ddawn. Y mae yn bur sicr hefyd, os na chaffai hamdden i ddarllen llawer wrth deithio, fod ei feddwl mewn myfyrdod diorphwys pan ar gefn ei geffyl. Wrth groesi mynyddoedd unig Cymru, yn y dystawrwydd dwfn allan o dwrf a thwrw y byd, heb ddim i aflonyddu arnynt, yr oedd yr hen bregethwyr yn cael cyfleustra ardderchog i feddwl a myfyrio ar wirioneddau mawrion yr efengyl, ac yr oedd y cyfleusterau hyn yn gwneyd iawn i raddau mawr am eu dyeithrwch i awduron a llyfrau. Hefyd, pan yn y pwlpud, wyneb yn wyneb a'r gynulleidfa, a'u holl natur mewn cyffro, deuent i feddiant o syniadau gogoneddus, na chant afael arnynt yn y fyfyrgell. Gwnaeth Ebenezer Morris ddefnydd ardderchog o'i fanteision; a synai dynion fel Charles, Caerfyrddin, ac eraill, fod ei bregethau mor gyflawn o dduwinyddiaeth gref, a'i fod yn medru llunio brawddegau hirion, a'u holl ranau mewn cydsafiad a chysondeb hollol. Ond, wedi y cyfan, nid yn nghyfansoddiad ei bregethau yr oedd ei brif ragoriaeth.

Rhaid i ni brysuro bellach i ddangos rhai o'i nodweddion. *Meddai gydwybodolrwydd dwfn, a dewrder diderfyn i gario allan ei argyhoeddiadau.* Nis gwyddai beth oedd llwfrdra, ac ofn dyn. Unwaith y gwelai lwybr dyledswydd yn glir, prysurai i'w droedio beth bynag allai y canlyniadau fod. Parchai urddas; nid oedd mewn un modd yn amddifad nac yn brin o foesgarwch gweddus; ond pan y gwelai ddynion yn rhwystro cerbyd yr efengyl i fyned yn ei flaen, ni fyddai arno arswyd eu ceryddu, a'u gwthio y naill du, beth bynag allai eu sefyllfa fod. Y mae genym lu o engrheifftiau o hyn. Yr ydym wedi cyfeirio eisioes at y ffaith fod gwragedd crefyddol, yn nechreuad y diwygiad Methodistaidd, yn cael cryn le yn y seiadau; y byddent yn holi profiad, ac weithiau yn cyfarch yr eglwys. Braidd nad edrychid arnynt fel diaconesau, er nad oedd neb wedi eu gosod yn ffurfiol yn y cyfryw swydd. Ceid amryw o'r gwragedd hyn yn rhan isaf Sir Aberteifi, ac un yn arbenig yn Mlaenanerch. Cymerai y blaen yn y seiat hyd yn nod pan fyddai Mr. Morris yn bresenol, gan wrando profiad y brodyr yn gystal ag eiddo y chwiorydd. Sylwai efe ei bod yn euog o ffafriaeth, y gwnelai ragor rhwng cyfoethog a thlawd, y canmolai grefydd rhai a fyddent mewn amgylchiadau da yn ddieithriad, tra mai anaml y ceid y tlawd yn bwysau yn ei chlorianau. Goddefodd Mr. Morris hyn am beth amser, er yn teimlo ei yspryd yn ymgynhyrfu ynddo; ystyriai ei ieuenctyd, a'r perygl o wneyd rhwyg yn yr eglwys. Ond ryw dro, pan yn cadw seiat yn Mlaenanerch, a'r ddiacones fel arfer wedi cymeryd yr arweiniad, gan ddwrdio yn chwerw wraig dlawd a gwylaidd, methodd ymatal yn hwy. Gan droi ei wyneb llewaidd ati, ac edrych arni a'i lygaid yn gwreichioni, dywedodd: "Ai fel hyn yr ydych yn cario achos Duw yn y blaen? Os bydd gwraig gyfoethog yn dweyd ei

phrofiad, yr ydych yn ei hysmwddio yn llyfn, ac yn ei mawr ganmawl, er efallai ei bod i'w beio; ond os daw gwraig dlawd yn mlaen, pe bai y dduwiolaf yn y wlad, chwi a fyddwch yn curo arni yn ddidrugaredd. Doed a ddelo i mi, ni oddefaf ymddygiad o'r fath hyn yn hwy." Dywedai hyn gyda'r fath awdurdod tywysogaidd, fel y teimlai pawb fod un yn eu mysg oedd wedi cael ei eni i deyrnasu; ac er ieuanged ydoedd, ni feiddiodd neb ei wrthwynebu. Collodd yr hen chwaer ei llywodraeth yn yr eglwys yn llwyr; darfyddodd hefyd am y diaconesau; bu raid iddynt foddloni o hyny allan ar adrodd eu profiadau eu hunain, heb gael hawl i gwestiyno eu brodyr a'u chwiorydd.

Gwedi huno o Howell Harris, efe oedd y cyntaf a feiddiodd wrthwynebu yr offeiriaid yn y Gymdeithasfa. Edrychid i fynu atynt agos gan bawb fel pe byddent angelion, a theimlid rhyw arswyd ofergoelus yn eu presenoldeb. Pan oedd Ebenezer Morris yn ieuanc, Nathaniel Rowland a lywodraethai; ei gludydd arfau oedd Ficer Nefern; a throm oedd eu hiau. Ond byddai Mr. Morris yn eu gwrthwynebu yn eu gwyneb os gwelai eu bod yn gadael ffordd cyfiawnder. Rywbryd, yn agos i ddiwedd ei oes, cyfeiriai un o'i gyfeillion at ei ddewrder yn y Cymdeithasfaoedd yr adeg hono, gan ddweyd ei fod yn synu at ei onestrwydd a'i wroldeb. Atebai yntau: "Yr oeddwn bob amser, cyn anturio agor fy ngenau ar achos o bwys, yn gofalu fy mod ar ochr Duw; felly, os cwympwn i y cwympai ei enw yntau; ac yr oeddwn yn credu y deuai efe allan yn amddiffyn i'w ogoniant." Un tro, cynhelid Cymdeithasfa yn Capel Newydd, Sir Benfro. Ynddi aeth Mr. Nathaniel Rowland, a rhyw offeiriad arall, i ymgecru a dadleu, nes gwneyd y cyfarfod yn gwbl ddifudd, a'i gwneyd yn anmhosibl cario y gwaith yn mlaen. Eisteddai pawb arall yn ddystaw tra yr oedd y ddau ŵr urddasol yn tafodi a'u gilydd fel pysgod-wragedd yn ffraeo. Teimlai Mr. Morris oblegyd gosod cysegredigaeth y seiat breifat yn sarn; dysgwyliai yn hyderus ar i rai o'r hynafgwyr geryddu yr ymgecrwyr; eithr yr oedd ar bawb ormod o ofn Nathaniel Rowland i agor eu genau, yn arbenig gan yr ystyrid Capel Newydd dan ei ofal neillduol ef. O'r diwedd, wedi blino yn dysgwyl, cyfododd i fynu yn awdurdodol ei osgo, a chyda nerth dywedodd: "Os na ddewch i well trefn na hyna wrth ymwneyd âg achos yr Arglwydd, ni a fynwn eich dysgyblu ill dau." Cerddodd rhyw arswyd gyda ei eiriau, ac eisteddodd y ddau offeiriad i lawr heb feiddio yngan gair yn ychwaneg. Wrth fyned allan o'r capel, dywedai ei gyfaill, Mr. John Thomas, Aberteifi, wrtho: "Eben, ni chymeraswn i mo'r byd am ddweyd fel y gwnaethoch chwi wrth Rowland a'r llall. Yr oeddwn yn ofni rhag i un o honynt eich taro am ryfygu codi i'w dystewi." Eithr nid ŵr i gymeryd ei ddychrynu gan ofn dynion oedd Eben Morris.

Yr ydym yn barod wedi cyfeirio at y rhan a gymerodd, a'r dewrder a ddangosodd, yn nglyn â Neillduad gweinidogion, fel nad rhaid myned dros yr hanes drachefn. Efe yn ddiau, mewn undeb a'r Parch. Thomas Jones, Dinbych, a fu yn brif offeryn i ddwyn oddiamgylch y cyfnewidiad. Eithr efallai mai mewn cysylltiad â diarddeliad Nathaniel Rowland, yn Nghymdeithasfa Castellnewydd-Emlyn, yn y flwyddyn 1807, y cawn yr engrhaifft oreu o'i wroldeb. Cawsai drwg fuchedd Mr. Rowland ei brofi tuhwnt i amheuaeth; gwnaed yn glir i'r Gymdeithasfa ei fod yn ddyn glwth a meddw. Y cwestiwn nesaf oedd, beth i'w wneyd âg ef? Dysgwyliai y cynulliad wrth Jones, Llangan, a Griffiths, Nefern; ond ni agorai yr un o'r ddau ei enau; y cyntaf, oblegyd lledneisrwydd tyner ei natur, a'r parch a deimlai at dad y cyhuddedig; y llall, oblegyd cyfeillgarwch personol â'r gŵr oedd gerbron. Dyma rywrai yn haner awgrymu gosod cerydd tyner arno. Yn nghanol dystawrwydd dwfn, dyma Mr. Morris yn codi, a golwg ddifrifol arno; hawdd gweled fod ei yspryd ynddo yn gyffrous; cyfeiriodd gyda dwysder at dduwioldeb, apostoliaeth, a gweinidogaeth ddyrchafedig Daniel Rowland, a'r parch i'w goffadwriaeth a lanwai bob mynwes; yna, soniodd am ddysgeidiaeth, doniau, sefyllfa urddasol, a hir wasanaeth ei fab, achos pa un oedd yn awr yn cael ei drin, a'r annhueddrwydd a deimlent oll i'w ddiarddel. "Ond," meddai, "y mae ei afreolaeth wedi cael ei brofi mor glir, a'i ymddygiadau mor anghyson â phurdeb yr efengyl, fel yr wyf dan angenrheidrwydd i gynyg ar fod pob cysylltiad rhyngddo a'r Methodistiaid yn cael ei dori, ac na chaffo mwyach ei ystyried yn aelod o'r Gymdeithasfa." Cefnogwyd y cynygiad gan Mr. David Charles, Caerfyrddin, yr hwn, oblegyd ei ddysg a'i allu, oedd eisioes

wedi dyfod i'r ffrynt yn y Gymdeithasfa, er nad oedd eto ond blaenor. Bu yno am yspaid ddystawrwydd difrifol. Gofynai Mr. Jones, Llangan, yr hwn a eisteddai yn y gadair, a oedd yno gynygiad gwahanol. Nid oedd yr un. "Rhoddwch y cynygiad i'r cyfarfod, Mr. Jones," ebai Mr. Morris. "Na, Eben," ebai yntau, a'r dagrau yn ffrydio dros ei ruddiau, "rhaid i chwi ei roddi eich hun; nis gallaf fi ei wneyd." "Wel, eich lle chwi yw ei roddi, Mr. Jones; ond os na wnewch, yn enw Iesu Grist mi a'i gwnaf." Ac yna, a golwg bruddaidd, ond ofnadwy o awdurdodol, arno, efe a ddywedodd: "Yr wyf fi ynte yn galw ar bawb sydd yn bresenol yn y cyfarfod, ac yn teimlo dros burdeb eglwys Crist ac anrhydedd gweinidogaeth yr efengyl, i gyduno â mi ac â Mr. David Charles, yn ol y cynygiad a osodwyd ger eich bron, i dori pob cysylltiad â Mr. Nathaniel Rowland, hyd oni chaffer arwyddion edifeirwch gwirioneddol arno." Ar unwaith, dyna ddwylaw pawb i fynu, hyd yn nod eiddo Mr. Jones, Llangan, a'r offeiriaid eraill. Terfynwyd y cyfarfod mewn gweddi ryfedd gan Mr. John Evans, Llwynffortun. Trwy ei wroldeb diofn y tro hwn, sefydlodd Mr. Morris ei gymeriad fel y gŵr mwyaf ei ddylanwad yn Nghymdeithasfa y Deheudir. Ymddengys fod Siencyn Thomas, Penhydd, yn mysg ei edmygwyr penaf, a'i fod wedi ei foddloni yn fawr yn y ddysgyblaeth ar Nathaniel Rowland. Yn fuan wedi i'r amgylchiad gymeryd lle, yr oedd Mr. Morris ar daith yn Sir Forganwg. Mewn rhyw fan, daeth yr hen batriarch i'w gyfarfod, a chan guro ei gefn, dywedai: "Da machgen i. Ti a'i gwnest yn y Castellnewydd yna. Fe fydd ar holl ffeiradon y byd dy ofn di bellach." Yna, wedi mynyd o ddystawrwydd, ailadroddai yr hen ŵr y cynghor a roddasai iddo yn flaenorol: "Y mae pen dy farch yn uwch na march neb yn y Dê heddyw. Gwylia gwympo. Os gwnei, ti gei godwm ofnadwy." A thrwy drugaredd, fe'i cadwyd yn ddigwymp hyd yn nheyrnas nefoedd.

Ar yr un pryd, camgymeriad difrifol fyddai tybio mai llew o ddyn oedd Ebenezer Morris, heb na thosturi na thynerwch; yn hytrach, cyfunai â'r dewrder llewaidd, addfwynder yr oen. Y mae genym lu o enghreifftiau yn profi y perchenogai deimladau nodedig o dyner. Pregethai unwaith yn Llangeitho ganol dydd gwaith, ac, fel arfer, yr oedd seiat ar ol y bregeth. Galwyd ar un Thomas Lewis, Cilrhig, yn mlaen i ddweyd ei brofiad, a chan yr awyddai Mr. Morris am gael rhyw gymaint o wybodaeth am ei gymeriad a'i grefydd cyn dweyd dim wrtho, gwnaeth awgrym ar y cynghorwyr i gychwyn yr ymddiddan. Yr oedd dau o honynt yn bresenol, sef John Williams, yr hwn a elwid Sion Sgubor, ac Evan Evans, neu Evan Tanner. Gan mai dan draed ofnau ac amheuon y llafuriai yr hen ŵr, aeth y ddau gynghorwr i'w drin, a dywedai un o honynt na wyddai ef beth i feddwl o ddynion wedi bod gynifer o flynyddoedd gyda chrefydd, ac heb ganddynt nemawr ddim i'w ddweyd gyda golwg ar sylfaen eu bywyd tragywyddol. Teimlai Mr. Morris wrth y truan oedd gerbron, a dechreuodd ei holi:—

"Beth yw eich oedran?"

"Yr wyf," ebai yntau, "yn ddeunaw-mlwydd-a-thriugain."

"Dros pa faint o amser yr ydych wedi bod gyda chrefydd?"

"Mae mwy na deng-mlynedd-a-deugain," meddai yr hen ŵr, "er pan y cefais y fraint o gael lle yn mysg pobl yr Arglwydd."

"A fuoch chwi ddim allan o'r eglwys yn ystod yr holl amser hwn?"

"Naddo," oedd yr ateb, "er i mi haeddu cael fy mwrw allan lawer gwaith."

"A fuoch chwi dan gerydd eglwysig erioed?"

Torodd Thomas Lewis allan i wylo, wylai y bobl gydag ef, a thrwy ei ddagrau, atebai: "Naddo; ond yr wyf yn methu deall sut y dihengais, a minau yn greadur mor annheilwng."

"Haner can' mlynedd yn ddigerydd," ebai Mr. Morris; "haner can' mlynedd yn ddigerydd; dyna fwy na all llawer o ddynion ffraeth ei ddweyd. Faint o honoch chwi all swnio y shibboleth yna?" Daeth awel hyfryd dros y cyfarfod gyda'r dywediad, ond gwridai y ddau gynghorwr mewn cywilydd; ac fel y dygwyddodd, buasai un o honynt dan ddysgyblaeth amryw droiau.

Cawn engrhaifft arall o dynerwch Mr. Morris, yn gystal ac o'i fedr a'i synwyr, yn ei ymdriniaeth ag achos hen flaenor yn Mlaenanerch, o'r enw Michael Jones, neu fel ei gelwid ar lafar gwlad, Michael Penuwch. Gyda dechreuad yr Ysgol Sabbothol, daethai yn arferiad i bobl ieuainc adrodd penod o'r Beibl yn gy-

hoeddus o flaen y pregethwr wrth ddechreu yr odfa; byddai merched, yn gystal a meibion, yn adrodd yn eu tro. Edrychai Michael Penuwch ar yr arferiad fel newyddbeth peryglus, ond ni feiddiai wrthwynebu, am fod Mr. Morris, a'r hen flaenor hynod Owen Enos, yn bleidiol i'r peth. Modd bynag, aeth Mr. Morris am daith i'r Gogledd, gan gymeryd Owen Enos gydag ef fel cyfaill. Yn ystod eu habsenoldeb, gafaelodd Michael yn yr awenau, a rhoddodd derfyn buan ar y ddefod, gan rwystro un yn gyhoeddus gwedi iddo sefyll ar ei draed. Aeth yn gyffro trwy y lle; bygythid Ebenezer Morris yn dost ar Michael, gan ddweyd y byddai yn sicr o'i ddiarddel pan ddychwelai adref. Nid oedd yr hen ŵr ei hun heb ryw gymaint o ddychryn, a rhoddai ei hun mewn agwedd i ymladd brwydr ar y cwestiwn. Adref y daeth Mr. Morris, yn fuan dyma ef yn Mlaenanerch, yn pregethu ac yn cadw seiat, a chyda fod y cyfarfod eglwysig yn dechreu, dyma yr achwyniadau ar ymddygiad Michael Penuwch yn llifo i mewn. Dysgwylid gweled y bugail yn cyffroi, ac yn taranu y ddeddf. Eithr adnabyddai Mr. Morris ei ddyn; gwyddai fod Michael yn un o ddynion duwiolaf y wlad, eithr nad oedd yn ŵr i gymeryd ei ddychrynu na'i ddirwasgu. Trodd at yr hen frawd, gan sefyll uwch ei ben yn syn, a dweyd, mewn llais llawn serchawgrwydd, dair neu bedair o weithiau yn olynol: "O! yr hen Fichael dduwiol; O! yr hen Fichael dduwiol." Gallai Michael ddal cerydd heb blygu, ond aeth y tynerwch annysgwyliadwy yn drech nag ef; toddodd ei galon yn llymaid, llanwodd ei lygaid o ddagrau, ac awgrymodd ei fod yn ddigon ystwyth i unrhyw beth. Bellach, y cwestiwn rhwng yr aelodau a'u gilydd ydoedd beth fyddai dedfryd Mr. Morris. "Ei atal o'r ordinhad a wnaiff," sisialai un; "na," meddai y llall, "y mae yn siwr o'i droi i ma's, 'd oes fater yn y byd ychwaith, oblegyd fe rwystrodd Peggi ni i ddweyd penod." Eithr dyma Ebenezer Morris ar ei draed, ac yn cyhoeddi y ddedfryd. "Michael," ebai, "ti wyddost fy mod i bregethu yma prydnhawn dydd Sul nesaf; rhaid i ti ddechreu yr odfa i mi, a dewis di yr un a fynost o'r merched neu y gwragedd i adrodd penod." Tawelodd hyn bawb, a boddlonodd Michael i'r ddedfryd. A phan ddaeth y Sabbath, yr oedd yr hen ŵr, a'i lygaid yn ffynhonau, a'i wyneb fel gweirglodd ddyfradwy, wrth wrando y benod yn cael ei hadrodd. Prawf yr hanes fod Mr. Morris yn adwaen cymeriadau yn dda, a'i fod yn medru gwahaniaethu rhwng trosedd gwirfoddol a chamgymeriad mewn barn.

Ymddengys fod Michael Penuwch yn gymeriad nodedig o bur, ac yn eiddigus o sancteiddrwydd y tŷ. Gwas ydoedd gyda Mrs. Jones, Penarisaf, gwraig weddw gyfoethog, ac aelod blaenllaw yn Mlaenanerch. Priododd y weddw â Mr. Howells, offeiriad Manordeifi, gŵr a gawsai ei ddysgyblu am anfoesoldeb. Pryderai Mr. Morris gyda golwg ar y modd i ymddwyn ati; ar ei ffordd i Flaenanerch, galwodd yn Esgaireithyn gydag Owen Enos, ac, yn mysg pethau eraill, holent eu gilydd parthed pa ochr fyddai Michael yn debyg o gymeryd, gan yr arferai sefyll yn gryf dros ddysgyblaeth. I'r cyfarfod yr aed, a dyma achos Mrs. Howells gerbron. Dyma Michael Penuwch ar ei draed, ac awdurdod yn eistedd ar ei wedd. "Allan mae meistres i fod," meddai, "onide yr wyf fi yn rhwym o losgi fy Meibl; y mae wedi priodi âg un o'r creaduriaid gwaethaf ar wyneb y ddaear." Allan y cafodd fyned. Yn fuan gwedi hyn, cynhelid Cyfarfod Misol yn Mlaenanerch; ac er ei bod wedi ei dysgyblu, anfonodd y wraig doraeth o ymborth ar gyfer y cyfarfod. Eithr pan glywodd Michael, aeth yno ar ei union, ac anfonodd yr ymborth yn ol fel diofrydbeth. Aeth y wraig mewn canlyniad i'r Eglwys Wladol. Yr ydym yn croniclo hyn er dangos pa fath ddyn oedd Michael Jones, Penuwch, yn gystal ag er mwyn dangos y modd didderbynwyneb y gweinyddai yr hen bobl ddysgyblaeth.

*Perchenogai lais peraidd, cryf, ac ystwyth, fel pe wedi ei wneyd ar gyfer cyhoeddi yr efengyl.* Yn y cyfuniad o nerth, pereidddra, a threiddgarwch, yr oedd llais Ebenezer Morris yn ddigyffelyb. Meddai holl lithrigrwydd llais Evans, Llwynffortun; holl dynerwch llais Ebenezer neu Thomas Richard; holl dreiddgarwch eiddo Michael Roberts, yn nghyd a rhyw nerth anorchfygol, na feddai neb mo hono ond ei hunan. Dywedai yr hen bobl mai llais Dafydd Morris oedd y cryfaf, ond mai eiddo "Eben" oedd y pereiddiaf o lawer. "Yr oedd ganddo," meddai mam Dr. Owen Thomas wrth ei mab, "nid llond capel, ond llond cae, o lais." Nid yn unig medrai ddydd y Gymanfa beri i bawb glywed yn nghyrau eithaf y dorf, ond gwnai hyny gyda hawsder; cariai ei ym-

adroddion yr un dylanwad ar y bobl a fyddai draw ar *fringe* y gynulleidfa ag a wnelai ar y rhai oedd wedi ymwasgu i ymyl yr esgynlawr. Ar y llais ardderchog hwn meddai yntau gwbl reolaeth. Gallai ei ostwng neu ei ddyrchafu fel y mynai; amrywiai ef wrth ei ewyllys i ateb ansawdd y mater â pha un yr ymdriniai. Byddai weithiau yn groch fel y daran yn rhuo; bryd arall yn hyfryd fel sain dyneraf y delyn; weithiau swniai yn arw wrth gyhoeddi bygythion y ddeddf; bryd arall yn fwyn fel suad ysgafn yr awel yn mrig y coed, pan yn efengylu yr addewidion. Yr oedd ei lais yn gyfrwng difeth i osod allan deimlad ei fynwes.

Cyd-dystiai pawb a fu yn gwrando arno gyda golwg ar ragoriaeth ei lais. "A ydych chwi yn cofio Ebenezer Morris?" gofynai y Parch. William Rees, D.D., unwaith i Dr. Owen Thomas, wrth ymddiddan am hen bregethwyr Cymru. A phan yr atebai yntau yn nacaol, efe a chwanegai: "Ni chlywsoch chwi ddim llais, ynte." Yn gyffelyb y dywedai Mr. David Jones, Dolaubach, gŵr nodedig am graffder ei sylw. "Peth hynod yn Ebenezer Morris," meddai, "rhagor i neb yn gyffredin, oedd rhagoriaeth ei lais. Yr oedd ei lais yn soniarus yn gystal ag yn nerthol. Gyda rhyw frawddegau yn ei bregethau, gollyngai ei lais mawreddog gyda'r fath nerth a hyawdledd fel y gellid ei glywed rai milltiroedd o ffordd, yn enwedig os byddai yn pregethu yn yr awyr agored; a byddai y mater dan sylw y pryd hwnw yn cyfateb mewn pwysigrwydd i nerth y traddodiad. A byddai efe yn medru dyfod yn ol eilwaith mor naturiol a phe na buasai wedi codi dim ar ei lais. Yr oedd hefyd yn hynod fedrus i ddarlunio mater ei weinidogaeth yn ngwedd ei wynebpryd wrth draddodi, fel yn wir y gallai dyn hollol fyddar ddeall wrth ei olwg a'i wedd pa un ai cyfraith ai efengyl a fyddai ei bregeth."

Gwirionedd llythyrenol yw dywediad Mr. Jones fod llais Ebenezer Morris yn glywadwy filltiroedd o bellder. Cawn am y diweddar Barch. Evan Evans, Aberffrwd, hen weinidog parchus yn Sir Aberteifi, a fu farw yn y flwyddyn 1856, iddo y flwyddyn flaenorol fethu myned i'r odfaeon ar y morfa yn Nghymdeithasfa Aberystwyth, oblegyd llesgedd corph, er iddo ddod i'r dref, a'i fod yn bresenol yn rhai o'r odfaeon yn y capel. Eithr holai yn awchus un a fuasai ynddynt. Yn mysg pethau eraill, dywedai hwnw fod llawer o'r gynulleidfa yn achwyn eu bod yn methu clywed y pregethwyr ar y maes, yn enwedig gan fod gwynt cryf yn chwythu ar y pryd. "Ië," ebai Mr. Evans yn ol, "y mae'r dynion mawr, ffit i lefaru wrth y miloedd mewn cymanfa, wedi meirw agos i gyd. Yr oeddwn i, pan yn fachgen pur ieuanc, yn bugeilio gyda fy nhad yn agos i gapel Seion, pryd yr oedd Ebenezer Morris yn pregethu ar y morfa yn Aberystwyth, ac er fod y pellder yn agos i dair milltir, yr oeddwn i oddiyno, nid yn unig yn clywed llais y pregethwr, ond yn deall ambell i air a ddywedai." Cawn dystiolaeth gyffelyb oddiwrth y Parch. Thomas Howell Davies, periglor Llangunllo, mam yr hwn oedd yn aelod gyda'r Methodistiaid yn Nghapel Drindod. "Wrth bregethu," meddai, "byddai Mr. Morris yn dechreu yn isel ac yn araf, ac yn codi yn raddol yn uwch-uwch wrth fyned yn y blaen, nes yr oedd ei lais cyn y diwedd yn swnio fel udgorn arian. Yr oedd yn uwch ei lais, ac yn fwy soniarus a threiddgar, nag un pregethwr a glywais i erioed. Pan yn pregethu ar gyntedd y maes, byddai ei lais weithiau yn cyrhaedd cylch rhai milltiroedd. Mi a glywais i hen wraig yn Sir Benfro gael ei hargyhoeddi trwy ei weinidogaeth, a hithau yn eistedd ar odreu mynydd tua dwy filltir o'r man lle yr oedd efe yn pregethu. Mewn cymanfa, byddai ei lais mawr, treiddgar, yn crynhoi y dyrfa at eu gilydd, ac yn eu cylymu megys un dyn; pawb o honynt a'u llygaid yn llawn agored, a'u safnau yn haner felly, fel pe baent yn llyncu y gwirioneddau melus, pwysig, a thragywyddol, y byddai efe yn eu harllwys o'i enau."

Un dystiolaeth ychwanegol gyda golwg ar ardderchawgrwydd digymhar ei lais a ddifynwn, sef eiddo Dr. Phillips, Henffordd. Meddai: "Cewri oedd ar y ddaear y dyddiau hyny, ac yr oedd efe yn un o honynt. Pwy nad yw wedi clywed am hyawdledd Ebenezer Morris? Yr oedd ei berson yn fawreddog, ei edrychiad yn dreiddgar, a'i lais yn uchel, clir, a soniarus. Nid ffug na chelfyddyd oedd ei areithyddiaeth. Dyrchafai ei lais pan fyddai y llanw mawr yn dyfod i mewn; bloeddiai nes y clywai miloedd yr hyn a ddywedai; a bloeddiai, nid oblegyd arferiad, ond oblegyd teimlad, ac am nas gallai beidio. Yr oedd galluoedd ei gorph a'i feddwl yn cael eu rheoli gan ysprydoliaeth y gwir-

ionedd oedd o dan sylw ar y pryd. Wedi i'r dyfroedd ymgasglu yn raddol, ymdorent yn rhiadrau mawrion ar draws y gynulleidfa. A rhwng y tywalltiadau oddi uchod, a'r rhwygiadau yn nheimladau y bobl, yn nghyd a hyawdledd cynyddol y pregethwr, yr oedd yr olygfa yn annesgrifiadwy ar amserau.'

*Meddai allu arbenig i ymgyfaddasu at yr amgylchiadau yn mha rai y byddai.* Pregethai yn mhob math o leoedd; weithiau mewn tŷ anedd, ar gladdedigaeth aelod o'r teulu, neu mewn capel gweddol gyfleus, neu ynte ar y maes, gyda miloedd o ddynion yn gynulledig ger ei fron, dydd mawr y Gymdeithasfa. Yn mhob lle byddai Mr. Morris yn gwbl naturiol. Ni ollyngai allan y llais mawr, oedd fel swn llawer o ddyfroedd, pan yn pregethu mewn bwthyn; ac ni wnai ymgais ychwaith at draddodiad areithyddol; yn hytrach ymollyngai i siarad yn hamddenol ac agos. Caiff Mr. David Jones, Dolaubach, fod yn dyst ar y mater yma eto. "Ni welais bregethwr erioed," meddai, "yn medru ymagweddu mor gymhwys i ba le bynag y byddai yn pregethu ynddo. Pan yn pregethu yn yr awyr agored mewn cymanfa, byddai efe yn feistr y gynulleidfa, fel Saul, yn uwch o'i ysgwyddau na phawb. Pan yn pregethu mewn cegin tŷ fferm, byddai yn ymresymu a'i wrandawyr megys un yn ymddiddan mewn teulu ar yr aelwyd, heb fyned yn rhy isel, ac heb golli ei ddylanwad ar ei wrandawyr yn y naill le mwy na'r llall. Yr wyf yn ei gofio yn pregethu ar nos Sabbath mewn tŷ fferm, tua'r flwyddyn 1817, neu 1818, pan yr oedd ymborth dynion yn brin a drud iawn. Cymerodd yn destun Matthew vi. 33: 'Eithr yn gyntaf, ceisiwch deyrnas Dduw, a'i gyfiawnder ef, a'r holl bethau hyn a roddir i chwi yn chwaneg.' Sylwai ar geisio teyrnas Dduw yn ei llywodraeth rasol ar y galon yn bersonol, a cheisio ei llwyddiant ar y ddaear trwy weddïo am hyny, a'i cheisio yn ei hamgylchiadau allanol trwy gyfranu at achos crefydd, yn ol esiampl y weddw yn Sarepta yn Sidon, gydag Elias, yr hon a roddodd y deisen gyntaf i'r prophwyd, ac a gafodd hyny yn ffordd sicr i beri i'r blawd a'r olew barhau. Gyda hyn, gan edrych yn y modd mwyaf difrifol ar ei wrandawyr, efe a ddywedai: 'A wyddoch chwi, gyfeillion, yr wyf yn credu pe y caem ein dwyn i geisio teyrnas Dduw, yn ol fel yr wyf fi yn dywedyd wrthych yn ddigon annyben, y caem fodd i fyned trwy y byd yn ddi-ddiffyg; ïe, hyd yn nod pe byddai raid i Dduw droi ceryg y maes yn fara i ni.' Ar ol ychydig ddystawrwydd, fel pe byddai yn rhoddi amser i'r gynulleidfa i ystyried y peth hwn a ddywedasai, efe a ychwanegodd: 'Ië, nid wyf yn galw hyny yn ol;' ac a'i mynegodd yr ail waith, a hyny â'r fath ddylanwad yn cydfyned â'i eiriau, fel yr oedd yn hawdd deall ar agwedd y bobl eu bod yn ei gredu yn drwyadl."

Pan ar daith i Gymdeithasfa, ac yn pregethu mewn lleoedd gwledig, ni byddai bob amser yn dwyn i'r golwg holl ymadferthion ei ddawn; yn hytrach, llefarai yn ddwys a difrifol, ond heb y grym gorchfygol a fyddai yn nodweddu ei weinidogaeth ar y gwyliau arbenig. Dywedai y Parch. Joseph Thomas, Carno, nad oedd yn hoffi gweled pregethwr ar ei eithaf yn mhob cyfarfod. Modd bynag, nid oedd Ebenezer Morris felly; byddai arbenigrwydd amgylchiad yn cyffroi ei natur, ac yn deffro adnoddau na welid mo honynt ar adegau cyffredin. A thuag at ei weled yn ei ogoniant penaf, rhaid ei wrando ar ddydd y Gymdeithasfa, â'r miloedd ger ei fron. Adroddir am dano, gydag Owen Enos yn gyfaill iddo, yn myned i Gymdeithasfa Trecastell. Ar y ffordd pregethodd droiau ar y geiriau, Es. xliii. 7: "I'm gogoniant y crëais ef, y lluniais ef, ac y gwneuthum ef." Yr oedd yn bregeth dda, ond ni welai Owen Enos rywbeth anghyffredin ynddi, ac nid ymddangosai fel pe bai yn cydio yn y cynulleidfaoedd. Ac yn sicr, ni ystyriai hi yn bregeth Cymanfa. Eiddo Mr. Morris, fel arfer, oedd y brif odfa yn Nhrecastell, sef deg o'r gloch; ac er syndod i Owen, darllenai yn destun: "I'm gogoniant y crëais ef." Diflasodd yr hen flaenor yn enbyd; dywedai yn ddystaw wrtho ei hun: "Dyna hi yn y pen arno y tro hwn." Ond er ei syndod dyna'r bregeth fel pe wedi gwisgo gogoniant newydd; y mae pob brawddeg yn cydio, a phob rhwyf yn tynu; y mae Ebenezer Morris yn ysgwyd y nefoedd, nes y mae y dorf anferth yn crynu yn ei bresenoldeb. Taflai rhyw oleuni rhyfedd ar y creu yn yr aileni, y llunio yn y sancteiddhad, a'r gwneuthur yn nghorpheniad y gwaith. Ei lais oedd fel udgorn, a threm ei lygad fel dysgleirdeb mellten, a bloeddiai drosodd a throsodd, gyda grym oedd yn arbenig iddo ei hun: "*I'm gogoniant!* I'M GOGONIANT! I'M GOGONIANT!" Yn mhell cyn gorphen y cyfarfod yr oedd yno

le rhyfedd. Yr oedd yr awyr fel pe wedi duo gan gymylau, a'r nefoedd yn arllwys y gwlaw graslawn i lawr, nes yr oedd miloedd yn gwaeddi am yr uchaf â'r pregethwr. Dywedai Mr. Watkins, hen flaenor perthynol i Drecastell, nad aeth un cerbyd dyeithr trwy y dref adeg yr odfa heb aros; fod pob gwaith wedi sefyll; fod oferwyr yn rhedeg allan o'u tai i gae y Gymdeithasfa mewn dychryn; ac ni wyddai neb pa nifer o'r dynion yn pasio mewn cerbydau, ac o'r dynion gwamal yn y dref, ac ar lechwedd y mynyddoedd, gafodd eu hargyhoeddi. Cododd yr odfa hon Fethodistiaeth yn Nhrecastell, a daeth ugeiniau at grefydd. Wrth fyned allan o'r maes gofynai Mr. Morris yn chwareus i Owen Enos beth oedd yn feddwl am y bregeth. "Anghyffredin!" ebai yntau. "Yr oeddwn yn ofni ac yn crynu pan y cymerasoch eich testun, ond rhyfedd fel y troes." "Ië," atebai Mr. Morris, "mi wyddwn i fod rhywbeth mawr yn yr adnod; a rhyw ysgwyd y blwch oeddwn ar y ffordd; yma yr oeddwn am ei dori."

Yn gyffelyb y bu mewn cysylltiad â Chymdeithasfa Caernarfon, Medi, 1818, pan y cafodd odfa fythgofiadwy ar Lef. xvii. 11: "Y gwaed hwn a wna gymod dros yr enaid." Tuag adeg y Gymdeithasfa yr oedd hen flaenor o Bethania, yn Sir Aberteifi, John Davies wrth ei enw, ar daith yn y Gogledd, yn gwerthu hatiau, yn ol ei arfer. Pan yn nghymydogaeth Tremadog lletyai yn nhŷ Mr. Ellis Owen, Cefn-y-meusydd, yr hwn yr oedd ei glod yn fawr fel llenor a bardd. Mewn ymddiddan, dywedai Mr. Owen wrth y blaenor fod cyhoeddiad Ebenezer Morris yn Nhremadog, boreu y Sabbath dilynol, ac ychwanegodd ofyn: "A ydych chwi, yn Sir Aberteifi, yn ei gyfrif ef yn bregethwr mawr?" "O, ydym," oedd yr ateb; "yn un o'r rhai mwyaf." "Wel, ni chlywais i ddim neillduol ganddo," meddai Ellis Owen, "rhagor amryw o bregethwyr da eraill. Y mae yn y wlad hon bregethwr ieuanc o'r enw Moses Jones, ac yr wyf yn ei gyfrif ef lawn cystal ag Ebenezer Morris." Meddai John Davies yn ol: "Yr wyf fi wedi clywed Moses Jones, ac o ddyn ieuanc y mae yn bregethwr tra rhagorol; ond y mae ganddo waith tyfu cyn dyfod at figwrn Ebenezer Morris." Boreu y Sabbath a ddaeth, ac aeth y ddau i Dremadog i wrando Mr. Morris, ond ni chafodd Ellis Owen le i newid ei feddwl am y pregethwr. Modd bynag, aeth y ddau i'w wrando i Griccieth yn y prydnhawn. Ymgasglasai y torfeydd yn nghyd o bob rhan o'r wlad, fel nad oedd lle i'r degwm o honynt yn y capel; yn y ffenestr y bu raid i genad yr Arglwydd lefaru; ac yr oedd y fath arddeliad yn cydfyned â'r weinidogaeth fel y torodd allan yn orfoledd mawr, a gorphenodd yr odfa mewn moliant a chân. Wrth fyned adref, gofynai y gŵr o'r Dê i Ellis Owen: "Beth yw eich barn am Ebenezer Morris yn awr?" Ebai yntau: "Y chwi oedd yn iawn, yr wyf wedi newid fy meddwl yn hollol." "Ie," meddai y llall, "ond beth pe clywech ef mewn Cymanfa, wedi ei wisgo â nerth o'r uchelder?"

A hyny a gafodd efe, a miloedd eraill, yn Nghaernarfon yr wythnos ganlynol. Yn y brif odfa, sef deg o'r gloch, y diwrnod olaf, pregethai y Parch. John Evans, Llwynfortun, yn mlaenaf. Cafodd odfa ragorol iawn; dyferai ei athrawiaeth fel gwlithwlaw ar irwellt, ac fel cawodydd ar laswellt; prin yr oedd llygad sych yn y gynulleidfa. Ond tra y llefarai efe yr oedd rhai boneddigion o'r ardal, a ddaethent i'r maes o ran cywreinrwydd, yn marchogaeth o gwmpas y dorf, er mawr flinder i laweroedd. Eithr yn fuan wedi iddo gymeryd ei destun, sef y geiriau a nodwyd allan o Lefiticus—"Y gwaed hwn a wna gymod dros yr enaid"—cyfarchodd Mr. Morris yr aflonyddwyr: "Foneddigion, a welwch chwi yn dda aros yn llonydd am ychydig, i wrando geiriau yr Arglwydd? Yr wyf fi yn myned i son am yr enaid, ac am y gwaed a wna gymod drosto; y mae genych chwithau eneidiau." Cywilyddio a wnaethant, a gwrando yn astud hyd ddiwedd y cyfarfod. Yn fuan enillodd y pregethwr awdurdod hollol ar ei wrandawyr. Yr oedd y dorf fel pe wedi ei rhwymo wrth ei wefusau. Ei faterion oedd enaid dyn; yr enaid yn euog; pawb a phob peth yn annigonol i wneyd cymod drosto; a rhinwedd gwaed Crist er effeithio cymod dros yr enaid yn y nefoedd. Ac yn ol ei arfer o ddyrchafu ei lais yn nglyn â rhyw air arbenig, gan ei ail adrodd trosodd a throsodd, bloeddiai, nes yr oedd creigiau yr Eryri yn adsain, a chalonau yn methu dal heb fyned yn ddrylliau: *Y gwaed hwn!* Y GWAED HWN! Y GWAED HWN! Dwysbigwyd canoedd, yn ol pob tebyg, a thorodd yr odfa i fynu mewn gorfoledd annysgwyliadwy. Deuai lluoedd at grefydd am y tro cyntaf yn y gwahanol seiadau, Môn ac Arfon, a'u tystiolaeth unfrydol oedd, mai

wrth wrando Ebenezer Morris yn traethu am "Y gwaed hwn," y cawsent eu hachub. Yn mysg eraill, yr oedd gwraig o bechadures yn nhref Caernarfon; daethai i'r maes gyda bod Mr. Morris yn dechreu pregethu; aeth y gwirionedd fel saeth lem i'w chalon, a bu ei synwyrau ar ddyrysu am ryw gymaint o amser. Hi a gafodd gyfnewidiad amlwg; a bu fyw am flynyddoedd lawer yn anrhydedd i grefydd.

Adroddai Michael Roberts wrth Dr. Owen Thomas am y bregeth hon, a chyfeiriai at y wen angylaidd oedd ar wyneb Mr. Morris wrth draethu am rinwedd y gwaed. "Y wên hono oedd yn lladd," meddai. Ychwanegai y Parch. Michael Roberts: "Y deigryn yn llygad Jones, Edeyrn; wylo fy ewythr, Roberts Roberts; bloedd, ac yn enwedig gwên, Ebenezer Morris; ac edrychiad, dystawrwydd, a bys John Elias; dyna y pethau mwyaf effeithiol arnaf fi o ddim."

*Ni byddai un amser yn colli ei hunanfeddiant.* Y mae yn glir ei fod yn meddu teimladau cryfion, ac y byddai yn cael ei gyffroi gan y materion â pha rai yr ymdriniai wrth bregethu; byddai ei eiriau yn aml yn disgyn ar natur ei wrandawyr fel gwreichion yn nghanol gwellt; ond byddai efe yn gwbl hunanfeddianol hyd yn nod ar bwynt uchaf y cynhyrfiad. "Yr wyf yn cofio Cyfarfod Misol, yn Swyddffynon," ebai y diweddar Barch. David Hughes, yr Ynys, "tua'r flwyddyn 1822. Cyhoeddwyd Mr. Morris i bregethu mewn hen ffermdy y noson gyntaf, a thranoeth yn y capel am ddeg. Ychydig wyf fi yn ei gofio am yr odfa ddeg, ond yr wyf yn cofio am yr odfa yn yr hen amaethdy. Yr oedd yr hen dy wedi ei orlenwi; ac yr oedd efe yn sefyll ar rywbeth, fel ag i fod ychydig uwchlaw y bobl, a chanwyll fawr yn hongian yn ei ymyl. Ei destun oedd yn 2 Samuel xxiii. 5. Wedi iddo gymeryd ei destun, rhoddai y Beibl mawr i ddyn a safai yn ei ymyl, a phregethai yn oleu ac yn nerthol, a'i yspectol yn un llaw ganddo. Yn mhen ychydig efe a sylwai fod rhyw eiriau hynod yn egluro y gwirionedd oedd dan ystyriaeth yn y Salmau, neu Esaiah. Rhoddai yr yspectol am ei lygaid, a gofynai am y Beibl o law y dyn oedd yn ei ymyl. Troai at y geiriau heb drafferth, gan barhau i bregethu wrth wneuthur hyny. Yna dywedai: 'Dyma'r geiriau; daliwch sylw! Gwrandewch i gyd!' ac efe a'u darllenai, gan eu heglurhau mor oleu, a'u dangos mor ogoneddus, fel y gallem feddwl nad oeddym wedi eu clywed erioed o'r blaen. Wedi hyny rhoddai y Beibl yn ol i'r gŵr oedd yn ei ymyl. Gwnaeth felly o bump i chwech o weithiau yn ystod yr odfa hon. Yr oeddwn yn gwrando, gan edrych arno yn fanwl, a pharhaodd tuag awr neu ddwy. Dan y dylanwad torodd llawer o'r dyrfa allan i floeddio, 'Gogoniant!' 'Haleliwia!' ac nis gwn pa bryd yr ymadawsant."

Dwg y diweddar Barch. Owen Thomas, D.D., dystiolaeth i berffeithrwydd yr hunanfeddiant a nodweddai y Parch. Ebenezer Morris, a hyny yn benaf oddiar y wybodaeth a gawsai gan y Parchn. W. Roberts, Amlwch, a Henry Rees. Fel hyn y dywed: "Y mae yn ddiamheu nas gallasai fod yn hollol ddibryder, eto ni welid byth un arwydd fod hyny yn ei derfysgu, fel ag i beri iddo golli dim arno ei hunan, neu ymddangos fel pe buasai yn dyrysu, neu yn anghofio yr hyn a fwriadasai ei ddywedyd. A phan na byddai rhyw adnod, a ddefnyddid ganddo i egluro ei bwnc, yn dyfod yn uniongyrchol i'w gof, yn gwbl ddigyffro, ac yn y modd mwyaf pwyllus, efe a dynai allan y gwydrau, a'u gosodai ar ei lygaid, a droai yn hamddenol ati, ac a holai ryw gwestiynau yn ei chylch; ac wedi iddo ei chael, darllenai hi gydag eglurder, a dwysder, a nerth, ac a dywalltai genllif o hyawdledd syml a sanctaidd oddiwrthi, nes y byddai wedi ei sefydlu dros byth yn meddwl y gynulleidfa. Yn yr hunanfeddiant hwn ymgomiai yn dawel â'r bobl; ac ar ddydd y Gymanfa troai at y pregethwyr o'r tu ol iddo ar yr esgynlawr, gyda rhyw sylw priodol yn arbenig iddynt hwy. Troai drachefn at y bobl, ac a'i law aswy o'r tu ol iddo ar ei gefn, a'i law ddehau i fyny yn uchel, a'r gwydrau ynddi, efe a daflai ei lais allan fel taran, at y segurwyr y tu hwnt i gyrau y dorf, neu yn y Bala, at y rhai diofal ar ben y domen draw; deuai yn ol eilwaith i ymgomio yn dawel â'i wrandawyr, a'i holl ymddangosiad yn arwyddo ei fod wrth fodd ei galon yn y gwaith mawr oedd ganddo, ac yn ymwybodol ynddo ei hunan ei fod yn genad Duw at y bobl.

"Clywsom Mr. Rees yn fynych yn son am dano yn pregethu mewn Cymdeithasfa yn y Bala, pan oedd ychydig ddolur ar un o'i fysedd, a rhyw fretyn o lian ganddo o'i gwmpas. Pan oedd ar ganol pregethu, datododd y cwlwm ar yr edau oedd yn dal hwnw; ac felly yr oedd y bretyn yn colli. Ond yr oedd y pregethwr, newydd fod yn yr hwyl fawr, yn arafaidd yn ail ddirwyn

yr edau; yn ceisio dodi cwlwm arni, ond yn methu; ac felly yr oedd yn datod drachefn. Yna dechreuai ei hail ddirwyn; gwnaeth hyny amrywiol weithiau yn ystod y bregeth, ond heb derfysgu dim arno ei hunan, na cholli dim yn ei ddylanwad ar deimladau y dyrfa."

*Meddai ar holl anhebgorion y gwir areithiwr.* Yr oedd ei barabl yn rhwydd, ei drem yn eryraidd a threiddgar, a'i ymddangosiad yn wir dywysogaidd. Yn ychwanegol, meddai eglurder syniadaeth, angerddolrwydd teimlad, parodrwydd cyflym, a medr i sefydlu cymundeb uniongyrchol rhyngddo a'i wrandawyr. Fel areithydd, y mae yn amheus a oedd yn ail i neb heblaw John Elias; ac mewn rhyw nodweddion rhagorai ar y gŵr enwog hwnw. Dygir tystiolaeth unfrydol i'w fedr areithyddol. Tystiai y Parch. John James, gweinidog perthynol i'r Undodiaid, mai Ebenezer Morris oedd y pregethwr mwyaf hyawdl a medrus a glywodd efe erioed yn ei fywyd, a chymeryd i mewn yr holl enwadau. Adroddai y Parch. John Rees, Tregaron, am Mr. Morris yn pregethu mewn Cymdeithasfa yn Nhywyn, Meirionydd, yn y flwyddyn 1823. Pregethai ddwy waith, sef y prydnhawn cyntaf, ac am ddeg tranoeth. Wedi ei wrando ar y maes, dywedai y Parch. Robert Griffith, Dolgellau: "Dywedent am Chrysostom, gan mor enwog ydoedd fel pregethwr, mai gwell iddynt fyddai i'r haul beidio codi nag i Chrysostom beidio pregethu; ac felly yr wyf finau yn barod i ddweyd am Ebenezer Morris; nis gallai Cymru gael colled fwy nag iddo ef beidio pregethu." Wrth gyfeirio at odfa ryfedd a gafodd mewn odfa yn Nghymdeithasfa Capel Newydd; yr hon a ddaw dan ein sylw eto, ysgrifenai y Parch. W. Hughes, rheithor Caerwys, yn Sir Fflint, fel y canlyn: "Nid oeddwn ond bachgen, oddeutu deuddeg oed, pan y clywais gyntaf y Parchedig Ebenezer Morris mewn Cymdeithasfa yn Capel Newydd, Sir Benfro. Ei destun oedd Diar ix. 18. Yn awr, yn mhen blynyddoedd meithion ar ol hyny, nis gallaf ond dweyd fod y bregeth hono yn ffrwd o hyawdledd Demosthenaidd. Yr oedd yr effaith a gynyrchid ar y gynulleidfa fawr yn drydanol. Yr oedd rhai wedi eu trochi mewn dagrau, ac eraill yn gwaeddi 'Hosannah,' mewn hwyl. Yr oeddwn yn anfoddlon i adael y lle. Yr ydoedd i mi fel mynydd Tabor i Petr: 'Da yw i ni fod yma.' Mi a'i clywais ar ol hyn pan yn yr ysgol yn Aberteifi. Yr oedd ei ymddangosiad yn y pwlpud yn fawreddog, a'i holl ystum yn gweddu i areithydd. Yr oedd y cap melfed du a wisgid ganddo yn rhoddi iddo olwg esgob yn gwisgo meitr. Gwnai ei ddull o bregethu i un feddwl am wroldeb Luther, craffder Calvin, ac angerddoldeb Knox. Nid rhyw *vox et praeterea nihil* (llais a dim ychwaneg) oedd ei bregethau, ond ceid ynddynt ddyfnder Chalmers, wedi ei gyfuno â hyawdledd gwresog Stowell. Ei faterion yn benaf a fyddent, bwriad a chariad tragywyddol Duw, colledigaeth dyn trwy bechod, prynedigaeth trwy ras, ac ailenedigaeth a sancteiddhad trwy ddylanwadau grasol yr Yspryd. Gwyddai pa fodd i fyned mewn grymusder trwy y tân a'r mwg ar Sinai, a gallai gario ei wrandawyr, megys yn ei freichiau, a dangos iddynt y Jerusalem newydd. Ei brif sefyllfan oedd Calfaria, a'i brif bwnc oedd croes ein Harglwydd Iesu Grist."

Dygai dynion heb nemawr cydymdeimlad â'r athrawiaethau arbenig a gyhoeddid gan Mr. Morris dystiolaeth i'w alluoedd areithyddol. Dywedai boneddwr a breswyliai yn Nghilwendeg, ar gydiad siroedd Penfro ac Aberteifi, o'r enw Morgan Jones, iddo unwaith wrando Mr. Morris yn pregethu ar ddameg y mab afradlon; ac er iddo ef (Mr. Jones) weled *actors* penaf yr oes, yn y prif chwareudai, na chanfu yr un yn eu mysg yn gallu portreiadu amgylchiadau a chymeriadau mor fedrus ac effeithiol ag y darluniai Mr. Morris gyfarfyddiad y tad a'r mab yn y bregeth hono. Adroddai y Parch. William Evans, Tonyrefail, am Mr. Morris yn pregethu mewn tref yn y Deheudir, yn yr awyr agored, pan yr oedd bargyfreithiwr enwog, anffyddiwr o ran barn, yn gwrando. Clywsai lawer am y pregethwr, a gosododd ei hun mewn man cyfleus i weled a chlywed. Ei dystiolaeth ar ddiwedd yr odfa ydoedd: "Ni wrandewais y fath areithiwr erioed o'r blaen; gwnaeth i mi wylo er fy ngwaethaf. Nid oeddwn yn coelio gair a ddywedai, ac eto nis gallwn beidio wylo fel y gwlaw wrth wrando arno." Adroddai y diweddar Dr. Phillips, Henffordd, am dro cyffelyb yn nglyn â Chymdeithasfa Caerfyrddin, pan y pregethai Mr. Morris dan arddeliad amlwg. Yr oedd dau o aelodau y *bar* yn gwrando, sef y *Councellor* Jones, o'r Ystrad, a'r *Councellor* Taunton, yr hwn yn ganlynol a adwaenid wrth yr enw Arglwydd Denman. Ni ddeallai Mr. Taunton gymaint a gair,

ond y fath oedd effaith llais a hyawdledd Ebenezer Morris arno, fel nas gallai gynwys ei hun, a chan ddyrchafu ei ddwylaw trodd at ei gyfaill gan ddweyd: "*I have never heard anything like this.*"

Yr ydym wedi cyfeirio at ei barodrwydd. Ni byddai un amser yn cyfansoddi pregeth fanwl; ei arfer ydoedd dwys fyfyrio ar ei fater, nes cael ei drydanu ganddo a'i lanw o hono, fel y bydd yr haiarn yn y *forge* yn myned yn llawn o dân; ac felly, ar ol dod gerbron y gynulleidfa yr oedd yn medru taflu gwreichion i'r cyfeiriad a fynai. Dyma dystiolaeth y Parch. John Rees, Tregaron, yr hwn a fu yn gyfaill iddo ar amryw o'i deithiau. "Wedi i Mr. Morris ragymadroddi," meddai, "a dyfod at ei destun, byddai yn codi penau naturiol arno. Eithr ni byddai yn gyffredin yn sylwi yn fanwl ar bob pen; ond wedi cymeryd rhyw un peth a fyddai yn llewyrchu yn fwyaf neillduol ar ei feddwl, efe a ddilynai ar ol hwnw, a'r llewyrch yn myned yn fwyfwy, nes dylanwadu yn nerthol ar yr holl dyrfa wrth ei wrando. Pan y clywid ef ar dro drachefn yn llefaru ar yr un testun, efallai na wnai sylwi dim ar y mater y bu yn aros arno wrth drin y geiriau o'r blaen; ond yn hytrach safai ar un neu ddau o benau eraill y bregeth, fel ei harweinid ar y pryd. Anaml y ceid clywed yr un pethau ganddo oddiwrth yr un testun, oddigerth y penau. Dywedai yn fynych ar ganol ei bregeth, pan yn myned i gadarnhau rhyw bwnc a fyddai ganddo o'r Ysgrythyr: 'A ddarfu i chwi sylwi erioed ar yr adnod yn y fan-a'r-fan? Yn ddiweddar y gwelais i y peth sydd ynddi.' Byddai yn y modd hwn yn tynu sylw yr holl wrandawyr ar yr adnod; ac wrth ei fod ef yn ei hesbonio ceid rhyw oleuni neillduol gyda'r esboniad, fel nas gellid anghofio yr adnod hono mwyach."

Oblegyd y parodrwydd hwn medrai gymhwyso ei genadwri at agwedd ei wrandawyr. Adroddai y diweddar Barch. Thomas Harris, Hwlffordd, yr hwn gwedi hyny a aeth i'r Eglwys Sefydledig, iddo wrando ar Mr. Morris yn pregethu yn Nghymdeithasfa Caerfyrddin, haf 1817. Ei destun oedd Salm xc. 1: "Ti, Arglwydd, fuost yn breswylfa i ni yn mhob cenhedlaeth." Ac yr oedd nerth arbenig yn cydfyned a'r traddodiad. "Nid oedd," meddai Mr. Harris, "yn cadw cynwysiad ei fater nes dyfod i ddiwedd ei bregeth, ond yr oedd yn ei gymhlethu â hi oll. Ei gwestiwn mawr oedd: 'Ddynion! a oes genych chwi breswylfa i fyned iddo erbyn y cymerir chwi i'r byd tragywyddol?' Bu swn y cwestiwn hwnw yn adsain yn fy nghlustiau ac yn fy nghalon am hir amser; ac yr wyf yn gobeithio y byddaf yn well o'i herwydd pan y byddaf yn newid dau fyd." Coffäi y diweddar Barch. John Jones, Llanbedr, am dano yn pregethu oddiar yr un testun, mewn Cyfarfod Misol yn y dref hono, ac yr oedd y fath arddeliad ar ei eiriau fel yr oedd yr holl dorf wedi ei gorchfygu. Syrthiodd un ferch i lewyg, a bu am yspaid yn haner marw; y gair cyntaf a ddywedodd wedi dyfod ati ei hun ydoedd: "A ydwyf eto y tu yma i uffern?" Credir i'r ferch hono gael tro tragywyddol trwy y bregeth, oblegyd ni bu yr un byth.

Awgryma Dr. Owen Thomas am Mr. Morris, ei fod i raddau yn amddifad o ddychymyg. Prin yr ydym yn credu fod y sylw yn gwbl gywir. O leiaf, fel y rhaid i bob gwir areithydd, meddai ddigon o ddychymyg i ymdaflu yn gyfangwbl i'r cymeriadau fyddai yn ddarlunio. Cawn brawf o hyn yn y bregeth a draddododd yn Nghymdeithasfa Capel Newydd, yn y flwyddyn 1822, at yr hon yr ydym wedi cyfeirio yn barod. Eithr cyn myned at bregeth Mr. Morris, goddefer i ni ddweyd gair am y Gymdeithasfa. Ymddengys ei bod yn Gymdeithasfa lewyrchus drwyddi. Y prydnhawn cyntaf pregethai John Davies, Nantglyn, yn nodedig o iraidd a blasus. Ar ei ol yr oedd Ebenezer Richard, yn hyfryd a thoddedig, a'i athrawiaeth yn defnynu fel y gwlith ar y cnu gwlan. Dranoeth, am chwech o'r gloch y boreu, llefarai William Havard a David Evans, Aberaeron, ac yr oedd y cwmwl o hyd uwchben y gwersyll. Deg o'r gloch, adeg y brif odfa, a ddaeth; a chan fod yr hîn yn dêg a thyner, yr oedd y gynulleidfa yn fawr iawn, wedi ymgasglu nid yn unig o Sir Benfro, ond hefyd o'r siroedd cymydogaethol, sef Caerfyrddin ac Aberteifi. Dechreuwyd y cyfarfod gan Richard James, gŵr o Sir Forganwg, ac un hynod am ei afael mewn gweddi. Y cyntaf i bregethu oedd John Evans, Llwynffortun; ac yr oedd yr olew yn llifo yn fendigedig, fel ag i osod pawb wrth eu bodd. Ar ei ol pregethodd Mr. Charles, Caerfyrddin, ychydig yn fyr yn yr iaith Saesneg.

Yn olaf, dyna Ebenezer Morris yn dyfod yn mlaen i'r ffrynt, ac yr oedd pawb fel pe wedi codi ar flaenau eu traed mewn dysgwyliad. Ei destun oedd, Diar. iv. 8: "Llwybr y cyfiawn sydd fel y goleuni, yr



Y "LODGE," YN MHLWYF LLANDINAM, SIR DREFALDWYN.

[*Yma y traddododd Howell Harris ei bregeth gyntaf yn Ngogledd Cymru, yn y flwyddyn 1740.*]



Y "TYDDYN," YN MHLWYF LLANDINAM, SIR DREFALDWYN.

[*Cartref Mr. a Mrs. Bowen.*]

[*Cynhelid Seiat yn fore yn y ty hwn, a chynhaliwyd Cyfarfod Misol yma yn y flwyddyn 1749.*]

hwn a lewyrcha fwyfwy hyd ganol dydd." Buan y teimlwyd, wedi iddo ddechreu ymadroddi, fod y bregeth "yn eglurhad yr Yspryd a nerth." Bu am enyd yn desgrifio "y cyfiawn," heb godi nemawr ar ei lais, ac eto yn enill sylw ac yn cyffroi teimlad yr holl gynulleidfa. Yn yr ymdriniaeth tarawodd wrth ei hoff bwnc, cyfiawnhad trwy ffydd, a defnyddiodd, mewn modd medrus, gymhariaeth o eiddo y diweddar Barch. John Newton wrth ddarlunio ei argyhoeddiad. Yr oedd efe, meddai, wedi gwêu a gwnio iddo ei hunan fantell ag yr oedd yn falch iawn o honi; wedi ei gwneyd o ychydig o wlan a llawer o lin. Yr oedd ei Feistr yn mawr anghymeradwyo y wisg hono, ac yn erchi iddo ei bwrw heibio, ac y rhoddai efe iddo wisg well yn ei lle; ond yr oedd Jack yn nacau, gan ei fod yn meddwl nad oedd gan neb yn yr holl wlad fantell harddach a chymhwysach. O'r diwedd, galwodd y Meistr ar ŵr cadarn, o'r enw Moses, i ddyfod i wialenodi Jack; a chyda'r wialen dyma Moses yn curo y fantell nes y cododd y fath lwch o honi, fel yr oedd ei pherchenog yn meddwl ei fod yn cael ei fygu, ac y collai ei fywyd yn y fan. Yn y cyfamser yr oedd ei Feistr gerllaw, yn dal o'i flaen y wisg oreu erioed. A dyma Jack yn gwaeddi: "Yr wyf yn ildio, Meistr. Ni waeth gen i ble yr aiff yr hen fantell, ond i mi gael fy ngwisgo yn y wisg yna." Felly, gwisgwyd ef â newid dillad; yn ei wisg newydd galwyd arno i ddyfod i'r parlwr i wledda; ac nid yn gymaint fel gwas, ond fel brawd a chyfaill y cyfrifwyd Jack byth mwyach. Gyda grym a medr neillduol, dyna'r pregethwr yn arwain meddwl ei wrandawyr oddiwrth y ddameg at y geiriau: "Ac y'm ceir ynddo ef, heb fy nghyfiawnder fy hun."

Yna trodd i ddangos y cyffelybrwydd oedd rhwng llwybr y cyfiawn i'r goleuni. Dangosai fychander y goleuni yn ei gychwyn, fel nas gwyddid i sicrwydd pa un ai y wawr wirioneddol, ynte rhywbeth achlysurol, oedd yno, ond ei fod yn cynyddu mewn llewyrch, gan dywynu ar a thrwy gymylau duon, nes eu gwasgaru; felly am lwybr y cyfiawn, ei fod yn myned rhagddo yn ei rym fel yr haul. Erbyn hyn, yr oedd y pregethwr yn feistr hollol ar y dorf; yr oedd y fath gydweddiad rhwng ei fater, ei yspryd, a'i lais, fel yr oedd y gynulleidfa wedi ei llwyr orchfygu. "Yr wyf yn cofio," meddai y Parch. John Jones, Penmorfa, "fy mod wrth wrando ar y pryd, yn dychymygu fod gwynt mawr yn chwythu, a bod yr holl dorf fel gallt o goed yn plygu o'i flaen." Ond nid oedd Mr. Morris wedi cyrhaedd uchafbwynt ei bregeth eto. Cyn terfynu, ymaflodd gyda grym yn y gair cyferbyniol ar ol y testun: "Eithr ffordd y drygionus sydd fel y tywyllwch." Dyma y llais mawr, oedd fel swn llawer o ddyfroedd, yn ymdori yn ei rym ar y gynulleidfa: "O lwybr gwahanol! Y mae llwybr y cyfiawn yn *llewyrchu*, LLEWYRCHU, LLEWYRCHU, FWYFWY HYD GANOL DYDD. Ond beth am lwybr yr annuwiol? Llwybr yn *tywyllu*, TYWYLLU, TYWYLLU, FWYFWY HYD GANOL NOS!" Nid oedd un cnawd a allasai ddal ychwaneg. Aeth yn floedd o ddychryn trwy y lle. Mewn cerbydau yn nghŵr y dorf yr oedd nifer o foneddigion y wlad, yn nghyd a meddygon, cyfreithwyr, ac offeiriaid; yr oeddynt oll wedi delwi, ac yn wylo fel babanod. Daethai yno nifer o lanciau ieuainc dibris o Ysgol Ramadegol Aberteifi; ac yr oedd y rhai hyny wedi colli pob meddiant arnynt eu hunain, ac yn wylo ac yn molianu fel pe am y mwyaf. Bu dylanwad y bregeth hon yn aruthrol; ymunodd tua chwech-ugain o eneidiau â'r eglwys yn nhref Aberteifi, a'r eglwysi cymydogaethol, heb gyfrif y degau a ychwanegwyd at yr eglwysi yn Siroedd Penfro a Chaerfyrddin. Gwelir prawf o ddychymyg cryf, yn gystal a holl anhebgorion eraill yr areithydd, yn y sylwadau ydym wedi goffhau.

Dyma engrhaifft ychwanegol i ddangos yr un peth. Un prydnhawn Sabbath, pregethai mewn amaethdy, rhwng Penmorfa a Blaenanerch. Ei destun oedd, Dat. vi. 17: "Canys daeth dydd mawr ei ddigter ef, a phwy a ddichon sefyll?" Gyda llewyrch a nerth annesgrifiadwy, efe a ddarluniai frenhinoedd y ddaear, a'r gwŷr mawr, a'r cyfoethogion, a'r pencapteniaid, yn ymguddio yn yr ogofeydd a'r creigiau, ac yn gwaeddi am i'r mynyddoedd a'r creigiau syrthio arnynt. "Frenhinoedd, yr oedd eich arswyd ar yr holl ddaear," meddai, "beth sydd arnoch heddyw? Beth yw y newid gwedd sydd arnoch? Beth yw yr ymguddio yna, yn lle eistedd yn falch ar eich gorseddfeinciau? Bencapteniaid! y rhai a arferech sefyll yn ddigryn yn y brwydrau poethaf, yn ddidroi-yn-ol, pan hyd dopiau eich botasau mewn gwaed; beth yw yr ofn sydd wedi eich dal yn awr? Paham yr

ydych yn arfer y fath iaith frawychus? Paham yr ydych yn gwaeddi: 'Greigiau, syrthiwch arnom?' Wŷr mawr! ddoe, y llwon a'r rhegfeydd rhyfygus oedd eich hiaith; ond y mae wedi newid heddyw; ceisio gwneyd rhywbeth tebyg i weddïo yr ydych, er mai nid gweddïo ar Dduw! Beth sydd yn bod? Och, y Gŵr y darfu i ni ei wrthod a'i ddirmygu sydd ar y cwmwl! Yr hwn y buom yn ei wrthod a'i ddyrmygu sydd wedi dyfod i eistedd mewn barn arnom! Y mae yr olwg arno i ni yn ofnadwy! Gwell genym fyddai cael ein llethu, a'n lladd, a'n darnio dan fynyddoedd, na gorfod sefyll mynyd yn ei wydd!" Yna gostyngodd ei lais i dôn ymddiddanol, gan ofyn yn y modd mwyaf difrifol i'w wrandawyr: "Bobl, a oes genych chwi fodd i sefyll yn y dydd hwnw?" nes yr oedd pob calon yn crynu. Bu yr odfa hon yn ddechreuad diwygiad mawr, yr hwn a ymledodd trwy yr holl wlad o gwmpas. Aeth tua deg-ar-hugain ar ol y bregeth hono i geisio aelodaeth eglwysig yn y capelau cylchynol, ac amryw i gapel yr Annibynwyr oedd gerllaw. Prawf yr engrheifftiau hyn, a llawer eraill a allem roddi, fod Ebenezer Morris yn meddu, i helaethrwydd mawr, holl elfenau yr areithiwr llwyddianus.

*Perchenogai allu digymhar i gyflwyno gwirioneddau syml yr efengyl i'w wrandawyr mewn modd ardderchog a gogoneddus.* Prin y gellir dweyd fod newydd-deb mawr yn ei feddyliau, ond yr oedd ei ffordd ef o'u gosod allan yn hollol newydd. Ni fyddai yn gwthio i'r dwfn, fel ei gyfaill Mr. Charles, Caerfyrddin, gan ddwyn i fynu o'r gwaelodion lonaid llaw o berlau têg, a'u dal gerbron y gynulleidfa nes y byddai agos a chael ei dallu gan y gogoniant. Nid anturiaethwr ydoedd, yn croesi moroedd a mynyddoedd i'r meusydd diamwnt, ac yno yn cael o hyd i'r ceryg drudion. Yn hytrach, yr hyn a wnelai efe oedd cymeryd gafael ar gareg arw, nad oedd fawr pryd-ferthwch yn ganfyddadwy ynddi, gan ei thrin a'i chaboli, nes y byddai ei gogoniant yn llewyrchu yn ddysglaer ar lygaid y mwyaf pwl ei ddeall. Felly, yr oedd ei bethau yn agos yn wastad, ac eto yn ardderchog. A chynorthwyid y mater gan y traddodiad. Byddai yn fynych yn bloeddio yr un gair trosodd a throsodd, a hyny ar gyweirnod gwahanol bob tro, a'r effaith yn dwyshau gyda phob ailadrodd-iad. Difynwn dystiolaethau rhai a'i hadwaenent yn dda er dangos hyn.

Fel hyn yr ysgrifenai y diweddar Barch. David Jones, Caernarfon: "Clywais lawer o son am y Parch. Ebenezer Morris, a chefais y fraint o'i glywed yn pregethu yn Nghymdeithasfa y Bala, Mehefin, 1820. Yr oeddwn yn lled ieuanc ar y pryd; dim ond pymtheg oed. Rhag-addawswn i mi fy hun yr hyfrydwch o gael myned i Sassiwn y Bala, yr hyn a edrychwn arno yn ail i gael myned i Jerusalem ar yr uchel wyl gyfarfod. Ac i ychwanegu at ei ddyddordeb, yr oedd y gair ar led y dysgwylid Ebenezer Morris yno. O'r diwedd, yr amser a ddaeth i fynu, a thrwy fawr bryderwch, i'r Bala yr aethum, ar hyd ffordd faith a dyeithriol, gan ddysgwyl cael sylweddoli fy ngobaith. Y prydnhawn cyntaf, llefarai Mr. Morris oddiar y *Green* i dyrfa fawr, oddiar Rhuf. viii. 17: 'Ac os plant, etifeddion hefyd, &c.' Nid oes genyf erbyn hyn (Mawrth, 1867) nemawr gof am ei bregeth, heblaw ei fod yn gwasgu yn hir ar werth y berthynas, a'r pwys o gael sicrwydd o honi; a bod sicrwydd i'w gael yn y byd hwn. Nododd arwyddion y berthynas, ac yna dangosodd fod yr etifeddiaeth yn sicr i'r plant. Yr oedd yn darlunio mawredd yr etifeddiaeth yn dra effeithiol. Yr oedd rhywrai o ymddangosiad boneddig-aidd, fel y dywedir, ar ben Tomen y Bala, gyferbyn a'r *stage* ar y *Green*, wedi dyfod i sylwi ar yr hyn oedd yn myned yn mlaen yno, ac yn edrych yn lled gellweirus, tra yr oedd y pregethwr eto heb godi ei lais, ond yn twymo yn raddol yn y gwaith. Ond o'r diwedd, wele floedd dreiddgar ac awdurdodol yn anfon allan y geiriau: 'Nid wyf am i'r boneddwyr acw, ar ben y domen draw, feddwl nad oes neb yn fon-eddigion ond hwy. Y mae holl blant Duw yn etifeddion. A phlant Duw yw yr etifeddion.' Gwaeddodd y geiriau hyn droion, nid yn unig yn Gymraeg, ond yn Saesneg: '*The children of God are the heirs*,' nes yr oedd y bobl fawr ar uchelder y domen wedi sobri drwyddynt, ac yn gwrando yn astud o hyny allan.

"Drachefn, am ddeg o'r gloch dranoeth, yr oedd Mr. Morris yn pregethu yn yr un lle, ar Rhuf. iii. 25: 'Hwn a osododd Duw yn iawn, &c.' Dechreuodd mewn pwyll eglurhau ei destun yn ei gysylltiad â'r adnodau blaenorol, sydd yn dangos fod pawb, Iuddewon a Groegwyr, dan bechod, y naill a'r llall wedi pechu yn weithredol, ac felly fod yr Ysgrythyr yn cau yr holl fyd dan farn Duw, ac nad oedd gan hyny

obaith iddynt ond yn unig trwy gredu yn yr Arglwydd Iesu. Ac yna efe a aeth dros ei destun air ar ol gair. 'Yr hwn;' Mab Duw, y Duw cadarn, Tad tragywyddoldeb, Craig Israel, Craig yr Oesoedd, y Maen a sylfaenodd Duw yn Seion. 'Yr hwn *a osododd Duw;*' efe a'i gosododd, ac y mae mawr bwys yn ngosodiad Duw. Gall pechadur ymddiried ei hun yn dawel ar ei osodiad ef. Gosododd y tywod yn derfyn i'r môr; ac y mae hwnw fel yn dweyd wrtho: 'Yma yr atelir ymchwydd dy donau. Hyd yma y deui, ac nid yn mhellach.' Gosododd yn yr Aipht waed ar gapan y drws, ac ar y ddau ystlysbost, i gadw yr angel dinystriol draw; ac yr oedd grym a rhinwedd yn y peth a osodwyd i ddyogelu Israel. Gosododd y sarph bres ar drostan, i wellhau yr hwn a edrychai arni, pan fyddai wedi cael ei frathu gan y seirph tanllyd; ac ni fethodd hono wellhau cymaint ag un a edrychai. Y mae nerth yn ngosodiad Duw. Gwelwch sylwedd y sarph bres ar drostan yr efengyl yn cael ei chodi yma heddyw, yn ngwydd y dorf fawr hon: 'Megys y dyrchafodd Moses y sarph yn y diffaethwch, felly y mae yn rhaid dyrchafu Mab y dyn, fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol.' Pwysa dy enaid ar osodiad Duw. 'Hwn a osododd Duw yn iawn.' Gair mawr yw y gair *iawn*. Yr Hollwybodol yn unig a all ddeall ei gynwysiad. Iawn i Dduw; ei eiddo ef ydyw. Y mae yn boddloni Duw. A phaham nas gwna dy foddloni dithau, fy enaid? Gan ei fod yn ddigon i Dduw, y mae yn rhaid ei fod yn ddigon i'r pechadur.'

"Yna symudodd at y rhan arall o'i destun: 'Trwy ffydd yn ei waed ef.' 'Ei waed ef,' sef haeddiant Crist. 'Trwy ffydd;' trwy gredu y dystiolaeth a dystiolaethodd Duw am ei Fab. 'A hon yw y dystiolaeth, roddi o Dduw i ni fywyd tragywyddol, a'r bywyd hwn sydd yn ei Fab ef.' Gallai fod rhai yma yn barod i ofyn: Pa beth yw ffydd? Gan fod llawer o ddadleu am dani, gallaf ateb mai anian dduwiol yw ffydd; o herwydd y mae anian dduwiol yn cynwys ynddi hanfod pob gras. Nid yw anian dduwiol, wrth weithredu ar wahanol wrthddrychau, ond yn enill gwahanol enwau iddi hi ei hun. A oes gwahaniaeth rhwng ffydd a chredu? Y mae yr un gwahaniaeth rhyngddynt ag sydd rhwng cariad a charu, a rhwng gobaith a gobeithio. 'I ddangos ei gyfiawnder ef, trwy faddeuant y pechodau a wnaethid o'r blaen, trwy ddyoddefgarwch Duw.' Y duwiolion oedd wedi myned adref i'r nefoedd; ysprydoedd y cyfiawn y rhai a berffeithiwyd; yr oeddynt hwy pan ar y ddaear yn bechaduriaid, yn edifarhau dan eu pechodau, ac yn gweddïo llawer am eu maddeu; a chawsant faddeuant ar sail yr hyn a wnelai y Messiah mewn amser i ddyfod. Ond yn yr iawn y dangoswyd yn weithredol ei gyfiawnder ef yn maddeuant pechodau. Ac 'i ddangos ei gyfiawnder ef y pryd hwn;' y pryd hwn, hyd ddiwedd y byd. Nid i ddangos ei drugaredd a ddywedir, ond ei gyfiawnder ef. Buasai ei drugaredd yn ymogoneddu wrth faddeu i bechadur; ond dangos ei gyfiawnder ef, a hyny trwy faddeuant, sydd yn rhyfeddod i bawb. Yna eglurodd y pregethwr fod y ddyfais ddwyfol yn troi ar yr iawn. Dyma y ddarpariaeth i ddangos ei gyfiawnder ef.

"O'r cychwyn hyd yma, yr oedd efe yn llefaru yn fywiog, ac fel un ag awdurdod ganddo, ond heb ddyrchafu ei lais, eto yn llefaru fel y gallasai y dorf ei glywed yn hawdd. Ymddangosai yn poethi mwyfwy, fel yn ngwres ei destun, a hyny yn peri fod ei lais yn dynerach, ac yn fwy soniarus. Ond wrth iddo draethu am y drefn mewn iawn i faddeu pechodau, wele floedd nerthol yn dyfod allan. Gwaeddodd '*iawn!* IAWN! IAWN! gyda grym ac effeithioldeb annesgrifiadwy. A bloeddiodd hyny drachefn a thrachefn, ddeg neu fwy o weithiau, heb ddywedyd un gair arall; ac yr oedd yn gwaeddi y gair 'IAWN' yn uwch bob tro. O floedd ddyeithriol! fel o'r byd anweledig, na chlywais erioed o'r blaen ei thebyg, ac na chlywais byth ar ol hyny mor effeithiol ac awdurdodol. Yr oedd y dyrfa fawr yn llefain ac yn wylo, ac fel yn gwallgofi; a gwelid pregethwyr ar yr esgynlawr yn gwau trwy eu gilydd blith-draphlith, yn llefain ac yn gorfoleddu. Y mae yn anmhosibl darlunio yr olygfa fawreddog; yr wyf yn teimlo mai gwell i mi beidio cynyg gwneyd hyny. Ni welwyd taranau cryfach erioed, ac mor gyflym, ac yn cael eu dilyn gan wlaw mor fawr! Yr oedd fel môr o'r dechreu; yn aflonydd, yn chwyddo fwyfwy o hyd; ond o'r diwedd wele dònau yn tori i'r lan, y naill ar ol y llall, ac yn gryfach yn barhaus, nes yr oedd *Green* y Bala yn fôr i gyd, yn ddyfroedd nofiadwy! Dyma yr hyn a welais i fy hunan."

Efallai nad yw yn bosibl cael gwell

syniad am Ebenezer Morris fel pregethwr nag a roddir yn y darlun byw hwn o eiddo y Parch. David Jones. Gwelwn y byddai yn taro ei fys gyda holl gywirder greddf ar brif bwyntiau ei destun; y byddai ganddo gyfoeth o dduwinyddiaeth dda; ei fod yn poethi yn ei fater wrth fyned yn y blaen; nes yn y diwedd, gyda bloedd anorchfygol, y byddai y *lava* llosgedig yn ymdywallt yn genllif, fel na fedrai enaid ddal. Wedi cyrhaedd y pwynt hwn, rhyw un gair, neu un frawddeg, a fyddai yn floeddio; nes y byddai y gair neu y frawddeg yn ymaflyd yn eneidiau dynion, ac yn eu dal fel â gwŷs oddi uchod. Yn aml, y frawddeg hono, er rhagoroced y bregeth oll, yn unig a gofid. Dywedai blaenor yn Sir Aberteifi wrth weinidog o Wynedd, oedd ar daith trwy y wlad: "Yn ffenestr y capel hwn, ar Gyfarfod Misol, y cafodd Ebenezer Morris yr odfa fawr hono ar y geiriau: 'Ffordd y bywyd sydd fry i'r synwyrol, i ochel uffern obry,' pan yr oedd pawb, oddifewn ac o faes, yn delwi wrth wrando arno." "A ydych chwi yn cofio rhanau o'r bregeth?" gofynai y gweinidog. "Yn cofio, ŵr da,' atebai yr hen flaenor; "yn cofio? Ydwyf! ac mi gofiaf byth! O! nid oedd yr un cnawd yn gallu sefyll o'i flaen." "Ië; ond pa beth yn benodol yr oedd Mr. Morris yn ei ddywedyd ar y testun?" "Yn ei weyd, ŵr da; yn ei weyd? Yr oedd e' yn gweyd '*obry*, OBRY, OBRY.' 'Bobol!' medde fe, 'y mae uffern *obry*, OBRY, OBRY, nes yr oedd hi yn ddiwedd byd ar bawb yn y tŷ cwrdd, ac oddi faes." Eithr er mai "Obry!" yn unig a gofiai y blaenor, y mae yn sicr fod ei feddwl ef, ac eiddo y gynulleidfa, wedi cael eu graddol nawseiddio yn flaenorol gan y bregeth i dderbyn y gair yn ei holl awdurdod; ac ni ddylem anghofio fod y "llef ddystaw fain" oddi uchod yn ymgordeddu â bloedd y pregethwr, ac yn rhoddi grym ac effeithioldeb ynddi.

Nid yr hen flaenor gwledig hwn yn unig a deimlai anhawsder i adrodd *pethau* Ebenezer Morris. Adrodda Dr. Owen Thomas iddo fod yn ymddiddan droiau â'r Parch. Henry Rees yn ei gylch, yn meddwl yr hwn y safai yn uwch na neb braidd, oddigerth efallai Mr. Elias, a Mr. Roberts, Amlwch. "Rhoddwch i mi," ebai Dr. Thomas wrth Mr. Rees, "ryw ddarluniad o hono." "O," meddai yntau yn ol, "beth pe buasech yn ei glywed o mewn Sassiwn yn Machynlleth, pan yr oedd o yn pregethu ar y testun: 'Ar yr hyn bethau y mae yr angelion yn chwenychu edrych.' O, yr oedd yn rhyfedd iawn." "Beth oedd ganddo?' gofynai Dr. Thomas. "O! 'Yr hyn bethau!' '*Yr hyn bethau!*' 'YR HYN BETHAU!' 'YR HYN BETHAU!' Nid y pethau hyn, ond 'yr hyn bethau.'" "Yr oedd ganddo," ychwanegai Mr. Rees, "ryw allu anghyffredin i gydio mewn rhyw air; ac efe a'i gwaeddai laweroedd o weithiau drosodd; a byddai rhyw lewyrch gyda'r floedd, fel y byddai y peth ei hunan yn dyfod i olwg y bobl. Yr ydwyf yn cofio ei fod yn pregethu y tro hwnw yn Machynlleth, y boreu olaf, ar y geiriau yna yn yr Actau, am y morwyr yn tybied 'eu bod yn nesu i ryw wlad.' A rhyfedd yr effeithiau oedd gyda ei waedd, 'rhyw wlad!' Bloeddiodd '*rhyw wlad*, RHYW WLAD, RHYW WLAD,' laweroedd o weithiau, nes yr oedd pawb yn y lle yn teimlo eu hunain yn ymyl tragywyddoldeb."

Prin y mae ardal yn Nghymru lle nad oes traddodiad yn aros am ryw odfa nerthol a gafodd Ebenezer Morris yno. Adroddir am dano ar daith yn Sir Fynwy, gyda y Parch. John Jones, Penmorfa, yn gyfaill iddo. Un hwyr, daethant i Laneurwg, a phregethodd Mr. Morris ar yr un testun ag y cyfeiriai Mr. Rees ato yn ei adroddiad am Gymdeithasfa Machynlleth, sef y geiriau yn yr hanes am fordaith Paul i Rufain: "Fe ddygwyddodd, yn nghylch haner nos, dybied o'r morwyr eu bod yn nesau i ryw wlad." Wedi myned dros yr hanes, a gwneyd sylwadau dyddorol a byw arno, cymerodd fenthyg y geiriau i ddarlunio dynion yn nesau i un o ddwy wlad yn nhragywyddoldeb, gan ddangos nad tybiaeth oedd am hyny, ond sicrwydd. Desgrifiai y ddwy wlad wahanol iawn oedd yn aros y duwiol a'r annuwiol yn myd yr ysprydoedd. Ac wrth osod allan mewn modd tra effeithiol y nefoedd fel pen draw mordaith y saint, ac fel yr oedd eiddo Crist, trwy bob gwynt tymhestlog, yn myned yn nes-nes iddi, dyna Miss Blanche Evans, fel eraill o'r pererinion, yn cael ei meddianu mor llwyr gan ogoniant y cartref nefol, a'r gobaith ei bod hithau yn neshau ato, fel y collodd arni ei hun yn hollol. Yn nhŷ Miss Blanche Evans y lletyai yr holl bregethwyr, fawrion a bychain, ac fel rheol ni byddai pen draw ar ei chroesaw. Ond y noswaith hono, yr oedd yn ddisylw o bawb, fel y gofynodd Mr. Morris iddi a oedd hi yn

glaf. "Na," meddai, "yr wyf yn hyfryd iawn.' Ac yn haner hurt y bu raid ei gadael yr hwyr hwnw, a'i chyfeillion mewn pryder gyda golwg arni, rhag na ddeuai byth ati ei hun. Ond erbyn boreu dranoeth yr oedd y foneddiges wedi dyfod i'w synwyr. Datganai i Mr. Morris ei mawr ofid am nad oedd wedi medru gweini yn groesawus fel arfer arno ef a'i gyfaill y nos o'r blaen; ond ei bod, wrth glywed mor ogoneddus am y nefoedd, wedi gollwng eu meddwl yn hollol i'r wlad well, fel y bu am lawer o oriau heb wybod am un peth, na neb oedd ar y ddaear.

Cafwyd yr hanes canlynol o enau y diweddar Barch. W. Evans, Tonyrefail: "Yr oedd gwraig o'm hadnabyddiaeth, wrth glywed am yr *Association* oedd i gael ei chynal yn Llantrisant, Sir Forganwg, yn cael ar ei meddwl i fyned yno, er mwyn cael gweled pa fath beth oedd *Association*. Daeth yno erbyn yr odfa deg o'r gloch y dydd olaf, pan y pregethai Ebenezer Morris oddiar 2 Cor. v. 20: 'Cymoder chwi â Duw.' Ar ol dychwelyd adref, nid oedd y foneddiges yn son am neb na dim ond am y dyn rhyfedd, hawyr bach! oedd yn pregethu yn olaf am ddeg o'r gloch. Un o'r dyddiau canlynol, aeth i ymweled âg amaethwraig a ddaliai fferm o dani, yr hon hefyd oedd yn aelod gyda'r Methodistiaid. Gyda ei bod dros y trothwy torodd allan i lefain: '*Bess! Oh, Bess! the man—the man with the black cap! Oh! he made me tremble. I cannot shake it off.*'"

Mewn Cyfarfod Misol yn Lledrod, tua'r flwyddyn 1819, yn nghanol diwygiad crefyddol grymus, pregethai Mr. Morris ar Heb. vi. 18. Wrth ymdrin â'r geiriau: "Y rhai a ffoisom i gymeryd gafael ar y bywyd a osodwyd o'n blaen," gwnai sylwadau i'r perwyl a ganlyn: "Yr ydych chwi, bobl cedyrn galon Lledrod, yn barod i ddweyd: 'Gwelsom ni ddiwygiad o'r blaen, a gwelsom lawer, wedi cychwyn at grefydd yn y diwygiad hwnw, yn troi yn ol drachefn.' Ond beth bynag am grefyddwyr yn troi yn ol, chwi ddeuwch chwithau ryw ddydd i geisio troi o'r fan lle yr ydych heddyw. Os na ffowch chwi yn awr at Grist am eich bywyd, y mae eich ffoi chwi yn ol. Gan ffoi, chwi a fynech ffoi pan y bydd yn rhy ddiweddar, fel Pharaoh a'r Aiphtiaid yn y Môr Coch, wedi i'r Arglwydd dynu ymaith olwynion eu cerbydau, yn crochwaeddi, 'Ffown!' Ond yr oedd y môr yn ei nerth wedi dychwelyd rhyngddynt a'r lan, a boddi yn lle dianc a fu raid iddynt. Eled yn *ffoi!* FFOI! FFOI! arnoch chwi heddyw, tra y mae gobaith o'ch blaen i ymaflyd ynddo!" Gyda y geiriau, dyma ryw dywalltiad anorchfygol o'r nefoedd yn disgyn ar y bobl, nid annhebyg i'r tywalltiad ar ddydd y Pentecost; a dyna ugeiniau o greaduriaid celyd, nad oedd cyffro blaenorol y diwygiad wedi gallu eu siglo, yn neidio ar eu traed fel pe wedi dyrysu, gan gipio i fynu air y pregethwr, a gwaeddi "Ffown! Ffown am ein bywyd!"

Dro arall pregethai mewn Cyfarfod Misol yn Llanbedr, ar Heb. viii. 1, 2: "A phen ar y pethau a ddywedwyd yw hyn: y mae genym y fath Archoffeiriad, yr hwn a eisteddodd ar ddeheulaw gorseddfainc y Mawredd yn y nefoedd, yn weinidog y gysegrfa." Yn mysg pethau eraill, cyfeiriodd at waith Aaron yn goleuo lampau y cysegr, ac at waith yr offeiriaid yn cadw yn fyw yn barhaus y tân sanctaidd. Ac yn nglyn â hyn dywedai: "Dichon fod yma rai yn barod i ddywedyd, 'yr oedd mwy o dân gyda'r hen bregethwyr nag sydd gyda chwi; a phe y collem chwithau eto, nid ydym yn gwybod pa le i gael cystal ar eich ol.' Ho! os hyny sydd yn eich blino, dywedwch wrth Weinidog y Gysegrfa. Efe sydd yn gofalu am y tân sanctaidd, ac efe yn unig sydd yn goleuo lampau i'r cysegr. Nid dysg, na dawn, a fedr oleuo lamp i'r cysegr." Yna efe a roddodd floedd: "Ein Harchoffeiriad mawr! Deued i oleuo lampau eto! Arno ef y mae cadw y tân yn fyw!" Dywedir fod y dylanwad yn wefreiddiol, a phawb wedi cael eu llwyr orchfygu.

Anaml y pregethai mewn Cyfarfod Misol heb ei fod yn cael ei wisgo â nerth a gogoniant. Thomas Davies, Ty'nyporth, hen flaenor yn nghapel Ffosyffin, a ddywedai: "Mewn ambell i Gyfarfod Misol, os byddai pregethau y prydnhawn cyntaf yn tueddu at fod yn farwaidd a dilewyrch, gwelid golwg sobr a phrudd ar Ebenezer Morris, fel un yn eiddigeddu dros Dduw a'i achos. Boreu dranoeth, am un-ar-ddeg o'r gloch, dyna ef ei hun yn pregethu; ac O! fel y byddai y llewyrch nefol gyda'i bregeth, fel y byddai yr holl dyrfa dan ysgydwad, ac achos yr Arglwydd yn cael ei godi i'r prydferthwch mwyaf. Yr wyf yn cofio yn neillduol, ac mi gofiaf byth, am ei bregeth mewn Cyfarfod Misol ar y geiriau: 'A chynifer ag a rodiant yn ol y rheol hon, tangnefedd arnynt a thrugaredd, ac ar Israel Duw.'

Yr oedd yr holl gynulleidfa wedi ei chynbyrfu, a'i dwyn i yspryd addoli; a'r Parch. Ebenezer Richard, yr hwn yntau oedd yno yn gwrando, a ddywedai ei fod yn teimlo ei hun yn cael ei ddirwyn i fynu o'r dyfnderoedd wrth glywed, a bod yn ddilis ganddo fod yno ganoedd yn teimlo yn gyffelyb."

Adwaenem hen Gristion yn Llanddewibrefi, John Jones wrth ei enw, a dilledydd wrth ei alwedigaeth, a gawsai ei ddychwelyd trwy weinidogaeth Ebenezer Morris. Llanc ieuanc annuwiol ydoedd, tuag ugain oed, ac heb feddwl yn ddifrifol am ei fater erioed. Dygwyddodd iddo fod yn Llanwrtyd ryw noswaith waith, a chlywodd Ebenezer Morris yn pregethu oddiar y geiriau: "Yr hwn y mae y Mab ganddo, y mae y bywyd ganddo." Cafodd y bachgen gwyllt ei ddychrynu yn ofnadwy; tybiai fod rhywrai neu rywun wedi adrodd ei holl hanes wrth y pregethwr, ac mai ato ef yr oedd pob saeth yn cael ei hanelu. Aeth allan o'r capel a'i gydwybod yn dân poeth o'i fewn. Eithr yr oedd eraill yno ar uchelfanau y maes, ac yn y capel y buont hyd ddau o'r gloch y boreu, yn molianu ac yn gorfoleddu. Dan argyhoeddiad dwfn y bu John Jones am ddwy flynedd, yn methu cael blas ar ei bechodau gynt, ac eto heb weled y ffordd i daflu ei faich i lawr wrth groes y Gwaredwr. Yn mhen y ddwy flynedd, daeth Mr. Morris ar daith trwy ganol Sir Aberteifi, a bu John Jones yn gwrando arno yn Llangeitho, Llanddewi-brefi, a Thregaron. Pregeth yr "asen wyllt" a gafwyd yn Llangeitho, ac yr oedd y dylanwad yn ofnadwy; pan y bloeddiodd Mr. Morris, y geiriau: "Yn ei mis y ceir hi," ac yr ychwanegai, "Y mae mis i'r annuwiol," yr oedd dynion cryfion, a hyfion mewn annuwioldeb, yn llewygu gan ofn. Yn Llanddewi-brefi, traethai Mr. Morris yn rymus ar Actau xvi. 39, 31. Ond yn Nhregaron, pan y pregethai Mr. Morris ar Heb. i. 8: "Ond wrth y Mab, dy orseddfainc di, O Dduw, sydd yn oes oesoedd; teyrnwialen uniondeb yw teyrnwialen dy deyrnas di," y cadd John Jones ei draed o'r maglau, ac y dechreuodd brofi tangnefedd yr efengyl yn ngwyneb Iesu Grist. Yr oedd agos i haner can' mlynedd wedi pasio dros ben John Jones pan yr adroddai yr hanes, ond yr oedd yr amgylchiad mor ffres yn ei feddwl a phe y dygwyddasai y dydd o'r blaen; nis gallai son am dano heb fod ei lygaid yn llanw o ddagrau, a'i galon yn cynhesu; a phrofodd, trwy fywyd pur a gweithgar, iddo fyned trwodd o farwolaeth i fywyd wrth wrando Ebenezer Morris yn Nhregaron.

Pregethai Mr. Morris unwaith yn Llangeitho, pan yr oedd dadl y Neillduad yn ei phoethder mwyaf, a theimladau cryfion wedi eu cynyrchu o'r ddau tu. Ar y pryd, yr oedd gwraig yn y gymydogaeth a berthynai i'r Eglwys Sefydledig, yr hon a deimlai yn chwerw iawn at Mr. Morris, am yr edrychai arno ef fel y prif ddadleuydd ar yr ochr wrthwynebol i'r Eglwys. Y fath oedd ei rhagfarn, fel y siaradai yn isel am dano fel pregethwr, gan haeru nad oedd yn deilwng o'r holl barch a delid iddo. Er hyn oll, methodd beidio dyfod i'r capel i'w wrando. Ei destun y tro hwn oedd: "Cyflog pechod yw marwolaeth." Yr oedd rhyw nerth o'r nefoedd yn cydfyned a'i eiriau; daliesid yr holl gynulleidfa â syndod aruthr, ac am y ddynes ragfarnllyd, ymddangosai fel pe wedi llwyr ddyrysu. Disgynasai arni y fath syfrdandod fel nas gwyddai pa le yr ydoedd. Yr oedd cyfarfod eglwysig fel arfer ar ol y bregeth, a phwy a welid yn sefyll ar ol ond y wraig! Nid oedd neb yn dysgwyl ei gweled hi o bawb yn aros. Pwyntiwyd hi allan gan rywun, a gofynwyd a oedd hi yn bwriadu ymuno a'r eglwys; a dyna y pryd y daeth ati ei hun. Deallodd bellach pa le yr ydoedd; dadebrodd o'r syfrdandod, ac allan yr aeth.

Y mae yn sicr iddo gael ei fendithio i fod yn offeryn i achub canoedd. Cawsai ei anfon unwaith gan y Cyfarfod Misol i wastadhau rhyw annealltwriaeth oedd wedi cripio i fynu yn Aberystwyth; hyny a wnaeth yntau yn effeithiol ac i foddlonrwydd cyffredinol. Yn nglyn â hyn traddododd un o'i bregethau mwyaf pwerus ar y geiriau: "Cesglwch yn gyntaf yr efrau, a rhwymwch hwy yn ysgubau i'w llwyr losgi; ond cesglwch y gwenith i'm hysgubor." Yr oedd y dylanwad yn angherddol, pan y darluniai ysgubau o annuwiolion yn cael eu rhwymo yn nghyd. Y cyfarfod eglwysig cyntaf ar ol hyny yr oedd naw-ar-hugain yn ymuno a'r seiat, oll wedi cael eu hargyhoeddi dan y bregeth nerthol hono. Pregeth arall o'i eiddo a fendithiwyd er achubiaeth llawer, yn arbenig yn Siroedd Dinbych a Fflint, oedd ar Matt. xvi. 26: "Canys pa leshad i ddyn os enill efe yr holl fyd, a cholli ei enaid ei hun?" Yr oedd y bregeth yma, meddir, yn gyffelyb o ran nerth a dylan-

wad i bregeth ei dad ar yr un testun. Ymunodd rhai canoedd â'r eglwysi yn ngwahanol ranau y wlad mewn canlyniad i'r bregeth hon. Adroddai Mr. James Thomas, blaenor yn nghapel Twrgwyn, am odfa ryfedd a gafodd Mr. Morris yn ei dŷ ei hun oddiar Marc iv. 26-29: "Felly y mae teyrnas Dduw, fel pe bwriai dyn had i'r ddaear," &c. Ieuanc oedd Mr. Thomas ar y pryd, ond cofiai hyd ei fedd am yr effeithiau rhyfedd ar y gwrandawyr. Buont yno hyd ganol nos yn canu ac yn molianu; ac wrth fyned allan o'r tŷ, yr oedd un wraig yn llawen floeddio y darn penill:—

"Ymaflodd mewn dyn ar y llawr,
Fe'i dygodd a'r Duwdod yn un;
Y pellder oedd rhyngddynt oedd fawr,
Fe'i llanwodd a'i haeddiant ei hun."

Dro arall pregethai yn Nhwrgwyn; boreu Sabbath ydoedd, a'i destun oedd: "A phan welwyf y gwaed, yna yr af heibio i chwi." Yr oedd llewyrch rhyfedd ar y cyfarfod; y saint oeddynt yn gorfoleddu, a'r annuwiol wedi cael eu sobri, a chredir i nifer mawr gael eu hachub. Yn mysg eraill, aeth y saeth i galon un dyn rhyfygus o annuwiol, ac yr oedd wedi myned agos yn wallgof; ond profodd trwy ei fywyd dilynol iddo fyned trwodd y dwthwn hwnw o farwolaeth i fywyd.

Fel prawf o'r afael a feddai ar yr holl wlad o gwmpas, cymerer yr hanes a ganlyn: Mewn claddedigaeth gŵr o gyfoeth a pharch yn ardal Llechryd, gweinyddai Mr. Morris, a gweinidog perthynol i enwad arall. Daethai cynulleidfa liosog yn nghyd, ac o herwydd mawredd y dorf allan o flaen y tŷ y pregethid. Pregethodd y gweinidog arall yn gyntaf, gan lefaru yn fuddiol a synwyrol, ond yn dra digyffro. Tra yr ymadroddai efe, yr oedd y bobl yn wasgaredig; rhai yn gorweddian ar bwys y cloddiau, amryw yn siarad a'u gilydd, tra yr oedd llawer yn ymddangos yn swrth, a rhai yn wir wedi myned i gysgu. Ond gyda bod Ebenezer Morris yn sefyll ar y gareg farch i bregethu ar ei ol, dyma y bobl yn dyfod at eu gilydd o bob cwr, ac yn ymgrynhoi fel un pentwr o flaen ac o amgylch y pregethwr. Yr oedd yno foneddwr o Sais yn edrych; tybiodd wrth weled y bobl yn gwasgu at eu gilydd mor frysiog fod rhyw berygl yn eu bygwth; a gofynodd mewn braw i ŵr cyfrifol a safai gerllaw, sef Mr. Evans, Llwyngroes: "Beth yw yr achos o hyn?" "Dim,' ebai hwnw yn ol, "ond fod Ebenezer Morris yn myned i bregethu; arwydd o barch yw hyn y mae Duw wedi ei osod arno."

Cyn gadael nodwedd arbenig gweinidogaeth Ebenezer Morris, rhaid i ni roddi crynodeb o ddesgrifiad y diweddar Barch. Roger Edwards o hono. Mewn Cymdeithasfa achlysurol y pregethai y tro hwn, oddiar 2 Samuel xxiii. 5: "Er nad yw fy nhŷ i felly gyda Duw, eto cyfamod tragywyddol a wnaeth efe â mi, wedi ei luniaethu yn hollol ac yn sicr, canys fy holl iachawdwriaeth, a'm holl ddymuniad yw, er nad yw yn peri iddo flaguro." Gwnai Mr. Morris fath o *running comment* wrth fyned yn y blaen; dangosai fod yr Arglwydd wedi gwneuthur y cyfamod yn y testun â Dafydd, nid yn gymaint fel brenhin, ond fel pechadur yn credu yn Nghrist, yr Had addawedig. Pan ddaeth at y geiriau, "Canys fy holl iachawdwriaeth a'm holl ddymuniad yw," efe a safodd, a chan droi at y gynulleidfa, gofynodd: "Faint o honoch a all ddweyd yn groew y geiriau hyn? Yn wir, medd rhywun yn y man draw, mi allaf ddweyd mai yn nhrefn y cyfamod yr wyf finau yn dysgwyl iachawdwriaeth, ond yr wyf yn methu cydio yn y ddwy lythyren yna—*fy* iachawdwriaeth—buasai yn well genyf na phe y rhoddid y byd i mi yn grwn pe y gallwn ddweyd o flaen Duw a'i bobl heddyw: '*Fy* iachawdwriaeth yw.' Wel, aros, frawd neu chwaer lesg, beth meddit am ymaflyd yn hyn ynte? 'A'm holl ddymuniad yw.' Onid yw hwna yn dyfod yn ddigon agos i ti a'th fraich fer gydio ynddo? Yn wir, meddai rhywun o blant y cystudd a'r ocheneidiau, mi a wnawn gam â daioni yr Arglwydd pe na addefwn i hyna. Dymuniad fy enaid yw y cyfamod, a bod yn ei rwym. Os felly, ynte, frawd neu chwaer; os cyfamod Duw yn Nghrist yw dy holl ddymuniad, dyna hefyd dy holl iachawdwriaeth. Un cyfanwaith yw y profiad hwn, nis geill y cyfamod fod yn ddymuniad i neb heb fod ar yr un pryd yn holl iachawdwriaeth iddo. Ond wrth rwymo'r friwedig, a chryfhau'r lesg, rhaid gofalu rhag gadael rhwysg i'r fras a'r gref. O, medd yr Antinomiad draw, yr wyf finau yn dod i fynu a hynyna; mae yr ewyllys yn barod genyf; yr wyf finau yn dymuno bod yn y cyfamod. Gad i mi ofyn i ti: Ai dy *holl* ddymuniad yw? Pe y cait ti y peth a fynet gan Dduw cyn i'r cloc daro deuddeg

heddyw, ai dyna ddywedet ti: 'O Arglwydd tyn fi o fewn rhwymyn y cyfamod?'"

Gwnai Mr. Morris y sylwadau hyn mewn ffordd dawel, a rhyddymddiddanol, heb ddyrchafu nemawr ar ei lais, ac eto gan gadw cwbl feistrolaeth ar glustiau a meddyliau ei wrandawyr. Bellach aeth yn mlaen i sylwi yn fwy athrawiaethol ar gyfamod Duw a phechadur yn Nghrist; darluniai ef fel cyfamod heddwch a'r gelyn; fel cyfamod o gyfeillgarwch a chyfathrach agos; ac fel cyfamod priodasol, gan adrodd y geiriau: "A mi a'th ddyweddiaf â mi fy hun yn dragywydd." Yr oedd ei lais yn awr yn soniarus a grymus, ac eto yn beraidd; yr oedd yn ei ddyrchafu ac yn ei ostwng gyda'r deheuder a'r cyfaddasder mwyaf. Wrth ymdrin â'r geiriau: "Wedi ei luniaethu yn hollol ac yn sicr," dyna yspryd y pregethwr yn tanio, ac y mae yn arllwys allan ffrydlif o hyawdledd cysegredig. Natur, dawn, a gras a welid ynddo yn y cyfuniad prydferthaf, ond heb ddim celfyddydol neu *theatrical*. "Y mae lluniaethu yn hollol," neu "yn mhob peth," meddai, "yn cymeryd i mewn bob peth Duw, a phob peth y Cristion. O fewn yr *hollol* hwn ceir Duw yn mhob un o bersonau y Drindod, yn holl berffeithiau ei natur, yn holl oludoedd ei ras, ac yn holl ddarpariaethau ei ragluniaeth. Nis gall y Cristion feddwl am ddim perthynol iddo ei hun nad yw y lluniaethu hollol hwn yn ei gyrhaedd; dyma drefn i ddarostwng ei holl bechodau, i orchfygu ei holl elynion, i felysu ei holl ofidiau, i lonyddu ei holl ofnau, i gyflawni ei holl raid, ac i ddiwallu ei holl ddymuniadau.

"Gair tlws, gair mawr, gair yn myned o amgylch ogylch,' meddai, "yw y gair 'hollol' yn ein *text*. A dyma air eto, cystal ag yntau, ac yn goron arno, '*sicr!*' Y cyfamod wedi ei luniaethu yn sicr! O, bobl druain y byd ansicr, iechyd i chwi fydd dyfod gyda mi yn awr i gael golwg ar gyfamod sicr Duw â'i saint." Wedi cyferbynu mewn dull tarawgar anwadalwch pethau'r ddaear a diysgogrwydd trefn yr iachawdwriaeth, safodd y pregethwr, a dywedodd â llef uchel: "Ond yr ydym eto yn rhy bell i gael llawn olwg ar sicrwydd a chadernid y cyfamod hwn. Draw, tuhwnt i'r bedd, a thuhwnt i derfynau amser, y gwelwn ni y mawr werth o fod ein heneidiau yn nghôl y cyfamod sicr. Eneidiau, chwi a welwch ddiwedd ar y byd hwn, ond ni wel tragywyddoldeb ddiwedd arnoch chwi. Dacw dân y dydd olaf yn ysu hen gypyrddau derw y cyfoethogion, yn gosod y palasdai teg yn lludw, yn tori trwy'r cistiau heyrn, ac yn dinystrio *deeds* yr hen etifeddiaethau, ar ol bod yno yn nghadw o genhedlaeth i genhedlaeth! Dyna wŷr mawr y ddaear heb ddim dangosiad am deitl i'w tiroedd; ac o ran hyny, y mae'r tiroedd eu hunain yn dianc am byth i rywle! Beth am y cyfamod a wnaeth Duw â'r enaid mewn rhyw Sassiwn neu ryw odfa? Beth am y cytundeb priodas rhwng Crist a chredadyn? A ddeil ef heb i dân y farn ei losgi? *A ddeil e'?* A DDEIL E'? A DDEIL E'?" Gyda hyn, dyma wraig dduwiol ar law chwith y pregethwr ar y *gallery* yn methu dal yn hwy, ac heb yn wybod iddi ei hun yn gwaeddi allan: "Dal? Gwneiff! O diolch; cyfamod fy hedd ni syfl!" Yr oedd bloedd y wraig yn ysgwyd y gynulleidfa fel corwynt, cyniweiriai trydaniaeth trwy bawb, a thorodd nifer allan i gydfolianu.

Yn nghanol y cyffro ymddangosai Ebenezer Morris yn gwbl hunan-feddianol, er fod y deigryn gloyw yn nghil ei lygad yn arwyddo gwres ei deimlad. Wedi cael mesur o seibiant, dywedai: "Ië, yr oeddwn i yn myned i adrodd y gair hwn. Gwrandewch i gyd: 'Canys y mynyddoedd a giliant, a'r bryniau a symudant.' O, hen fryniau a mynyddoedd Cymru! Wedi iddynt sefyll yn ddisigl yn nghanol holl gyfnewidiadau yr oesoedd, fe ddaw diwrnod y dadsylfeinir ac y chwelir hwythau. Ond pan y clywir twrf eu hymddrylliad, ac y gwelir eu darnau yn duo yr awyr, ni raid i chwi, deulu'r cyfamod, ofni dim. '*Eithr*, EITHR, EITHR'—ein Duw ni sydd yn dywedyd, a dyna ddigon—'Eithr fy nhrugaredd ni chilia oddiwrthynt!'" Yr oedd y teimlad erbyn hyn ar ysgubo pob peth o'i flaen. Ond dyma y pregethwr yn sefyll, yn estyn allan ei fraich, yn dyrchafu ei lais i'r gyweirsain uchaf, a dyma y floedd fawr allan, yn gyflawn o bereidd-dra: "A CHYFAMOD FY HEDD NI SYFL." Ar hyn yma torodd yr argae; dyma y gynulleidfa o fewn y capel yn llefain am yr uchaf, rhai yn gwaeddi "Diolch! Haleliwia!" ac eraill yn canu emyn felus Edward Jones, Maesyplwm:—

"Cyfamod hwn, fel modrwy'n grwn y mae," &c.,

fel mai ofer i'r pregethwr, er cyfuwch ei lais, geisio siarad rhagor.

Yn y ffenestr y pregethai, a chwedi berwi y bobl o fewn trodd ei wyneb at y bobl oddiallan, ac meddai: "Y maent hwy yn y capel yma, lawer o honynt, yn foddlawn i roddi eu henwau wrth y cytundeb a'r nefoedd, i dderbyn eu bywyd o law y Gŵr a fu farw ar y groes, ac i dreulio eu heinioes er ei glod. Faint o honoch chwi sydd yn barod i *entro* i mewn i rwym y cyfamod tragywyddol; y cyfamod sydd wedi ei luniaethu yn hollol ac yn sicr?" Yna dywedodd ychydig eiriau fel cymhellion, nes yr oedd y dorf oddiallan wedi eu meddianu â'r un yspryd molianus a'r dyrfa oddifewn, ac yn y twym ias hwn y terfynodd yr odfa.

Clywsom am dano yn pregethu unwaith yn Nantfflyniau, ffermdy heb fod yn nepell o eglwys y Mwnt, a chafodd odfa fythgofiadwy. Ymddengys fod yr offeiriad a wasanaethai yn y Mwnt yn cadw seiat, yn ol hen ffasiwn y Methodistiaid, a'r Sul canlynol i bregeth Mr. Morris, yr oedd ugain yn yr eglwys yn gofyn am gael eu derbyn yn aelodau. Holai yr offeiriad hwy gyda golwg ar beth oedd wedi effeithio ar eu meddwl, ac wrth glywed pob un yn ateb yr un peth, cyffrodd trwyddo, a dywedai mewn tymher: "Beth? A fedr Duw wneyd dim ond trwy Eben Morris?" Daeth nifer hefyd, mewn canlyniad i'r un bregeth, i seiat y Methodistiaid, a thorodd diwygiad mawr allan yn y gymydogaeth, yr hon a adnabyddir fel "Diwygiad y Mwnt." Chwareu oedd arfer yr ardal ar y Sabbath o'r blaen, a byddai gwas y fferm yno yn canu corn ar ben un o'r bryniau i alw y chwareuwyr yn nghyd; eithr gwedi i Mr. Morris ddyfod i'r ardal i bregethu, gyda ei lais mawr, peraidd, a'i ddifrifwch angherddol, dechreuodd y bobl golli eu blas ar y chwareuyddiaethau. Digiodd meistr y gwas y cyfeiriem ato o'r herwydd, ac meddai wrtho: "Yn awr, Edward, allan â thi i'r mynydd, cei di fwy yn nghyd trwy ganu dy gorn nag a gaiff Eben Morris wrth bregethu." Eithr trodd y brophwydoliaeth allan yn gau; pregethu Eben Morris a orchfygodd, torwyd y campau i lawr, dwysbigwyd y gwas Edward, a bu yn flaenor yn Llechryd ar ol hyny. Dywedir mai dyma yr amgylchiadau ddarfu arwain i gael capel yn Blaencefn, ger Aberteifi.

Y mae adran o Sir Aberteifi, nid yn nepell o'r ardal lle y trigai Mr. Morris, wedi cael ei meddianu yn llwyr gan yr Undodiaid. Er nad oeddynt hwy yn credu yr athrawiaeth a bregethai efe, nis gallent, oblegyd ardderchawgrwydd ei ddoniau areithyddol, ymatal rhag dyfod i'w wrando, a thraethai yntau ei olygiadau yn eu clywedigaeth yn ddiofn. Unwaith wrth bregethu daeth ar draws y geiriau: "Yr hwn sydd uwchlaw pawb yn Dduw bendigedig yn oes oesoedd. Amen." Wedi gwneyd rhai sylwadau rhagorol i brofi mai am berson yr Arglwydd Iesu y dywedwyd hwy, ac amlygu dymuniad am i'w ogoniant dwyfol ddyfod i'r golwg, efe a ddywedodd: "Yn awr, Sosiniaid, gadewch i mi gael eich 'Amen' chwithau am unwaith." Pregethai yn bur aml yn ffermdy Lloyd Jack, cartref Ariad o gryn enwogrwydd, sef Dafydd Siencyn Rhys, ac yr oedd y ddau yn gryn gyfeillion. Unwaith dywedai Dafydd Siencyn Rhys wrth Mr. Morris, am iddo y tro nesaf bregethu ar rywbeth na fyddai yn fater o ddadl. Y tro nesaf a ddaeth, a thestun Mr. Morris ydoedd: "Ac yn ddiddadl, mawr yw dirgelwch duwioldeb, Duw a ymddangosodd yn y cnawd." A'r gair cyntaf a ddywedodd wrth ddarllen ei destun ydoedd: "Dyma fater nad oes, ac na ddylai, dim dadl fod gyda golwg arno." Yna ychwanegodd: "Ond os parhau i ddadleu a wnewch, ni fydd y ddadl yn hir heb ei phenderfynu, gan fod yr un person i ymddangos yr ail waith; 'Gan ddysgwyl am y gobaith gwynfydedig, ac ymddangosiad gogoniant y Duw mawr, a'n Hiachawdwr Iesu Grist.'"

Bu efe, a nifer o brif weinidogion y Methodistiaid, yn cadw cyfarfod pregethu yn flynyddol, sef ar ddydd Llun Pasc, yn mhentref Ystrad, ar lan yr afon Aeron, yn nghanol yr Undodiaid. Cafodd odfaeon nerthol yno yn fynych, ac effeithiai yn ddwys ar deimladau ei wrandawyr, ond nid yw yn ymddangos i lawer o ddaioni arosol gael ei wneyd, nac i nemawr gael eu hargyhoeddi o'u cyfeiliornad. Un tro, modd bynag, yr oedd teulu o Saeson ar ymweliad â'r lle; perthynent i'r Eglwys Sefydledig, ac yr oeddynt yn llawn rhagfarn at yr Ymneillduwyr. Yn ystod odfa y prydnhawn gwelwyd hwy yn y ffenestr, gyferbyn a'r esgynlawr, a'r olwg arnynt yn dra diystyrllyd. Cyfarchodd Mr. Morris hwy yn awdurdodol yn yr iaith Saesneg, a'r fath oedd grym ei leferydd a'r dylanwad cydfynedol, fel ar

ddiwedd yr odfa y cafodd wahoddiad oddiwrth y teulu i fyned atynt i yfed tê, yr hyn hefyd a wnaeth yntau, gan gael pob parch ganddynt. Bu yr amgylchiad, meddir, yn foddion i ddileu rhagfarn y boneddwr at yr Ymneillduwyr, ac yn gyfrwng iachawdwriaeth i'w briod.

Unwaith yr oedd un o weinidogion galluocaf yr Undodiaid yn cyd-deithio â Mr. Morris am ryw ugain milltir o ffordd, a pherson y Cyfryngwr oedd testun yr ymddiddan yr holl amser. Wedi dadl faith, ond hollol gyfeillgar, gofynodd Mr. Morris i'r gweinidog: "Beth ydych yn ei feddwl am Stephan, y merthyr? Ai dyn drwg ynte dyn da ydoedd?" Atebodd y gweinidog gyda pharodrwydd: "O, dyn da iawn oedd Stephan, yn ddiau?" "Os felly," ebai Mr. Morris, "pa fodd y caniatawyd iddo yn ei fynydau olaf orchymyn ei yspryd i ddwylaw yr Iesu, os nad yw yr Iesu yn fwy na dyn?" Aeth yr Undodiad yn fud; ac yn y man, gan daraw ei law ar ysgwydd Mr. Morris, efe a ddywedodd: "Dyna beth na feddyliais erioed o'r blaen am dano."

Yr ydym wedi cyfeirio yn flaenorol at Mr. Morris yn troi i'r Saesneg wrth bregethu pan fyddai galw. Er nad oedd yn ysgolhaig, a'i fod yn preswylio yn un o'r cymydogaethau mwyaf Cymreig yn y Dywysogaeth, eto, trwy ymroad ac egni, daeth i allu pregethu yn hwylus yn yr iaith Saesneg, er, fel y gellid dysgwyl, gydag acen Gymraeg drom. Tua'r flwyddyn 1818, cafodd ef a'r Parch. D. Charles, Caerfyrddin, eu galw i Wotton-under-Edge, i gymeryd rhan yn ordeiniad Mr. Theophilus Jones. Un o gapelau Rowland Hill oedd Wotton-under-Edge. Nid oedd Mr. Hill yn perthyn i unrhyw gyfundeb crefyddol arbenig, ond teimlai fwy o gydnawsedd ac agosrwydd at y Methodistiaid Calfinaidd na neb arall; a Methodist pur oedd Theophilus Jones. Gwyddai Mr. Hill yn dda am ardderchawgrwydd y pwlpud Cymreig, a dysgwyliai wledd o'r fath oreu wrth wrando y ddau weinidog; eithr gan ei fod yn gyflawn o arabedd, addawai iddo ei hun beth difyrwch oddiwrth *broad Welsh accent* Ebenezer Morris. Diwrnod yr ordeiniad a ddaeth, a galwyd ar Mr. Morris i weddio yr "urddweddi." Cafodd afael ryfedd yn y weddi, teimlai pawb ei fod wedi myned oddifewn i'r llen, i wyneb y Presenoldeb dwyfol, a chyn iddo orphen nid oedd llygad sych yn y gynulleidfa. Yna cyfododd Mr. Charles i draddodi y siars i'r gweinidog. Ei destun oedd, Actau xx. 26, 27: "O herwydd paham yr wyf yn tystio i chwi y dydd heddyw, fy mod i yn lân oddiwrth waed pawb oll, canys nid ymateliais rhag mynegu i chwi holl gynghor Duw." Llefarai efe gyda yr un medr yn Saesneg ag y gwnelai yn Gymraeg; ac yr oedd dwysder ei arddull, ac arucheledd a gogoniant y syniadau a draethai, yn synu y gynulleidfa. Dangosai arbenigrwydd yr holl gyngor fel yr oedd yn gogoneddu yr oll o Dduw, ac yn angenrheidiol i'r oll o'r dyn. Yr oedd Mr. Charles wedi darganfod y gwirionedd pwysig, nad oedd eto wedi cael lle yn nghredo y Methodistiaid, sef na ddylai gweinidog yr efengyl ymrwystro gyda negeseuau y bywyd hwn. "Bydded y pwlpud," meddai, "fel gwely dihalog, yn gysegredig i achos Crist, ac i fater tragywyddol eneidiau dynion, ac nid yn rhoddi lle i bethau amserol a chyfnewidiol y bywyd hwn."

Yna yr oedd Mr. Morris i draddodi y bregeth i'r eglwys. Ei destun oedd, Salm l. 5: "Cesglwch fy saint yn nghyd y rhai a wnaethant gyfamod â mi drwy aberth." Yn anffodus, nid oes nemawr o'r sylwadau a wnaeth ar gael; ond yr oedd ei ddifrifwch yn ofnadwy; gafaelodd yn nghydwybodau ei wrandawyr, gan eu dwyn wyneb yn wyneb â manylrwydd y farn, nes y teyrnasai dychryn trwy y lle. Bloeddiai eilwaith ac eilwaith, yn ei ddull dihafal ei hun, *The day of judgement*, fel nad oedd cnawd a allai ddal. Rhai o'r boneddigion a wyneblasent gan ddychryn, boneddigesau, wedi ymwisgo mewn sidan, a lewygent gan ofn, ac yr oedd dychryn y farn wedi meddianu pawb. Ond pa le yr oedd Mr. Hill? O'r tu ol i'r pregethwr, a'i ddagrau yn rhedeg yn llif dros ei wyneb, wedi llwyr ollwng dros gof yr acen Gymreig, ac yn gwaeddi yn ddiymatal: "*Amen. Go on, my brother. Give it them well.*" Dranoeth, aeth y ddau weinidog yn y blaen i Rodborough, lle y gwasanaethai y Parch. John Rees, am yr hwn y cawn son eto. Cafodd Mr. Morris yno odfa i'w chofio byth; yr oedd ei eiriau fel fflachiadau mellt, yn enwedig pan y bloeddiai drosodd a throsodd y gair "*eternity*." Bu raid cario un foneddiges, a eisteddai ar yr oriel, allan mewn llewyg, yr hon, gwedi dyfod ati ei hun, a ddywedai fod y gweinidog o Gymru yn rhy ofnadwy i wrando arno. Bu adgof yr odfaeon nerthol hyn yn fyw yn Wotton

a Rodborough am flynyddoedd lawer. Pan y pregethai Mr. Hill yno, ac y gwelai fod y gynulleidfa yn tueddu at fod yn farwaidd, dywedai yn ei ddull ei hun: "Rhaid i ni gael y gweinidog tew hwnw o Gymru yma i'ch deffro." Yn mhen tuag ugain mlynedd ar ol hyn, aeth y Parch. Thomas Harris, gynt o Hwlffordd, yn weinidog i Wotton, ac wrth siarad â'r hen bobl, cafodd eu bod yn cofio yn ffres am bregethau y ddau Gymro, ac meddent: "*O! the Welsh Apostles! They were men of God, with clear credentials.*"

Yr ydym wedi bod yn gwbl aflwyddianus yn ein desgrifiad os nad yw y darllenydd wedi ffurfio syniad am Ebenezer Morris fel gŵr o'r difrifwch mwyaf, ac yn cael ei ddyrchafu yn aml wrth bregethu yr efengyl i ryw uchelderau rhyfedd. Ond, fel y dygwydda yn gyffredin gyda y math hwn o bobl, byddai weithiau yn ddarostyngedig i feddyliau isel, ac yn anhawdd cael gair o'i enau. Felly, yr oedd cymhwysder arbenig yn yr hen flaenor hynod, Owen Enos, i fod yn gydymaith iddo. Gŵr siriol oedd Owen Enos, mor fywiog ag aderyn, ac mor ddibryder a'r gôg, pa beth bynag a fyddai yr amgylchiadau; a darfu i'w arabedd a'i droion digrif yru y pruddglwyf i ffwrdd oddiwrth Mr. Morris lawer gwaith. Un tro yr oeddynt ill dau yn dychwelyd o Gymdeithasfa yn Sir Benfro, ac yn gydymaith iddynt yr oedd blaenor arall, o'r enw Thomas, yr hwn oedd braidd yn orofalus am ei anifail. Yn fuan daethant at riw dra serth; disgynodd Mr. Morris a Mr. Thomas oddiar eu hanifeiliaid i gerdded, ond am Owen Enos, aros ar y cyfrwy a wnaeth efe. Cerddai Mr. Morris a Mr. Thomas dan ymgomio, a ffrwyn eu ceffylau am eu breichiau. Ond gyda eu bod yn dechreu cerdded, dyna Owen Enos yn neidio oddiar gefn ei anifail ei hun, ac ar gefn ceffyl y blaenor arall. Canfu Mr. Morris yr ystranc gyda chîl ei lygad, ond ni ddywedodd air, er ei fod bron ymdori gan chwerthin. Pan ddaethant i ben y rhiw, a Thomas yn troi i esgyn i'r cyfrwy eilwaith, beth a welai ond Owen Enos yno yn barod. Torodd Ebenezer Morris allan gan chwerthin yn ddilywodraeth; ac wedi i'w hunanfeddiant gael ei adfer, dywedodd: "Wel, wel, Owen bach; y mae rhyw fath o gythreuliaid yn dy flino di, na wyr pawb, trwy drugaredd, ddim am danynt."

Adroddir fod Mr. Morris ac Owen Enos unwaith ar daith yn Sir Frycheiniog. Y gauaf ydoedd, a'r tywydd yn enbyd o oer; y ffordd hefyd oedd yn arw ac yn dra anhygyrch, fel rhwng hyn oll, a'r blinder a ganlynai bregethu yn aml ac yn gyffrous, yr oedd Mr. Morris wedi myned yn sal o gorph, ac yn isel o yspryd. Ceisiai Owen Enos godi ei feddwl gyda phob math o arabedd a chellwair diniwed. Ebai Ebenezer Morris wrtho: "Adrodd ystoriau digrif yr wyt ti, Owen, a minau yn mron marw." Ateb Owen ydoedd: "Da chwi, Mr. Morris anwyl, peidiwch marw yn y fan hon, onide bydd yn helynt enbyd i'ch cludo adref i'ch claddu. Mi a gaf fwy o drafferth gyda chwi, am eich bod mor dew, na phe bai genyf fwys o ysgadan." Gogleisiodd hyn deimlad y pregethwr, gan adfer sirioldeb i'w yspryd. Ond talodd y pwyth yn ol i'r blaenor digrif. "Owen," meddai, "parhau i gellwair yr wyt ti, ond gwell i ti roddi hyn heibio, gan y byddi yn sicr o farw cyn y Nadolig." Ymdrechodd Owen fyned yn y blaen gyda ei ysmaldod, ond yr oedd wedi gweled cynifer o rhagddywediadau Mr. Morris yn cael eu cyflawni, fel y suddodd y dywediad yn ddwfn i'w feddwl. Adref yr aethant, ac fel yr oedd y Nadolig yn dynesu, dylanwadai pryder Owen gymaint ar ei gorph, nes iddo fyned yn glaf mewn gwirionedd. Bu yn cadw y gwely am rai dyddiau; ond wedi i'r Nadolig basio, ac yntau yn cael ei hunan yn fyw, teimlodd ei hun yn ddigon cryf i gerdded i Dwrgwyn, a chyda ei fod yn gweled Mr. Morris, gwaeddodd: "O! yr hen brophwyd; dyma y Nadolig wedi myned heibio, a minau yn fyw; beth am y brophwydoliaeth yn awr?" "Ie, ïe, Owen bach," ebai y gweinidog yn ol, "yr wyf fi yn sefyll at fy ngair, oblegyd ni ddywedais cyn pa Nadolig y byddet farw." Teimlodd Owen ei fod wedi ei ddal, a bu yn fwy prin ar ei ddigrifwch yn nghlywedigaeth Ebenezer Morris o hyny allan.

Yr ydym wedi cyfeirio eisioes at y mawr barch a delid i Mr. Morris trwy yr holl wlad, a hyny gan fonedd y tir. Diau iddo golli ffafr y mawrion i raddau, oblegyd y rhan flaenllaw a gymerodd gyda chwestiwn y Neillduad; prin y darfu i rai o'r offeiriaid, a'u teuluoedd, faddeu iddo hyd eu bedd; ond gan ei fod yn gweithredu yn gwbl gydwybodol, ac yn ymdeimlo a'i gyfrifoldeb i Dduw, ni ofalai efe. Modd bynag, am y boneddwyr a'i hadwaenent oreu, ac a wyddent am ei ostyngeiddrwydd a'i ddifrifwch, nid hir y buont cyn

dyfod i gymod âg ef. Cyrchent i'w wrando pan fyddai yn pregethu; anfonent am dano pan mewn cystudd, a dangosent eu gwerthfawrogiad o'i gymeriad mewn amrywiol ffyrdd. Ar un achlysur daeth galwad arno i ymddangos yn y Cwarter Sessiwn yn Aberteifi yn nglyn â rhyw achos cyfreithiol. Gyda ei fod yn dyfod yn mlaen, dyma ryw ddystawrwydd parchus yn disgyn ar yr holl lŷs. Pan yr oedd y *clerk* yn estyn y Testament iddo, er mwyn cymeryd ei lŵ, cyfryngodd y cadeirydd, gan ei rwystro, a dweyd: "Y mae gair syml Mr. Morris yn ddigon." Rhoddes yntau ei dystiolaeth mewn modd mor ddirodres ac unplyg fel ag i ddyfnhau yr argraff oedd yn barod ar feddwl pawb mai gŵr Duw ydoedd. Unwaith cyfarfyddai â Mr. Lewis, Llysnewydd, un o'r boneddwyr mwyaf cyfoethog a synwyrol yn y rhan hono o'r wlad. Ebai hwnw wrtho: "Yr wyf yn ddiolchgar iawn i chwi, Mr. Morris, am eich dylanwad gwerthfawr yn cadw heddwch yn y wlad; yr ydych chwi fel gwladwr yn fwy o werth nag yw dwsin o honom ni fel ustusiaid."

Yr oedd lawn mor hynod mewn gweddi ag ydoedd fel pregethwr. Pe byddai rhyw Gristion pruddglwyfus yn tueddu at fod yn ddigalon, ac yn barod i ddefnyddio geiriau y prophwyd wrth Dduw: "Nid oes a alwo ar dy enw," byddai canoedd yn barod i ateb yn ebrwydd: "Oes, y mae un, sef Ebenezer Morris, yn gwneuthur hyny, modd bynag." Yn fynych wrth weddïo byddai yn dyfod ar draws adnod neillduol; gafaelai wrthi nes y byddai fel yn tynu ei mêr allan, a chaffai ynddi ysglyfaeth lawer. Un tro yr oedd yr hen bregethwr ffyddlawn, Ismael Jones, o Sir Drefaldwyn, ar daith yn Sir Aberteifi; ac yn nhref Aberteifi cyfarfyddodd Mr. Morris ag yntau. Ebai Ismael Jones wrtho: "Mi af fi i ddechreu, a chewch chwithau bregethu." "Na," ebai yntau, "yr ydych chwi yn ŵr dyeithr, a minau yn gymydog iddynt yma; rhaid i mi gael dechreu yr odfa." Ac felly y bu. A dywedir fod ei weddi yn nodedig o ran effaith a dylanwad. Yn rhywle ynddi daeth ar draws y gair hwnw: "O Dad, gogonedda dy Fab." Adroddai ac ailadroddai ef, a rhyw wedd newydd ar yr ymadrodd yn dyfod i'r amlwg gyda phob ailadroddiad, fel yr aeth y gynulleidfa, lawer o honi, i gyd-ddeisyf âg ef mewn llef uchel, rhai mewn hwyl yn clodfori Duw, a phawb yn ymddangos dan deimladau nerthol. Ac yr oedd llawer mwy o son, wedi i'r odfa basio, am weddi Eben Morris nac am bregeth Ismael Jones. Unwaith, yn Hawen, capel perthynol i'r Annibynwyr, gerllaw ei gartref, pryd yr oedd dau weinidog enwog i bregethu, gofynwyd ganddo ddechreu y cyfarfod. Hyny a wnaeth yntau, a chyda'r fath arddeliad na theimlwyd yn aml ei gyffelyb. Taflodd y gweddïo, meddir, y pregethu i'r cysgod, a son mawr a fu am flynyddoedd am y weddi hono.

Mewn Cymdeithasfa yn Nghaernarfon, yn un o gyfarfodydd y pregethwyr a'r diaconiaid, daeth gweddi yn destun sylw. Adeg diwygiad ydoedd, pan yr oedd bywiogrwydd anarferol yn y cyfarfodydd gweddi, a rhyw gymaint o annhrefn ynddynt oblegyd bloeddiadau y dychweledigion ieuainc. Cymerodd y Parch. John Elias fantais ar yr amgylchiad i ddweyd yn llym yn erbyn bloeddio ar weddi. "Gellid meddwl," meddai, "wrth glywed rhai yn bloeddio pan ar eu gliniau mai byddar yw ein Duw ni; neu ei fod, fel y dywedai Elias yn watwarus wrth brophwydi Baal am eu duw hwy, 'yn cysgu, a bod yn rhaid ei ddeffro ef.'" Yr oedd Mr. Ebenezer Morris yn ymwybodol y byddai efe yn aml yn dyrchafu ei lais wrth weddïo, ac yn wir, yn bloeddio yn lled uchel; felly, pan alwyd arno i lefaru gair, efe a ddywedodd: "Nid wyf yn cytuno a'm hanwyl frawd Elias ar y pwnc hwn. Beth am ein Gwaredwr mawr, yn nyddiau ei gnawd, yn offrwm gweddïau ac erfyniau, trwy lefain cryf a dagrau?" "Wel, ïe, Mr. Morris bach," atebai Mr. Elias yn ebrwydd, "dywedyd yr wyf fi yn erbyn y llefain cryf *heb* ddagrau. Y rhai sydd yn teimlo hyd ddagrau, cânt hwy lefain yn gryf."

Ni byddai Mr. Morris un amser yn anghofio mai gweinidog yr efengyl ydoedd, ac yr ydoedd yn hynod am ei ffyddlondeb i ateb cydwybod i Grist. Pan ar ymweliad unwaith a thref fawr, lletyai yn nhŷ meddyg tra chyfrifol, gwraig yr hwn oedd yn ferch i flaenor cyfoethog yn mysg y Methodistiaid. Gwedi y bregeth yr oedd cymundeb. Ar ol dychwelyd i'r tŷ gofynodd Mr. Morris mewn dull mwyn a charedig i'r foneddiges: "A oeddech chwi yn y cymundeb gyda ni heno, madam?" "Nac oeddwn," ebai hi; "nid wyf yn aelod o'r seiat." "Wel, pa fodd y mae hyny yn bod?" gofynai yntau. Hithau a atebai ei bod yn awr yn troi mewn cylch o gwmni a chyfeillion a'i gwnelai yn an-

hawdd, os nad yn anmhosibl, iddi berthyn i'r seiat yn y capel. Yntau, gan edrych arni ar unwaith yn bruddaidd ac yn serchog, a ofynodd: "A fydd y cylch yna o gyfeillion o ryw les i chwi wrth farw, madam?" Nid oedd gan y foneddiges air i ateb. Wedi iddo ef a'i gyfaill fyned ar eu penau eu hunain, dywedai: "Y mae yn rhaid i mi bob amser gael gwaghau fy nghydwybod gyda rhai o'r fath hyn cyn ymadael." Dro arall, yr oedd Cymdeithasfa yn Nghaerffili, a Mr. Morris yn lletya yn nhŷ boneddwr oedd yn teimlo dyddordeb mawr mewn amaethyddiaeth. Gwedi boreufwyd, dywedai y boneddwr wrtho: "Yr wyf yn deall, Mr. Morris, eich bod chwi fel finau yn trin tir; mi garwn yn fawr i chwi ddod i edrych ar yr ychain sydd genyf, a'r dull yr wyf yn eu porthi." Mewn dull nodedig o hynaws, atebai Mr. Morris: "Gyda gwir barch i chwi, syr, am eich caredigrwydd, rhaid i mi geisio genych fy nghymeryd yn esgusodol, gan na ddaethum oddicartref i weled ychain, ond gyda'r pethau a berthynant i deyrnas Iesu Grist." Yn lle digio teimlodd y boneddwr y parch mwyaf ato, a dywedai ar ol hyny: "Yn sicr, dyna wir weinidog i Grist."

Deuai ei gydwybodolrwydd dwfn i'r golwg yn ei holl ymwneyd â phethau y byd hwn. Unwaith prynodd fuwch mewn ffair, a rhoddodd am dani y pris a ofynai y gwerthwr. Y ffair gyntaf yn y gymydogaeth ar ol hyny yr oedd pris yr anifeiliaid wedi myned i fynu yn ddirfawr. Pan ddeallodd Mr. Morris hyn, aeth at y gŵr a werthasai y fuwch iddo, gan ddweyd: "Yn ol pris presenol anifeiliaid yr wyf wedi cael gormod o newid ar y fuwch;" ac yna efe a estynodd gini iddo, er nad oedd y dyn yn dysgwyl am y fath beth. Nid rhyfedd fod yr holl wlad oddiamgylch yn ei ystyried yn dywysog Duw yn eu plith. Cynygiwyd iddo, oddiar deimlad o barch tuag ato, dyddyn o'r enw Rhiwfelen, yn hodd ac yn rhad. Eithr efe, er ei fod yn ddiolchgar am y cynygiad a'r teimlad caredig oedd wrth ei wraidd, a'i gwrthododd yn bendant; a phan y gofynid am ei reswm, dywedai: "Nis gallaf ar un cyfrif oddef y meddwl o'i gadw oddiwrth y gwir etifedd." Ychydig, yn ddiau, hyd yn nod yn mysg goreugwyr y ddaear, fuasai yn ymddwyn mewn modd mor anrhydeddus.

Tra yr ydoedd yn ofalus i ymddwyn yn foneddigaidd at bawb, yr oedd ar yr un pryd yn eiddigus o'r hunanbarch dyledus iddo ei hun. Adrodda y diweddar Barch. Thomas Phillips, D.D., Henffordd, hanesyn sydd yn profi hyn. "Mewn Cymdeithasfa yn Llangeitho," ebai Dr. Phillips, "rhoddid anogaeth gref i frodyr o'r Deheudir fyned i'r Gymdeithasfa ganlynol yn y Gogledd. Pan bwyswyd yn drwm ar Mr. Morris efe a atebodd yn benderfynol nad oedd yn gyfleus iddo gydsynio â chais y brodyr y flwyddyn hono. Y mae yn debygol i ymdrech gael ei gwneyd ar ol y cyfarfod, yn y prydnhawn, i'w berswadio i ufuddhau; ac yn y gynadledd boreu dranoeth, galwai y Parch. John Roberts, o Langwm, gyda chaniatad y cadeirydd, sylw at y mater drachefn, a dywedai ei fod yn deall mai yr anhawsder i Mr. Morris fyned i'r Gogledd ydoedd, ei fod ar y pryd heb geffyl; ac apeliai yn daer at y brodyr cynrychiol, am i un o honynt roddi benthyg ceffyl iddo. Yn ddioed, dyna Mr. Morris ar ei draed, a chwedi diolch i'w frawd dyeithr am ei garedigrwydd, dywedodd: 'Y mae genyf acw ddigon o geffylau, ond nid oes un o honynt yn *ffit* i fy nghario i yn awr. Nid wyf am ofyn ffafr i neb, oblegyd mor fuan ag y clywaf am geffyl wrth fy modd mi a allaf fforddio ei brynu.' Nid anniolchgarwch, ac nid balchder, oedd hyn ynddo, ond parch priodol iddo ei hun a'i sefyllfa. Pan welodd Mr. Roberts ei fod yn anfwriadol wedi cyffwrdd a lle tyner yn nheimladau Mr. Morris, efe a ymesgusododd yn y modd mwyaf brawdol a boneddigaidd."

Yr oedd yn llawn o gydymdeimlad at bregethwyr ieuainc, yn enwedig os gwelai arwyddion fod yr Arglwydd wedi ymddiried am yr efengyl iddynt. Pan ddaeth y Parch. John Hughes, Pontrobert, y tro cyntaf i'r Deheudir, cyfarfyddodd mewn un man a phregethwr mewn oedran, yr hwn na ystyrid nac yn enwog nac yn ddoniol, a dywedai hwnw wrtho: "Gofalwch chwi, ŵr ieuanc, am bregethu yn fyr, rhag i chwi ladrata fy amser i." Ond yn mhen diwrnod neu ddau cyfarfyddai â'r pregethwr enwog Ebenezer Morris, ac meddai hwnw wrtho: "Peidiwch chwi, fy nghyfaill, a phrysuro; meddienwch eich hun, a chymerwch eich llawn amser; byr iawn yr wyf fi yn bwriadu pregethu heddyw." Adróddai y diweddar Barch. John Jones, Llanbedr, iddo fyned i Gyfarfod Misol yn Blaencefn, y tro cyntaf iddo ymweled a'r rhan hono o'r wlad, ac yn gwbl annysgwyliadwy iddo ei hun cafodd

ei gyhoeddi i bregethu. Taflodd hyn ef i brofedigaeth ddwys, yn arbenig gan y gwelai fod amryw o weinidogion enwog yn bresenol. Deallodd Mr. Morris ystad ei deimlad, a chyda gwedd siriol aeth ato i ymyl y pwlpud, gan ddweyd: "Frawd ieuanc, peidiwch a gollwng eich meddwl i lawr. Nid oes yma neb ond pechaduriaid yr un fath a chwithau; ac ni a fyddwn oll yn gweddïo trosoch."

Trwy offerynoliaeth Mr. Morris y daeth John Elias ar gyhoeddiad gyntaf trwy y Deheudir, a hyny pan nad oedd ond pregethwr cymharol ieuanc. Yr oedd rhai o hen bregethwyr Gwynedd yn dra amheus o Mr. Elias, ac yn ymddwyn yn oeraidd ato; drwgdybient y difrifwch dirfawr a ddangosai, gan synio ei fod yn codi oddiar Phariseaeth, ac y mae lle i ofni nad oeddent oll yn gwbl rydd oddiwrth eiddigedd at ei ddawn areithyddol arbenig. Eithr pan ei clywyd gan Ebenezer Morris, deallodd efe y deuai Mr. Elias yn un o brif dywysogion y pwlpud, ac ni orphwysodd nes cael addewid ganddo i ddyfod i'r Dê. Daroganai rhai fod y daith yn anamserol; y byddai yn niweidiol i yspryd y pregethwr ei hun, ac na wnelai nemawr o les i eraill. Eithr fel arall y troes. Yr oedd taith Mr. Elias yn gyffelyb i ruthr y corwynt; dilynid ef o gapel i gapel gan ganoedd o wrandawyr awchus; byddai yntau a grym ei hyawdledd, a thrwy nerth y dylanwad cydfynedol, yn llorio gweithredwyr anwiredd, fel na fedrai y dewraf o honynt sefyll o'i flaen. Nid oedd neb yn llawenhau oblegyd yr arddeliad ar weinidogaeth y gŵr ieuanc yn fwy nac Ebenezer Morris. Arferai ddweyd, yn ganlynol, i'r daith hon o eiddo Mr. Elias fod yn foddion, dan fendith Duw, i gynyrchu yn y Dê un o'r cyffroadau crefyddol mwyaf nerthol a bendithiol ag oedd efe yn gofio yn ei ddydd. Aeth son am y daith hon o eiddo y Parch. John Elias, a'r nerthoedd oedd yn cydfyned â hi, yn fuan i'r Gogledd, a bu yn gymhorth i beri i rai o brif bregethwyr y dalaeth synio yn uwch am dano, ac i roddi iddo y lle a deilyngai yn eu meddwl.

Yr oedd ei ddefnyddioldeb yn y cyfarfodydd eglwysig yn nodedig, a braidd nad oedd yn gyfartal i'w ddylanwad yn y pwlpud. Ni hoffai mewn un modd weled pobl yn y seiat yn crymu eu pen fel brwynen; dywedai yn aml: "Byddwch yn moddion gras fel dynion yn eich elfen, ac nid fel pe bai eich holl galon yn y ffair." Anaml y methai heddychu pobl wedi ymddigio, ac nid oedd ei fath am roddi pen ar gwerylon. Pan yr oedd efe oddicartref unwaith, aeth rhywrai yn eglwys Twrgwyn i gynhena am fân bethau cwbl ddibwys. Clywodd yntau, gwedi iddo ddychwelyd adref, am yr helynt. Ar ddydd gwaith yr wythnos ganlynol, yr oedd efe, yn ol ei arfer, yn pregethu ac yn cadw seiat yn y capel; testun y bregeth oedd, Diar. xvii. 14: "Pen y gynhen sydd megys ped agorid argae; am hyny, gad ymaith ymryson cyn ymyrid arni." Yr oedd y bregeth mor hallt, ac yn cynwys y fath ddynoethiad ar natur cynhen, a'r canlyniadau enbyd a'i dilynent, fel y dystawodd yr holl derfysg, ac na feiddiodd neb son am dano mwy.

Gwyddai pa bryd i arfer toster yn gystal a thynerwch. Unwaith cyfodasai cweryl yn seiat Cilycwm rhwng dwy foneddiges nodedig o barchus, sef Mrs. Lewis, gwraig i gyfreithiwr enwog, a Mrs. Jones, o'r Henllysg. Palasdy hardd oedd Henllysg, ac yr oedd Mrs. Jones yn fam i David Jones, Ysw., Blaen-nos, a fu yn cynrychioli Sir Gaerfyrddin yn y senedd am flynyddoedd. Er pob ymdrech, ni cheid gan y ddwy wraig ddyfod i gymod. Fel y cynyg diweddaf, penderfynodd y Gymdeithasfa anfon Ebenezer Morris yno. Nid ai yntau ar un cyfrif heb yr hen flaenor dyddan Owen Enos. Ryw ddiwrnod, cychwynai Mr. Morris tua Chilycwm; y mae yn debyg y gwyddai adeg y cyfarfod eglwysig, a galwodd heibio i Owen Enos, yr hwn oedd yn aredig ar y maes, gan orchymyn iddo fyned gydag ef. Gwedi cyrhaedd y lle, a dechreu y cyfarfod, gofynodd a oedd y ddwy wraig ymrafaelgar yn bresenol. Atebwyd eu bod. Gorchymynodd iddynt ddyfod yn mlaen, ac yna parodd iddynt fyned allan, ac aros allan hyd nes yr ymheddychent. "Beth, Ebenezer Morris," ebai Mrs. Jones, "ai fel yna yr ydych yn fy nhrin i, a minau wedi bod yn rhoddi ymborth a llety i'ch tad a chwithau ddegau o weithiau?" Ebai yntau yn ol, gydag awdurdod ofnadwy: "Yn enw y Duw a'ch galluogodd i roddi ymborth i'm tad ac i minau, yr wyf yn gorchymyn i chwi fyned allan." Nid oedd dim i'w wneyd ond ufuddhau. Eithr yr oedd mwy o ras nag o anras yn y ddwy foneddiges, ac yn y drws torodd Mrs. Jones allan i wylo, ac meddai wrth yr hon yr oedd wedi bod mewn ymrafael â hi: "Mrs. Lewis fach, i ba le yr ydym yn myn'd?" a syrthiodd y ddwy ar yddfau eu

gilydd yn y fan hono. Wedi gweled ddarfod i'r driniaeth, er mor arw, ateb y pwrpas, galwodd Mr. Morris hwy yn ol, ac wedi rhoddi iddynt gynghorion priodol, cawsant eu lle yn ol, a dywedir iddynt fod yn gyfeillesau hyd eu bedd. Prawf yr hanes fawredd dylanwad Mr. Morris yn y Cyfundeb, yn gystal a'i wroldeb diofn.

Yn ddiau, rhodd arbenig o eiddo Duw i'r Methodistiaid, ac i Gymru, ac yn neillduol i Sir Aberteifi, oedd Ebenezer Morris. Nid oedd neb yn uwch nag efe yn y pwlpud ac ar faes y Gymdeithasfa. Yn y dyddiau pan yr oedd cewri ar y ddaear, safai ef ysgwydd yn ysgwydd a'r talaf o honynt. Yr oedd, drachefn, lawn mor enwog yn y cynhadleddau preifat. Er ei fod am ugain mlynedd gwedi iddo ddechreu pregethu yn ddim ond gŵr di-urddau, daeth i fod yn fwy ei ddylanwad yn nghynadleddau y Gymdeithasfa na'r un o offeiriaid y Dê. Cyrhaeddai y gair a ddywedai yn mhell, a braidd na allai gymhwyso ato ei hun a'i frodyr eiriau Job am yr henuriaid: "Ar ol fy ymadrodd ni ddywedent eilwaith." Perchenogai, a hyny mewn cyflawnder, holl anhebgorion arweinydd; yr oedd yn arafaidd a phwyllog, yn llawn o yspryd barn, yn edrych ar bob mater a ddeuai gerbron o amrywiol sefyllfaoedd cyn siarad arno. Gwyddai yn dda pa bryd i fod yn dyner, a pha bryd i fod yn llym, ac yr oedd yn meddu yspryd llewaidd diofn i gario allan ei argyhoeddiadau. Nid yn aml yr anrhydeddwyd y Cyfundeb o'i gychwyn cyntaf â gŵr mor gydnerth.

Ar yr un pryd gwnaem gam ag ef, ac a sefyllfa bresenol Methodistiaeth yn rhan isaf Sir Aberteifi, pe y gosodem ef allan fel gŵr perffaith. Rhaid addef nad oedd i'w gymharu â'i gyfaill, y Parch. Ebenezer Richard, Tregaron, fel trefniedydd gydag amgylchiadau allanol yr achos. Rywsut, fel y Parch. Thomas Richard, yn Sir Benfro, yr oedd yn hollol wrthwynebol i amlhau capelau. "Y mae genym eithaf digon o gapelau,' meddai, "eisiau arbed eu cyrph sydd ar y bobl; ac os ewch i wrando arnynt oll fe gyll yr efengyl ei dylanwad ar y wlad." Bu ef yn foddion i godi y wlad i wrando yr efengyl; deuai tyrfaoedd mawrion yn nghyd pa le bynag ei cyhoeddid i bregethu; a thrwy ei weinidogaeth effeithiol argyhoeddwyd canoedd i fywyd tragywyddol. Tybiai efe mai ychydig o gapelau fyddai oreu, a phob un o'r rhai hyny yn fath o Jerusalem, yn gyrchfa pobloedd; ac felly gosodai ei wyneb fel callestr yn erbyn pob ymgais i gael capel mewn ardal newydd. I Jerusalem y dylai y bobl ddod. Y canlyniad oedd fod pregethwyr, nad oeddynt ond ceiliogod rhedyn o'u cymharu âg ef, yn gwylio ei symudiadau, yn adeiladu ysgoldai a chapelau yn yr ardaloedd lle y pregethai efe mewn amaethdai, ac yn casglu i'r rhai hyny yr eneidiau a gawsent eu hargyhoeddi trwy ei offerynoliaeth ef. Ystyriai ef yr awydd am gael capel yn agos i'r bobl fel difaterwch ysprydol gyda'r efengyl, a diffyg awydd i'w mwynhau. Nid oedd mewn un modd yn gyson âg ef ei hun yn hyn. Pregethodd lawer yn ystod ei oes mewn tai ffermydd, rhwng y gwahanol gapelau; ond pan y dywedid wrtho fod yno ddigon o gynulleidfa i gael capel, gwrthwynebai yn benderfynol, gan ddweyd na ddylid rhoddi ffordd i ddiogi. Pe buasai yn drefniedydd doeth yn y mater hwn, gallasai yn hawdd ddyogelu yr oll o ran isaf Sir Aberteifi i'r Methodistiaid, o Lanarth i lawr hyd Sir Benfro, yr un fath ag y gwnaeth Ebenezer Richard a rhan uchaf y sir; ond o herwydd ei gyndynrwydd ef, a'i wrthwynebiad i gapelau newyddion, aeth enwadau eraill i fewn i'w lafur, a medasant iddynt eu hunain y cnwd a hauodd efe. Efallai, pe y cawsai efe fyw i fyned yn hen, y gallai ddyogelu y wlad iddo ei hun; ond gan iddo farw mor gynar, ac na chododd ar ei ol, yn y rhan hono o'r sir, neb cyfartal iddo mewn dawn a llafur, bu ei wrthodiad i liosogi capelau yn foddion i drosglwyddo i feddiant enwadau eraill ardaloedd cyfain a ddylent fod yn perthyn i'r Methodistiaid y dydd hwn. Pan y teithiem unwaith o Landysil i Dwrgwyn, ryw bedair milltir o'r lle olaf yr oeddem yn pasio heibio i gapel bychan, prydferth, perthynol i'r Annibynwyr. A dywedai ein harweinydd wrthym i'r holl ardal hono unwaith fod yn Fethodistaidd, ond gan i Mr. Morris rwystro adeiladu capel yno, i'r Annibynwyr ddyfod yn mlaen i gyflenwi y diffyg, ac nad oedd ond Annibynwyr yno yn bresenol. Nid condemnio yr Annibynwyr yr ydym, ond beio gwleidlywiaeth Ebenezer Morris. Nid oedd colli godreu y sir i'r Cyfundeb yn amcan ganddo, ond dyna i raddau mawr a fu canlyniad y cwrs a gymerodd. Ac ni chymerasai hyny le pe buasai mor awyddus am wneyd cartrefi crefyddol i'r bobl ag ydoedd am eu hachub.

Yn rhy brin hefyd yr oedd gwerth yr

Ysgol Sabbothol, a'r lles a ellid effeithio trwyddi, wedi gwawrio ar ei feddwl. Gwir iddo lafurio llawer gyda'r Ysgol Sul, ac y byddai yn cyduno â'r Parch. Ebenezer Richard i gymeryd rhan yn y Cymanfa-oedd Ysgolion; ond fel sefydliad y plant yn benaf yr edrychai arni. Yn ei fryd ef yr oedd pob cyfarfod i fod yn ddarostyngedig i'r bregeth. Dywedai wrth y bobl mewn oed: "Bydd dau yn ddigon i fod yn yr ysgol gyda'r plant; dewch chwi i gyd i'r bregeth yn Mlaenanerch neu Dwrgwyn." Yn hyn oll gweithredai yn gwbl gydwybodol; dyna y goleuni yr oedd ef wedi ei gael; nid oedd gwerth yr Ysgol Sabbothol fel cyfleustra i fyfyrio yn y gwirionedd, ac fel moddion i achub eneidiau, wedi cael ei amlygu iddo. Yr ydym yn teimlo fod tegwch yn haeddu i ni wneyd y sylwadau hyn; profant fod y doethaf o ddynion, a'r mwyaf ymroddedig, yn agored i wneyd camgymeriadau, ac felly am Ebenezer Morris. Ond yr ydym yn addaw nad ymrysonwn âg ef mwy.

Ni ddiangodd Mr. Morris rhag profedigaethau, ac yn ddiau un o'r rhai trymaf a'i cyfarfu oedd marwolaeth David, ei fab hynaf, yn y flwyddyn 1819. Gŵr ieuanc hynod o hynaws ac addawol ydoedd; yr ydoedd ar y pryd yn arolygu masnachdy Mrs. Foulkes, yn Machynlleth; yr oedd ar bwynt priodi yn anrhydeddus, a gobeithion dysglaer yn ymagor o'i flaen. Eithr Awst 18, aeth i ymdrochi i'r afon Dyfi, a rywsut, efe a foddodd, ac efe yn 27 mlwydd oed. Y Sabbath blaenorol i hyny, pregethai Mr. Morris yn Aberystwyth yn y boreu, ac yn nghapel Penllwyn am ddau yn y prydnhawn. Yn Mhenllwyn, ei destun oedd, Actau xxi. 14: "Ewyllys yr Arglwydd a wneler." Llefarai yn ddwys ac yn sylweddol, ond nid mor hwylus ag y gwnelai weithiau, a chyn y diwedd gwnaeth y sylw: "Cerdded yn drwm y mae y bregeth; ac nis gwn pa un ai i chwi ai i mi fy hun y mae y geiriau yn perthyn, ond y maent wedi bod ar fy meddwl er ys hir amser." Y dyddiau canlynol, yr oedd Cymdeithasfa yn cael ei chynal yn Llangeitho, ac yno y cyrhaeddodd y newydd ef am farwolaeth sydyn a dyeithr ei anwyl fab. Darfu i'r hysbysrwydd ei drywanu hyd ddyfnder ei enaid, yr oedd ei natur fel pe ar ymrwygo, ond yn nghanol ei deimladau drylliog medrodd yngan ei destun y Sul blaenorol: "Ewyllys yr Arglwydd a wneler." Brysiodd i Fachynlleth, oddiyno dug gorph marw ei fab gydag ef i'w gladdu yn meddrod y teulu yn mynwent Troedyraur; a'r gair cyntaf a ddywedodd wrth ei briod ar ol croesi rhiniog y tŷ oedd: "Gobeitho, Mali fach, na chawsoch eich gadael i ddweyd dim yn galed am yr Arglwydd." Y Sul canlynol, yr oedd ei gyhoeddiad yn Twrgwyn, ac er mor friw oedd ei fron penderfynodd gyflawni ei ddyledswydd, a phregethu. Medrodd ffrwyno ei deimladau yn ystod y bregeth, ond ar y terfyn rhoes allan yr emyn ganlynol i'w chanu:—

"Ac ni fydda'i 'n hir cyn gorphen,
  Ddim yn hir cyn glanio fry;
Pob addewid, pob bygythiad,
  Pob gorchymyn sydd o'm tu;
Nid y dyfnder fydd fy nhrigfan,
  Gwn y deuaf yn y man;
'Nol fy ngolchi gan y tònau,
  Yn ddihangol byth i'r lan."

Gan fod cyfeiriad yn y penill at y "dyfnder," a'r "tònau," a'i fod yntau yn mron methu ei roddi allan gan deimlad, cafodd effaith annesgrifiadwy ar y dyrfa. Ceisiwyd canu, ond ar y canol torwyd allan i wylo, a rhyw gymysg o wylofain a chânu a fu oddiyno i'r diwedd.

Ni fu Ebenezer Morris byth yr un dyn wedi marwolaeth ei fab David. Yn ychwanegol, llafuriai yn mhell uwchlaw ei allu; yr oedd ei deithiau hirion trwy Gymru ar bob math o dywydd, y cyffröad raid fod yn cymeryd lle ar ei natur, pan yn pregethu i gynulleidfaoedd mawrion, yn enwedig ar y maes yn y Gymdeithasfa; a'r gofal am yr achos yn ei holl ranau a bwysai yn wastadol ar ei feddwl, yn fwy nag a fedrai ei gyfansoddiad ddal. Goddiweddwyd ef hefyd, fel ei dad, er efallai nad yn hollol i'r un graddau, â thewychdod afiach ac annaturiol. Rhwng pob peth, tua diwedd y flwyddyn 1824, er ei fod o ran oedran yn anterth ei rym, gwelid arwyddion fod ei natur yn tueddu i ymollwng. Yn mis Chwefror, 1825, aeth i Lundain, i wasanaethu yr eglwys Fethodistaidd yn Jewin Crescent. Dwy waith y buasai yn Llundain yn flaenorol. Cawsai wahoddiadau cynhes lawer gwaith o'r Brifddinas, a chymhellai ei frodyr yn y Dê ef i'w derbyn; eithr am ryw resymau annhueddol i fyned oedd efe, ac felly tair gwaith y bu yno yn ystod ei oes weinidogaethol. Yr oedd yn dra hwyrfrydig i fyned hefyd y tro diweddaf hwn; ond yr oedd cyfeillion Llundain yn dra awyddus am ei gael, a thro Cyfarfod Misol Aberteifi i anfon gweinidog yno wedi dirwyn

oddiamgylch, fel rhwng pob peth y cyd-syniodd i fyned. Llenwid ei feddwl â rhyw ddifrifwch angherddol wrth feddwl am y daith. Yn yr eglwysi a fugeilid ganddo, gofynai yn daer am ran yn ngweddïau y brodyr a'r chwiorydd; ac meddai yn Mlaenanerch: "Gweddïau y rhai hyny sydd yn meddwl na thâl eu gweddïau ddim wyf fi yn ddymuno."

Ar y ffordd i Lundain efe a bregethodd yn Nghaerfyrddin. Yn nhŷ y capel yn flaenorol i'r odfa yr oedd amryw gyfeillion wedi cyd-ymgynull; meddienid Mr. Morris â rhyw ddwysder anarferol; dywedai fod y siwrnai yn gwasgu yn drwm ar ei feddwl, ac yna cyfarchodd hwy oll mewn dull nodedig o effeithiol: "Cofiwch, gyfeillion, fod siwrnai bwysig o'ch blaen chwithau i gyd; y siwrnai fawr i dragywyddoldeb." Ei destun yn y capel ydoedd, Salm ii. 12: "Cusenwch y Mab, rhag iddo ddigio, a'ch difetha chwi o'r ffordd." Cafodd odfa ryfedd; a bu y bregeth yn foddion troedigaeth i amryw. Yn mysg eraill, daethai dyn ieuanc parchus, ond cwbl ddigrefydd, i'r odfa, wedi cael ei attynu gan enwogrwydd y pregethwr; cydiodd geiriau Mr. Morris yn ei gydwybod, a chyn cael heddwch i'w enaid bu raid iddo droi at Waredwr pechadür, a bu yn Gristion gweithgar hyd derfyn ei oes, ac am lawer o flynyddoedd yn flaenor cymeradwy. Fel hyn yr ysgrifenai yn mhen deugain mlynedd gwedi i'r odfa basio: "Nid anghofiaf byth yr apêl a wnaeth Mr. Morris at y bobl ieuainc am wneyd heddwch â Duw trwy gusanu ei Fab ef, neu trwy gredu ynddo, a hyny yn ddioedi. Dywedai mai peth ofnadwy o beryglus oedd oedi, gan y gallai y Mab ddigio, a'u gyru o'r ffordd i gael eu dyfetha. 'Chwi, wŷr ieuainc,' meddai, 'os na cheisiwch gymod heno, gall efe ddigio cyn y boreu. Hwyrach y caech fyw gwedi hyny am lawer o flynyddoedd; ond o bosibl y symudai Rhagluniaeth chwi i rywle yn Lloegr, ac y caech eich cario ymaith gan demtasiynau, fel ûs o flaen y gwynt, nes anghofio moddion gras, a chadw yn mhell oddiwrth y gwirioneddau a fyddai yn debyg o effeithio yn dda arnoch, a hyny oll oblegyd i'r Arglwydd ddigio wrthych am nad ufuddhasoch yma i'r efengyl.' Yr wyf yn cofio i mi fethu cysgu y noson hono, heb yn gyntaf roddi fy hun yn gwbl i'r Arglwydd, rhag erbyn y boreu y byddwn wedi colli pob teimlad crefyddol, ac wedi cael fy ngadael i galedwch calon." Ychwanegai yr hen flaenor ei fod bob amser gwedi hyn yn edrych ar Mr. Morris fel ei dad ysprydol.

Bu ei lafur yn Llundain y tro hwn yn dra llwyddianus, ac yn nodedig o fendithiol i'r eglwys. Cyn iddo ymadael cynhelid yno y Gymanfa flynyddol, fel yr arferid, ar y Groglith a'r Pasc, a daethai y Parch. John Elias i fynu at Mr. Morris, i wasanaethu yn y Gymanfa, ac i'w ddilyn gwedi hyny gyda gwaith y weinidogaeth yn y Brifddinas. Yr oedd arddeliad nodedig ar y Gymanfa o'r cychwyn, a'r gwlith yn disgyn yn drwm yn mhob cyfarfod. Ond ni anghofir byth yr odfa olaf nos Lun y Pasc, pan y pregethai Mr. Elias a Mr. Morris. Yr oedd yr addoldy wedi ei orlanw gan Gymry; nid oedd eisteddleoedd i'w cael i haner y bobl oedd wedi ymgynull, ac yr oedd pawb yn llawn dysgwyliad. Testun Mr. Elias, yr hwn a lefarai yn gyntaf, oedd, Salm i. 5: "Am hyny yr annuwiolion ni safant yn y farn, na phechaduriaid yn nghynulleidfa y rhai cyfiawn." Yr oedd nerth rhyfedd yn cydfyned a'i eiriau; tystiai amryw o wŷr craffus na chlywsant mo hono erioed yn fwy hyawdl a grymus; yr oedd y dorf anferth yn gyfangwbl yn ei law. Pwysleisiai, yn mysg pethau eraill, ar *gynulleidfa* y rhai cyfiawn; darluniai yn dra tharawiadol y rhwystrau oedd i'r cyfiawnion fod yn un gynulleidfa ar y ddaear, megys eu bod yn byw yn ngwahanol gyfnodau amser, ac yn ngwahanol ranau y byd, eu bod wedi eu gwahanu gan gymysgiad yr ieithoedd, a thrwy fod yn perthyn i wahanol sectau crefyddol; ond dywedai y byddent oll yn un gynulleidfa yn y farn, heb un annuwiol na phechadur yn eu mysg; y rhagrithwyr oll wedi cael eu hysgwyd ymaith fel yr ysgydwai Paul y wiber oddiar ar ei law. Yr oedd y llewyrch dwyfol mor amlwg fel yr oedd dynion yn methu dal, a chewri mewn anwiredd wedi ymollwng i wylo fel plant.

Ar ei ol cyfodai y Parch. Ebenezer Morris, a'i osgo yn dywysogaidd, ond â rhyw dynerwch hyfryd yn eistedd ar ei wedd. Cymerodd yn destun Luc x. 34: "Ac efe a'i dug ef i'r llety, ac a'i hymgeleddodd." Teimlai cyfeillion Mr. Morris yn fawr drosto, ei fod yn gorfod pregethu ar ol y fath ŵr, a hyny pan oedd wedi cael odfa mor rymus. Ofnent hefyd nad oedd ei destun yn ddigon cyffrous fel ag i'w alluogi i gael gafael ar y bobl gwedi y fath ddylanwad. Ond nid hir y bu pawb cyn

deall fod Mr. Morris hefyd yn llaw yr Arglwydd. Aeth i ddesgrifio gwerth a rhagoriaeth eglwys Dduw fel llety, a'r amgylchiadau oedd yn peri fod yn rhaid i'w holl wrandawyr wrth y fath lety, neu fod oddiallan byth heb ymgeledd. Gwaeddai, gydag awdurdod anorchfygol: "Bobl! Y mae y nos yn dyfod; y mae y gwlaw mawr ar ymdywallt! A oes genych lety?" Bloeddiai drosodd a throsodd, a rhyw nerth newydd yn cydfyned â phob bloedd: "*llety*, LLETY, LLETY." Erbyn hyn yr oedd yno le rhyfedd. Os y chwythai y gwynt cryf ar yr odfa flaenorol, yn awr yr oedd y rhuthrwynt wedi dyfod, fel nas gallai neb wrthsefyll. Aeth y bobl i floeddio "LLETY" am yr uchaf, nes yn swn eu bloeddiadau y boddwyd llais y pregethwr. Daeth rhai degau o'r newydd i'r eglwys yn Jewin Crescent ar ol y Gymanfa, ac yn eu mysg amryw o wrthgilwyr, a thystient oll mai "pregeth y llety" oedd wedi eu gorchfygu.

Nid yw hanes "pregeth y llety" yn gorphen yn hollol yn y fan hon. Yn nhymor Pasc y flwyddyn ganlynol gwasanaethai y Parch. William Evans, Tonyrefail, yn Llundain, ac yn ei ymchwil am lyfrau, trodd i mewn i ystorfa llyfrwerthwr o'r enw Mr. Hamilton, yn Paternoster Row. Gwedi i Mr. Hamilton ddeall mai gweinidog Cymreig ydoedd, dywedodd iddo y flwyddyn flaenorol fyned i wrando Cymro, sef un Ebenezer Morris, yn pregethu yn *Surrey Chapel*, capel yr Hybarch Rowland Hill; mai y testun ydoedd: "Ac a'i dug ef i'r llety," a bod effeithiau rhyfeddol yn cael eu teimlo gan bawb oedd yn gwrando. Gwedi deall fod Mr. Morris yn pregethu yn Gymraeg yn Jewin Crescent nos Lun y Pasc, aeth Mr. Hamilton yno o ran cywreinrwydd; ac er na ddeallai air o'r bregeth, yr oedd y fath naws yn y cyfarfod, y fath fynegiant yn ngwedd a llais y pregethwr, a'r fath ddylanwad yn cael ei deimlo gan bawb o'i gwmpas, fel y gorchfygwyd y Sais yn hollol drachefn, ac y teimlai yn gwbl yr un fath ag y gwnelai yn flaenorol yn *Surrey Chapel*. Heblaw llawer o bregethwyr ac offeiriaid eraill, yr oedd y Parch. William Howells, Longacre, yn bresenol yn yr odfa nos Lun y Pasc, ac ymddangosai fel un wedi cael ysglyfaeth lawer.

Y nos Fawrth ganlynol traddododd Mr. Morris ei bregeth ymadawol yn Llundain, oddiar Heb. xii. 1; ac ar ei ffordd adref pregethodd drachefn yn Nghaerfyrddin, oddiar Salm cxix. 32: "Ffordd dy orchymynion a redaf, pan ehangech fy nghalon." Erbyn cyrhaedd cartref yr oedd yn dra llesg ei natur, a'r afiechyd o ba un y bu farw wedi ymaflyd ynddo. Buasai ei lafur yn Llundain yn galed, nid oedd awyr y lle yn mis Mawrth llaith ac oerllyd yn dygymod âg ef, yr oedd ei natur yntau i raddau wedi ei anmharu yn flaenorol, fel ag i fod yn barod i dderbyn hadau afiechyd, nes y gwelwyd yn fuan wedi ei ddychweliad fod yr anhwyldeb wedi cyrhaedd ei ysgyfaint, a'i fod mewn cyflwr tra pheryglus. Rhyw dair gwaith neu bedair y bu yn alluog i bregethu ar ol dyfod adref. Ei bregeth olaf yn Nhwrgwyn oedd oddiar Salm xxx. 5: "Canys enyd fechan y bydd yn ei lid; yn ei foddlonrwydd y mae bywyd; dros brydnhawn yr erys wylofain, ac erbyn y boreu y bydd gorfoledd." Anturiodd fyned i Gastellnewydd-Emlyn, Sabbath, y 25ain o Fehefin; mewn dirfawr wendid y pregethodd, a chyn odfa yr hwyr bu raid iddo ddychwelyd adref. A dyna ei bregeth olaf. Ei destun oedd, Salm lxv. 4: "Gwyn ei fyd yr hwn a ddewisech ac a nesaech atat, fel y trigo yn dy gynteddoedd." Dengys ei gof-lyfr y bwriadai, yn odfa yr hwyr, bregethu oddiar Salm lxxi. 9: "Na fwrw fi ymaith yn amser henaint; na wrthod fi pan ballo fy nerth," testun nad oedd wedi pregethu arno yn flaenorol.

Dyma derfyn dydd gwaith y Parch. Ebenezer Morris. Ni adawodd ei dŷ wedi iddo ddychwelyd o Gastellnewydd-Emlyn, ac yn bur fuan caethiwyd ef i'w wely. Darfu i'r son am ei selni, ac yn enwedig y tebygolrwydd na chaffai ei adfer, daro y wlad â math o syfrdandod. Ebenezer Morris, y gŵr y gellid meddwl mai cryfder ceryg oedd ei gryfder, yn awr a'i nerth wedi ei ostwng ar y ffordd; y pregethwr a'r gweddïwr digymhar yn rhwym gan gystudd; yr hwn yr oedd ei wlad mor falch o hono, ac yn edrych i fynu ato fel barnwr a thad, efe ar fyned ymaith, fel na chaent weled ei wyneb ef mwy! Llanwai y syniad galonau canoedd â thristwch. Cyrchai lluoedd, o bob sefyllfa a gradd, yn feunyddiol i Flaenywern i holi ei helynt; a chyfeillion o bell ac o agos a ddeuent i ymweled âg ef. Tra y gallodd, ymddiddanai yn garuaidd â phawb. Gofidiai y rhai a'i gwelent wrth ei ganfod mor llesg, ond yr oedd efe yn mwynhau dyddanwch Duw. Dywedai trosodd a throsodd nad oedd am fyw gwedi

gorphen ei ddiwrnod gwaith. "Rhywbeth gofidus," meddai, "yw yr amgylchiad hwn o ddyoddef, ond y mae yn ddigon da i bechadur truan fel myfi. Yr unig beth o fawr bwys yw adnabod yr Arglwydd. Dyma fi yn tynu yn agos at ben fy nhaith, a bron glanio yn y byd tragywyddol; ond nid oes ynof y dychryn na'r anesmwythder lleiaf."

Dechreu mis Awst, cynhelid Cymdeithasfa yn nhref Aberteifi, a daeth nifer o frodyr a chyfeillion i ymweled âg ef ar y ffordd yno. Dywedai wrthynt: "Cofiwch fi yn garedig at yr holl frodyr, a deisyfwch arnynt beidio fy anghofio inau. Fy ngweddi yw, ar i udgorn floedd y Brenhin fod yn eich mysg. Llawenydd i'm calon yw clywed y cafwyd arwyddion o hyny mewn cyfarfodydd diweddar. Bydded i'r arwyddion o bresenoldeb Duw a fwynhawyd enyn awyddfryd gwresog am ychwaneg." Ac ychwanegai, gyda dwysder mawr: "Pan fyddo yr Arglwydd yn neshau at ei bobl, y mae fel yn gofyn iddynt, A fynwch chwi i mi ddyfod yn nes eto?" Ond yn mysg yr ymwelwyr, nid oedd neb ag y teimlai y claf mor gynhes ato a'r Parch. David Charles, Caerfyrddin, y gŵr a safai ochr yn ochr âg ef yn nghynadleddau y Gymdeithasfa pan yn blaenori y llu. Hawddach dychymygu na darlunio teimladau y ddau arwr efengylaidd, a fuont yn gymdeithion mewn llawer brwydr, wrth ffarwelio a'u gilydd am byth ar y ddaear. Ar ol ymadawiad ei gyfaill, dywedai Mr. Morris wrth ei briod: "Mary fach, fe fu yma lu o gyfeillion yn ymyl y gwely, ond Dafydd yw yr un sydd wedi gwlychu dillad y gwely â'i ddagrau."

Tua dau ddiwrnod cyn ei farw, daeth dau bregethwr ieuanc o Benmorfa i ymweled âg ef, a chan y gofynent ganddo am ryw gynghorion, efe a ddywedodd: "Cyfeiriwch eich pregethau at gydwybodau y gwrandawyr. Nid tymherau anianol y bobl, ond eu cydwybodau oedd genyf fi yn nod bob amser; ac yn awr, pan yr wyf yn myned i farw, y mae hyny yn esmwytho fy ngobenydd. Os cewch chwi eich dau fyw yn hir, digon tebyg y gwelwch amser ar grefydd pryd na bydd nemawr o'r newydd yn dyfod i'r seiat. Y pryd hwnw, peidiwch llusgo dynion dioruchwyliaeth i mewn i'r eglwys, ond dysgwyliwch wrth Dduw, a cheisiwch ef, yr hwn yn ei amser da ei hun a lwydda y gwaith. Rhoes Duw addewid i Abraham am fab; ond yr oedd Sarai yn gweled yr amser yn hir, ac yn anobeithio y caffai y fraint o fyned yn fam; felly, hi a roes Agar i Abraham, ac Ismael a gafwyd. Nid mab yr addewid oedd efe, a mawr y blinder a barodd hyn i Sarai ar ol hyny. Dysgwyliwch chwithau wrth addewid Duw, heb fyned ar ol y cnawd, nes y caffer plant yr addewidion i'r eglwys."

Teimlai Eglwyswyr, yn gystal ac Ymneillduwyr, wrth glywed fod Ebenezer Morris wedi clafychu i farw, a bu amryw o offeiriaid yn edrych am dano. Fel hyn yr ysgrifena y Parch. H. L. Davies, cuwrad Llangranog y pryd hwnw, eithr gwedi hyny ficer Cenarth: "Nid angofiaf byth y dydd olaf y bum gyda Mr. Morris, ryw ddiwrnod neu ddau cyn iddo fyned i dderbyn ei dragywyddol wobr. Feallai mai myfi oedd y gweinidog olaf, yr olaf, modd bynag, o weinidogion Eglwys Loegr, a ymwelodd âg ef. Tarawyd fi â syndod wrth ei weled mor syml a dirodres; dyn yr oedd ei hanes yn hanes cyfundeb crefyddol am yr haner can' mlynedd blaenorol, a hyny ar y fath amserau cyffrous. 'Nid oeddwn i,' ebai efe, 'ond yn gweithredu yn ol yr hyn a ddywedai fy nghydwybod wrthyf, gan ymegnio dros yr hyn oedd yn angenrheidiol.' Yna mynegai ei brofiad personol: 'Am ddoniau pregethu, nid ydynt ddim yn awr marw, ac nid ydyw llwyddiant yn y weinidogaeth yn ddim. Yr wyf yn ymorphwys yn hollol ar haeddiant Crist am dderbyniad gerbron Duw. Ac y'm ceir ynddo ef! Dywedwch mai dyna eiriau olaf Ebenezer Morris.'"

Wedi deffroi o gwsg, galwodd am Mrs. Morris, ac meddai wrthi: "Yr oeddwn yn gweled fy hun neithiwr yn nghymdeithas y brodyr dedwydd sydd wedi huno yn yr Iesu er ys blynyddoedd: Mr. Lloyd, o Gayo, a Mr. Jones, Llangan, a melus odiaeth oedd eu cwmni. Mi brofais, do, yn wir, mi brofais ffrwythau y wlad." Yn mhen ychydig efe a ychwanegodd: "Ni bu neb erioed yn hoffach o'i wlad a'i deulu na myfi; ond yn awr, oddiar yr olwg a gefais ar y dedwyddwch nefol, ac oddiar y pethau rhyfeddol ddatguddiwyd i mi, nid wyf bellach yn teimlo ymlyniad wrth ddim sydd yma, nac un dymuniad am aros yn y corph. Cefais olwg ogoneddusach nag a gefais erioed o'r blaen ar y wlad well, y byddaf ynddi maes o law." Yna, gyda gwen orfoleddus, efe a lefodd: "Yn awr, mi a'i gwelaf! O! wlad ryfedd! O'r mwynhad annhraethol wyf yn brofi,

ie, hyd yn nod yn loesion angau." Dydd olaf ei fywyd a ddaeth, pan yr oedd ei ddiffyg anadl a'i floesgni gymaint fel nas gellid deall ond ychydig o'r hyn a ddywedai. Eithr deallwyd ef yn gweddïo dros ei wlad: "O! bydded i wybodaeth yr Arglwydd gynyddu yn y tir!" Yr oedd hyny ar ei wefusau trwy y boreu. Yn y prydnhawn clywyd ef yn dywedyd trosodd a throsodd: "Pa le y mae yr Yspryd Glân? Pa le y mae yr Yspryd Glan?" Yn mhen enyd fechan efe a gododd ei law, ac a ddywedodd: "O! Yspryd Glan!" A chan addoli felly efe na chymaint o gwynfan ac wylofain. Cymerodd y claddedigaeth le y dydd Iau canlynol. Daethai tyrfaoedd mawrion yn nghyd, o wahanol barthau y wlad; a chan na allai capel Twrgwyn gynwys agos y bobl oedd wedi ymgynull, cynhaliwyd y gwasanaeth crefyddol ar y maes, yn agos i'r tŷ, am un-ar-ddeg o'r gloch yn y boreu. Dechreuwyd trwy weddi gan y Parch. David Griffiths, Llantwd, Sir Benfro, a phregethodd y Parch. Ebenezer Richard oddiar Heb. xiii. 7: "Meddyliwch am eich blaenoriaid y rhai a draethasant i chwi air Duw; ffydd y rhai dilynwch, gan



EGLWYS A MYNWENT TROEDYRAUR.

[*Lle eu Claddwyd y Morrisiaid.*]

a fu farw, prydnhawn dydd Llun, Awst 15, 1825, ac efe yn 56 mlwydd oed.

Bu farw adeg cynhauaf, ac yr oedd y dydd Llun hwnw yn ddiwrnod têg, a'r bobl allan yn brysur yn cynhauafu yr ŷd. Pan y cyrhaeddodd y newydd hwy fod Ebenezer Morris wedi marw, dyna y medelwyr yn taflu eu crymanau o'u dwylaw, ac yn syrthio ar y ddaear mewn wylofain. Gweision ffermwyr, hyd yn nod heb fod yn proffesu crefydd, a wylent yn uchel. Nid gormod dweyd fod yr holl wlad yn galaru. Dywedai hen flaenor o Dwrgwyn na welodd y fath angladd erioed, ystyried diwedd eu hymarweddiad hwynt." Yna dygwyd ei gorph i fynwent Troedyraur, lle y gosodwyd ef i orwedd yn ymyl corph ei enwog dad, gyda chyrph ei fab, a dwy o'i ferched, y rhai oedd wedi ei ragflaenu i'r tŷ rhagderfynedig i bob dyn byw.

Oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, gwelwn fod Ebenezer Morris yn llond pwlpud o bregethwr, yn llond ardal o wladwr, ac yn llond Cymdeithasfa o arweinydd. Cododd Duw ef i fod yn dywysydd i'r Cyfundeb mewn amseroedd cythryblus, pryd yr oedd yn rhaid nid yn unig wrth

fwyneidd-dra doethineb, ond hefyd wrth wroldeb didroi-yn-ol. Yn hyn ni phallodd efe, ac ni ddigalonodd ; bu yn ffyddlawn i argyhoeddiadau ei gydwybod, er gwaethaf gwg uchelwyr, a gwrthwynebiad llawer o'i frodyr. Fel pregethwr, rhaid ei osod yn y dosparth blaenaf oll, ac yn y rheng flaenaf yn y dosparth hwnw. O herwydd grym a phereidd-dra ei lais, angerddoldeb ei deimladaeth, ei ddifrifwch arbenig, a'r gallu nodedig a feddai i wisgo gwirioneddau syml yr efengyl, byddai yn feistr y gynulleidfa pa le bynag y llefarai. Fel pregethwr Cymdeithasfa, i anerch y miloedd o bob safle mewn cymdeithas ac o bob gradd mewn gwybodaeth, nid llawer o'i gyffelyb a welodd Cymru, ac nid ydym yn petruso dweyd na chyfododd ei fath ar ei ol. Diwrnod tywyll a du i'r Dywysogaeth oedd y diwrnod y gosodwyd ef i orwedd yn ei wely cul.



# PENOD XXXIX.

—:o:—

## THOMAS JONES, DINBYCH.

*Thomas Jones yn hanu o deulu cyfoethog—Ei rieni yn ei fwriadu i'r offeiriadaeth—Yn yr ysgol yn Nghaerwys ac yn Nhreffynon—Yn cael amrai waredigaethau hynod—Dechreuad Methodistiaeth yn Nghaerwys—Y Capel Main—Trallod Thomas Jones gyda golwg ar ei gyflwr—Y mae yn ymuno a'r Methodistiaid—Ei faich yn aros—Dyfod i dir rhyddid—Tuedd at yr offeiriadaeth—Y mae yn penderfynu nad â yn offeiriad, ac yn dechreu pregethu—Ei lafur dirfawr—Ei afiechyd—Yn priodi, ac yn symud i'r Wyddgrug—Ei afiechyd yn parhau—Ei briod yn marw—Yn ail briodi, ac yn symud i Ruthyn—Ei ail wraig yn marw—Yntau yn priodi y drydedd waith, ac yn symud i Ddinbych.*

TUA milltir a haner o Gaerwys, yn Sir Fflint, i gyfeiriad y gorllewin, saif amaethdy, o'r enw Penuchaf. Yno, tua chanol y ddeunawfed ganrif, y preswyliai Edward Jones, gyda Jane, ei wraig. Yr oeddynt ill dau yn bobl barchus, yn bur eu moes, yn gymeradwy yn ngolwg eu cymydogion, yn aelodau yn yr Eglwys Sefydledig, ac yn dwyn mawr zêl drosti. Gyda hyn, yr oeddynt yn gefnog eu hamgylchiadau, oblegyd heblaw amaethdy Penuchaf, a'r deugain erw tir oedd yn gysylltiedig, a berchenogid ganddynt fel eiddo rhydd-ddaliadol, meddent amryw dai yn Nghaerwys, ac amryw diroedd yn y gymydogaeth, yr hyn, rhwng y cwbl, a ffurfiai etifeddiaeth gysurus. Bu i'r ddeuddyn hyn dri o blant, sef Thomas, Mary, a mab arall na chawsom ei enw, ac yn ol pob tebyg a fu farw yn ieuanc. Yr oedd Mary yn ddynes nodedig am ei chrefydd, ac yn Penuchaf y preswyliodd trwy ystod ei bywyd. Bu yn briod dair gwaith; ŵyr iddi oedd y diweddar Mr. Enoch Lewis, Mostyn Quay, a gorŵyr iddi yw Mr. Herbert Lewis, yr aelod anrhydeddus dros fwrdeisdrefi Fflint. Ond â Thomas, yr hynaf o'r plant, y mae a fynom ni yn yr ysgrif hon, yr hwn yn ganlynol a adnabyddid fel y Parch. Thomas Jones, Dinbych, ac a gydnabyddir yn gyfiawn fel un o'r prif dduwinyddion a fagodd Cymru. Pe y gofynid i ni enwi tri chedyrn Dafydd mewn athrawiaeth perthynol i'r Cyfundeb Methodistaidd, y rhai a argraffasant eu delw yn drwm ar ei dduwinyddiaeth, ac uwchlaw pawb eraill a roisant ffurf i'r dull o synio sydd ynddo am brif wirioneddau yr efengyl, cyfeiriem at Williams, Pantycelyn; Thomas Jones, Dinbych; a Lewis Edwards, D.D., Bala.

Nid ydym, fel gyda rhai o'r Tadau, mewn unrhyw dywyllwch gyda hanes Thomas Jones, oblegyd, heblaw amryw Gofiantau sydd wedi ymddangos, cyfansoddodd ef ei hun Hunan-gofiant lled fanwl yn ystod ei fywyd. Yr hyn a'i cynhyrfodd i ymosod ar y cyfryw orchwyl oedd a ganlyn. Yn y flwyddyn 1800, pan y preswyliai y Parch. Thomas Jones yn yr Wyddgrug, anfonodd Mr. Charles iddo nifer o holiadau, gyda'r amcan yn ddiau o'i dynu i ysgrifenu am dano ei hun. Dyma rai o honynt: "Pa bryd ac yn mha le y'ch ganwyd? O ba alwad a sefyllfa oedd eich rhieni? Pa fath oedd eich dygiad i fynu o'ch mebyd? Pa bryd, a thrwy ba foddion, yr ymwelodd yr Arglwydd âg argyhoeddiadau am eich cyflwr fel pechadur colledig? Pa gynhaliaeth a weinyddwyd i chwi, a thrwy ba foddion, dan yr argyhoeddiadau hyny? Pa bryd, a thrwy ba foddion, y datguddiodd Duw ei Fab ynoch? Pa gymhelliadau a'ch tueddodd at weinidogaeth y Gair? Pa beth yw sail eich gobaith am fywyd tragywyddol yn ngwyneb angau a barn?" Y mae y rhai hyn yn engraifft o'r gweddill. Pan y cafodd y gofyniadau yma, yr oedd Mr. Jones yn wael ei iechyd, a llawer yn ofni ei fod yn cyflym ddynesu at byrth y bedd, ac felly yr oedd Mr. Charles am sicrhau na ddisgynai ei goffadwriaeth i ebargofiant. Cyrhaeddodd yr holiadau eu hamcan; ysgrifenodd Mr. Jones yn helaeth am helyntion ei ieuenctyd, y



PARCH. THOMAS JONES, DINBYCH.

*[Copi o'r Darlun sydd yn meddiant ei ddisgynydd, J. Herbert Lewis, Ysw., A.S.]*

modd y dygwyd ef i ddewis crefydd, ac i'w dewis yn mysg y Methodistiaid, y dylanwadau a'r rhesymau a dueddent ei feddwl yn y gwahanol gamrau a gymerwyd ganddo yn ei fywyd cyhoeddus; a chan ei fod yn byw mewn adeg ystormus, a bod iddo yntau ran bwysig yn y cyffroadau a ysgydwent y Cyfundeb a Chymru, y mae yr Hunan-gofiant yn werthfawrocach na'r aur colladwy.

Cafodd ei eni yn mis Chwefror, 1756. Nid yw dydd ei enedigaeth yn hysbys, ond yn ol y cofrestriad a geir yn eglwys Caerwys, bedyddiwyd ef Chwefror 20, 1756. Ymddengys fod ei rieni, heblaw bod yn oludog arnynt yn y byd, yn meddu gwell syniad na'r cyffredin am werth addysg, a phenderfynasant y caffai eu mab y manteision addysgol uchaf. Cyn ei fod yn bedair mlwydd oed anfonwyd ef i'r ysgol. Ei ysgolfeistr, yn ol pob tebyg, oedd Mr. Owen Thomas, Caerwys, gŵr tra gwahanol i'r cyffredin o ysgolfeistri Cymru y pryd hwnw, gan y derbyniasai ei addysg yn Ysgol Ramadegol Llanelwy, a'i fod o gyrhaeddiadau anghyffredin, ac yn hyddysg mewn amryw ieithoedd. Dyn bychan, crwca, oedd Owen Thomas; yr oedd yn ddifrycheulyd ei fuchedd, yn dduwinydd gwych, ac yn Fethodist zêlog. Bu gwedi hyn am flynyddoedd lawer yn flaenor gyda'r Methodistiaid yn Nghaerwys. Dangosodd y bachgen Thomas yn fuan ei fod yn berchen talent; dywed efe fod ynddo "duedd ac athrylith i ddysgu tuhwnt i blant yn gyffredin." I fachgen ieuanc hoff o lyfrau, yn ymhyfrydu mewn gwybodaeth, ac yn gyflym i yfed dysg, nid oedd ond un nod i gyrchu ato yn ol syniad pawb y pryd hwnw, sef yr offeiriadaeth. Penderfynodd rhieni Thomas Jones wneyd offeiriad o hono yntau; nid cynt y ffurfiwyd y bwriad nag y mynegwyd ef i'r plentyn, a mynega yn ei Hunangofiant fod hyn yn ei foddhau yn fawr. Urddas allanol y swydd, yn nghyd a'r




*[Allan o'i Gofiant gan y Parchn. J. Humphreys, Caerwys, a J. Roberts, Llangwm, yn y flwyddyn y bu farw, 1820.]*

fantais a roddai i efrydiaeth, yn ddiau a roddai foddhad i'w feddwl plentynaidd, yr oedd yn rhy ieuanc eto i ymdeimlo â'i chyfrifoldeb. Gan i'w fam farw pan nad oedd ond wyth oed, a'i fod yntau yn mynegu fod "ei rieni" yn llochesu y cyfryw fwriad gyda golwg arno, rhaid i'r bwriad yma o'u heiddynt gael ei wneyd yn hysbys iddo pan mewn oedran tyner iawn.

Bu yn ysgol Owen Thomas hyd y flwyddyn 1766; sef hyd pan yn ddeg oed. Yna cafodd ei anfon i Ysgol Ramadegol a gynhelid yn Nghaerwys, gan y Parch. John Lloyd, cuwrad y plwyf. Ychydig a wyddis am yr ysgol na'r athraw. Yn gydefrydydd âg ef yn yr ysgol hon cawn fachgen o'r enw Edward Williams, Glanclwyd, yr hwn yn ganlynol a enillodd radd uchel mewn dysg, a safle bwysig fel duwinydd. Y llanc ieuanc hwn oedd Dr. Williams, o Rotherham. Er fod Edward Williams dros bum' mlwydd yn hŷn na Thomas Jones, daethant ar unwaith yn gyfeillion mynwesol; hanent o'r un gymydogaeth, meddai y ddau y cyffelyb asbri am gyrhaedd gwybodaeth, ac nid oeddent yn annhebyg mewn nodweddion meddyliol. Gallwn ychwanegu mai gyda'r Methodistiaid y cafodd Dr. Williams ei godi, ac mai Methodist ydoedd hyd nes tyfu i fynu. Gwedi iddo farw, talodd Mr. Jones deyrnged o barch i'w goffadwriaeth; a chan gyfeirio at yr amser yr oeddynt yn yr ysgol, dynoda ef fel perchenog talent ddysglaer, yn nodedig am ei fedr i adrodd ystori a difyru y plant oedd yn iau, ond heb fawr blas ar y chwareuon oedd mewn bri yn eu mysg. Cydddygwyddiad tarawiadol oedd i'r ddau gyfaill ar ol hyn, agos yr un amser, ac yn hollol oddiar yr un rhesymau, wrthod ymgymeryd â gweinidogaeth yr efengyl yn Eglwys Loegr.

Yn ol yr oll a allwn gasglu, yr oedd Thomas Jones, hyd yn nod pan yn blentyn, yn meddu cydwybod dyner, ac ar adegau yn cael ei lenwi â meddyliau difrifol. "Un o'r pethau cyntaf wyf yn gofio," meddai, "am danaf fy hunan yn fy mebyd yw, fod ymddiddanion neu grybwyllion a glywn am y nef, neu uffern, ac weithiau freuddwydion hefyd, yn cael effaith ddwys arnaf." Ychwanegwyd at y dwysder hwn trwy farwolaeth ei fam, am yr hon y bu mewn hiraeth ddyddiau lawer. Crybwylla hefyd am amryw waredigaethau a gafodd yn ei ieuenctyd; y mae yn amlwg i'r gwaredigaethau hyn adael argraff ddofn ar ei feddwl tyner, a'u bod yn ffurfio dolenau pwysig yn y gadwen a dynodd ei enaid at Iesu Grist, ac a'i rhwymodd wrtho; yn y goleu hwn, ac nid fel ffeithiau dyddorol, y mae efe yn eu hadrodd. Fel hyn yr ysgrifena: "Yr oedd ynof arswyd mawr rhag nadroedd, ond heb weled un pan oeddwn yn nghylch un-ar-ddeg oed. Ar ganol dydd, wrth chwilio am bel a gollasid ar ein chwareu, clywn swn chwythiad dan fy nhroed. Edrychais, a gwelwn ran o'r neidr oedd yn gorwedd yn dorchog, ond heb allu fy niweidio am fod fy nhroed ar ei phen ac ar ei chynffon. Llemais ymaith mewn dychryn, a'm cyfeillion oedd hynach na mi a'i lladdasant. Dro arall, wedi codi seldrem o ŷd ar y maes, gwelwn neidr oedd yn gorwedd dani yn ymlusgo ymaith. Drachefn, wedi tynu mefusen oddiar ochr clawdd, gwelwn fy mod wedi rhoddi fy llaw o fewn torch neidr frech fawr oedd yn gorwedd yno. Dro arall, pan oeddwn yn ysgol Treffynon, wedi blino yn chwareu ar ganol dydd gwresog, gorweddais ar lechwedd serth yn ochr ddwyreiniol y fynwent, gan feddwl hepian yno. Ond cyn i gwsg fy llwyr ddal, clywn rywbeth yn ymgynhyrfu dan fy mhen, yn cyffwrdd a'm gwallt, ac a'm clust. Erbyn codi fy mhen, a throi i edrych, neidr oedd yno, wedi ei deffroi, y mae yn debygol, gan bwys fy mhen, ac yn ymlusgo i'w thwll." Braidd nad yw yn syn fod cymaint o beryglon y llanc wedi codi oddiwrth nadroedd, y rhai yr oedd arno y fath ddychryn rhagddynt.

Adrodda am dair gwaredigaeth bwysig arall a gafodd, pan yn yr ysgol yn Nhreffynon, rywbryd o gwmpas y flwyddyn 1771, pan yr oedd tua phymtheg oed. "Pan yr oeddynt yn ail adeiladu rhanau o'r eglwys, yr oedd y plwm i'w thoi yn cael ei roddi mewn darn o hen gapel Pabaidd sydd uwchben y ffynhon, a elwir Ffynhon Gwernffrewi. Yno hefyd yr oedd yr ysgoldy. A chan fod y gweithwyr wedi gosod rhaff dros un o'r trawstiau cryfion sydd yn nen yr adeilad . yr oeddym ninau, yr ysgolheigion, yn defnyddio hono i chwareu sigl-hongian. Ar un tro, fel yr oeddwn i a bachgen arall yn brysur ar y difyrwch hwn, un o'r hen gyffion cerfiedig, oedd wedi eu gosod dan draws-gysylltiadau y trawstiau, a ddaeth i lawr yn ddisymwth. Syrthiodd yn ddau ddarn o gryn bwysau yn ein hymyl ni ein dau. Ond trwy Ragluniaeth dirion, ni a ddianghasom heb niwed."

Dyma ei adroddiad am waredigaeth arall a gafodd: "Yr oeddym (sef plant yr ysgol) yn arfer myned ambell waith i ben y clochdy. Ar un diwrnod, mi a aethum, ac a sefais ar uchaf un o adwyau ei furganllaw. Ac nid digon oedd hyny genyf, ond i ddangos ychwaneg o'm gwrhydri rhyfygus, mi a ddringais ar uchaf ei grib, ond yn unig fod yno un gareg wedi colli; ac yno y sefais ar fy un-troed; ie, edrychais i lawr, ac o'm deutu; tynais fy het hefyd, a bloeddiais o orfoledd gwag. Ond yn fuan, ar floedd arswydlawn hen ŵr oedd yn y fynwent, mewn dychryn o'm hachos, minau a ddechreuais arswydo a phenysgafnhau; a phrin y gwyddwn pa ochr yr oedd fy nisgyniad, neu yn hytrach fy nghodwm. Ond trwy ddaioni Duw, ar y tô plwm oddimewn y disgynais, heb gael niwed."



CARTREF Y PARCH. THOMAS JONES, YN NINBYCH.

Y drydedd waredigaeth oedd yn y modd canlynol: Yr oedd cymdeithas o chwareuwyr yn y dref, ac wedi gwneuthur chwareudy o goed mewn gardd gauedig. "A chan fod fy awydd yn gryf am weled y chwareu," meddai Thomas Jones, "yn fynychach nag yr oedd genyf arian i dalu, ymroddais, gyda dau neu dri eraill o'm cymdeithion, i grafu twll dan estyllen isaf yr adeilad, ac felly o'r diwedd ymwthiasom i fewn. Ond gan fod y meinciau ar raddesgyniad, y naill yn uwch na'r llall, nid oeddym ni, er ein hymdrech ladradaidd, ond mewn gwagle tywyll, islaw y bobl, ac allan o olwg y chwareu. O'r diwedd, wedi bod yno dro hir yn ymddifyru fel y gallem, cawsom sisial wrth rai o'n cydnabyddiaeth, a thyciasom i gael ganddynt wneuthur lle, a'n helpio i estedd yn eu mysg; a'u caredigrwydd hwy mewn iawn bryd a fu yn foddion i achub ein bywydau. Pe buasem odditan ychydig fynydau—neu, fe allai un mynyd—yn hwy, cawsem ein llethu i farwolaeth. O herwydd yn fuan iawn ar ol i ni gael eistedd, y meinciau a ymollyngasant, ac a gydsyrthiasant, yn

nghyd a'r edrychwyr lliosog oedd arnynt, i'r gwagleoedd tanoedd. Yr oedd yno ddychryn mawr, ond nid llawer o friwiau na niwed, oddieithr ar ddau neu dri. Am danaf finau, bum dros ychydig mewn braw a syndod dwys, yn cydnabod mai llaw Duw a gadwodd fy mywyd; ïe, a'm henaid hefyd allan o uffern. Ond och! buan yr anghofiais, neu y collais effaith y tro; ac felly rhedais ar ol gwag bleserau mor awyddus ag o'r blaen." Yr ydym yn croniclo y diangfeydd hyn, nid oblegyd eu dyddordeb ynddynt eu hunain, ond o herwydd iddynt fod yn foddion, i raddau beth bynag, i gynyrchu ac i ddwyshau argraffiadau crefyddol ar feddwl Thomas Jones.

Nid yw yn ymddangos iddo ddyfod i gyffyrddiad a'r Methodistiaid nes yr oedd yn las-fachgen. Mor bell ag y gallwn gasglu, ni ymwelodd neb o'u pregethwyr â Chaerwys, oddigerth i David Morris, Twrgwyn, alw heibio yma ar ei dro, hyd y flwyddyn 1762, pan yr oedd Thomas Jones yn chwech oed. Gwir fod ganddynt seiat fechan yn Berthen-gron, ac y preswyliai yno bregethwr nid anenwog, sef John Owens, "tad Methodistiaeth Sir Fflint;" y meddent eglwys fechan y tu arall i Gaerwys, yn Dyffryn, Llandyrnog, a bod yno bregethwr, sef Robert Lloyd, o Blas Ashpool; ond gan fod y naill a'r llall o'r lleoedd yma o bump i chwech milltir o bellder o Gaerwys, ni wyddai mab bychan Penucha ddim am danynt. Yn yr odfa gyntaf gan y Methodistiaid yn Nghaerwys, ag y mae hanes sicr am dani, pregethai Edward Jones, Helygain, ger Treffynon. Cawsai ei wahodd yno gan wehydd, o'r enw John Anwyl. Pan gyrhaeddodd Edward Jones y pentref, yr oedd y gwehydd allan yn casglu pobl i'r odfa; ni wyddai ei wraig ddim am y bwriad, ac felly edrych yn wgus ar y pregethwr a wnaeth pan ddaeth ef, a dau gyfaill gydag ef, at ddrws ei thŷ. Troisant hwythau yn eu holau yn siomedig; ond ar ganol y pentref cyfarfyddasant â John Anwyl ei hun, a dechreuodd yr odfa yn y fan. Safai y pregethwr yn agos i groes sydd yn y pentref; a phan aeth y ddynes allan, hi a welai y pregethwr yn y canol, gyda thorf o bobl o'i gwmpas yn canu, a'i phriod yn uno a'i holl egni yn y gân. Ni wyddom pa ganlyniad a fu i'r odfa, ond dywedir fod Edward Jones yn bregethwr da, yn rhagori mewn dysg a doniau ar y cyffredin o'r cynghorwyr, ac yn olygwr dros amryw weithoedd. Y pregethwr nesaf a ddaeth i gadw odfa i Gaerwys, mor bell ag y gwyddis, oedd Richard Harrison, o Laneurgain, haner Sais, gwehydd wrth ei alwedigaeth, a gŵr o ymddangosiad boneddigaidd. Ar wahoddiad John Anwyl y daeth yntau. Deuwyd i ddeall am fwriad i derfysgu yr odfa, felly cymhellodd John Anwyl y ddau Ellis, brodyr i'w wraig, i ddyfod i gadw drws y tŷ. Yr oeddynt hwy yn adnabyddus fel dynion cryfion, ymladdgar, a'u hofn ar bawb. Safent wrth y drws, gyda phastynau mawrion yn eu dwylaw, i warchod na byddai na swn na chyffro, ac felly cafodd gŵr Duw bob llonyddwch i draethu ei genadwri. Cedwid yr odfa yn nhŷ John Anwyl, wrth "Lyn Twm Bills," a bu yma bregethu, mwy neu lai cyson, hyd y flwyddyn 1772, pan yr ardrethwyd ystafell ragorach.

Eithr nid oedd Thomas Jones, Penucha, yn mysg y rhai a elent i wrando i dŷ y gwehydd; ni chefnogid hyny ynddo gan ei dad, ac ni theimlai yntau ogwydd at y peth. Modd bynag, pan yr oedd efe o ddeg i ddeuddeg oed, priododd ei dad drachefn â dynes o gymydogaeth Penycefn, yr hon a deimlai ryw gymaint o ogwydd at y Methodistiaid. Cymerodd hi ef dro neu ddau i'r odfaeon ger "Llyn Twm Bills." Yn ol yr Hunan-gofiant, ni adawodd y cyfarfodydd argraff ffafriol ar ei feddwl. "Synais beth," meddai, "wrth weled rhai o'r merched yn wylo, a chlywed y pregethwr yn dweyd yn niwedd ei bregeth nas gwyddai efe ar y dechreu pa fodd i agoryd ei enau, ond fod yr Arglwydd wedi rhoddi iddo ddrws ymadrodd, ac wedi ei gynorthwyo i draethu y gwirionedd. Ond er hyn, nid oeddwn yn gwneuthur nemawr o gyfrif o honynt, am nad adwaenwn y pryd hwnw nemawr un o'r rhai a'u gwrandawent yn rhodio mewn harddwch a duwioldeb buchedd." Gwelir mai clamp o feirniad oedd mab Penucha yr adeg hon, a'i fod, yn ol arfer dynion ieuainc, yn dra anffaeledig, ac yn graff ei lygad i ganfod diffygion. Ni ddylem bwysleisio yn ormodol ychwaith ar yr hyn a ddywed am fywydau y gwrandawyr; nis gwyddom a oeddent yn proffesu ai peidio; nid oes dim yn sicrach na bod y Methodistiaid cyntaf yn enwog mewn purdeb buchedd. Yr oedd efe yr adeg hon wedi ymroddi i raddau mawr i bleser. Meddai: "Mi a ymhyfrydais, fel eraill o'm cyfoedion, mewn pob pleserau gwael a diïaid a allai fy oedran gyrhaedd, yn enwedig

mewn dilyn chwareuyddiaethau ar y Sabbath, er cael ceryddon mynych yn fy nghydwybod, ac weithiau ddwrdiad â gwialen gan fy nhad hefyd." Eithr nid oedd lleferydd cydwybod heb feddu dylanwad arno yr adeg hon. Dywed: "Un tro, yr wyf yn cofio, wedi ymddyosg i chwareu, daeth y fath ddychryn arnaf—y Sabbath oedd y diwrnod hwnw—fel y bu raid i mi wisgo am danaf, ac ymlithro ymaith yn dra phoenus fy meddwl, eto, gan gymeryd arnaf fy mod yn sal o gorph, er mwyn cael fy esgusodi gan fy nghyfeillion."

Pan o gwmpas tair-ar-ddeg oed, ac wedi meistroli yr oll a ellid ddysgu iddo yn ysgolion Caerwys, anfonwyd ef gan ei dad i Ysgol Ramadegol Treffynon. Bu yma am dair blynedd, ac er ei fod yn llawn asbri gyda gwahanol chwareuyddiaethau, ni fu yn ol mewn ymroddi i'w efrydiau. Daeth yn ysgolhaig da; heblaw meistrolaeth ar yr iaith Saesneg, meddai gydnabyddiaeth bur wych a'r Lladin a'r Groeg, a chadwai o flaen ei feddwl yn barhaus y bwriad o gyflwyno ei hun i'r weinidogaeth yn Eglwys Loegr. Tymhor pwysig a phur gymysglyd ar ei hanes oedd adeg ei arosiad yn Nhreffynon. Ar y naill law rhoddai ffordd i oferedd, gan ddilyn chwareuon yn nghwmni cymdeithion llygredig, halogi dydd Duw, a chwareu cardiau; ac weithiau dyngu, yn ol arfer ei gyfeillion. Ar y llaw arall, llenwid ei feddwl âg arswyd marw yn annuwiol; rhuai ei gydwybod fel arthes yn ei fynwes ar ol ymroddi i rysedd; dychrynid ef gan freuddwydion nos, yn enwedig un tro, pan freuddwydiodd "fod y ffwrn danllyd dragywyddol yn ymagor i'w dderbyn, ac yn cael ei chau am dano." Ceisiai dawelu ei gydwybod trwy addunedu byw yn well, a bod yn weinidog deffrous a ffyddlawn yn yr Eglwys ar ol cael ei ordeinio. Weithiau, pan y clywai ei gymdeithion yn rhegu, ceryddai hwy yn llym, a rhedai ar frys i'w lety, "i ddywedyd hyn-a-hyn o weddïau." Ar dir y ddeddf y ceisiai dangnefedd i'w enaid yr adeg hon, ac felly nid rhyfedd iddo fod yn aflwyddianus. Dyna ei hanes yn ystod amser ei arosiad yn Nhreffynon. Weithiau ymroddai i ynfydrwydd; bryd arall, yn rhinwedd math o wrthdarawiad *(re-action)*, ceisiai ymgais at gymeradwyaeth trwy weithredoedd gerbron Duw. "Ond o'r diwedd," meddai, "math o anobaith a ddechreuodd orchuddio a sarnu fy enaid; meddyliais ei fod yn beth llwyr anmhosibl i mi garu duwioldeb, na gadael fy mhechodau. . Meddyliais hefyd am y nef, fod y gwaith sydd yno yn berffaith groes i'm harchwaeth a'm hanian i; gan hyny, nad oedd dim yn well i mi nag ymorchestu i gael fy rhan yn helaeth o bleserau daear a phechod, ac anghofio y gosp, hyd oni orfyddai arnaf yn un o lawer ei goddef. Dyma y feddyginiaeth dlawd, resynol, a gynygiodd Satan a'm calon druenus i mi."

Y mae yn amlwg ei fod yn aml yr adeg hon yn gosod ei hun dan hunan-ymholiad, a bod oriau ofnadwy o ddifrifol yn pasio dros ei ben. Tueddwn i feddwl hefyd fod y gelyn yn ei weled yn agosach i deyrnas nefoedd nag y syniai am dano ei hun, cyn y cynygiai iddo y fath feddyginiaeth eithafol. Wedi methu ei gael i ddrachtio i'r graddau y byddai yn ddymunol iddo o hon, cynygiodd Satan iddo physigwriaeth arall, sef ei lithio i feddwl nad oes na Duw na diafol, nef nac uffern, yn bod; mai gwegi yw y son am gyfrifoldeb a barn, a bod chwythiad dyn yn disgyn i'r ddaear fel eiddo yr anifail. "Fel hyn," dywed, "yr ymdrabaeddais yn fy ngwaed; eto ni adawodd yr Arglwydd mo honof, ond dilynodd fi a'i ymrysonau, a'r rheiny weithiau yn fy nal mewn modd mwy tyner a thoddawl. Yr wyf yn cofio rhai amserau pan y byddwn, ar fy mhen fy hun, yn cael fy ngorddiwes yn ddisymwth â thristwch am fy mhechodau, a hunan-ffieiddiad, yn nghyd â meddyliau gobeithiol am iachawdwriaeth, nes y byddai fy serchiadau yn toddi, fy llygaid yn llifo gan ddagrau, a'm tafod ar waith gan ymbiliau a diolch. Dymunaswn dreulio fy oes yn y fath le, ac yn y fath agwedd meddwl." Cofier nad oedd ond glas-lanc, heb gyrhaedd ei un-ar-bymtheg oed, pan y cymerai yr ymryson hwn le yn ei feddwl, ac y brwydrai y da a'r drwg o'i fewn mor ffyrnig am oruchafiaeth.

Diwedd y flwyddyn 1771, pan yn agoshau i gymydogaeth un-ar-bymtheg oed, gadawodd Dreffynon, a therfynodd ei gwrs addysgol. Nid felly ychwaith y bwriadai efe, eithr myned yn y blaen i un o'r prifysgolion; dyna hefyd oedd meddwl ei dad tuag ato. Y mae yn amlwg fod ei bryder gyda golwg ar ei gyflwr yn dwyshau y pryd hwn, a bod y fantol yn troi yn ei feddwl yn bur drwm o blaid crefydd. Ac ar yr un pryd, nid oedd wedi symud oddiar dir y ddeddf: trwy weithredoedd y ceisiai ddod i fynu; nid oedd eto wedi cael golwg

ar, na iawn syniad am, drefn Duw i gyfiawnhau pechadur trwy yr efengyl. Dywed: "Dechreuais roddi lle i ryw ddymuniad gwan am fyw yn dduwiol, gan feddwl oddiwrth yr ofnau a'r llawenydd hedegog a deimlaswn, mai hyny a'm gwnai yn wir ddedwydd, yn y bywyd hwn ac i dragywyddoldeb. Ymroddais i gilio yn fynych i'r dirgel, lle y darllenwn amryw ffurfiau o weddïau, megys am edifeirwch, am ffydd, ac yn enwedig am y gras o barhad, am fy mod yn ofni y syrthiwn yn ol, fel y darfuasai i mi amseroedd eraill." Dechreuodd y pryd hwn gyrchu i wrando pregethwyr y Methodistiaid, a hyny nid yn unig yn Nghaerwys, ond yn mhell ac yn agos, pa le bynag y clywai am gyfleustra, a gwnaeth eu gweinidogaeth argraff ddofn ar ei feddwl. Effeithiodd pregeth o eiddo Robert Llwyd, Plas Ashpool, yn ddwys arno. Tua dechreu Mawrth, 1772, gwnaed cais at ei dad, sef Mr. Edward Jones, ar iddo ardrethu tŷ yn Nghaerwys i'r Methodistiaid i gynal moddion crefyddol. Ni feddai Mr. Edward Jones unrhyw gydymdeimlad a'r cais; Eglwyswr zêlog oedd efe, yn cyfranogi o ragfarn y clerigwyr at y blaid newydd; eithr gwelai ei gynfab yn mhellach, ac yr oedd y pregethau a wrandawsai gan gynghorwyr y Methodistiaid, yn nghyd a dylanwad y pregethau hyny ar foes y werin, wedi gogwyddo ei feddwl yn eu ffafr; felly cyfryngodd ar eu rhan gyda ei dad, a'u cais a ganiatawyd. Yr oedd yr ystafell ar y Marian, ger y pentref, a gelwid hi gan yr ardalwyr "Y Capel Main." Yr ydym yn ei gael yn myned yn nghwmni ei frawd ieuangach, gyda chymeradwyaeth ei lysfam, i Ffynon Beuno, i wrando Robert Evans, Llanrwst; y testun oedd Salm lxxxvi. 11: "Dysg i mi dy ffordd, O Arglwydd." Cafodd Thomas y fath flas yn yr odfa fel yr aeth yno drachefn i wrando Edward Parry, Brynbugad.

Heblaw fod y pregethau a wrandawai yn dylanwadu yn ddwys arno, yr oedd prif wirioneddau yr efengyl yn cael lle mawr yn ei fyfyrdod; ceisiai eu deall, eu cysoni a'u gilydd, ac hefyd âg egwyddorion ei feddwl. Bu am beth amser mewn trafferth gyda golwg ar etholedigaeth gras. Fel hyn y dywed yn ei Hunan-gofiant: "Yn nghylch yr amser hwn, neu ychydig ar ol hyn, bu arnaf dros rai wythnosau gryn helbul yn achos arfaeth Duw, ac etholedigaeth; nid am fy mod yn amheu pa un a oedd athrawiaeth rhagluniaethiad yn unol a'r Ysgrythyrau ai nad oedd; yr oeddwn yn cwbl farnu ei bod, yn enwedig wrth edrych ar Ephes. i., a Rhuf. viii. a ix. Ond fy mhrofedigaeth oedd, pa fodd y mae Duw yn gyfiawn, yn rasol, ac heb fod yn dderbyniwr wyneb, yn ei waith yn ethol rhai, ac yn gadael eraill i'w dinystr, gan beri y fath wahaniaeth diderfyn yn eu cyflyrau? Wrth geisio datod y cwlwm, trwy rym fy rheswm a'm synwyr, nid oeddwn yn tycio nac yn llwyddo dim, eithr yn hytrach yn ymddyrysu fwyfwy. Ond wrth geisio ymbil am oleuni ac addysg gan yr Arglwydd, gwelais fy mod i, a holl hil Adda, yn greaduriaid gwenwynig, sarphaidd o anian, a hyny nid trwy weithrediad Duw. Yn ganlynol ebai fi: 'Yr wyf yn sicr yn haeddu fy namnio, ac os arfaethodd Duw ogoneddu ei gyfiawnder yn fy namnedigaeth i, a myrddiynau o'm bath, ni wnaeth efe â mi ddim cam.' Trwy ystyriaethau o'r fath yma y dystawyd, y pryd hyny, ddadleuon chwerwon y gelyn, a'm calon wrthryfelgar." Gwelir oddiwrth y difyniad ei fod y pryd hwn, pan yn un-ar-bymtheg oed, wedi cyrhaedd addfedrwydd meddwl mawr, ac yn meddu dirnadaeth eang am rai o'r prif athrawiaethau.

O'r diwedd daeth i'r penderfyniad i geisio aelodaeth yn mysg y Methodistiaid. Gwnaeth hyn haf 1772. Nid rhaid dweyd iddo gael derbyniad serchog gan yr ychydig bobl druain dlodion a ymgasglent yn y Capel Main. Yr oedd y cam yma o'i eiddo yn gofyn penderfyniad cryf, gan fod y Methodistiaid yn wrthddrychau dirmyg yr ardal, a'i fod yntau yn perthyn i deulu parchus, ac yn cael edrych arno fel etifedd i lawer o gyfoeth. Anghymeradwyai ei dad hefyd ei ymddygiad yn fawr, a'i waith yn cyrchu i gyfarfodydd crefyddol yn mhell ac yn agos, a chan ei fod yn rhy ieuanc i gael derbyniad i un o'r prif-ysgolion, bwriadodd ei anfon yn ei ol i Ysgol Ramadegol Treffynon. Dywedodd yntau mewn atebiad nad oedd am wrthwynebu ei dad, ac anufuddhau i'w orchymyn; ond mai cwbl ofer fyddai iddo fyned i Dreffynon er mwyn ymbarotoi ar gyfer y weinidogaeth yn yr Eglwys Sefydledig, ei fod wedi rhoddi i fynu y cyfryw fwriad yn llwyr. Gwnaeth y datganiad hwn cyn ei fod yn ddwy-ar-bymtheg mlwydd oed. Dau reswm a'i cymhellent i wrthod ymbarotoi ar gyfer yr offeiriadaeth, yn ol ei eiriau ei hun: "Yr oedd genyf y fath olwg ar fucheddau yr offeir-

iaid fel y llwyr gasheais, ac y dychrynais rhag bod yn un o honynt. Yr oedd arnaf ofn (sef ped elai i'r ysgol) yr anghofiwn gyflwr fy enaid, ac y dychwelwn at fy hen bleserau, trwy rym y deniadau a'r croesau a gawn eu cyfarfod yn yr ysgolion."

Gan nad ai yn mlaen gyda'r parotoad angenrheidiol er ei gymhwyso i fod yn offeiriad, ymddygodd ei dad yn llym ato. Gosododd ef i weithio ar fferm Penucha fel llafurwr cyffredin. I lanc gwanaidd o gyfansoddiad, wedi cael ei ddwyn i fynu er pan yn bedair oed yn yr ysgolion, ac felly heb ymgynefino â chaledwaith, rhaid fod dal yr aradr, gweithio yn ffos y clawdd, trin y gaib, y bladur, a'r cryman, a chyflawni y gorchwylion eraill perthynol i hwsmon, braidd yn fwy nag y medrai ei natur ymgynhal danynt. Ond ni rwgnachai efe, eithr cyflawnai bob gwaith a ymddiriedid iddo gyda ffyddlondeb. Wedi gorphen llafur y dydd, elai naill ai i ryw gyfarfod crefyddol yn y Capel Main, neu i wrando pregeth rywle o fewn cyrhaedd; neu ynte i'w ystafell i ddarllen a myfyrio. Y Beibl a llyfrau crefyddol a astudiai; dywed iddo roddi heibio ei holl lyfrau ysgol, ac iddo gael y fath gas arnynt fel nas gallodd edrych arnynt am saith mlynedd. Gan na fynai fyned yn offeiriad, gwnaed cynygion iddo gyda golwg ar swyddau eraill, a ystyrid yn anrhydeddus; ond gan eu bod oll yn amodol ar iddo roddi i fynu gyrchu i gyfarfodydd crefyddol, a thori ei gysylltiad â'r Methodistiaid, gwrthododd hwynt oll yn ddibetrus. "Cadwodd yr Arglwydd fi," meddai, "rhag rhoddi lle i un o'r rhai hyn." Yn raddol tynerodd teimlad ei dad ato i raddau; ac wrth weled ei ymroad i gyrchu i gyfarfodydd crefyddol, a hyny yn aml mewn cryn wendid, ac wedi diwrnod caled o waith, efe a brynodd iddo geffyl. Ymddengys mai ceffyl bychan, diolwg, ydoedd; haner can' swllt oedd ei bris; eithr bu yn wasanaethgar iawn i Thomas Jones am flynyddoedd, a theimlai yn hynod o ddiolchgar am ei gael.

Diau y credai efe y caffai orphwysfa i'w enaid ar ol ymuno â'r eglwys, eithr nid felly y bu. Am saith mlynedd llawn bu yn cael ei guro yn nhrigfa'r dreigiau, yn cael ymosod arno gan anghrediniaeth, ac yn gwbl amddifad o ryddid yr efengyl, a'r llawenydd ysprydol sydd yn deilliaw o'r meddiant o hono. Dywed: "Fy hen ddidduwiaeth dalgryf a ddaeth i mewn fel afon. Nid oedd dim, debygwn, yn ngair Duw, nac yn ei natur, ei briodoliaethau, na'i hanfod, nad oeddwn i yn cael fy nwysdemtio i'w amheu, a'i wrthod, ïe, i'w ddiystyru a'i gablu." Cyfodai y terfysg meddwl hwn oddiar ei fod, yn ei ddwfn gydwybodolrwydd, yn talu cymaint o sylw i agweddion ei yspryd, ac mewn rhan oblegyd iddo weled efrau yn codi eu penau, a thramgwyddiadau ac ymrafaelion yn tori allan, yn y gymdeithas eglwysig. Eithr, yn nghanol y cymylau tewion, byddai yr haul yn tywynu am enyd fechan weithiau ar ei babell. Unwaith, yn bur fuan wedi iddo fyned at grefydd, a phan yr oedd ei yspryd ynddo yn dra therfysglyd, clywodd fod Daniel Rowland, Llangeitho, i bregethu yn y Bontuchel. Penderfynodd fyned i'w wrando, yn y gobaith y caffai ymwared oddiwrth ei faich. Testun yr Apostol o Langeitho ydoedd, Gen. xlix. 18: "Am dy iachawdwriaeth di y dysgwyliais, Arglwydd." "Ond er i mi gael ychydig gysur," meddai, "fy maich oedd yn aros." Pregethai Rowland dranoeth yn y Berthengron, lle llawer agosach at Penucha, ond teimlai y llanc yn rhy ddigalon i fyned yno i wrando. Eithr aeth i'r cyfarfod eglwysig y noson hono yn Nghaerwys. Cafwyd seiat ryfedd. Dechreuodd un o'r chwiorydd adrodd am y modd yr ymwelsai yr Arglwydd â'i henaid trwy bregeth Rowland yn y Berthen-gron, gan godi ei henaid o'r dyfnderoedd. Wrth ei chlywed yn adrodd, dywedai Thomas Jones ynddo ei hun: "Yr wyf finau yn y pydew, a gwn mai dyna lle y byddaf." Cyn diwedd y cyfarfod torodd allan yn orfoledd mawr; ciliodd yntau o'r neilldu, gan edrych arnynt mewn dwysfyfyrdod, a rhedodd rhyw syniad fel hyn trwy ei feddwl: "Y mae yn dra thebygol fod rhywbeth mewn crefydd goruwch dychymygion; onid oddiwrth yr Arglwydd y mae llawenydd y rhai hyn yn deilliaw?" Ni fedrai amheu dwyfoldeb y cynhyrfiad, fod Duw yn wir yn y lle. Gyda hyn cododd meddwl arall ynddo, gyda grym anorchfygol, ac fel pe buasai yr Arglwydd yn ymresymu âg ef: "A wyt ti yn barod i goelio tystiolaeth y rhai hyn, dy gyd-greaduriaid gwaelion? ac ai ni chredi dystiolaeth fy ngair i?" Gyda'r meddwl tywynodd goleu ar ei yspryd, gwelodd y gair fel *Gair Duw*. "Fy nghalon," meddai, "a gydnabu fod dwyfoldeb yn argraffedig yn yr Ysgrythyrau mor amlwg a goleuni yr haul, fy nghadwyn a syrthiodd oddiwrthyf; cywilyddiais a ffieiddiais fy hun, dychwelais at fy nghyf-

eillion, a chyda hwy i dalu diolch.' Adrodda yn mhellach na chafodd y brofedigaeth benodol hono, sef y brofedigaeth i amheu dwyfoldeb yr efengyl, genad i ruthro ar ei enaid mwy gyda yr un grym.

Eithr ni ddaeth eto i feddu profiad cyson o fwynhad yr efengyl; mewn caethiwed yr ydoedd. Pwysai ei gyflwr yn drwm arno, nid oedd yn cael blas ar na bwyta nac yfed; caffai gipolwg ar ogoniant Iesu Grist ambell dro, ond credu ei fod yn Iachawdwr iddo ef ni fedrai. Yn haf 1779, cafodd dwymyn boeth, ac heblaw pwysau y clefyd, yr hwn a'i dygodd i byrth angau, blinid ei yspryd gan ofnau. Pan yn y cyflwr hwn, daeth Rhuf. v. 10 gyda goleu arbenig i'w feddwl: "Os pan oeddym yn elynion y'n heddychwyd â Duw trwy farwolaeth ei Fab ef," &c.; a dechreuodd ymresymu ynddo ei hun fel hyn: "Gan fod *gelynion* wedi cael eu heddychu â Duw, y mae lle i minau gael fy achub; nid wyf yn ddim rhagor nag un o'r cyfryw, er fy mod y duaf un sydd yn bosibl ei fod tu yma i uffern." Ac ychwanega: "Yn y modd hwn y codwyd fy enaid, debygwn, megys o'r daeardy dwfn. Yn lle euogrwydd, ac ofn, a blin gynhyrfiad fy llygredigaethau, dechreuais brofi meddyliau tyner am Dduw, a chysur gobeithiol yn llifo i mewn arnaf, a chefais ryw radd o nerth i gredu, yn wyneb fy nhrueni mawr, fod *marwolaeth y groes, marwolaeth Mab Duw*, yn llawn ddigon i'm hachub, ac i'm hachub yn gyfiawn, ïe, i'm gwaredu hyd byth oddiwrth bechod a digofaint."

Nis gallwn ganlyn ei drallodau meddyliol yn hwy; cafodd aml i godwm gan y gelyn ar ol hyn, ond erbyn tua diwedd y flwyddyn 1779, a dechreu 1780, pan yr oedd yn ngymydogaeth pedair-ar-hugain oed, yr oedd gogoniant yr efengyl wedi dechreu tywynu yn gryf ar ei enaid. Dywed: "Yr oedd addewidion Duw, a thrysorau grasol ei gyfamod, yn rhy anhawdd i mi eu gwrthod. Er fy angrhediniaeth cryf a greddfol, yr oedd yn rhy anhawdd i mi anghredu." Yn fuan, teimlodd awydd cryf i bregethu yr efengyl i'w gyd-bechaduriaid. "Yr oedd rhywbeth o hyn yn fy nilyn,' meddai, "ar amserau, trwy'r blynyddoedd o'r blaen, er y tywyllwch a'r caethiwed oeddwn yn deimlo ar fy enaid; ond y dyddiau hyn yr oedd gyda mi yn fynychach, ac yn fwy ei rym, nes y byddwn yn gorfod meddwl: Rhaid i mi fyned at y gwaith mawr hwnw." Eithr ofnai burdeb ei gymhellion; cyfrifai hwynt yn ffrwyth balchder calon; gweddïai yn daer yn eu herbyn, gan gymhysgu gyda hyn weithiau ddymuniadau ar i'r Arglwydd ei gyfarwyddo. Cafodd ei oresgyn drachefn gan amheuon; cymhellai holiadau fel hyn eu hunain arno: "Pa fodd y gall dyn euog gael ei wneuthur yn wir gyfiawn, trwy gyfiawnder un arall? Pa fodd y dichon rhoddiad un i farwolaeth ddwyn bywyd, a bywyd tragywyddol, i fyrddiynau? Pa fodd y gall un person fod yn Dduw ac yn ddyn?" Eithr cafodd nerth i gymeryd ei amheuon at yr Arglwydd, a chymhwyswyd y gair hwnw gyda grym neillduol at ei feddwl: "Crist, gallu Duw, a doethineb Duw." Dywed: "Cefais olwg ogoneddus ar berson a dyoddefiadau yr Emmanuel, nes oedd fy enaid yn gorfoleddu ynddo, gan gydnabod fod yr iachawdwriaeth sydd trwyddo yn benaf o weithredoedd Duw hollalluog a hollddoeth, ac yn rhoddi y sail gadarnaf o obaith a chysur i bechadur." Eithr yr oedd ei betrusder parthed pregethu yn parhau. Bu yn Nghymdeithasfa y Bala, yn Mehefin, 1782, a phrofodd felusder dirfawr wrth wrando Mr. John Pierce yn pregethu ar y "Berth yn llosgi heb ei difa."

Oddeutu Calan-gauaf yr un flwyddyn, ymddengys ei fod wedi penderfynu cyflwyno ei hun "i'r gwaith mawr," ond ni fedrai benderfynu gyda phwy, ai gyda'r Methodistiaid, ynte gyda'r Eglwys Sefydledig. Tueddai braidd yn ffafr yr Eglwys, a hyny am y rhesymau canlynol a roddir ganddo: "(1) Meddyliais, os oedd yr Arglwydd yn fy ngalw i bregethu, fy mod yn debygol o fod yn llai anaddas mewn eglwys blwyfol nag yn mysg y Methodistiaid, oherwydd fy ngwylder, a'm diffyg o ddawn ymadrodd. (2) Meddyliais hefyd fod anghen trymach yn yr Eglwys Wladol, oherwydd y nifer fawr o eneidiau tywyll, rhagfarnllyd, na fynant ddod i leoedd eraill i glywed y Gair. (3) Anogaeth a gefais gan weinidog duwiol, neu ddau. (4) Pan oeddwn mewn petrusder rhwng hyn a pheth arall, cefais fel pe buasai fy arwain i ddewis urddau Eglwysig trwy fod cynorthwywyr yn ymgynyg, oedd yn debygol o gael hyny i ben." Ymddangosai pob peth fel yn ei yru i'r Eglwys; dyna hoffai ei dad, yr oedd ei ffordd yntau yn rhydd, a gwelai yno gyfleustra i wneuthur daioni. Tystia yn y modd mwyaf difrifol nad oedd y parch na'r elw

sydd yn nglyn wrth yr Eglwys yn cael dim lle yn ei feddwl. Eithr er pob peth petruso a wneiai. Er mwyn cael ychwaneg o oleuni, aeth i Gymdeithasfa Chwarterol, a gynhelid yn Ngwynedd, Tachwedd neu Rhagfyr, 1782, i ymgynghori â'r brodyr cynulledig yno. "Ni chefais ddim gwrthwynebiad," meddai, "eithr yn hytrach anogaeth." Dylid cofio na fuasai Thomas Jones, o angenrheidrwydd, yn cefnu ar y Methodistiaid wrth gymeryd ei urddo yn offeiriad; offeiriaid oeddynt arweinwyr y Corph yn y Deheudir ar y pryd; nid oedd eto un offeiriad Methodistaidd yn holl Wynedd, ond y tebygolrwydd yw y credai y brodyr yn y Gymdeithasfa y caent un yn mherson Mr. Jones, pe y derbyniai urddau esgobol.

Eithr erbyn cymeryd y mater at yr Arglwydd, methai a chael boddlonrwydd i'w feddwl; tywyll a thrallodus ydoedd hi arno. Elai yntau at yr orsedd, a dadleuai yr addewid fawr: "Arweiniaf y deillion ar hyd ffordd nid adnabuant," ac yn raddol tywynodd y goleuni ar ei lwybr. Fel hyn y bu. Yn mis Ionawr, 1783, aeth oddicartref, naill ai i ymholi neu i drefnu gyda golwg ar dderbyn urddau Eglwysig. Y noson hono efe a freuddwydiodd. "Gwelwn fy hun," meddai, "yn eistedd mewn tŷ, gyd âg amryw eraill; clywn guro wrth y drws, a phan agorwyd daeth i mewn farch o liw gwelwlas. Ar ei ol daeth ei farchogwr hefyd, â gwn yn ei law. Daeth yn ebrwydd ataf fi, ac anelodd a'i ddryll at fy nwyfron. Ar hyn deffroais yn frawychus, ond cyn hir hunais drachefn. Yna gwelwn fy hun mewn tŷ fel o'r blaen; daeth ataf ŵr a chanddo ddau *bistol*, un yn mhob llaw, ac a'u hanelodd ataf ar unwaith, yr hyn a'm deffrodd mewn braw eilwaith." Nid oedd gronyn o ofergoeliaeth yn Thomas Jones, ond credodd ar unwaith, a pharhaodd i gredu hyd ei fedd, fod y breuddwydion hyn yn cynwys cenadwri ato oddiwrth Dduw. Tybiai mai angau oedd y march gwelwlas, a'i fod, neu ddwysfygythiad o hono, gerllaw. Tybiai yn mhellach mai dwy brofedigaeth fawr yn ymosod arno oedd y ddau *bistol*. "Pa fodd bynag," meddai, "felly y bu. O'r noswaith hono dechreuodd afiechyd fagu ynof, y mae heb fy ngadael hyd yn hyn, ac nid oes argoel y symudir ef hyd y bedd." Dyma ddechreuad yr afiechyd y dyoddefodd oddiwrtho, i raddau mwy neu lai, trwy ystod ei oes. Aethai i'w wely yn oer a rhynllyd. Yr oedd hwnw yn ysgafn o ddillad, a'r tywydd yn oer, ac ni chynhesodd trwy gydol y nos. Bu yno am dridiau, ond ni wnaeth ddim yn mhellach parthed yr offeiriadaeth. Dychwelodd i Benucha, yn drist ei yspryd; bu am wyth niwrnod mewn ing meddwl mawr, ac yn ceisio gweddïo am arweiniad. Dywed: "Yr oedd y fath deimlad o absenoldeb Duw ar fy enaid, nes yr oeddwn yn meddwl fod rhyw ran o boen yr ysprydion yn ngharchar arnaf. Ond yr ymwared a gefais oedd hyn: Meddyliais o'r diwedd yn hollol mai oblegyd y bwriad oedd genyf yr oedd gŵg yr Arglwydd fel hyn arnaf, a'r ystorm yn y modd hwn wedi codi i'm herbyn, ac yna ymroddais i fwrw fy Jona dros y bwrdd; gwnaethum hyny hefyd, a'r ystorm a aeth yn dawel." Y Jona oedd ei fwriad i gymeryd urddau esgobawl. "Cyn hir," dywed, "mi a gyfodais i fynu, gan lwyr benderfynu na letywn feddwl mwyach am y fath beth, a chan ymroddi i oddef pa groesau bynag a ddeuai i'm rhan o'r achos. Ond ni bu y rhai hyny ond llawer ysgafnach na'm dysgwyliad." Gwelwn ei fod tua diwedd Ionawr, 1783, wedi penderfynu am byth nad elai i'r weinidogaeth yn yr Eglwys Sefydledig. Gwnaed un ymosodiad trachefn arno; cynygiodd perthynas iddo fywioliaeth fras ond iddo gymeryd urddau, eithr cafodd nerth i wrthod y cynyg hwn hefyd.

Tua diwedd Awst, neu ddechreu Medi, 1783, dechreuodd bregethu, pan yr oedd wedi gadael ei saith-ar-hugain oed. Braidd na theimlwn duedd i'w feio am oedi cyhyd, ond dylem gofio fod ei flynyddoedd blaenorol yn barotoad ardderchog ar gyfer y weinidogaeth. Rhwng ei ddarlleniad helaeth, ei efrydiaeth ddwys, ei gydnabyddiaeth eang a manwl â duwinyddiaeth, yn arbenig duwinyddiaeth hanesiol, yr anhawsderau yn nglyn â phrif wirioneddau yr efengyl a orchfygwyd ganddo yn nirgelion ei yspryd, a'r gwahanol weddau ar lygredigaeth ei galon â pha rai y buasai yn brwydro, nid yn aml y cychwynodd neb ar waith y weinidogaeth gyda'r fath addfedrwydd meddwl, a barn mor gymhesur. Er fod pregethu ar ei feddwl er ys blynyddoedd, yn ddamweiniol y bu ei gychwyniad. Aeth i Gaerwys un nos Sabbath gyda'r bwriad o wrando pregeth. Yr oedd wedi bod yn rywle yn gwrando dwy bregeth yn y boreu. Ni ddaeth y pregethwr i Gaerwys, a chymhellwyd Thomas Jones i roddi gair o gynghor i'r

bobl oedd wedi ymgynull. Cododd yntau ar ei draed, a darllenodd Hebreaid xi.; darllen a gweddïo yn unig a fwriadai wneyd, ond cydiodd y benod yn ei yspryd, a dywedodd ychydig oddiwrthi gyda blas iddo ei hun, ac er budd i'r gwrandawyr. Braidd nad ydym yn teimlo tuedd i ddiolch i'r pregethwr, pwy bynag ydoedd, am dori ei gyhoeddiad, oblegyd bu hyn yn achlysur i Mr. Jones i ymaflyd yn ngwaith mawr ei fywyd. Aeth y son ar led yn fuan fod y gŵr ieuanc o Benucha wedi dechreu "llefaru;" daeth galwadau o wahanol leoedd am ei wasanaeth, a chymhellai ei gyfeillion ef yn unfrydol i ufuddhau. Nid oedd Cyfarfod Misol Dinbych a Fflint wedi cael ei sefydlu eto; yn ol y Parch. Jonathan Jones, sefydlwyd ef o fewn corph y flwyddyn hono. Felly, heb gymeradwyaeth unrhyw lys eglwysig, na dim ond cymhelliad cyfeillion, ac ymwybyddiaeth o'i fewn o gymhwysder at y gwaith, ymroddodd i bregethu gair y deyrnas pa le bynag y rhoddid iddo ddrws agored.

Mewn amaethdai ac ysguboriau y pregethai fynychaf; saith o gapelau Methodistaidd oedd cydrhwng Siroedd Dinbych a Fflint pan y cychwynodd; byddai raid iddo deithio yn mhell, a gwael fyddai y ddarpariaeth ar ei gyfer wedi iddo gyrhaedd, er y byddai y croesaw yn fawr. Eithr ni thramgwyddodd efe oherwydd hyn. Gwnaeth ei oreu i fyned o gwmpas hyd y caniatai ei iechyd. Modd bynag, deallodd yn fuan mai eiddil oedd ei nerth. Blinid ef gan ddolur y gareg, fel na fedrai na cherdded na marchogaeth heb ddyoddef poenau arteithiol. Pan yn methu myned at ei gyhoeddiadau, pregethai yn ysgubor Penucha, ac ysguboriau yr amaethdai cylchynol, yn gystal ag yn Nghaerwys. Y mae traddodiad i'r perwyl a ganlyn am y tro cyntaf y pregethodd yn ysgubor Penucha. Ryw noson gwelai ei dad liaws o bobl, ar ol eu gilydd, yn neshau at y tŷ, ac yn myned i mewn i'r ysgubor. Wedi holi un o'r gweision, rhoddwyd ar ddeall iddo fod Thomas ei fab wedi addaw rhoddi gair o gyngor i'r bobl. Ni theimlai awydd i'w rhwystro, er nad oedd yn foddlawn o gwbl i'r peth. Dechreuodd yr odfa; methodd chwilfrydedd Edward Jones ddal heb fyned i adeilad gysylltiedig i wrando; a chafodd y fath foddlonrwydd wrth glywed ei fab yn pregethu fel y bu yn garedig wrtho o hyny allan, gan ddweyd na chaffai Thomas gerdded ychwaneg i'w deithiau.

Bu Mr. Jones gartref gyda ei dad yn Penucha am ddeuddeg mlynedd gwedi iddo ddechreu pregethu. Bregus iawn oedd ei iechyd, byddai yn aml yn cael ei gaethiwo gan ei anhwyldeb i'w gartref. Rhoddai brawf ar wahanol feddyginiaethau, gwnelai rhai les iddo am ychydig, yna ymdaflai yntau i waith y weinidogaeth gydag yni, nes y byddai ei natur eiddil drachefn yn rhoddi ffordd. Dyna ei hanes trwy y deuddeg mlynedd hyn. Eithr nid oedd na gwendid nac anhwyldeb a allai ei rwystro gyda ei efrydiau. Darllenai, astudiai, ac ysgrifenai yn ddidor; ymroddodd i feistroli rheolau barddoniaeth, i gyfansoddi barddoniaeth, ac i gyfieithu llyfrau. Yr ydym wedi crybwyll yn barod ddarfod i Mr. Charles ymuno â'r Methodistiaid yn y flwyddyn 1785, ac am y modd y ffurfiodd Mr. Jones ac yntau gyfeillgarwch a barhaodd tra y buont byw ill deuoedd, cyfeillgarwch na ddaeth cwmwl drosto ond am ychydig amser yn ystod dadl y "Neillduad," yr hwn gwmwl a ddiflanodd yn fuan. Yn y flwyddyn 1788, gwnaeth ei ymddangosiad cyhoeddus cyntaf fel awdwr. Barddoniaeth a ysgrifenodd, sef *Marwnad ar Farwolaeth Mrs. Ann Parry*. Preswyliai Mrs. Parry yn Mrynmulan, tyddyn yn mhlwyf Llanrhaiadr, rhwng Ruthyn a Dinbych; cynhelid cyfarfodydd crefyddol yn ei thŷ, ac ymddengys ei bod yn ddynes nodedig o dduwiol, ac yn meddu dirnadaeth dda o drefn yr efengyl. Yn y flwyddyn 1793, gwnaeth Mr. Jones ei ymddangosiad cyntaf trwy y wasg fel duwinydd. Llyfr dadleuol ydoedd, sef Sylwadau ar *Draethawd a elwir "Undeb Crefyddol, neu Rybudd yn erbyn Schism."* Ysgrifenasid y *Traethawd* gan ŵr a alwai ei hun yn "Weinidog o Eglwys Loegr;" pwy ydoedd ni wyddis, ac nid yw o fawr pwys; eithr atebodd Mr. Jones ei ymosodiadau bryntion ar y Methodistiaid gyda'r fath ddeheurwydd, a dangosodd y fath gydnabyddiaeth â syniadau duwinyddion hen a diweddar ar y pynciau â pha rai yr ymdriniai, fel na ddywedodd y *Gweinidog o Eglwys Loegr* air mewn atebiad. Yn ystod ei arosiad yn ei gartref cyfieithodd Mr. Jones y *Drydedd ran o Waith Gurnal*, cyfrol o tua 400 o dudalenau wythplyg. Eithr ni chyhoeddwyd hi am beth amser gwedi hyn, a hyny, yn ol pob tebyg, oblegyd diffyg arian. Yn ystod yr un cyfnod cyfansoddodd amrai ddarnau barddonol, na welsant oleuni y dydd hyd gwedi ei farwolaeth.

Yn mis Hydref, 1795, pan yn ymyl bod yn ddeugain mlwydd oed, gadawodd Mr. Jones Penucha, gan ymuno mewn priodas â Miss Elizabeth Jones, o'r Wyddgrug, i'r hon dref y symudodd i fyw. Yr oedd ei briod yn ddynes dra chrefyddol, yn aelod gyda'r Methodistiaid, ac yn berchen cryn lawer o gyfoeth. Loes i'w deimlad oedd gadael y seiat fechan yn Nghaerwys, mewn cysylltiad â pha un y treuliasai ddwy-flynedd-ar-hugain; eithr bu colled Caerwys yn enill mawr i'r Wyddgrug. Ychydig oedd rhif y Methodistiaid yn y dref pan y symudodd ef yno, a thlodaidd oedd eu hamgylchiadau; ond darfu i'w ddyfodiad ef i'r lle, gan ei fod yn ŵr dysgedig, yn meddu pwysau cymeriad, ac yn gefnog ei amgylchiadau, godi y Cyfundeb i sylw. Trwy ei lafur a'i ymroad daeth yr achos crefyddol i wisgo gwedd gysurus; ychwanegwyd dros driugain o aelodau at yr eglwys, amryw o ba rai a'i cyfrifent ef yn dad ysprydol iddynt. Dechreuwyd achosion newyddion hefyd yn Rhosesmor a Chilcen. Eithr tua dwy flynedd y parhaodd yr undeb priodasol. Yr oedd ef wedi gorfod myned dan oruchwyliaeth feddygol yn mis Mawrth, 1797; teimlodd Mrs. Jones yn ddwys wrth weled y meddygon yn dyfod i'r tŷ, ac ofnai y gwaethaf. Cydblygodd y ddau ar eu gliniau i geisio cymhorth Duw; yna, mewn dagrau, ymwahanasant, efe i fyned dan gyllill y meddygon, a hithau i ystafell arall i bryderu. Bu yr oruchwyliaeth yn llwyddianus, a thynwyd careg o gryn faintioli o gorph y dyoddefydd. Gwrthododd gais y meddygon i chwilio am gareg arall, rhag na fedrai ddal. Eithr er i Mr. Jones gael gwellhad, effeithiodd yr helynt i'r fath raddau ar deimlad tyner ei briod, fel y clafychodd, ac ar yr ail o Dachwedd, 1797, ehedodd ei hyspryd pur i'r wlad well.

Er trymed ei afiechyd, cawn Mr. Jones, tua diwedd y flwyddyn 1796, yn cyhoeddi ei gyfieithiad o'r *Drydedd ran o Lyfr Gurnal.* Diau mai y cyfoeth a ddaeth i'w ran yn rhinwedd ei briodas a'i galluogodd i wneyd hyny, ac i gyhoeddi llawer o lyfrau eraill ar ol hyn er budd y Cymry. Dywed y Parch. Jonathan Jones fod y rhan gyntaf a'r ail o Lyfr Gurnal wedi cael eu cyhoeddi yn flaenorol gan Robert Jones, Rhoslan, sef y naill yn 1773, a'r llall yn 1784; mai y cyfieithydd oedd un Thomas Humphreys, Penybryn, Edeyrn, Sir Gaernarfon; a bod y cyfieithiad yn drwsgl a chlogyrnaidd, yn gymaint felly fel mai anhawdd gwneyd allan y synwyr mewn aml i baragraff. Ond am Mr. Thomas Jones, yr oedd ef yn gyfieithydd gwych. Heblaw bod yn ysgolhaig Saesneg da, yr oedd ei chwaeth yn bur, ei arddull yn eglur, a'i feistrolaeth ar y cyfoeth o adnoddau sydd yn yr iaith Gymraeg agos yn ddiderfyn. Cafodd Mr. Jones ddeall yn fuan, trwy brofiad poenus, fod careg arall yn ei gyfansoddiad; eithr er y poenau a ddyoddefai, a'r gofid a deimlai oblegyd marwolaeth ei briod, ni fu pall ar ei lafur. Yn y flwyddyn 1799, cawn ef yn uno â Mr. Charles i olygu a chyhoeddi *Y Drysorfa Ysprydol.* Chwech rhifyn o'r cyhoeddiad a ddaeth allan, sef o Ebrill, 1799, hyd Rhagfyr, 1801, a diau mai afiechyd Mr. Charles a luddiodd i'r cyhoeddiad barhau. Ymddengys hefyd oddiwrth lythyr o eiddo Mr. Jones, fod ganddo ryw gymaint o law, nis gwyddom yn hollol pa faint, yn nygiad allan *Rheolau a Dybenion y Cymdeithasau Neillduol*, a gyhoeddwyd yn 1801. Yr oedd yn flaenorol, sef yn y flwyddyn 1790, wedi dwyn allan *Eiriadur Saesneg a Chymraeg*, yr hwn a ystyrid am flynyddoedd yn waith safonol, ac a basiodd trwy amryw argraffiadau. Heblaw hyn oll, y mae yn bur sicr fod Mr. Jones yn cydweithredu yn helaeth â Mr. Charles gyda'r Ysgolion Cylchynol; prawf ei lythyrau at Mr. Charles hyny yn bendant; ymddengys ei fod yn eu harolygu, ac yn cynorthwyo i chwilio am ysgolfeistri.

Rhwng Mr. Charles a Mr. Jones ffynai y cyfeillgarwch puraf; meddent ar lawer o unrhywiaeth yspryd, yr oeddynt yn agos i'r un oedran, ac yr oeddynt ill dau yn ddyoddefwyr mawr, ar yr un adeg. Fel prawf o'r cyfeillgarwch hwn, rhoddwn yma un o lythyrau Mr. Charles at Mr. Jones, a ysgrifenwyd mewn atebiad i lythyr a ddanfonasai Mr. Jones ato ef, Chwefror 12, 1801:—*

"Fy nghyfaill tra anwyl,—Yr wyf yn athrist wrth glywed eich amryw gwynion; yn enwedig am eich hen afiechyd, yr hwn sydd, mi dybygwn, yn eich tueddu i fyned dan ddwylaw meddygon. Nid wyf yn amheu na chewch yn mhob peth eich cynhal gan yr Arglwydd, a'ch cyfarwyddo pa beth i'w wneuthur. Yr wyf

* *Cofiant y Parch. Thomas Jones*, gan y Parch. Jonathan Jones.

yn gallu cydymdeimlo â chwi, a gweddïo drosoch, ond eich cyfarwyddo nis gallaf. Tra yr wyf fi byw, fy nymuniad ydyw am i'r ychydig gyfeillion sydd genyf gael byw gyda mi. Nid yw fy meddwl yn barod i ymadael â chwi, fy anwyl frawd, er fy mod yn llawn hyderus y byddai hyny i chwi yn elw mawr. Y mae dysgwyliad ynof y bydd i'r Arglwydd eich cyfarwyddo at ryw foddion, a wel efe yn dda eu bendithio, at estyn eich arosiad, a chwanegu eich defnyddioldeb. Eto, ysgatfydd, yn gystal ag mewn pethau eraill, bydd raid i mi gael fy ngalw i hunanymwadiad ac ymostyngiad. Mor gynted ag y byddaf yn gallu teithio yr wyf yn gobeithio ymweled â chwi. Yr eiddoch mewn ffyddlondeb, T. CHARLES." Pan gofier mor gymhedrol oedd Mr. Charles ar ei eiriau, prawf y llythyr fod ei deimlad at ei gyfaill yn ddwfn a dwys.

Gwelir fod y llythyr yn cyfeirio at duedd Mr. Jones "i fyned eilwaith dan ddwylaw y meddygon." Gosododd y duedd mewn gweithrediad yn mis Ebrill, 1801; ond wedi i'r llawfeddyg ddyfod i'r tŷ, a methu cael boddlonrwydd i'w feddwl fod careg yn nghyfansoddiad y claf, ni farnwyd yn ddoeth myned yn mlaen a'r oruchwyliaeth. Eithr yn mhen y flwyddyn, sef Ebrill 20, 1802, cyflawnwyd yr oruchwyliaeth yn llwyddianus; llwyddodd y meddyg i gymeryd o'i gorph gareg fawr, fwy o lawer na'r gyntaf. Bu mewn perygl o'i fywyd am beth amser, oblegyd i enyniad gymeryd lle yn yr archoll a wnaethid yn ei gnawd, eithr trwy wasanaeth gele pasiodd yr enyniad ymaith. Gwellhaodd yn gyflym wedi hyn; daeth i fwynhau gwell iechyd nag a gawsai er dyddiau ei fachgendod, ac i fedru cerdded a marchogaeth yn gwbl ddiboen. Gwnaeth yntau y defnydd goreu o'r fraint a estynwyd iddo; dywed ei fod cyn diwedd Medi wedi cael y fraint o deithio canoedd o filltiroedd, gan lafurio gartref ac oddicartref yn ngwasanaeth yr Arglwydd. Yn mis Medi, 1803, aeth i fynu i Lundain, i bregethu i'r Cymry yno, lle yr arhosodd am bedwar mis. Tra yn y Brifddinas pregethai hefyd yn achlysurol i gynulleidfaoedd o Saeson.

Rywbryd yn y flwyddyn 1803 pregethai yn Llan Nanerch, allan ar yr heol, wrth dŷ gwraig a deimlai barch at y Methodistiaid. Yr oedd cyfarfodydd blaenorol wedi cael eu terfysgu trwy ddichell a thraha yr offeiriad. Pan oedd Mr. Jones ar ganol pregethu, daeth boneddwr o'r gymydogaeth heibio ar ei farch, a holai beth oedd yn myned yn y blaen. Atebai y pregethwr yn foneddigaidd nad oedd yno ddim mwy na'i fod yn ceisio rhoddi gair o gynghor i'w gyd-bechaduriaid. "*Dear me*," ebai y boneddwr, "nid oes amheuaeth pe y deuai y Ffrancod i'r wlad na fyddai y bobl hyn yn barod i ymuno â hwy." Ymaith ag ef ar ffrwst at y gŵr bonheddig a biau y tir, gan achwyn fod y fath gyfarfodydd peryglus yn cael eu goddef. Anfonodd yntau ei oruchwyliwr at y tyddynwr i'w rybuddio. Dyma hwnw yn dod, gan dyngu, a rhegu, a bloeddio yn groch: "Be dd——l wyt ti wedi wneyd, Twm? Cynwys y bobl yma o gwmpas y tŷ i ddychrynu dynion? Y mae fy meistr yn penderfynu y bydd raid i ti ymadael o'r achos. Gwell i ti fyned ato i ofyn pardwn gyntaf y gelli." Hyny a wnaeth y tyddynwr, a phardwn a gafodd ar yr amod na oddefai beth o'r fath drachefn.

Yr ydym yn cael Mr. Jones, Mawrth, 1804, ar ol bod yn weddw am chwe' blynedd, yn priodi drachefn. Ei gymhar oedd un Miss A. Maysmor, Saesnes o genedl, ond yn gallu siarad rhyw gymaint o Gymraeg, a phreswyliai ar y pryd nid yn nepell o Ruthyn. Dywedir ei bod yn fechan o gorpholaeth, yn fywiog o yspryd, tyner o deimlad, ac yn nodedig am ei duwioldeb. Yn nglyn â'i briodas penderfynodd Mr. Jones symud ei breswylfod o'r Wyddgrug, ar ol bod yno rhwng wyth a naw mlynedd. Pan glywyd am ei fwriad, anfonodd eglwys Caerwys wahoddiad taer arno i ddychwelyd yno. Yr oedd Mr. Edward Jones, ei dad, erbyn hyn wedi marw, a Phenucha wedi dyfod yn eiddo iddo yntau. Er carediced y cais, ni thueddai efe i gydsynio; ac yn Ruthyn y gwnaeth ei artref. Bu ei lafur yma eto yn dra defnyddiol; edrychai y frawdoliaeth yn Ruthyn ac yn y Bont Uchel arno fel tywysog Duw yn eu plith. Eithr gŵr y gofidiau ydoedd efe yma drachefn; oblegyd nid hir y bu Mrs. Jones cyn cael ei gorddiwes gan nychdod, yr hwn a derfynodd yn angeuol, Awst 14, 1805, gwedi bywyd priodasol o un-mis-ar-bymtheg.

Cyn i Mr. Thomas Jones adael y Wyddgrug, yr oedd efe, mewn undeb â Mr. Charles, wedi gosod argraffwasg i fynu yn y Bala, gan appwyntio Mr. Robert Saunderson yn olygydd y swyddfa. Yn ol pob tebyg, yn meddwl y Parch. T. Charles yr oedd y syniad wedi gwreiddio,

ac er ei fantais ef yn benaf, gan ei fod ar y pryd yn dwyn allan ei *Eiriadur Ysgrythyrol*, y gosodwyd y swyddfa i fynu. Credwn hefyd mai Mr. Charles yn benaf a ymgymerasai a'r cyfrifoldeb. Ond profa y Parch. Jonathan Jones tuhwnt i ddadl fod gan Mr. Thomas Jones law fawr yn yr ymgymeriad. Teitl y swyddfa ar y cyntaf oedd *Argraffdy Jones & Co.;* y mae dau lyfryn ar gael yn awr yn dwyn y cyfryw argraff. A phrawf llythyr oddiwrth y Parch. Thomas Jones at Mrs. Charles, dyddiedig Medi 8, 1804, mai efe oedd y *Jones* yn y cwmni. Nis gwyddom yn awr beth oedd y rhesymau dros gysylltu enw Mr. Jones â'r swyddfa yn hytrach nag enw Mr. Charles. Efallai mai â'i arian ef yn benaf y gosodwyd y wasg i fynu, ac y dygid ei thraul. Yr oedd y Parch. Thomas Jones erbyn hyn yn dra chyfoethog; heblaw yr eiddo a ddaethai i'w ran yn rhinwedd ei briodas â'i wraig gyntaf, gadawsai ei dad Penucha, a ffermydd eraill, iddo yn etifeddiaeth; ac yr oedd yntau yn barod i ddefnyddio yr oll at wasanaeth ei gydgenedl. Oni bai am y cyfoeth a feddai, nis gallasai gyhoeddi cynifer o lyfrau, oblegyd nid yw yn debygol eu bod yn talu iddo, a llai fyth ei fod yn elwa arnynt. Modd bynag, nid hir y parhaodd cysylltiad Mr. Joneg âg argraffwasg y Bala; teimlai Mr. Charles, gan ei fod yn cyhoeddi y fath nifer o lyfrau, y rhaid iddo gael yr argraffdy yn llwyr iddo ei hun.

Yr ydym yn cael Mr. Jones yn myned i'r ystad briodasol drachefn, Hydref 6, 1806, ar ol bod yn weddw am ryw bedwar-mis-ar-ddeg. Ei wraig y tro hwn oedd Miss Mary Lloyd, Tan-y-Pendist, Llanrwst. Yr oedd hi yn ddynes dra thalentog, yn gerddores o fri; a cheir amryw donau o'i heiddo yn wasgaredig ar hyd yr hen *Drysorfa*, a'i henw, Mary Jones, Dinbych, wrthynt. Yn ystod y blynyddoedd hyn ymroddai gydag egni i lafur llenyddol. Cyfieithodd y bedwaredd ran o waith Gurnal i'r Gymraeg; yr oedd hefyd yn llafurio yn galed gyda'r *Merthyrdraeth*, ei brif waith llenyddol, efallai. Yn y flwyddyn 1808 yr ydym yn ei gael yn gosod i fynu argraffwasg iddo ei hun yn Ruthyn. Y prif reswm am hyn yn ddiau oedd cael gwasg gyfleus, yn ei ymyl, i ddwyn allan ei lyfrau ei hun, a llyfrau buddiol eraill a fwriadai gyhoeddi. Ond y mae yn sicr ddarfod i dro gwael cysodydd yn swyddfa Mr. Robert Saunderson ddylanwadu yn gryf ar ei feddwl i'r un cyfeiriad. Pan ddygai Mr. Jones ei lyfr, sef *Ymddiddanion Crefyddol*, allan, dangosai rhyw gysodydd diegwyddor y prawfleni i'r Parch. Owen Davies, y gweinidog Wesleyaidd a'i gwrthwynebai; ac felly yr oedd atebiad Mr. Davies i'r llyfr yn llaw y cyhoedd agos yr un pryd a'r llyfr ei hun. Nis gallwn lai na chondemnio y Parch. Owen Davies yn llym am fod yn gyfranog mewn gweithred mor ddianrhydeddus. Anfonodd y Parch. T. Jones i Gaer, at Mr. W. C. Jones, yr argraffydd, i ofyn iddo a wyddai efe am neb a gymerai ofal argraffwasg. Atebodd yntau y gwyddai; fod llanc ieuanc, o'r enw Thomas Gee, wedi bod yn ei wasanaeth ef, ac yn awr wedi myned i Lundain, oedd yn hollol deilwng o'r ymddiriedaeth. Anfonwyd i Lundain ar ei ol; ufuddhaodd yntau i'r alwad, a dyma ddechreuad swyddfa argraffu Thomas Gee, Dinbych.

Yn ystod adeg ei breswyliad yn Ruthyn yr oedd ei iechyd yn gymharol gryf, ac nid oedd pen draw ar ei lafur. Heblaw ysgrifenu agos yn ddiorphwys i'r wasg, a gofalu am yr achosion Methodistaidd yn y dref a'r cymydogaethau, elai o gwmpas i bregethu yr efengyl, gan bresenoli ei hun yn y Cyfarfodydd Misol ac yn y Cymdeithasfaoedd. Cawn ef yn bresenol yn Nghymdeithasfaoedd y Dê nid yn anfynych, yn gystal ag eiddo Gwynedd, a gosodid ef i bregethu yn ddieithriad ar un o'r adegau mwyaf cyhoeddus. Yr oedd yn Nghymdeithasfa Llangeitho yn 1807. Y rhai a bregethent yn y Gymdeithasfa hono heblaw efe oeddynt John Roberts, Llangwm; Michael Roberts, Pwllheli; John Jones, Edeyrn; John Elias, Môn; David Jones, Llangan; John Ellis, y Wyddgrug; a David Parry, Llanwrtyd. Meibion Anac oedd y rhai hyn oll, a rhaid fod yr hwn a gaffai le yn eu mysg yn ogystal yn perthyn i'r cewri. Yn Nghymdeithasfa y Bala hefyd, Mehefin, 1809, pregethai am chwech o'r gloch y nos olaf ar ol Mr. John Davies, Nantyglyn. Heblaw efe, pregethai John Hughes, Pont Robert; Richard Llwyd, Beaumaris; Nathaniel Williams; Watkin Williams; John Jones, Edeyrn; Evan Richardson, Caernarfon; Thomas Richards; John Elias; Robert Jones, Rhoslan; a John Roberts, Llangwm. Bu ymdaith Mr. Jones yn Ruthyn o fawr fendith i'r achos yno, tynodd sylw y wlad ato, a chwanegwyd llawer at rif yr aelodau a'r gynulleidfa. Eithr gyda'r

gostyngeiddrwydd a'i nodweddai, yr oll a ddywed efe ar y mater yw: "Yr oeddwn i, yn Ruthyn, wedi cael y fraint o weled rhyw fesur o gynydd ar y gynulleidfa yr oeddwn yn eu mysg." Modd bynag, yn Ngwanwyn 1809, y mae Mr. Jones yn ymadael â Ruthyn, gwedi preswylio yno am bum' mlynedd, ac yn gwneyd ei gartref yn Ninbych. A Dinbych a fu lle ei breswyl mwy tra ar y ddaear, gyda'r eithriad o ddwy flynedd y bu yn ymdaith yn Syrior.





DARLUN Y PARCH. THOMAS JONES, DINBYCH.
[O'r "Evangelical Magazine," Tachwedd, 1817.]



PLASUCHA, GER CAERWYS, SIR FFLINT.
[Lle genedigaeth y Parch. Thomas Jones, Dinbych.

# PENOD XL.

—:o:—

## THOMAS JONES, DINBYCH *(parhad).*

*Y Parch. Thomas Jones yn annhueddol i ddadl, er yn meddu cymhwysder arbenig at ddadleuaeth—Y ddadl Wesleyaidd—"Y Drych Athrawiaethol"—Y Parch. Owen Davies yn ei ateb—Amryw lyfrau yn cael eu hysgrifenu o'r ddau tu—Y Parch. Thomas Jones yn ysgrifenu y "Merthyr-"draeth—Gwasanaeth mawr Mr. Jones i Fethodistiaeth ac i Gymru fel gwrthwynebydd Uchel Galfiniaeth—Llyfr y Parch. Christmas Evans—Pregeth John Elias—Y mae yn amddiffyn iawn cydbwys—Mr. Jones yn myned allan o'r odfa yn Ninbych—Cymdeithasfa Ruthyn yn penderfynu o blaid Calfiniaeth gymhedrol—Rhai pregethwyr o hyd yn cyfyngu ar werth yr iawn—Llythyr y Parch. Thomas Jones at Gymdeithasfa Llanrwst—Atebiad y Gymdeithasfa—Pregeth fawr y Parch. Thomas Jones yn y Bala—Mr. Jones yn symud i Syrior Goch—Henry Rees yn was iddo—Llythyr ato o Gymdeithasfa Caernarfon—Cenadwri o'r Deheudir at Gymdeithasfa Gwynedd—Pethau yn dyfod i argyfwng—Y cyfarfod yn Mangor—Cymdeithasfa Pwllheli—Y ddadl rhwng y Parch. T Jones a Mr. John Roberts—Y ddadl rhyngddo a'r Parch. Christmas Evans—Desgrifiad o Mr. Jones fel dyn ac fel pregethwr—Ei farwolaeth a'i gladdedigaeth.*

AM y pymtheg mlynedd olaf o'i oes, bu y Parch. Thomas Jones yn nghanol dadleuon poethion, ac yn cymeryd rhan flaenllaw ynddynt. Nid oedd hyn ychwaith yn gydnaws a'i anianawd. Gŵr tawel oedd ef, mwynaidd ei yspryd, yn hoffi ymchwyliadau duwinyddol er eu mwyn eu hun; ond yn meddu digon o wroldeb i ddyfod i'r maes dros wirioneddau Duw pan y deallai fod dyledswydd yn galw. Rhaid addef ei fod o'r tu arall yn meddu cymhwysder arbenig at ddadleuaeth. Meddai graffder eryraidd i ganfod gwendid ei wrthwynebydd, meddwl hollol resymegyddol, cyflawnder o iaith dda i osod allan ei syniadau yn glir, cydnabyddiaeth helaeth â duwinyddiaeth, yn athrawiaethol a hanesiol, a llawer o watwareg finiog. Dywed y Parch. Owen Thomas, D.D., fod Mr. Jones yn ddadleuwr teg iawn, ac na fyddai un amser yn cymeryd mantais ar ei wrthwynebydd ond lle y byddai efe ei hunan yn gwbl argyhoeddedig fod iddo fantais wirioneddol. Ar yr un pryd, lledfeia ef am awgrymu weithiau amcanion heb fod y rhai mwyaf dihoced i'r rhai yr ymosodai arnynt. Ond yn sicr, dylid cofio pa fath oedd y dadleuwyr â pha rai yr ymresymai; ac ond gwneyd hyny, yr hyn y teimlir yn syn o'i herwydd fydd ddarfod i Mr. Jones allu llywodraethu ei yspryd cystal.

Cyfeiriwn yn mlaenaf at y ddadl Wesleyaidd. Fel yr ydym wedi croniclo eisioes, dechreuodd Cenhadaeth Gymreig y Wesleyaid tua'r flwyddyn 1800; a thra yr ymfoddlonai y cenhadau ar bregethu yr efengyl yn syml, heb ymosod ar y cyfundebau crefyddol oeddynt eisioes yn y wlad, cawsant bob derbyniad gan y Methodistiaid; ond gwelsant mai gobaith gwan oedd am enill proselytiaid felly. Felly, ymroisant i geisio tynu dan sail yr enwadau Calfinaidd. Ni hoffem ar un cyfrif wneyd cam â'r cenhadau Wesleyaidd. Yr ydym yn barod i gydnabod eu bod yn gwbl gydwybodol. Ar yr un pryd, rhaid cyfaddef fod eu zêl enwadol yn fwy na'u gwybodaeth, y camddarlunient yr athrawiaethau Calfinaidd yn enbyd, y priodolent i'r Calfiniaid syniadau na fuont erioed yn eu coledd, ac na chymerent lawer am eu harddel. Diau mai gwreiddyn camgymeriad y gweinidogion Wesleyaidd, oedd tybio fod y Calfiniaid yn dal yr hyn a ymddangosai iddynt hwy (y Wesleyaid) yn gasgliadau angenrheidiol oddiwrth yr athrawiaethau Calfinaidd. Nid oes neb yn gyfrifol am y casgliadau a dŷn ei wrthwynebwyr oddiwrth yr hyn a ddywed. Dechreuwyd y ddadl yn y wasg gan Mr. Christmas Evans a Mr. Benjamin Jones, y cyntaf yn perthyn i gyfundeb y Bedyddwyr, ac yn enwog trwy Gymru fel pregethwr, a'r llall

yn perthyn i gyfundeb yr Annibynwyr. Cymerodd hyn le tua'r flwyddyn 1802.

Yr oedd y ddadl wedi rhedeg ei chwrs am o dair i bedair blynedd, pan y cymerodd Mr. Jones ran ynddi. Tua dechreu y flwyddyn 1806 cyhoeddodd draethawd, tua 72 tudalen, yn amddiffyn yr athrawiaethau Calfinaidd, ac yn dwyn yr enw *Drych Athrawiaethol.* Gyda golwg ar amcan y traethawd, dywed efe yn ei Hunan-gofiant: "Yn agos i ddiwedd y flwyddyn o'r blaen (1805), ar yr achlysur o fod sectwyr Arminaidd yn amlhau yn Nghymru, a rhai o honynt yn eu pregethau, a thrwy amryw fân lyfrau, yn drygliwio yn anwireddus yr athrawiaeth a alwent yn Galfiniaeth, ac weithiau yn Antinomiaeth, yr oeddwn, trwy anogaeth gan fy mrodyr, wedi cyhoeddi traethodyn byr, dan yr enw *Drych Athrawiaethol*, ac wedi addaw traethawd helaethach ar yr un achos. Yn y rhai'n, fy ymgais oedd am ddangos y wir athrawiaeth, yn ei gwedd syml ei hunan, yn ol yr Ysgrythyrau, ac yn ol golygiad y wir eglwys, neu y rhan gywiraf o honi, o'r oes apostolaidd hyd amser y Diwygiad Protestanaidd, ac ar ol hyny." Er byred y traethawd, geilw Dr. Thomas ef yn "llyfr gorchestol." Dengys Mr. Jones ynddo ei fod yn ysgolhaig gwych, ac yn dduwinydd galluog a manwl. Yn mhellach, rhydd brawf ynddo o'i dueddfryd lywodraethol, sef y pwys a deimlai oedd yn perthyn i farn yr eglwys Gristionogol ar bynciau y ffydd, o'r cyfnod apostolaidd i lawr. Ymdrinia yn glir â'r "Pum' Pwnc," gan ddangos fod hanfod y gwahaniaeth rhwng yr Arminiaid a'r Calfiniaid gyda golwg arnynt yn codi o wahaniaeth barn gyda golwg ar natur pechod. Yna â rhagddo i ddangos fod yr Arminiaid a'r Pabyddion yn cytuno a'u gilydd agos ar yr holl bynciau sydd yn gwahanu yr Arminiaid oddiwrth y Calfiniaid; a phrofa fod syniadau yr Arminiaid—gan gynwys yn ddiau y Wesleyaid—yr un a heresi y Morganiaid a wrthwynebwyd mor llwyddianus gan Dewi Sant, ac a gondemniwyd gan yr eglwys. Llyfr boneddigaidd yw y *Drych*, ac heb nemawr o wedd ddadleuol arno, ond yn hytrach yn egluro y wir athrawiaeth trwy eglurhadaeth Ysgrythyrol alluog, a thrwy ddifyniadau allan o weithiau y Tadau Eglwysig.

Fel atebiad i'r Parch. T. Jones cyhoeddodd Mr. Owen Davies lyfr a eilw yn *Amddiffyniad o'r Methodistiaid Wesleyaidd.* Prin iawn oedd dealltwriaeth Mr. Davies o'r iaith Gymraeg; felly, yn Saesneg yr ysgrifenai, a bu yn dra anhapus yn ei gyfieithydd. Bychain hefyd oedd ei gyrhaeddiadau duwinyddol; ni ddeallai yr egwyddorion Calfinaidd yr ymdrechai eu gwrthwynebu, ac nid oedd ond ysgolhaig gwael. Ond gwnai i fynu am ei ddiffygion—o leiaf yn ngolwg yr anwybodus—drwy bybyrwch ei zêl, a'i honiadau oraclaidd. Er ceisio profi fod y golygiadau Wesleyaidd yn cael eu dal gan Brotestaniaid eraill, difynai yn helaeth allan o lyfr a eilw yn *Necessary Doctrines and Eruditions for any Christian Man.* Eithr profodd Mr. Jones mai llyfr Pabaidd oedd hwnw, ei fod yn cynwys holl gyfeiliornadau y Pabyddion, gan amddiffyn saith o sacramentau, addoli delwau, traws-sylweddiad, gweddïo ar y seintiau, &c. Eithr nid oedd Mr. Owen Davies yn ddigon o ddyn i addef ei gamgymeriad, ac i wneyd ymddiheuriad o'i herwydd; yn hytrach, wedi cyfaddef na welsai y llyfr erioed namyn difyniadau o hono, dywed: "Pa un ai eich hanesydd chwi ai fy hanesydd i sydd nesaf i'w le, nis gwn, ac nis gwaeth genyf ychwaith." Yn holl gwrs dadleuaeth byddai yn anhawdd cael ymadrodd yn bradychu cymaint o ddiffyg egwyddor; y mae yn rhinweddol yn gyfaddefiad nad gwaeth gan yr awdwr pa un ai gwir ynte anwir oedd y rhesymau a ddefnyddiai.

Awgrymai y Parch. T. Jones yn y *Drych Athrawiaethol* fod yn ei fwriad i gyhoeddi llyfr helaethach, yn ymdrin â'r pynciau mewn dadl. Cyflawnodd yr hyn a fwriadai yn y flwyddyn 1807. Teitl y llyfr yw: *Ymddiddanion Crefyddol (rhwng dau gymydog), Ystyriol a Hyffordd, mewn ffordd Ymresymiadol ac Ysgrythyrol; yn nghyd ag ychydig Sylwadau ar Lythyr Mr. Owen Davies at yr Awdwr, a phrawf o Anghysonedd y diweddar Barch. J. Wesley mewn amryw bynciau o athrawiaeth.* Dyma un o brif weithiau Mr. Jones; er mai ar adeg dadl y dygwyd ef allan, ac mai y ddadl hono sydd yn gyfrifol am ffurf y llyfr, eto, y mae yn amlwg y cynwysa syniadau addfed, wedi ei meddwl yn drwyadl, ac yn gynyrch astudiaeth blynyddoedd lawer. Meddai Dr. Thomas am y llyfr: "Nid yn unig nid oedd genym y pryd hyny, ond nid oes genym eto, yn ein hiaith, ar y pynciau dan sylw, ac yn y dull yr ymdrinir â hwynt, ddim i'w gystadlu âg ef, ac nid ydym yn gwybod fod gan y Saeson ddim cyffelyb iddo." Amcan Mr. T. Jones yw amddiffyn yr athrawiaethau Calfinaidd mewn rhan









1.—Capel Mawr, Dinbych.

2.—Syrior Goch, gerllaw y Bettws, Abergele.

3.—Capel Presenol Abergele.

4.—Eglwyswen, Dinbych, lle claddedigaeth y Parch. Thomas Jones, Dinbych.

trwy gymhorth Hanes Duwinyddiaeth yr Eglwys, ac mewn rhan trwy gymhorth goleuni Gair Duw. Dyma y llyfr y darfu i Mr. Owen Davies, mewn modd hollol ddianrhydeddus, lwyddo i gael prawfleni o hono wrth ei fod yn pasio trwy y wasg, yr hyn a'i galluogodd i ddwyn allan atebiad iddo mewn mis gwedi ei ymddangosiad. Cyn gadael yr *Ymddiddanion Crefyddol*, rhaid i ni alw sylw y darllenydd at un peth ynddo, yr hyn a ddaw i feddu pwysigrwydd dirfawr yn y dyfodol, sef yr addefiad a wna Mr. Jones fod gwahaniaeth barn yn mysg y Calfiniaid gyda golwg ar helaethrwydd y Prynedigaeth; a thra y mae yn egluro y geiriau "*byd*," "*yr holl fyd*," "*pawb*," "*pob dyn*," fel yn golygu Iuddewon a Chenhedloedd, neu bawb o bob cenedl a gaffo galon i ddyfod at Grist, eto, meddai: "Yn hyn mi a ddymunwn beidio a bod yn ammhlygadwy, nac yn rhy gadarn yn fy meddwl fy hun. Yr wyf yn addef fod holl hiliogaeth Adda dan rwymedigaeth mawrion i'r Ail Adda, am mai 'ynddo ef y mae pob peth yn cydsefyll.' O'i herwydd ef, trwyddo ef, ac er ei fwyn ef, y mae yr efengyl yn cael ei chyhoeddi i bawb sy'n gyfranog o'r fraint o'i chlywed. Ac y mae hi yn 'newyddion da,' yn achos o lawenydd mawr i'r holl bobl, er fod llawer yn ei gwrthod, neu ei chamddefnyddio, ac er y gwyddai Duw yn dda y gwnaent hyny cyn ei danfon atynt. Yr wyf yn meddwl hefyd y dylai pregethwyr yr efengyl, gyda dangos i bawb eu heisiau o Grist, gymhell pawb i'w dderbyn, ac felly i dderbyn maddeuant pechodau ac iachawdwriaeth drwyddo ef." Gwelwn fod eangder yn perthyn i syniadau Mr. T. Jones, ac na fu o gwbl yn tueddu at Uwch-Galfiniaeth gul.

Fel y nodasom, yn mhen y mis yr oedd Mr. Owen Davies yn barod gydag atebiad, yr hwn a eilw yn *Ymddiddanion rhwng Hyffordd a Beread*. Am y llyfr hwn dywed Dr. Thomas: "Er fod ganddo ambell darawiad go dda yr ydym yn teimlo rywfodd dros Arminiaeth na buasai wedi bod yn fwy ffodus yn ei hamddiffynydd, yn enwedig i gyfarfod y fath un a Mr. Jones. Y mae yr un diofalwch am fanylder hanesyddol, a'r un parodrwydd i wneuthur haeriadau cwbl ddisail, ag sydd yn nodweddu llyfr cyntaf Mr. Davies, yn fwy amlwg yn hynodi hwn." Modd bynag, y mae y llyfr yn gyflawn o ddifriaeth, ac yn priodoli i Mr. Jones bob math o enllib.

Yn y flwyddyn 1808 dygodd Mr. Jones lyfr arall allan mewn atebiad i Mr. Owen Davies: *Sylwadau ar Lyfr Mr. Owen Davies, sef ei Ymddiddanion rhwng Hyffordd a Beread, yn nghyd a gwobr o bwys yn gynygiedig iddo ar amod teg*. Dywed Dr. Thomas am y llyfr hwn ei fod yn alluocach fel cyfansoddiad, ac yn arddangos mwy o ryw ysprydiaeth ac yni nag a amlygasid yn flaenorol gan Mr. Jones; ac yn mhellach, ei fod yn ychwanegiad gwerthfawr at lenyddiaeth y pwnc. Yn ei ragymadrodd i'r llyfr gwna Mr. Jones y sylw canlynol: "Y mae fy nghydwybod yn tystiolaethu i mi gerbron Duw, mai nid i foddio un ymgais hunanol, nac i ddal dadl a therfysg i fynu, yr wyf yn anfon hyn o lyfryn eto ar led, ond gyda mesur o awyddfryd diffuant i amddiffyn achos Duw a'i wirionedd." Nid oes un amheuaeth am ei onestrwydd yn yr hyn a ddywed. Ar yr un pryd, rhaid addef fod ei yspryd wedi chwerwi ynddo oblegyd ymddygiadau annheg Mr. Owen Davies, a'r geiriau rhyfygus a ddefnyddiai wrth gyhuddo ei wrthwynebydd. Difynwn un ymadrodd allan o lyfr Mr. Davies, yn engrhaifft o lawer: "Yn ol fy marn i, ni byddai waeth i chwi ddangos oddiwrthynt (sef oddiwrth Rhuf. ix. ac Ephes. i.) *nad oes un Duw, na'i fod ef yn waeth na'r cythraul*, yr hyn a fyddai wir pe gallech chwi brofi eich pwnc." Ni fedr un cyffroad dadleuol esgusodi, llawer llai cyfiawnhau, defnyddiad y fath eiriau carlamus, ac nid ydym yn synu o gwbl fod Mr. Jones yn ei *Sylwadau* yn talu y pwyth yn ol iddo mewn ymadroddion llymion. Yn niwedd y llyfr cynygia Mr. Jones wobr o gan' punt i'r Parch. Owen Davies os ateba un o bob tri o 41 o ofyniadau a gyflwynir iddo. Rhaid addef fod cynygiad o'r fath yn ymddangos yn rhyfedd, ond ymdrech ydoedd i gael Mr. Owen Davies i ryw bwynt, yn lle traethu ar hyd ac ar draws; a dylid cadw mewn cof mai cwestiynau ydynt parthed ffeithiau, y gellid eu profi neu eu gwrthbrofi yn hawdd.

Yn bur fuan dyma y Parch. Owen Davies yn dwyn llyfr arall allan, sef *Sylwadau ar lyfryn a gyhoeddwyd yn ddiweddar gan Mr. Thomas Jones, gynt o Ruthyn. Yn y Sylwadau hyn y mae Anwireddau yn cael eu dynoethi, a'r Gwirionedd ei amddiffyn.* Meddai y Parch. Owen Thomas, D.D., am y llyfr hwn: "Y mae yn gyfansoddiad llawn difriaeth, hollol anheilwng i'r sefyllfa urddasol a phwysig yr oedd yr awdwr, dros ei Gyfundeb, ar y pryd ynddi, ac i'r testynau dyrchafedig y cyfeirir yn achlys-

urol atynt; ond prin y gellir dweyd eu bod yma dan sylw. Nid oes yma arddangosiad o un amcan i ateb llyfr Mr. Jones, oddieithr trwy haeriadau anturus a phenagored, heb brin rith o ymgais i ddwyn un prawf drostynt."

Cyn hir wedi cyhoeddi y *Sylwadau*, dygodd Mr. T. Jones allan atebiad byr iddynt. Ei deitl ydyw: *Ateb byr i Bapyrlen o Sylwadau a wnaed yn ddiweddar gan Mr. Owen Davies, o Ddinbych, ar Lyfryn a gyhoeddasid gan T. Jones, er mis Medi, 1808.* Deuddeg tudalen yw yr *Ateb Byr*, ond dengys feistrolaeth hollol ar y materion â pha rai yr ymdrinia, ac y mae yn gyflawn o sylwadau craff. Cyhoeddodd Mr. Owen Davies lythyr ychwanegol, ond yr oedd o nodwedd mor annheilwng, ac mor gyflawn o ddifriaeth ac enllib, heb dalu nemawr sylw i'r pynciau y dadleuid o'u herwydd, fel na wnaeth Mr. Jones un sylw o hono. Parhaodd y ddadl dros ystod bywyd Mr. T. Jones, ac am rai blynyddoedd gwedi, ond ni bu iddo ef, o hyn allan, ran na chyfran yn y ddadleuaeth. Nid dadleu oedd ei amcan ef, ond amddiffyn yr hyn a ystyriai yn wirionedd yr efengyl; a phan y dirywiodd y ddadl i fod yn ymgecraeth, ac yntau eisioes wedi egluro ei syniadau, ciliodd o'r maes. Credwn fod ei lyfrau ef yn tra rhagori mewn nerth, ysgolheigdod, dyfnder syniadaeth, a chydnabyddiaeth â meddwl yr Ysgrythyr, ar ddim a gyhoeddwyd yn ystod yr ymdrafodaeth. Mewn un ystyr, yr oedd mawr ofal Mr. T. Jones am gywirdeb, a'i gydwybodolrwydd dwfn, yn anfantais iddo yn y ddadl. Ychydig a ofalai ei wrthwynebydd pa un ai cywir ynte anghywir fyddai yr haeriadau a wnelai; wedi cael ei guro allan o un lloches, am y gwelid mai ffau celwydd ydoedd, dihangai yn gwbl ddigywilydd i loches arall lawn mor dyllog, gan gyfarth o'r fan hono fel Syr Oracl; a pharai ei ddigywilydd-dra a'i ddifriaeth i'r rheswm gwaelaf ymddangos i olwg yr anwybodus y rheswm goreu ambell dro. Ond i Mr. Jones, yr oedd haeriad hanesyddol anghywir fel tân ar gnawd noeth, a thrueni mewn un ystyr ei fod yn ymostwng i ddadleu â gŵr o fath Mr. Owen Davies. Nid ein pwnc ni yn awr yw penderfynu pa un ai Arminiaeth efengylaidd y Wesleyaid, ynte Calfiniaeth gymhedrol y Methodistiaid, sydd agosaf i'r Beibl, ond yn hytrach dangos ddarfod i Mr. Jones gyflwyno i'r Cymry y llyfrau galluocaf yn yr iaith ar y materion mewn dadl, ac iddo, mor bell ag y mae a fyno ymresymiad teg â'r cwestiwn, ddyfod allan o'r ddadl yn gwbl fuddugoliaethus. Dylem ychwanegu ddarfod i Mr. Jones, yn y flwyddyn 1809, gyhoeddi *Cyfieithiad o Gatecism Eglwys Loegr*, a diau mai ei amcan yn hyn ydoedd, dangos mai Calfinaidd yw duwinyddiaeth yr Eglwys Sefydledig.

Nid oedd Mr. T. Jones yn llwyr allan o'r helynt â Mr. Owen Davies, a'r Wesleyaid, cyn iddo gael ei hun yn nghanol berw dadl arall, a hyny o fewn cylch ei Gyfundeb ei hun. Yr ydym yn cyfeirio at Ddadl y Neillduad. Y mae yr hanes wedi cael ei adrodd genym eisioes, fel nad rhaid ymhelaethu arno. Modd bynag, gallwn sylwi mai y ddadl hon, gyda'r eithriad o'r helynt flin rhwng Harris a Rowland, oedd y fwyaf cyffrous a fu yn hanes y Methodistiaid o'r cychwyn, ac na fu y Cyfundeb na chynt na chwedi'n mewn mwy o berygl ymraniad. Y prif ddadleuwyr o blaid y cyfnewidiad oeddynt Ebenezer Morris, yn y Dê, a Thomas Jones, yn y Gogledd. Dangosodd Mr. Jones y pryd hwn ddewrder a grym ewyllys anarferol; trwy fedyddio plentyn yn Ninbych, ar alwad yr eglwys a'r gynulleidfa, pan nad oedd wedi cael ei ordeinio gan y Corph i weinyddu y sacramentau, dygodd y mater i argyfwng difrifol, fel yr oedd yn rhaid ei benderfynu y naill ffordd neu y llall. Diau iddo gael llawer o'i erlid y pryd hwn, a hyny gan ei frodyr; priodolid pob gauddybenion iddo, ac aeth cwmwl i raddau dros y cyfeillgarwch a fodolai rhyngddo a Mr. Charles. Ond nid oedd na gwg gwrthwynebwyr, nac anfoddlonrwydd cyfeillion, yn ddigon i beri iddo ef gilio oddiar y llwybr a bwyntid iddo gan ei gydwybod. A buan yr adenillodd y safle a feddai yn flaenorol yn meddyliau ei frodyr, ac am ei gyfeillgarwch â Mr. Charles, adferwyd ef yn llawn gyda gorpheniad y ddadl, a buont yn gû, fel Dafydd a Jonathan, tra y buont byw ill deuoedd. Yr ydym eisioes wedi croniclo fod Mr. Jones yn mysg y rhai a gawsant eu neillduo i weinyddu y sacramentau yn yr ordeiniad cyntaf yn y Bala.

Tra yn Ninbych, profodd ei fod yn wleidyddwr goleuedig, ac na chymerai ei ddychrynu gan bob bwgan a ddyrchefid i yru ofn ar y werinos. Yn y flwyddyn 1812, yr oedd pwnc Rhyddfreiniad y Pabyddion yn cyffroi y wlad. Teimlai y nifer amlaf o'r Methodistiaid wrthwynebiad pendant i'r mesur; ofnent am eu rhyddid crefyddol; tybient y byddai ei basio yn

arwain yn y diwedd i ail gyneu tanau Smithfield. Nid oedd neb yn fwy ffyrnig yn ei wrthwynebiad na'r Parch. John Elias. Ymgymerodd rhyw foneddwr yn Sir Ddinbych a cheisio gan yr holl gynulleidfaoedd crefyddol, yn Ymneillduwyr ac yn Eglwyswyr, i arwyddo deiseb at ddau dŷ y senedd, yn erbyn ychwanegu at ryddid y Pabyddion. Dygwyd y ddeiseb yn ei thro at Mr. Jones. Petrusai yntau ei harwyddo; ac er iddo o'r diwedd gydsynio, cyhoeddodd *brotest* cryf yn erbyn llawer o'i chynwys. Yn y gwrthdystiad dywedai ei fod yn elyn anghymodlawn i holl gyfeiliornadau y grefydd Babaidd; ei fod yn bleidiol i'r Cyfansoddiad Prydeinig, ac am ddyogelu y rhyddid crefyddol a fwynheid gan y Protestaniaid; ond y credai yn gryf y gellid caniatau rhagor o ryddid i'r Pabyddion, yn enwedig yn yr Iwerddon, yn gwbl ddiberygl; fod addewidion teg wedi cael eu gwneyd gan yr awdurdodau i'r Pabyddion; y dylid symud ymaith bob peth a dueddai i gynyrchu anfoddogrwydd a theimlad dolurus, ac mai yn y goleu hwn yr oedd am i'w arwyddiad o'r ddeiseb gael ei ddeall. Amlwg yw ei fod o ran ei syniadau am natur rhyddid yn mhell o flaen ei oes, a chafodd ddwyn y penyd sydd yn syrthio yn ddieithriad i ran y cyfryw. Difenwid ef fel Pabydd, ac ni phetrusai llawer o fân ddynionach, nad ystyriai Mr. Jones hwynt yn deilwng i gael eu gosod gyda chŵn ei ddefaid, luchio parddu ato. Eithr ni ofalai efe, a phasiodd yr ystorm heb i'w deimlad gael ei gythruddo ond i raddau bychan.

Yn y flwyddyn 1813 dygodd allan ei brif waith llenyddol, gwaith y bu yn parotoi ar ei gyfer, ac yn llafurio wrtho, am flynyddoedd lawer. Y gwaith hwn oedd *Hanes y Merthyron yn Mhrydain Fawr, yn nghyd a Phrif Ddiwygwyr Scotland a Gwledydd Tramor, a phrawf eglur a dilys o'r Egwyddorion Crefyddol yr ymdrechasant o'u plaid.* Cynwysai y llyfr hwn 1165 o dudalenau pedwar plyg, a dygwyd ef allan o'i wasg ef ei hun yn Ninbych. Yn ei ragymadrodd i'r *Merthyrdraeth*, fel y geilw y llyfr, dywed ei fod yn credu fod ar y Cymry angen llyfr o'r fath. Yn 1, "I roi iddynt hysbysrwydd mwy am hanesion ac egwyddorion y gwŷr enwog, y merthyron, a'r dyoddefwyr ffyddlawn, a fuont yn ymdrechgar ac yn offerynol i waredu ein gwlad o dywyllwch a chyfeiliornadau Pabyddiaeth. (2) Tuag at helaethu peth ar eu gwybodaeth mewn hanes eglwysig, neu hanes eglwys Crist yn gyffredinol." Drwg genym nad oes genym hamdden i fanylu ar y llyfr ardderchog hwn. Meddai Dr. Thomas am dano: "Y mae yn ei gylch ei hunan, yn ddiddadl, y prif lyfr a gyhoeddwyd erioed yn ein hiaith; ac y mae yn amheus genym a oes mewn unrhyw iaith *un* llyfr llawer cyflawnach, os mor gyflawn, ar yr amrywiol destynau y traethir arnynt ynddo." Da genym allu ychwanegu i'r llyfr gael derbyniad teilwng; cymerodd ei safle ar unwaith fel llyfr safonol; ceid ef agos yn llyfrgell pob pregethwr a phob blaenor a allai fforddio ei brynu. I ddylanwad y llyfr hwn y rhaid priodoli, i raddau beth bynag, y casineb greddfol a deimlir yn Nghymru at Babyddiaeth, ac at bob peth sydd yn dwyn ei delw.

Yn gynar yn y flwyddyn 1814 dygodd allan *Hymnau Newyddion ar amryw Fesurau, a: wedi eu cyfaddasu at amryw achosion.* Efe ei hun oedd awdwr yr "Hymnau;" ceir yn y llyfr 97 o honynt, yn cynwys 341 o benillion, ac y maent yn dra Ysgrythyrol, yn llawn o yspryd defosiynol, ac yn deilwng o gael eu rhestru yn y dosbarth blaenaf mewn emynyddiaeth. Ceir nifer o honynt yn nghasgliad pob cyfundeb uniongred yn y Dywysogaeth. Dywedir ar y wynebddalen fod y llyfr yn argraffedig gan Thomas Gee, felly, gellir casglu fod Mr. Jones erbyn hyn wedi gwerthu ei argraffwasg i Mr. Gee. Yn y flwyddyn hon y bu farw y Parch. Thomas Charles, a theimlodd Mr. Jones yn ddwys ar ei ol. I'w ran ef o angenrheidrwydd y disgynodd y gorchwyl o ysgrifenu Cofiant i Mr. Charles, yr hwn lyfr a ddaeth allan Ionawr, 1816. Yn ystod y blynyddoedd hyn, yr oedd iechyd Mr. Jones yn weddol, ac ymroddodd i deithio hyd eithaf ei allu gyda'r efengyl. Mynychai Gymdeithasfaoedd y Gogledd, ac yr ydym yn ei gael yn bresenol yn Nghymdeithasfa Llangeitho, Awst, 1814. Pregethai ar yr adeg fwyaf pwysig, sef deg o'r gloch y dydd olaf. Y pregethwyr eraill oeddynt Henry Jones, Llaneurwg; John Roberts, Llangwm; Edward Watkin, Llanidloes; David Rees, Llanfynydd; John Evans, New Inn; John Elias; John Jones, Tremadog; James Hughes, Lleyn; a John Jones, Edeyrn. Y mae y ffaith ddarfod i'r Parch. Thomas Jones gael y lle uchaf yn mysg y fath gewri yn brawf o'r safle a feddai yn mysg ei frodyr. Yn y Gymdeithasfa hon yr oedd dau wŷr enwog yn cael eu hordeinio, sef Thomas Richards, Abergwaun, a David Griffiths, Lantwd.

Dyma y trydydd ordeiniad yn mysg y Methodistiaid yn y Deheudir, a'r cyntaf oll yn Llangeitho. Trefn y gwasanaeth oedd a ganlyn. Dechreuwyd trwy ddarllen a gweddïo gan y Parch. Thomas Jones; gofynwyd y cwestiynau arferol gan y Parch. J. Williams, Lledrod, a therfynwyd trwy weddi gan y Parch. William Howells, Longacre.

Yr ydym yn dyfod yn awr at y cyfnod pwysicaf yn holl hanes Mr. Jones, ac at y gwasanaeth ammhrisiadwy i Gorph y Methodistiaid, ac yn wir i holl Gymru, a gyflawnwyd ganddo. Oni bai iddo neidio i'r adwy yr adeg hon, a dangos y fath ddewrder a deheurwydd wrth amddiffyn yr athrawiaeth Galfinaidd gyda golwg ar fawredd y prynedigaeth trwy Grist, a diffuantrwydd yr alwad ato, y tebygolrwydd yw y buasai Uchel Galfiniaeth, o'r nodwedd fwyaf cul a diffrwyth, wedi cymeryd meddiant i raddau mawr o'r wlad. Ni fu y Tadau Methodistaidd cyntaf erioed yn Uchel Galfiniaid, fel yr ydym wedi dangos yn flaenorol; yr athrawiaethau a gredid yn ddiameu yn eu mysg oedd erthyglau Eglwys Loegr; ac yn unol â'r rhai hyn pregethent Iesu Grist yn Geidwad digonol i'r holl fyd, gan wahodd pawb ato. Ni raid ond darllen dydd-lyfr Howell Harris, pregethau Daniel Rowland, ac emynau Williams, Pantycelyn, er gweled nad oeddynt yn gosod terfyn i werth aberth y Gwaredwr. Ond fel y mae un eithafion yn cynyrchu yr eithaf cyferbyniol, aeth llawer o'r Calfiniaid, yn ngwres eu zêl yn erbyn Wesleyaeth, i haeru nad oedd cyffredinolrwydd o gwbl yn ngalwad yr efengyl, mai yr etholedigion yn unig oedd yn cael eu galw, a dywedai un hen bregethwr yn groyw: "Pe bawn i yn gwybod pwy yma heddyw sydd wedi eu hethol i fywyd tragywyddol, mi a lefarwn wrth y rhai hyny yn unig, ni ddywedwn air wrth neb arall." Fel hyn yr oeddynt yn troi athrawiaeth etholedigaeth gras, yn anfantais i bechadur, ac yn wrthglawdd yn ei erbyn yn ei ymdrech i gael gafael ar fywyd tragywyddol, yn lle bod o'i blaid. Yn mhellach, aethant i gyfyngu ar haeddiant yr Iawn, gan ei osod allan fel trafodaeth fasnachol, ac fel gwerth am werth, gan haeru nad oedd yn ddigonol dros neb ond dros bersonau yr etholedigion. Pe y gofynid pa fodd yr oedd yn bosibl i bregethwyr y Methodistiaid goleddu syniadau mor groes i draddodiadau cychwynol y Cyfundeb, gallem gyfeirio at ddwy ffaith, sydd yn cynwys gradd o eglurhad, sef nad oedd yr un Gyffes Ffydd mewn bodolaeth hyd yn hyn, a bod y Parch. Thomas Charles, yr hwn a olygid yn geidwad y ffydd, ac yn arweinydd mewn athrawiaeth, wedi huno gyda'i dadau.

Nid yn mysg y Methodistiaid yn unig yr oedd syniadau Uchel Galfinaidd yn cael eu coleddu a'u traethu; yr oedd yr Annibynwyr a'r Bedyddwyr wedi teithio lawn mor bell yn yr un cyfeiriad, ac ymddengys mai hwy oeddynt yn blaenori. Mor bell ag y gwyddom, y cyntaf i gyhoeddi y syniadau hyn trwy y wasg oedd y Parch. Christmas Evans. Yn y flwyddyn 1811, cyhoeddodd lyfr yn dwyn y penawd: *Neillduolrwydd y Prynedigaeth yn cael ei chwilio allan, gan nodi yn mha bethau y mae yn gynwysedig.* Yn y llyfr hwn y mae yn amddiffyn iawn masnachol, a iawn cydbwys, a dywed nad oes digonedd yn aberth Crist, oddigerth dros y rhai a gedwir trwyddo. Meddai: "Nid rhywbeth llai, na rhywbeth o fwy, na rhywbeth arall, ond y peth ei hun oedd ddyledus arnom ni, a ddyoddefodd yr Iesu. Mae yn rhaid fod y taliad, neu y dyoddefaint, wedi ei gydraddu â haeddiant y beiau, yn ol eu rhif, eu pwys, a'u mwyhad. Er y buasai yn rhaid cael dyoddefaint o raddau anfeidrol i brynu un dyn, a hwnw heb fod yn euog o un pechod ond un; ond os yn ol yr hyn y mae graddau mewn pechodau, yn ol eu rhif a'u pwys, yn ol haeddiant y pechod, y dyoddefodd yr Iesu, mae hyn yn eangu ein syniadau am ei ddyoddefaint, yr hwn oedd yn cydraddu â haeddiant pechodau yn ol eu rhif a'u pwys, a phob gradd yn galw am gosp anfeidrol (tuhwnt i derfynau dynol). O'r fath bentyrau o ddigofaint anfeidrol yr aeth yr Iesu trwyddynt, wrth ddyoddef ein melldith ni, a hono yn cydraddu â rhif a phwys ein pechodau, yn ol cyfiawnder manylaf!" Oddiwrth yr hyn sydd rhwng cromfachau gwelwn mai yr hyn a olygai Christmas Evans wrth "anfeidrol" yw tuhwnt i gyrhaeddiadau dyn, ac felly, yn ol ei syniad ef, y gall un anfeidrol fod yn fwy neu yn llai na'r llall. Tra yr oedd y syniadau hyn a'u cyffelyb yn ymdaenu yn mysg y cyfundebau Calfinaidd yn Nghymru, yr oedd gwrthweithiad dystaw yn dechreu cymeryd lle. Yr arweinwyr ynddo oeddynt y Parch. John Roberts, Llanbrynmair, a'r Parch. James Griffiths, Tyddewi. Ac yn y flwyddyn 1804 cyhoeddodd y Parch. John Roberts lyfryn bychan ar y pwnc, sef *Cynygiad*

*gostyngedig i egluro yr hyn ddysgir i ni yn Ysgrythyrau y Gwirionedd am Ddybenion Cyffredinol a Neillduol dyoddefaint Iesu Grist, mewn dau lythyr at gyfaill.* Nid yw y llyfr yn cynwys ond 24 tudalen. Ynddo amddiffynir Calfiniaeth gymhedrol, a thra yn dal fod perthynas arbenig rhwng marwolaeth Crist a'r etholedigion, ac mai trwy etholedigaeth gras y cedwir pwy bynag a gedwir, maentymia fod gwedd gyffredinol i'r Iawn, ac mai ar sail y cyffredinedd hwn y gelwir ar bob dyn i edifarhau, ac y cyfrenir bendithion tymhorol i ddynion.

Hyd yma, modd bynag, nid oedd y ddadl wedi peri nemawr gyffro yn mysg y Methodistiaid. Ond tua diwedd y flwyddyn 1814 syrthiodd y Parch. John Elias i'r heresi Uchel Galfinaidd, gan goleddu syniadau culion am werth yr Iawn. Credai ei fod wedi cael goleuni newydd ar y mater, a thra yn dal y dylai gweinidogion yr efengyl alw pawb at Grist, am mai dyna y commissiwn a dderbyniasant gan Dduw, eto, honai mai cydwerth a drwghaeddiant pechodau yr etholedigion yn unig oedd aberth y Gwaredwr. Wedi cael y goleuni hwn fel y tybiai, brysiodd i gyfansoddi pregeth ar y mater; ac, fel holl gyfansoddiadau Mr. Elias, yr oedd y bregeth yn nodedig o alluog, ac yn tueddu i gario y bobl gyda hi. Cymerodd daith fer trwy ranau o Siroedd Dinbych a Fflint, gan bregethu "y goleuni newydd," a thraddododd hi mewn Cyfarfod Misol a gynhelid yn Ngwrecsam. Ynddi dadleuai dros iawn cydbwys. "Nid cydbwys," meddai, "â gwerth personau yr etholedigion, na chydbwys â'r hyn a ddyoddefasid ganddynt hwy eu hunain am byth yn uffern; ond cydbwys â drwg ac ysgelerder eu pechodau hwy yn erbyn Duw; digon, a digon byth, ar ei ran ef fel Machnïydd i foddloni cyfiawnder dros yr holl rai a roddwyd iddo gan y Tad." Cyffelybai Iawn Crist dros bersonau a phechodau ei bobl fel digon i wastadhau clorian cyfiawnder, heb ei bod yn troi i drwch y blewyn y naill du na'r llall. "Yr ydym," meddai, "wedi arfer canu

'Y gair Gorphenwyd,
Wnaeth i'r glorian bwysig droi.'

Ond ni chanwn mo hono felly eto. Na, iawn ydyw iawn; digon i gyfarfod y gofyn; buasai llai yn annigonol, ac ychwaneg yn afreidiol. Yr ydoedd pechodau, a holl bechodau ei bobl, wedi eu rhoddi ar Grist, a llygaid y Meddwl anfeidrol yn canfod yr ysgelerder a berthynai i bob un o honynt, a chyfiawnder yn gweinyddu arno yntau y gospedigaeth ddyledus am bob un; a phan yr oedd y dialedd haeddianol o'u plegyd wedi ei dywallt arno yn llawn, ac yntau wedi yfed cwpan y felldith i'r gwaelod, dyna yr iawn wedi ei orphen, ac yntau yn gwaeddi 'Gorphenwyd.'" Tra yn cyhoeddi y syniadau culion hyn am gynwys yr iawn, safai yn gryf dros gyffredinolrwydd galwad yr efengyl, a dangosai y perygl o'i gwrthod. "Ond pa fodd yr ydych yn galw ar bawb? Nid myfi sydd yn galw; Duw sydd yn galw. Nid ydwyf fi ond cenad drosto, ac yn llefaru yn unig yn ei enw. Ond pa fodd y mae Duw yn galw ar bawb, os nad oes iachawdwriaeth i bawb? Pa fath iachawdwriaeth wyt ti yn ddysgwyl, bechadur? Ai iachawdwriaeth a byw mewn pechod? Y mae iachawdwriaeth yn Nghrist i'r pechadur gwaethaf, aflanaf yn fyw, a wnelo dderbyniad o hono; ac nid oes iachawdwriaeth i neb, pwy bynag fyddo, a'i gwrthodo."

Nis gallai pregeth fel hon, yn cael ei thraddodi gan feistr y gynulleidfa, a chyda yr holl rym areithyddol ar ba un yr oedd yn feddianol, lai na pheri cyffro. I'r Uchel Galfiniaid yr oedd yn flasusfwyd o'r fath a garent; tybient, bellach, nad oedd cael y Gymdeithasfa o'u plaid ond cwestiwn o amser. Daeth Mr. Elias ar ei hynt i Ddinbych, ac yr oedd y capel wedi ei orlenwi. Pregeth "y goleuni newydd" a gafwyd yma hefyd; ac yr oedd dylanwad anarferol yn cydfyned â'r traddodiad. Fel yr oedd y pregethwr yn gwresogi yn ei fater, yr oedd effeithiolrwydd ei areithyddiaeth yn cynyddu; cariai y gynulleidfa gydag ef fel llif yr afon; nid oedd y bobl yn cael hamdden i ymresymu, ac i bwyso y syniadau a draethid, am fod hyawdledd llifeiriol Mr. Elias yn peri iddynt anghofio eu hunain. Ond yr oedd Mr. Thomas Jones o dan y pwlpud, a'i enaid yn flin ynddo wrth weled haeddiant yr Iawn yn cael gosod terfyn iddo; cynyrchodd y blinder meddwl anhwylder corph; ac yn y man dyna ef yn gorfod ymaflyd yn ei het, ac ymwthio allan trwy dewder y dyrfa. Nid oes amgylchiad mwy dramayddol yn holl hanes y Cyfundeb, ac anhawdd genym feddwl na ddarfu gweled dyn mor bwyllog, ac mor gadarn yn yr Ysgrythyr, a Mr. Jones, yn troi ei gefn ar y cyfarfod oblegyd ei fod yn anghymeradwyo y syniadau a draethid, arafu rhyw gymaint ar hyawdledd y pregethwr poblogaidd o Fôn. Yn nhŷ y Parch. Thomas Jones y lletyai Mr. Elias;

a dadleu y buont hyd wawr y boreu. Safai y naill a'r llall yn dŷn dros ei olygiadau; ond yn raddol, addefodd Mr. Elias ei fod wrth gyfyngu ar werth yr haeddiant wedi myned tuallan i gylch dysgeidiaeth yr Ysgrythyr, a bod anfeidroldeb mewn ystyr uwch yn perthyn i werth yr Iawn nag a ellir briodoli i ddrwg pechod. Cyn ymadael, ymrwymodd na wnai byth drachefn ddefnyddio yr ymadrodd, "digon i wastadhau clorian cyfiawnder."

Erbyn hyn, yr oedd Cyfarfod Misol Sir Fflint yn ferw trwyddo; yr oedd pregeth Mr. Elias wedi gosod y lefain yn y blawd. Arweinydd y blaid Uchel Galfinaidd oedd y Parch. Robert Ellis, y Wyddgrug, gŵr a fuasai unwaith yn weinidog yn Nghyfundeb yr Iarlles Huntington, ond a ymunodd â'r Methodistiaid yn y flwyddyn 1811. Dywedir am dano ei fod yn ŵr duwiol, ond yn nodedig o gul yn ei syniadau, ac yn Uchel Galfin cryf. Perthynai i Gyfarfod Misol Fflint amryw frodyr o gyffelyb feddwl. Penderfynai y rhai hyn ddwyn y mater mewn dadl i'r Gymdeithasfa, a chan faint eu hyder yn Mr. Elias, ni phetrusent gyda golwg ar y canlyniad. Bwriadent ddiarddel y rhai a gyfenwent yn Arminiaid, neu o leiaf roddi taw bythol arnynt. O'r ochr arall, yr oedd yn mysg y gweinidogion a'r blaenoriaid ddynion grymus, y rhai a lynent wrth olygiadau y Parch. Thomas Jones, a gyhoeddent anfeidroldeb yr Iawn, ac a wahoddent bawb pechaduriaid i ymdaflu arno. Ceid nifer o'r rhai hyn yn Nghaerwys, lle genedigaeth Mr. Jones. Daeth y pwnc gerbron yn Nghymdeithasfa Ruthyn, a gynhaliwyd Mawrth 3, 4, 1815. Ymddengys mai yr Uchel Galfiniaid oedd yr ymosodwyr, a nod eu saethau oedd Mr. Jones. Galwent ef yn heretic, yn aflonyddwr, ac yn Armin; a phriodolent iddo yr holl gyffro a'r dadleu oedd yn y wlad. Gellir casglu ddarfod i'r teimladau cas a amlygwyd, a'r iaith eithafol a ddefnyddiwyd, leihau nerth yr ymosodiad, a pheri i'r Parch. John Elias gywilyddio o herwydd y rhai a gymerent arnynt fod yn ganlynwyr iddo. Yn y man, cafodd Mr. Jones gyfleustra i amddiffyn ei hun a'i olygiadau. Yr oedd golwg ddifrifol arno; hawdd gweled y deallai ei fod ef, a'r Cyfundeb Methodistaidd, mewn argyfwng pwysig, ac y gallai canlyniadau difrifol ddilyn yr ymddiddan hwnw. Safai yn gryf dros anfeidrol werth aberth y Cyfryngwr bendigedig; dadleuai mai dyna yr athrawiaeth a gafodd efe yn y Cyfundeb, mai dyna a bregethid gan Daniel Rowland, a Howell Harris, ac mai dyna y gwirionedd oedd wedi ei gydwau â holl emynau Williams, Pantycelyn. Honai yn mhellach fod yr athrawiaethau Uchel Galfinaidd hyn nid yn unig yn newydd i'r Methodistiaid, ond, mor bell ag y gwyddai efe, yn newydd i eglwys Crist, a dywedai nas gallai lai na'u hystyried yn ddiraddiad ar Berson y Gwaredwr, ac yn wyrdröad ar yr athrawiaeth Ysgrythyrol parthed prynedigaeth. Gyda chyfeiriad at y cyhuddiad ei fod yn derfysgwr, dywedai nad oedd efe wedi dwyn i mewn ddim newydd, ond os oedd y syniadau a gredai ac a bregethai yn anghymeradwy gan gorph ei frodyr, yr ymadawai efe mewn tangnefedd. Ar hyn torodd allan i wylo yn uchel, a dywedodd, os troai y glorian yn y Gymdeithasfa o blaid y golygiadau culion am Iawn Crist, y deuai efe i'r Bala, y Gymdeithasfa ganlynol, i roddi ei swydd i fynu.

Erbyn hyn yr oedd y Gymdeithasfa yn foddfa o ddagrau, ac yr oedd yn hawdd gweled wrth wedd y Parch. John Elias ei fod yn teimlo yn ddwys, a bod ei yspryd yn derfysglyd ynddo. Yn y man cododd ar ei draed, ac mewn dull addfwyn, dywedodd nad oedd efe am newid dim ar athrawiaeth y Cyfundeb; nas gallai oddef y meddwl am i Mr. Jones deimlo yn anghysurus yn mhlith ei frodyr, a llawer llai am iddo ymadael â hwynt, ac os oedd efe (Mr. Elias) wedi dweyd dim i ddolurio ei deimladau, ei fod yn galw hyny yn ol, ac yn erfyn am faddeuant. Yna, datganodd nad ydoedd, yn y bregeth a draddodasai yn Sir Fflint ac yn Ninbych, wedi talu sylw digonol i'r geiriau: "Efe yw yr iawn," "Yr hwn a'i rhoddes ei *hunan* yn bridwerth dros bawb," a'u cyffelyb. "Yr wyf yn awr," meddai, "yn gweled yn hollol eglur fod yr iawn ynddo ei hunan, yn ystyr briodol y gair, yn anfeidrol; tra y mae mor eglur i mi mai tros yr eglwys y gosodwyd ef." Gyda geiriau Mr. Elias tawelodd y cyffro; gwelwyd nad oedd un perygl am ymraniad, a gosodwyd ar Mr. Jones, Mr. Elias, a Mr. John Roberts, Llangwm, i barotoi rhyw benderfyniadau, yn cynwys sylwedd yr hyn y cytunasid arno, erbyn y cyfarfod dranoeth.

A ganlyn yw y penderfyniadau, yn ngeiriau Mr. Cadwaladr Williams, ysgrifenydd y Gymdeithasfa, fel eu ceir yn y *Drysorfa*, am Gorphenaf, 1823: "Yn y cyfarfod am wyth, Mawrth 4, adroddwyd yr ymddiddan a fuasai yn y cyfarfod

cyntaf y diwrnod o'r blaen yn nghylch prynedigaeth. Sylwyd yma ar y perygl o golli undeb yr Yspryd, rhag i'r naill ddolurio y llall trwy ryw olygiadau gwahanol oddiwrth undeb y ffydd; a bod angenrheidrwydd neillduol i bawb gydfeddwl yn gywir am Berson Crist a'r prynedigaeth trwyddo ef. Yn nghylch y prynedigaeth sylwyd fel y canlyn: (1) Fod Person y Cyfryngwr yn Berson anfeidrol fawr. (2) Fod yr iawn a dalodd yn anfeidrol, gan mai efe yw yr Iawn. (3) Fod y Person hwn yn lle personau neillduol. (4) Fod pechodau y personau hyny yn gyfrifedig ar y Person anfeidrol hwn. (5) Fod cospedigaeth y pechodau hyny wedi ei roddi ar y Person hwn. (6) Fod anfeidrol foddlonrwydd wedi cael ei wneuthur dros y pechodau a'r personau hyn gan y Person anfeidrol hwn. (7) Fod y prynedigaeth hwn yn ol arfaeth a chyfamod tragywyddol Duw. Rhoddwyd gocheliad i beidio arferid ymadroddion dychymygol a disail yn nghylch y prynedigaeth, megys pe y buasai mwy o bersonau i'w prynu, y buasai raid i Grist ddyoddef mwy, a gwneuthur mwy o iawn nag a ddarfu; neu, pe buasai mwy o fydoedd yn bod, y buasai iawn Crist yn ddigon dros y rhai hyny hefyd. Penderfynwyd rhoddi pob dadl heibio, a phob geiriau a fyddo yn tueddu at hyny, a chadw at lwybr eglur y Beibl wrth lefaru."

Nis gellir gorbrisio y pwysigrwydd a berthyn i Gymdeithasfa Ruthyn, oblegyd ynddi y cafwyd datganiad clir am y tro cyntaf fod anfeidrol rinwedd a gwerth yn perthyn i aberth yr Arglwydd Iesu, ac oddiwrth y datganiad yma nid yw y Cyfundeb wedi gwyro ar y dde nac ar yr aswy hyd y dydd hwn. Trowyd y byrddau yn hollol ar y blaid gul, ac aethant ymaith o'r Gymdeithasfa yn gwbl siomedig. Yn lle cael ei gondemnio fel heretic, daeth Mr. Jones allan yn fuddugoliaethwr. Trodd hyd yn nod Mr. Elias, yn yr hwn yr ymddiriedent, o'i blaid. Gwnaethant fath o ymostyngiad yn y Gymdeithasfa, yr oedd y dylanwad yn rhy gryf iddynt allu ei wrthwynebu, a chodasant eu dwylaw o blaid y penderfyniadau. Ond ar ol myned adref yr oedd hen frodyr culion yn Sir Fflint yn traethu eu syniadau Uchel Galfinaidd fel o'r blaen; ac os na wnaent hyny yn gwbl mor wynebagored a chyhoedd, yr oedd y golygiadau hyn yn lliwio eu holl bregethau. Parhaent hefyd yn eu hymddiddanion, yn nhai capelau a manau eraill, i waradwyddo Mr. Jones, gan ei gyfenwi yn Armin, ac yn aflonyddwr, ac yn y blaen. Yn ngwyneb hyn cawn Mr. Jones yn ysgrifenu llythyr at Gymdeithasfa Llanrwst, wedi ei ddyddio Rhagfyr 26, 1815, yn yr hwn yr achwyna yn dost ar y cam yr oedd y gwirionedd yn gael, yn ei farn ef, oddiar ddwylaw rhai brodyr, ac yntau ei hun, wrth geisio amddiffyn y gwirionedd. Cafodd y llythyr dderbyniad caredig, a dwys ystyriaeth, ac anfonwyd y llythyr canlynol yn ateb iddo. Dywed Dr. Thomas mai Mr. Elias a'i cyfansoddodd, ond y mae wedi cael ei arwyddo gan chwech o bersonau, sef un o bob sir yn Ngwynedd. Fel hyn y darllena: "Llanrwst, Rhagfyr 29, 1815. Frawd caredig—Mae'n ddrwg genym fod eich meddwl yn cael ei derfysgu gyda y peth a soniasoch; ac y mae'n dra drwg genym fod dywediadau neb o honom yn achlysur o'ch gofid. Nid ydym yn eich cyfrif yn gyfeiliornwr, nac yn foddlon bod neb yn eich galw felly. Nid ydym yn anfoddlawn eich bod yn dywedyd yn helaeth am fawredd a gwerth Person y Cyfryngwr; ac yr ydym yn meddwl, er i ni oll ddywedyd hyd eithaf ein dawn byr, na ddywedwn byth y filfed ran o'i fawredd na'i werth. Nid ydym ychwaith yn anturio gosod mesur ar ei ddyoddefiadau a'i angau, ond yn credu bod gwerth anfeidrol yn ei ddyoddefiadau a'i angau; a'i fod yn aberth ac iawn perffaith ddigonol dros yr holl rai y gosodwyd ef yn eu lle, ac er bod eu pechodau yn aneirif, a drwg eu pechodau yn anfeidrol, eto, bod yr anfeidrol iawn yn ddigonol. Ac nid ydym yn rhyfygu dweyd nad oedd yr iawn yn ddigonol dros filoedd aneirif yn ychwaneg, pe buasai Duw yn ei osod drostynt ac yn eu lle. Frawd caredig, caru gwirionedd a heddwch yr ydym, am hyny gochelwch bob geirddadl ddiangenrhaid. Tangnefedd i chwi, frawd. Ydym, eich brodyr yn yr efengyl, John Elias; John Roberts, Llangwm; John Davies, Nantglyn; Robert Ellis, Wyddgrug; John Hughes, Pontrobert; John Jones, Tremadoc." Dywed ei fywgraffwyr i'r llythyr hwn beri gradd o sirioldeb i Mr. Jones, am ei fod yn gweled nad oedd y Gymdeithasfa yn cymeradwyo y rhai a'i gwaradwyddent. Gan mai y Parch. Robert Ellis oedd un o'i brif wrthwynebwyr, y mae braidd yn syn cael enw yr hen frawd hwnw wrth y llythyr uchod.

Yn ystod yr amser hwn yr oedd y Parch. Thomas Jones yn parotoi llyfr ar

brynedigaeth, ac fel na byddai dim yn y llyfr a roddai achos cyfiawn o dramgwydd i'w frodyr, penderfynodd ei gyflwyno i sylw Cymdeithasfa Dinbych, yr hon a gynhaliwyd Chwefror 29, a Mawrth 1, 1816. Yn y cyfeisteddfod y dydd cyntaf penodwyd ar nifer o frodyr i ddarllen y llyfr, ac i ddwyn eu golygiadau arno i un o'r cyfarfodydd dilynol. Yn y cyfarfod am wyth o'r gloch dranoeth datganodd y brodyr hyny ei fod yn cynwys athrawiaeth iachusol a chymeradwy, gan ei argymhell i'r holl Gyfundeb. Llyfr cymharol fychan oedd hwn, yn cynwys 58 tudalen, a chan nad oedd ond cyfran o lyfr mwy a gyhoeddwyd gan Mr. Jones yn mhen tua thair blynedd ar ol hyn, oedwn sylwi ar ei gynwys. Parhau yr oedd y cyffro yn Ngwynedd gyda golwg ar athrawiaeth y prynedigaeth, ac er penderfyniadau y Gymdeithasfa parhau yr oedd aelodau yr "hen ysgol" i gamddarlunio syniadau Mr. Jones, Dinbych. Felly, penderfynodd gyfansoddi pregeth ar y pwnc; yr hyn hefyd a wnaeth, gan ei thraddodi yn Nghymdeithasfa y Bala, Mehefin 19, 1816. Yn y Gymdeithasfa hono yr oedd Cadben Williams, Caer, a'r Parch. Thomas Richard, Abergwaun, yn pregethu y prydnhawn cyntaf. Boreu dranoeth am chwech, Mr. Michael Roberts, Pwllheli, a Mr. David Evans, Aberaeron. Am ddeg, Mr. Jones, Edeyrn, a Mr. Jones, Dinbych. Am ddau, Mr. Ebenezer Richard, a Mr. Elias. Am chwech yn yr hwyr, Mr. Lloyd, Beaumaris, a Mr. Richards, Caernarfon, a Mr. Wilks yn Saesneg rhyngddynt. Am chwech y boreu olaf, Mr. James Hughes, Lleyn, a Mr. Roberts, Amlwch. Gwelir mai y Parch. Thomas Jones a gaffai y safle fwyaf anrhydeddus yn y Gymdeithasfa, a dengys hyn y lle mawr a feddianai yn mysg ei frodyr. Wrth bregethu ar yr iawn yn y Gymdeithasfa hon cafodd odfa anghyffredin. Traethai am fawredd Person y Cyfryngwr, ac am y cysylltiad uniongyrchol rhwng y Person a'r iawn, mewn modd hynod o ogoneddus; yr oedd y dylanwad ar y dorf yn effeithiol dros ben; gellid meddwl eu bod yn canfod Mab Duw wedi rhoddi ei hunan yn iawn dros fywyd y byd, fel nad oedd dadl am werth yr haeddiant i gyfodi byth mwy.

Fel hyn yr adrodda y Parch. Morris Roberts, Remsen, hanes y bregeth hon: "Pan oeddwn yn fachgen, tua phymtheg neu un-ar-bymtheg oed, aethum i *Assosiasiwn* y Bala; ac yn yr odfa ddeg gwelwn hen ŵr glandeg, tew, ac yn gwisgo *cap* du ar ei ben, yn sefyll i fynu i bregethu ar y testun yn 1 Ioan ii. 12. Ac am yr iawn y pregethai, yn enwedig am ei fawredd a'i anfeidroldeb, a hyny oddiwrth fawredd y Person, yr hwn a osododd Duw yn iawn. '*Efe* yw yr iawn.' Safai yn gryf ac yn dŷn iawn dros hyny. Dywedai yn rhywle yn ei bregeth, ac a'i holl nerth, pe buasai ganddo ef fagnel digon mawr, y buasai yn saethu y cyfeiliornad am iawn terfynol (neu o feddwl yn gul am dano) yn ei dalcen, gan' milltir o ffordd. Yr oedd yn llefaru yn ddifrifol, ac egniol iawn, ac yn dra effeithiol. Ar ol hyny, yn y lle yr oeddwn yn aros, yn agos i gapel yr Annibynwyr yn Llanuwchllyn, y Sabbath cyntaf ar ol yr Assosiasiwn, yr oedd amryw o aelodau yr hen gapel wedi cyfarfod yn nghyd, ac yn siarad a'u gilydd; a dyna oedd eu testun, y bregeth hynod hono yn y Bala. Ac yr wyf yn cofio mai siarad gwresog ac astud oedd yno, gan ei chymeradwyo yn anghyffredin, a llawenhau yn fawr yn yr athrawiaeth am anfeidroldeb yr iawn."

Tua mis Mai, 1816, oblegyd gwaeledd ei iechyd, symudodd Mr. Jones o Ddinbych, gwedi preswylio yno am saith mlynedd, gan wneyd ei gartref yn Syrior Goch. Palasdy prydferth yw Syrior Goch, yn gyfagos i'r Bettws, a rhyw dair milltir o Abergele. Nid oedd efe yma yn trin y fferm; yn unig daliai ychydig erwau o dir fel y gallai gadw ceffyl a dwy neu dair o wartheg. Tybiai fod yn y lle hwn gymysgedd o awyr tir a mor, ac felly ei fod yn bosibl y derbyniai yno adnewyddiad nerth. Nid yw yn ymddangos iddo gael yr ychwanegiad cryfder y daethai yma i'w geisio; parhau yn llesg a wnaeth yn ystod dwy flynedd ei ymdaith yn Syrior Goch; er hyny ymroddai i'w waith yn ei holl ranau, a hyny gydag angerddoldeb ac yni rhyfedd ac ystyried sefyllfa ei iechyd. Heblaw teithio cryn lawer o gwmpas gyda'r efengyl, parhaodd gyda ei lafur llenyddol. Cynhaliai hefyd gyfarfod crefyddol bob wythnos yn ei dŷ ei hun os byddai gartref. Ni chyfenwid y cyfarfod hwn yn odfa nac yn bregeth, a hyny am y tybiai perchenog y lle yn wirion y byddai i'r cynulliad pobl a ddelai yn nghyd dynu yr adeilad i lawr; er hyny odfa ydoedd, a byddai Mr. Jones yn esbonio y Beibl, yn pregethu, ac yn cadw seiat ar derfyn y cwrdd mewn modd hynod o agos.

Gwnaeth y cyfarfodydd hyn lawer tuag at adeiladu crefydd yn y gymydogaeth.

Yn ystod yr holl amser y preswyliai y Parch. Thomas Jones, yn Syrior Goch, yr oedd ganddo was, a ddaeth wedi hyny yn enwog trwy Gymru. Llanc ieuanc o gymydogaeth Llansanan ydoedd, rhwng deunaw ac ugain oed; yr oedd yn wledig ei ymddangosiad, ac o agwedd dra difrifddwys. Cyn gadael Llansanan ymunasai â chrefydd, ac enillasai enwogrwydd mawr yn mysg y brodyr a'r chwiorydd crefyddol fel un nodedig o afaelgar ar weddi. Credai pawb fod ei wyneb ar y pwlpud; tybid gan lawer mai ei amcan yn myned i wasanaethu at Mr. Jones oedd er mwyn dysgu bod yn bregethwr, a synai rhai ei fod yn dewis un cymharol ddiddawn fel athraw. Y llanc hwn oedd Henry Rees. Ni chychwynasai gyda gwaith mawr ei fywyd eto, ac ni wnaeth am agos i flwyddyn wedi gadael gwasanaeth y Parch. Thomas Jones. Anaml y bu gwas â'i orchwylion mor amrywiol. Gweithredai fel ceidwad y ddôr yn y cyfarfodydd crefyddol a gynhelid yn Syrior Goch; efe a ofalai am y "ceffyl glas," hoff anifail ei feistr; dysgwylid iddo wneyd ei hun yn ddefnyddiol o gwmpas y tŷ; ond ei brif orchwyl oedd "trafaelu" dros Mr. Jones, gan ofyn archebion gan lyfrwerthwyr, a chasglu yn nghyd yr arian dyledus. Ebai Mr. Rees: "Yr oeddwn bellach yn drafaelwr go fawr, ar negeseuon fy meistr, a chenyf weithiau gryn lawer o arian o dan fy ngofal, am ddyogelwch pa rai y teimlwn yn bur bryderus." Ar y teithiau hyn marchogai y gwas geffyl glas ei feistr, a chan ei fod i raddau yn ddiofal, ac yn syrthio yn fynych i ddydd-freuddwydion, nid anaml y cwympai y ceffyl o dano, a theflid yntau ar ei ben i'r clawdd. Trwy drugaredd ni chafodd nemawr niwed yn y codymau enbyd hyn. Y mae yn sicr ddarfod i'w arosiad gyda y Parch. Thomas Jones fod o fantais ddirfawr i Henry Rees. Yr oedd llyfrgell ei feistr at ei wasanaeth; ac er na fedrai wneyd defnydd o awduron Saesneg, darllenai gydag awch y llyfrau Cymreig oedd ynddi, a bu yn ddechreuad cyfnod newydd yn ei hanes.

Yr oedd cyfeillgarwch agos yn bodoli rhwng Mr. Jones a'i was, ac yr oedd yn cydymdeimlo yn ddwfn ag awydd y llanc Harry am esgyn i'r pwlpud. "Yn y misoedd hyn," ebe Mr. Rees, "yr oedd fy awydd am bregethu yn cryfhau o hyd. Y mae yn gofus genyf un diwrnod, pan oeddwn wrthyf fy hun yn y beudy, ac yn myfyrio ar ryw bwnc, ddarfod i mi syrthio yn ddifeddwl i adrodd fy syniadau allan, a hyny gyda gradd o egni, dybygid. Ond yn anffodus i mi yr oedd rhywun yn fy nglywed, ac fe aeth y gair yn ebrwydd i glustiau Mr. Jones fy mod yn pregethu i'r gwartheg. Pan aethum i'r tŷ, daeth yntau yn y man o'r parlwr i'r gegin, a chan rodio yn ol a blaen, yn ol ei arfer, gofynai i mi toc mewn dull lled dawedog, rhwng difrif a chwareu, pa fath odfa oeddwn wedi gael yn y beudy? A oeddwn wedi pregethu yn o dda? Crebychai fy holl natur dan y cwestiynau. Gwridais, ac ni ddywedais ddim. 'Wel, wel,' ebai yntau yn y man, mewn tôn nid anfwynaidd, 'y mae y meddwl a'r dychymyg yn gweithio yn gryf weithiau, onid ydynt Harry?'" Prawf y difyniad hwn fod y meistr a'r gwas ar delerau lled gyfeillgar.

Ond rhaid i ni ddychwelyd at hanes y Parch. Thomas Jones. Cafodd ei alw yn mis Mai, 1817, i draddodi y bregeth flynyddol yn nglyn â Chymdeithas Genhadol Llundain. Ei destun oedd Es. lii. 15: "Felly y taenella efe genhedloedd lawer." Argraffwyd y bregeth yn Saesneg gan y Gymdeithas ar ei thraul ei hun; cyfieithodd yntau hi i'r Gymraeg, a chyhoeddwyd hi gwedi iddo ef farw. Yr oedd y Parch. John Elias yn Llundain pan y traddodai Mr. Jones ei bregeth, ac adroddir eu bod ill dau ryw ddiwrnod yn nhŷ Mr. Matthew Wilks, yr hwn oedd yn un o gyfarwyddwyr y Gymdeithas. Holai Mr. Jones Mr. Wilks gyda golwg ar ei bregeth, pa un fyddai gwell iddo, ai ei darllen, ynte dybynu ar ei gôf? Atebai Mr. Wilks mai gwell iddo efallai fyddai ei darllen mewn cynulliad o'r fath bwysigrwydd; "ond," ychwanegai, "gofalwch am roddi ynddi ddigon o'r tân Cymreig." "Beth?" ebai John Elias, "cario tân mewn papyr! Nis gellir gwneyd hyny." "Gwir iawn," atebai Mr. Wilks; "ond y mae papyr yn ddefnydd da i gyneu tân." Nid yw yn wybyddus yn bresenol beth a wnaeth Mr. Jones, darllen ynte traddodi o'i gôf, ond y mae y bregeth yn nodedig o sylweddol, a gwnaeth argraff ddofn ar feddwl y rhai a'i clywent.

Dychwelai Mr. Jones ar ei union o Lundain i Gymdeithasfa y Bala, yr hon a gynhelid Mehefin 16, 17, 1817. Yr ydoedd yn Gymdeithasfa ordeinio, y bumed o'r fath yn y Bala, ac ynddi y cafodd Mr. William Roberts, Amlwch, a Mr. Cadwaladr Williams, Sir Fôn, eu neillduo

i gyflawn waith y weinidogaeth. Nid oes sicrwydd a fu Mr. Jones yn cymeryd rhan yn y gwasanaeth, ond yr ydoedd yn mysg y rhai a bregethent ar y maes. A ganlyn yw trefn y pregethu: Y prydnhawn cyntaf, Michael Roberts, Pwllheli, a David Griffiths, Llantwd. Am chwech, boreu y prif ddiwrnod, Richard Jones, y Wern. Am ddeg, John Jones, Edeyrn, ac Ebenezer Morris. Am ddau, Evan Richardson, Caernarfon, a John Elias. Am chwech, Richard Lloyd, Beaumaris, a Thomas Jones, Dinbych. A dyma y Gymdeithasfa ddiweddaf yn y Bala y bu Mr. Jones yn bresenol ynddi.

Tra y preswyliai Mr. Jones yn Syrior Goch yr oedd y cyffro yn y Cyfundeb gyda golwg ar Uchel Galfiniaeth yn parhau. Er fod y rhai a ddalient y cyfryw olygiadau wedi cael eu gorchfygu yn y Gymdeithasfa, nid oeddent wedi peidio eu pregethu, ac yr oeddent yn dra chwerw wrth y Parch. Thomas Jones. Yn y pwlpud ac allan o hono cyhuddent ef o Arminiaeth; cymerent fantais ar bob cyfleustra i'w ddifenwi; dalient ef i fynu fel un yn dwyn golygiadau newyddion i mewn i'r Corph, nes y tueddai llawer o ddynion da i edrych arno gyda llygad amheus. Yr ydym yn credu fod y brodyr a wnelent hyn yn gwbl onest, ac nid annhebyg y tybient eu bod yn gwneyd gwasanaeth i Dduw. Eithr beth bynag am eu dybenion yr oedd eu dull o weithredu yn dra annheilwng. Pregethwyr Sir Fflint ydoedd flaenaf yn y camwedd, a blaenorid hwy gan Mr. Robert Ellis, y Wyddgrug. Gwnaeth y gŵr hwn ymosodiad brwnt ar Mr. Henry Rees pan yn galw yn ei dŷ. Aethai Mr. Rees yno ar neges dros y Parch. Thomas Jones, a chyda ei fod i mewn ebai Mr. Ellis wrtho: "Pa wenwyn y mae dy feistr yn ei gymysgu i'r wlad yrwan?" Yr oedd y cwestiwn yn taro Mr. Rees fel un mor angharedig ac annghristionogol, ac yn neillduol mor ammhriodol oddiwrth hen weinidog i lanc ieuanc, fel nas gwyddai pa ateb i'w roddi iddo. Modd bynag, anturiodd ddweyd, yn dra gwylaidd: "Nid yw fy meistr i, gobeithio, ddim yn arfer cymysgu gwenwyn, nac yn arfer delio â neb sydd yn gwneyd hyny." "Cymysgu, ydyw!" ebai yntau, "ac yr wyt tithau yn ei gymhell o ar y wlad." Er mwyneiddied tymher Mr. Henry Rees cynhyrfwyd ef gan eiriau brathog yr hen weinidog, ac atebodd gyda llygaid yn fflachio: "Os gwenwyn ydy' o, gwenwyn ydyw ag y mae Sassiwn Ruthyn wedi ei gymeradwyo. Ac nid wyf yn meddwl ei fod yn wenwyn i ddim ond i gyfeiliornad." "Ah! mi welaf ei fod wedi dy wenwyno di," ebai Mr. Ellis yn ol. Yn mhen blynyddoedd ar ol hyn, pan yn adrodd yr hanes, dywedai y Parch. Henry Rees: "Beth bynag am olygiadau Mr. Jones—ac yr wyf yn credu eu bod yn gywir—yr wyf yn sicr fod ei yspryd yn well nag yspryd Mr. Ellis."

Oblegyd fod rhai pregethwyr yn parhau i arfer geiriau ammhriodol parthed iawn y Cyfryngwr, ymadroddion a dueddent i'w fychanu ac i leihau ei werth, anfonodd Mr. Jones lythyr i Gymdeithasfa Caernarfon, a gynhelid ddechreu Hydref, 1816, yn cwyno oblegyd hyn. Drwg genym nad yw y llythyr ar gael, ond y mae atebiad y Gymdeithasfa genym, ac fel hyn y darllena: "Caernarfon, Hydref 4, 1816. Barchedig frawd. Derbyniasom a darllenasom eich caredig a chwynfanus lythyr. Gofidus genym glywed fod eich iechyd yn amharus, a'ch meddyliau yn annghysurus. Ymdriniasom ar y mater, cynwysedig yn eich llythyr, mor fanwl ag y gallasom; a methodd genym ddeall, er chwilio, fod y *Corph* yn gwyro, mewn un mesur, oddiwrth iawn synied am anfeidroldeb Person ac iawn y Cyfryngwr. Ac os darfu i rai arfer rhai geiriau annoeth ac anaddas ryw amser a fu, fe ymrwymodd pawb, yn ein cyfarfod presenol, na byddai iddynt o hyn allan arfer un dull o ymadroddi ag a fyddai yn debyg o fagu un terfysg, gan hyderu y gwnewch chwithau yr un modd. Ac os clywch, o hyn allan, fod rhyw berson, neu bersonau, yn arfer geiriau anaddas am iawn y Cyfryngwr, na roddwch hyny yn erbyn y Corph; ond nodwch y cyfryw, fel y galler eu galw i gyfrif naill ai mewn Cyfarfod Misol neu *Association*. Yr y'm o galon yn dymuno i chwi bob llwyddiant, ac yn deisyf arnoch, gyda phob hynawsedd, na dderbynioch, ac na choeliwch mo bob chwedlau a glywch am eich brodyr, gan rai a ddrwgliwiant bethau yn waeth nag y b'ont. Ni oddef brys ychwanegu. Yr ydym oll, yn unllais, yn cyd-garedig gofio atoch, gan ddifrifol ddymuno eich llwyddiant. Ydwyf, dros y Corph, eich anheilwng gyfaill, tra b'wyf,—ROBERT JONES."

Ysgrifenwyd y llythyr hwn gan y Parch. Robert Jones, Rhoslan, ac y mae yn amlwg ei fod yn ffrwyth cryn ymddadleu. Awgryma amryw bethau o ddyddordeb:

(1) Fod y Gymdeithasfa fel y cyfryw wedi ymwrthod am byth â'r syniad am iawn cydbwys, ac yn dal gafael ddiollwng yn y gwirionedd fod yr iawn yn anfeidrol. (2) Y gwneir gwahaniaeth clir rhwng "rhai" a'r "Corph." Addefir fod "rhai" wedi arfer geiriau annoeth ac anaddas; diamheu mai at Uchel Galfiniaid Sir Fflint y cyfeirir; ond honir fod y "Corph" yn hollol rydd o fod yn gyfranog â hwy. Diau mai wrth y "Corph" y golygir y Cyfundeb yn gynulledig mewn Cyfarfod Misol a Chymdeithasfa. (3) Ceir yma awgrym tyner fod rhywrai, wrth gario newyddion i Mr. Jones, yn lliwio dywediadau yn waeth nag oeddent, a'i fod yntau yn rhy barod i roddi coel i'r cyfryw chwedlau. I ba raddau yr oedd hyn yn wir, nis gwyddom. Hynododd dau eu hunain yn y Gymdeithasfa hon yn Nghaernarfon. Un oedd y Parch. Ebenezer Morris, y gallu cryfaf a feddai y Cyfundeb yn y Deheudir, yr hwn a daflai ei holl ddylanwad o blaid tangnefedd. Y llall oedd y Parch. Richard Jones, o'r Wern, yr hwn a amlygodd am y tro cyntaf y medr anarferol a feddai i dawelu ymryson, ac i egluro y gwirionedd. Ar yr un pryd, braidd na thybiwn ddarfod i'r Gymdeithasfa amlygu rhyw gymaint o ddiffyg dewrder, trwy adael i'r personau a gyhuddent y Parch. Thomas Jones ddianc yn ddigerydd. Ac efallai, pe buasai y llymder gofynol wedi cael ei arfer, y buasai llawer o annghysur i'r Cyfundeb yn Ngwynedd yn cael ei ysgoi.

Eithr nid oedd penderfyniadau cyffredinol y Gymdeithasfa yn effeithio i roddi atalfa ar y pregethwyr a goleddent syniadau culion am iawn Crist. Pregethent o hyd yr un a'r unrhyw athrawiaethau; gwadent fod yr efengyl yn galw neb ond yr etholedigion, gan haeru mai digon ar gyfer y rhai hyny yn unig oedd haeddiant y prynedigaeth, a chan ddifenwi pawb a gredent yn wahanol fel Arminiaid rhonc. Byddai llawer o deithio yn y cyfnod hwnw, a phregethwyr Gwynedd yn eu tro yn ymweled yn fynych â'r Deheudir. Cyhoeddai Uchel Galfiniaid y Gogledd eu hopiniynau yn ddifloesgni pan ar eu teithiau yn y Dê, a chan nad oedd y dalaeth Ddeheuol wedi cael ei lefeinio o gwbl gan y syniadau yma, achosai ymweliadau y brodyr hyn gryn gyffro ac anesmwythder. Teimlai y Deheuwyr fod "efengyl arall" yn cael ei chyhoeddi iddynt, ac ofnent fod ymadawiad oddiwrth y ffydd yn prysur gymeryd lle yn y dalaeth Ogleddol. O ganlyniad, mewn Cymdeithasfa a gynhaliwyd yn Llangeitho, Awst, 1817, penderfynasant anfon y Parchn. David Rees, Llanfynydd, ac Ebenezer Richard, yn genhadau drostynt i'r Gymdeithasfa ddilynol yn Ngwynedd, i ofyn barn derfynol y brodyr cynulledig yno ar y pwnc mewn dadl. Cynwysai y genadwri ddatganiad pellach, nad oeddynt yn gweled pa fodd y gellid cadw undeb y Corph yn y ddwy dalaeth tra y goddefid rhyw rai i fyned o gwmpas, a hyny yn ddigerydd, gan bregethu yn erbyn hollddigonolrwydd ac anfeidroldeb iawn Crist. Anfonwyd rhybudd o'r penderfyniad hwn i Mr. Cadwaladr Williams, ysgrifenydd Cymdeithasfa y Gogledd, ac yr oedd y fath benderfyniad yn dyfod oddiwrth ddynion fel Charles, Caerfyrddin; Ebenezer Richard, a Thomas Richard, ei frawd, yn rhwym o gael ei deimlo yn Ngwynedd, fel yn meddu y pwysigrwydd mwyaf.

Dyma y Cyfundeb yn y Gogledd yn cael ei hun unwaith yn ychwaneg mewn argyfwng difrifol. Yr oedd yn amlwg nas gellid myned yn y blaen yn hwy gyda phasio penderfyniadau cyffredinol, a rhyw ymanog i heddwch, ac ar yr un pryd oddef brodyr cyndyn i bregethu eu syniadau culion, gan wneyd penderfyniadau y Gymdeithasfa yn sarn. Mor ddifrifol yr ystyrid y sefyllfa fel y penderfynwyd galw cyfarfod o brif weinidogion y Gogledd yn Mangor, yn flaenorol i'r Gymdeithasfa yn Mhwllheli, er ystyried yr holl achos. Daeth lliaws yn nghyd, ac etholwyd y Parch. Robert Jones, Rhoslan, yn llywydd. Methodd y Parch. Thomas Jones fod yn bresenol oblegyd sefyllfa ei iechyd. Ymdeimlai pawb â phwysigrwydd y cynulliad, ac felly siaradent yn ochelgar a chymhedrol. O bawb, y Parch. John Elias oedd y mwyaf ei ddylanwad yn Nghymdeithasfa y Gogledd y pryd hwn, ac wrtho ef y dysgwylid am arweiniad yn yr argyfwng; ond dangosai gryn ammharodrwydd i ddweyd gair, a hyny yn un peth oblegyd absenoldeb y Parch. Thomas Jones. Modd bynag, wedi cryn gymhell, dyna ef ar ei draed. Hawdd gweled ei fod yn gythryblus ei feddwl, ac yn ymdeimlo âg anhawsder ei sefyllfa. Mewn rhan yn unig y cawsai ei argyhoeddi o'r ammhriodoldeb o ddefnyddio y gair "cydbwys" wrth gyfeirio at yr iawn, ac megys o'i anfodd y gollyngai ei afael arno. Rhaid hefyd y teimlai fod y syniadau a barent yr

holl aflonyddwch wedi derbyn cefnogaeth bwysig ganddo ef ei hun, trwy y bregeth yr ydym wedi cyfeirio ati yn barod. Dechreuodd ei araeth yn y cyfarfod yn Mangor, trwy ledfeio y Parch. T. Jones; dywedai fod Mr. Jones wedi difynu rhai ymadroddion o'i bregeth ag yr oedd efe, i Mr. Jones yn bersonol a thrachefn i'r frawdoliaeth yn Ruthin, wedi datgan ei ofid o'u plegyd, ac wedi eu galw yn ol. Yna aeth yn mlaen i geisio profi nad syniad dyeithr i'r Methodistiaid oedd iawn cydbwys, ei fod i'w gael yn y *Geiriadur Ysgrythyrol* gan Mr. Charles, a darllenodd ddifyniad maith allan o'r *Geiriadur* fel prawf. Yna cyfaddefai nad oedd y syniad a gynhwysid yn y gair yn Ysgrythyrol, a dywedai nad oedd am ei ddefnyddio mwy, ac nad oedd wedi arfer y term er Cymdeithasfa Ruthin. Siaradai yn gymhedrol, a hyny am ryw awr o amser; ymdrechai liniaru pob teimlad dolurus, ac hyd ag oedd ynddo i gadw undeb y Corph.

Gwedi iddo ef orphen cyfododd y Parch. Richard Jones, y Wern, gŵr oedd yn dechreu dyfod i'r golwg fel duwinydd cryf, a dadleuydd medrus, a thraddododd anerchiad nodedig o effeithiol. "Rywbryd, yn ei sylwadau," ebai Dr. Owen Thomas, wrth adrodd yr hanes, "fe gyfeiriodd at y gair '*cydbwys*.' 'Nid oes genyf fi ddim yn erbyn y gair, ond i ni ddeall cydbwys â pha beth. Cydbwys â gogoniant yr orsedd; cydbwys âg anrhydedd y Brenhin tragywyddol; cydbwys â gogoniant Duw, difai i Dduw. Dyma rywbeth anfeidrol fwy na'r holl greadigaeth i gyd, yn ei holl eangder difesur, o gymaint ag y mae y Creawdwr yn fwy na'r creadur. Trueni mawr dyn fel pechadur ydyw ei fod yn ol am ogoniant Duw; a pherffeithrwydd aberth Calfaria, yn cyfodi oddiar fawredd y Person bendigedig a'i hoffrymodd ei hun, yw, ei fod yn ddifai i Dduw. Digon, a digon byth, i ateb holl ofynion cyfiawnder, ac i lanw calon y Duwdod anfeidrol ei hun.' Pan ydoedd yn myned rhagddo fel hyn, a chyn iddo gael gorphen llefaru yr hyn a fwriadai, tywynodd rhyw oleuni dysglaer ar y pethau, nes yr oedd pawb yn y lle yn wylo, a'r cadeirydd, yr hybarch Robert Jones, yn gwaeddi, wedi colli pob llywodraeth arno ei hun: 'Fy Arglwydd a'm Duw,' a phawb gyda eu gilydd fel un, yn barod i gau allan bob culni, ac i ddwyn y dystiolaeth gadarnaf, ac yn y geiriau mwyaf penderfynol, i anfeidrol aberth Crist."

Fel hyn, yn nghanol sŵn wylo a moliant y terfynodd y cyfarfod pwysig hwn yn Mangor. Mor bell ag yr ydym yn deall ni phasiwyd un penderfyniad ynddo; eithr caed rhywbeth llawer rhagorach na phenderfyniad, sef eneiniad oddiwrth y Sanctaidd hwnw, i wybod y gwirionedd, ac i asio calonau y brodyr yn nghyd. Aeth pawb tua'r Gymdeithasfa yn llon eu hyspryd, gan deimlo fod yr ystorm yn chwythu drosodd, a bod y cymylau bygythiol wedi eu gwasgar. Erbyn myned i Bwllheli yr oedd y ddau frawd o'r Dê wedi cyrhaedd; yr oedd yno lythyr hefyd oddiwrth y Parch. Thomas Jones yn cwyno fod rhai brodyr o hyd yn defnyddio ymadroddion culion pan yn cyfeirio at iawn Crist, ac yn galw ar y Gymdeithasfa i ddefnyddio mesurau effeithiol er rhoddi terfyn ar y cyfryw beth. Nid yw yn ymddangos i unrhyw ddadleuaeth gymeryd lle; cydunwyd ar y penderfyniadau a gawsent eu pasio yn Nghymdeithasfa y Bala, 1809. Anfonwyd y llythyr canlynol hefyd at Mr. Jones:—

"Pwllheli, Hydref 1af, 1817. Anwyl Frawd,—Derbyniasom eich llythyr, yr hwn a ddarllenwyd yn y *Committee*, am wyth o'r gloch y boreu. Fe a'i gwrandawyd, ac ystyriwyd ei gynwysiad gyda phwyll; arwyddwyd hefyd y tiriondeb, a'r caredigrwydd mwyaf tuag atoch, yn eich profedigaeth. Amlygwyd hefyd yr anfoddlonrwydd mwyaf tuag at y rhai sydd wedi arfer ymadroddion megys: 'Pe buasai *chwaneg* i'w hachub, y buasai raid i Grist *ddyoddef* ychwaneg,' &c., a phob ymadroddion eraill ag sydd yn tueddu i osod terfyn i ANFEIDROLDEB Y PERSON, EI ABERTH, A'I IAWN. Ac yn y cyfarfod deg o'r gloch, fe alwyd i gyfrif rai personau ag oedd wedi bod yn euog o arfer y cyfryw ymadroddion, a derbyniasant y rhybudd mewn tiriondeb, gan addaw eu gadael heibio rhagllaw. Yn mhellach, fe ddarllenwyd, allan o'r *Drysorfa*, yr hyn a gydunwyd arno mewn *Association* er ys naw mlynedd yn ol, a barnwyd fod yr ymadroddion hyny ar Brynedigaeth, fel canolbwynt, neu gynllun o'r modd y dylid gosod allan yr athrawiaeth o brynedigaeth wrth lefaru am dani. Ac os oedd gradd o wahanol olygiadau gan rai arno, rhoddwyd gorchymyn na byddai i neb ei osod allan mewn dull i ddangos fod dim dadleuaeth yn ein plith, gan gydnabod fod pawb, yma, yn ddarostyngedig i lawer o ammherffeithrwydd, rhoddwyd taer anogaeth i oddef ein gilydd mewn

cariad.—Ydwyf, dros yr *Association*, eich annheilwng frawd, GABRIEL DAVIES."

Dywed Dr. O. Thomas ddarfod i benderfyniad y Gymdeithasfa roddi boddhad hollol i'r brodyr yn y Deheudir, yn nghyd ac ymwared mawr i feddwl Mr. Jones. Yn ei *Ymddiddanion ar Brynedigaeth*, a ail gyhoeddwyd gydag ychwanegiadau yn mhen tua dwy flynedd ar ol hyn, gwna y Parch. Thomas Jones y sylw canlynol yn y rhagymadrodd: "Ond i Dduw y byddo'r diolch, am iddo nid yn unig roddi cynhaliaeth dan y baich (fel tan feichiau eraill er fy ngwaeledd a'm hannheilyngdod mawr), ond hefyd drefnu ymwared mawr, trwy ogwyddo meddyliau fy mrodyr (mewn Cymanfa) yn erbyn y gwenieithydd a'r cablydd estronol hwn. Bu penderfyniad yno mewn modd dwys i'r perwyl a ganlyn: 'Fod aberth Crist i'w gyfrif yn wir annherfynol ei werth.'" Y "gwenieithydd a'r cablydd estronol" oedd y dyb newydd, yn gosod terfyn i werth yr iawn.

Dyma anfeidrol werth aberth Crist, a'i ddigonolrwydd ar gyfer byd o golledigion, wedi cael ei sefydlu am byth fel athrawiaeth yn mysg y Methodistiaid. Nis galwyd yr athrawiaeth hon i gwestiwn, mor bell ag y gwyddom, mewn unrhyw Gymdeithasfa ddilynol, er efallai nad oes bwyslais digonol wedi ei osod arni yn y *Cyffes Ffydd*. Daeth o hyn allan yn wirionedd a gredid yn ddiamheu gan y Corph, er fod rhai personau unigol yn parhau yn Uchel Galfiniaid. A'r Parch. Thomas Jones a haedda y clod am hyn. Brwydrodd drosti mewn amser ac allan o amser; amddiffynodd hi yn y pwlpud a thrwy y wasg gyda grym anorchfygol, nes cau safnau y gwrthwynebwyr; dyoddefodd drosti yn ei gymeriad ac yn ei deimladau; ond er y cwbl, ac yn nghanol gwendid corphorol dirfawr, llwyddodd i gael y Gymdeithasfa i roddi datganiad clir a phendant o'i phlaid, yr hwn ddatganiad ni alwyd yn ol hyd heddyw. Pe ond am hyn haeddai Mr. Jones gael ei restru yn mysg prif wroniaid y Cyfundeb. Diau iddo gael llawer o gymhorth, yn enwedig gan y Parchn. Richard Jones, y Wern, ac Ebenezer Morris, ond mor wir a hyny arno ef y disgynodd pwysau y filwriaeth. Gweddus hefyd cadw mewn cof fod y frawdoliaeth yn y Dê yn bleidiol iddo trwy yr holl ymgyrch, a diau fod hyn yn llonder ac yn gryfder mawr iddo. Yn mhen tua dwy flynedd ar ol hyn, pan ar ddwyn allan yr ail-argraffiad o'i *Ymddiddanion ar Brynedigaeth*, anfonodd lythyr at Gymdeithasfa Llangeitho, a gynhelid Awst 18, a'r 19, 1819, gyda golwg ar ei ysgrifeniadau, a chafodd a ganlyn yn ateb oddiwrth yr ysgrifenydd, sef y Parch. Ebenezer Richard: "Anwyl a pharchedig frawd,—Derbyniwyd eich llythyr brawdol a charedig at y Gymdeithasfa yn Llangeitho, a darllenwyd ef gerbron yr holl bregethwyr a'r henuriaid. Ac wedi cymeryd ei gynwysiad dan ystyriaeth penderfynwyd yn un llais, 'Bod yr oll o'r hyn yr ydych wedi ei gyhoeddi yn dra chymeradwy ganddynt, fel Corph, trwy Ddeheubarth Cymru.'"

Ni ddarfu i'w breswyliad yn Syrior Goch ddwyn i Mr. Jones yr adnewyddiad iechyd a obeithiai, ac felly yr ydym yn ei gael yn mis Mai, 1818, yn dychwelyd i Ddinbych, lle yr arosodd hyd oni symudwyd ef i dŷ ei hir gartref. Yr oedd Dinbych yn fwy manteisiol iddo oblegyd y byddai yn gyfleus i'r argraphwasg. Bu ei symudiad yn golled ddirfawr i eglwys y Bettws, ac yn arbenig i Henry Rees. Yr oedd yn cefnogi y gŵr ieuanc yn ei ddyhead am y pwlpud, ac wedi dechreu rhoddi gwersi iddo yn yr iaith Saesneg. Yr oedd ei lyfrgell werthfawr hefyd yn rhydd iddo. Parhaodd i deimlo dyddordeb yn y llanc Henry ar ol myned i Ddinbych, fel y prawf yr hanes canlynol. Yn y Cyfarfod Misol a gynhelid yn Ninbych, Chwefror 4 a'r 5, 1819, yr oedd Henry Rees yn cael ei dderbyn yn aelod fel pregethwr. Dygwyddodd y Parch. John Roberts, Llangwm, fod yn bresenol, ac er mai aelod o Gyfarfod Misol Meirionydd ydoedd ef, oblegyd ei hynafiaeth a'i safle galwyd arno i ymddiddan â'r gŵr ieuanc. Ac un pur lawdrwm ar bregethwyr ieuainc oedd Mr. Roberts. Dyoddefodd John Elias lawer oddiwrtho ar gychwyn ei weinidogaeth. Yn anffodus, yr oedd Henry Rees wedi troseddu y rheolau, trwy fyned y tuallan i'w derfynau, ar gymhelliad Mr. John Williams, Meidrim, Sir Gaerfyrddin. A dyma yr hen frawd o Langwm yn ymosod arno yn ddiarbed. Ceisiai y Parch. Peter Roberts, Llansanan, ei amddiffyn, trwy ddweyd mai ar John Williams yr oedd mwyaf o fai am ei gymhell; ond ni wnai hyny mo'r tro i'r Parch. John Roberts; curo yr ydoedd arno yn ddidrugaredd. Methodd y Parch. Thomas Jones oddef; cyfododd ar ei draed mewn dirfawr wendid, ac meddai mewn llais llawn o ddagrau: "Harri bach! paid di a thori dy galon, ond dos yn mlaen yn

rymus, yn nerth Yspryd yr Arglwydd, pwy bynag safo yn dy erbyn di, a pha faint bynag fydd raid i ti ddyoddef." Wedi dweyd hyn gorchfygwyd ef gan ei deimlad, nes gorfod myned allan. Yr oedd parch yr hen frawd o Langwm i Mr. Jones yn ddiderfyn; tynodd ei gyrn ato ar unwaith, a derbyniwyd Mr. Henry Rees yn aelod o'r Cyfarfod Misol heb ragor o wrthwynebiad.

Tua dechreu Hydref, 1819, dygodd Mr. Jones allan ail argraffiad o'i *Ymddiddanion ar Brynedigaeth* gyda chryn ychwanegiadau. Yn nglyn â'r llyfr ceir attodiad yn cynwys *Sylwadau gwahanol ar ddau lyfryn, un yn tueddu at ryw fath o Gyffredinolrwydd yn y Prynedigaeth, a'r llall yn waeth, i'r ochr arall, yn gosod terfyn i Aberth Crist.* Meddai Dr. Owen Thomas: "Y mae y llyfr hwn yn hynod yn hanes dadleuon duwinyddol Cymru, nid yn unig oblegyd y gallu a arddengys, a'r cyfoeth o dduwinyddiaeth a geir ynddo, ond yn arbenig oblegyd yr ymrysonau a'r teimladau annghysurus a achlysurwyd trwy y cyhoeddiad o hono." Y llyfr "yn tueddu at ryw fath o gyffredinolrwydd yn y Prynedigaeth," oedd eiddo y Parch. John Roberts, Llanbrynmair, at yr hwn yr ydym wedi cyfeirio yn barod. Nid oedd y gwahaniaeth rhwng Mr. Jones a Mr. Roberts yn fawr. Gosodai y ddau arbenigrwydd ar anfeidrol werth aberth y Gwaredwr, a bod perthynas arbenig a neillduol rhyngddo a'r etholedigion. Ond gwahaniaethent yn y pethau canlynol: 1. Daliai Mr. Roberts ddarfod i'r Arglwydd Iesu wrth farw brynu bendithion tymhorol i bawb dynion. Mewn geiriau eraill, mai ar sail dyoddefaint yr Arglwydd Iesu y cyfrenir bendithion tymhorol i'r annuwiol yn gystal ac i'r duwiol, a bod "trugareddau cyffredin Rhagluniaeth *yn dyfod ar hyd llwybr y gwaed*." Daliai Mr. Jones o'r ochr arall fod yr ymadrodd "prynu bendithion" yn ammhriodol; mai yr hyn a brynodd Crist wrth farw oedd personau ei bobl. Edrychai ef ar barhad y ddynoliaeth gwedi y cwymp, yn nghyd â gweinyddiad o fendithion tymhorol digonol er sicrhau y cyfryw barhad, fel cynyrch y trefniant gwreiddiol rhwng y Creawdwr a'n rhieni cyntaf, a ffrwyth daioni cyffredin Duw. Ond addefai yntau mai o herwydd teyrnasiad cyfryngol Mab Duw y mae y byd mewn meddiant o'r fath gyflawnder o gysuron, fel nad oedd yr agendor rhyngddo ef a Mr. Roberts ar y pen hwn yn llydan iawn. Ac yn raddol aeth yn ddadl am ddull o eirio, Pa un a ydyw yn briodol dweyd ddarfod i'r Arglwydd Iesu wrth farw brynu bendithion?" Y mae syniad y Parch. T. Jones wedi cael ei gorffori gan y Parch. James Hughes, Llundain, mewn penill adnabyddus:—

"Nid y nefoedd na'r bendithion, brynodd Iesu ar y groes;
Ond fe brynodd fyrdd o ddynion, pan ddyoddefodd angeu loes;
'Roedd e'n ffynon pob bendithion, nid oedd achos prynu rhai'n,
Prynu wnaeth yr etifeddion, pan goronwyd ef â drain."

2. Dadleuai Mr. Roberts fod yr un berthynas rhwng gwaed Iesu Grist a phechaduriaid yn gyffredinol ag sydd rhwng galwad yr efengyl a phechaduriaid yn gyffredinol. Dadleuai Mr. Jones o'r tu arall, os oedd perthynas rhwng gwaed Crist a phawb sydd yn clywed yr efengyl, yna darfod iddo dywallt ei waed yn ofer gyda golwg ar y rhai a annghredant. Ond credai Mr. Jones fel Mr. Roberts mai ar sail marwolaeth y Gwaredwr yr oedd yr efengyl yn galw pawb yn ddiwahaniaeth. Yr hyn a gondemniai yn benaf oedd y gair "perthynas." Ymddengys nad oedd y ddau yn gwahaniaethu ar y pen hwn ond mewn dull o ymadroddi.

3. Rhoddai Mr. Roberts yr ystyr eangaf i'r geiriau "pawb," "pob dyn," a "holl fyd," a arferir yn y Testament Newydd gyda golwg ar y gwrthddrychau y bu yr Iesu farw drostynt. Nid oedd yn honi fod yr Iesu wedi marw dros bawb yn yr un ystyr; dywedai fod neillduolrwydd ac arbenigrwydd yn ei farwolaeth dros ei bobl, neillduolrwydd a sicrhäi eu cadwedigaeth dragywyddol yn y pen draw; ond ddarfod iddo farw dros bawb yn yr ystyr o ddwyn iachawdwriaeth i'w cyrhaedd, a rhoddi cyfleustra iddynt am fywyd tragywyddol. Eithr cyfyngai Mr. Jones y geiriau hyn i'r eglwys, a dangosai allan o'r Ysgrythyr eu bod yn fynych yn cael eu defnyddio nid am yr holl hil ddynol, ond am ran o honi, ac mai amcan yr ysgrifenwyr ysprydoledig wrth eu harfer oedd gwneyd i ffwrdd â'r syniad cul Iuddewig am gylch llywodraeth y Messiah. Nid yw y pellder rhwng y ddau yn fawr ar y pen hwn ychwaith, ac y mae yn diflanu wrth edrych arno o bwynt ymarferol.

Dyn rhagorol oedd y Parch. John Roberts, duwiolfrydig o dymher, gonest a boneddigaidd mewn dadl, a rhesymwr cadarn; ac yn foneddigaidd a theg y mae Mr. Jones yn ei wrthwynebu. Ar lawer

cyfrif, gan fod y ddau mor agos i'w gilydd, ac yn gwahaniaethu yn benaf mewn dull o ymadroddi, trueni oedd iddynt fyned i ddadl o gwbl. Gellir priodoli y ddadleuaeth, a hyny o'r ddau tu, i'r mawr zêl a'u meddianai am gadw ar linell union gwirionedd. Yn mhen tua haner blwyddyn gwedi ymddangosiad yr *Ymddiddanion* cyhoeddodd Mr. Roberts atebiad. Ond yr oedd y Parch. Thomas Jones o fewn tri mis i'w farw pan gyhoeddwyd ef, ac felly ni chafodd gyfleustra i wneyd sylw o hono.

Y "llall, yn gosod terfyn i aberth Crist,' y cyfeiria y Parch. Thomas Jones ato yn ei attodiad i'w lyfr, oedd y Parch. Christmas Evans, yn ei draethawd ar *Neillduolrwydd y Prynedigaeth*. Yr ydym wedi cyfeirio at y llyfr yn barod. Ynddo dadleuai yr awdwr dros iawn cydbwys, sef cydbwys â'r hyn a ddyoddefai yr etholedigion pe y cawsent eu bwrw i uffern; pe buasai ychwaneg yn cael eu prynu y buasai raid i Fab Duw ddyoddef ychwaneg, a ddarfod iddo ddyoddef ychwaneg dros rai na'u gilydd. Yr oedd y golygiad cul hwn ar yr iawn yn cyffroi holl natur Mr. Jones mewn gwrthwynebiad; ychwanegid ei ofid wrth ystyried fod yr awdwr yn un o'r pregethwyr mwyaf poblogaidd yn Nghymru, ac yn cael ei gydnabod fel arweinydd y blaid grefyddol i ba un y perthynai. Felly, nid fel yr ymddygai at syniadau y Parch. John Roberts y mae yn trin y rhai hyn; yn hytrach ysgrifena yn gryf, er yn gwbl foneddigaidd, gan ddangos eu han-Ysgrythyroldeb, eu tuedd i ddarostwng anrhydedd y Gwaredwr, ac i osod terfyn ar anfeidroldeb ei aberth, a chyn y diwedd geilw ar y Parch. Christmas Evans i alw ei syniadau yn ol, a hyny mor gyhoeddus ag yr ydoedd wedi eu taenu. Terfynir yr attodiad gyda chywydd miniog, yn yr hwn y mae yn trin golygiadau ei wrthwynebydd yn bur arw.

Daeth llyfr Mr. Jones allan ddechreu Hydref, 1819, fel yr ydym eisioes wedi sylwi. Yr oedd Mr. Christmas Evans ar y pryd ar daith yn Sir Ddinbych; ar ei ffordd adref clywodd am fwriad Mr. Jones i ddwyn y cyfryw lyfr allan, a'i fod am feirniadu ei syniadau ef ynddo. Felly ysgrifenodd ato y llythyr canlynol:—

"Llangollen, Hydref 18, 1819. Anwyl frawd,—Yr wyf wedi deall eich bod chwi yn bwriadu ysgrifenu yn erbyn rhyw bethau a ysgrifenais i ar neillduolrwydd y prynedigaeth. Dymunaf arnoch oedi hyd oni chewch fy ngweled i yn gynar yr wythnos nesaf yn Ninbych. Nid wyf fi yn sefyll dros y dull o ymresymu a fabwysiedais yn y llyfryn hwnw, sef oddiwrth bwysau a mesurau, yr hyn oedd yn tueddu i roddi terfyn i'r hyn oedd annherfynol, yn annherfynol ynddo ei hun. Yr wyf fi y dyddiau hyn yn ail-olygu y pwnc, ac yn gweled achos i lwyr ymwrthod â'r dull hwnw o bwyso a mesur, yr hyn fe ddichon oedd yn eich hollol ddolurio chwi. Cewch weled fy ysgrifen i ar y pwnc, a bydd yn dda genyf gael eich barn arni, a'ch cymhorth, ac ymgynghoriad yn nghyd. Dichon ein bod yn bresenol yr un farn a'n gilydd; ac os felly y mae'r peth yn bod, cyfrifaf hyny yn radd helaeth o hyfrydwch. Cewch glywed pan y byddaf yn Ninbych, y pryd yr wyf yn addaw llawer o hyfrydwch wrth ymgynghori, a chael eich barn ar yr hyn a ysgrifenais. Y mae yn ymddangos fel goleuni newydd i mi; ond dichon mai fy niffyg sylw ydyw hyny, a fy ngwendid. Gras mawr i chwi. Anwyl frawd, ydwyf, yr eiddoch, CHRISTMAS EVANS."

Llythyr boneddigaidd a Christionogol, a roddodd foddhad mawr i Mr. Jones, ond yn anffodus nis gallai gydsynio â'r cais a gynwysai, am fod ei lyfr allan o'r wasg er ys dros bythefnos. Daeth Mr. Christmas Evans i Ddinbych yn ol ei addewid, a chyfaill o'r enw Richard Foulkes gydag ef, ac y mae yn ymddangos ei fod wedi gweled llyfr Mr. Jones cyn cyrhaedd. Yr oedd yn dra edifeiriol am yr hyn a ysgrifenasai; dywedai ei fod wedi dyfod i ymostwng dan y cerydd a gawsai fel plentyn dan wialen ei dad. Yn mhellach, dangosodd gopi o lyfr oedd wedi ysgrifenu ar "Brynedigaeth,' yr hwn y dymunai ar Mr. Jones ei ddarllen, ac ysgrifenu ei farn arno erbyn yr wythnos ganlynol. Gwnaeth yntau yn ol ei gais, a'r wythnos ganlynol daeth Mr. Christmas Evans i Ddinbych eilwaith, a chafodd ef a Mr. Jones ymddiddan maith am y llyfryn a'i gynwys. Ymddangosai Mr. Evans fel yn galw yn ol yn gyfangwbl ei hen olygiadau, ac fel pe yn syrthio i mewn, o leiaf i raddau mawr, â golygiadau Mr. Jones, gyda golwg ar anfeidroldeb yr iawn. Bu yr holl ymddiddan yn gwbl gyfeillgar. Ebai Mr. Jones: "Am ei eiriau parchus, os nid rhy barchus, am danaf fi, bryfyn gwael, yn wir nid wyf yn cofio am ddim a ddywedwyd wrthyf erioed, gan neb o'm cyfeillion anwylaf, yn cyrhaedd i bellach gradd o barch, na'r geiriau a gefais o enau C. E."

Dyma Mr. Christmas Evans yn gadael Dinbych gan gydnabod geudeb ei hen olygiadau, a chan addaw eu galw yn ol yn gyhoeddus. Eithr druan o hono! Nid oedd cysondeb yn elfen gref yn ei gymeriad. Nid oes amheuaeth am ddysgleirdeb ei athrylith, na phoblogrwydd digymhar ei ddawn; yr oedd yn ddiau yn ddyn o yspryd tra chrefyddol, ac fel rheol yn cael ei lywodraethu gan amcanion pur. Eithr ni feddai nemawr sefydlogrwydd; un o brif ddiffygion ei gymeriad oedd cyfnewidioldeb; mewn rhai pethau hefyd yr ydoedd yn dra phlentynaidd, ac yn agored i gael ei arwain ar gyfeiliorn gan greaduriaid cyfrwys. Ymddengys mai felly y bu y tro hwn. Ar ei ffordd adref i Sir Fôn cyfarfyddodd â rhywrai; perswadiwyd ef gan y rhai hyny y byddai yn ddianrhydedd bythol iddo ef, yr enwocaf yn ei enwad ac un o brif bregethwyr Cymru, i alw yn ol ei olygiadau ar g'oedd gwlad, a hyny ar gais gweinidog perthynol i Gyfundeb arall. Mewn canlyniad dychwelodd yn benderfynol, nid i gyflawni ei addewid i Mr. Jones, ond i amddiffyn hyd y medrai y golygiadau y dywedasai ei fod wedi ymwrthod â hwy, ac yr addawsai eu galw yn ol! Yn fuan yr ydym yn ei gael yn cyhoeddi llyfr, dan y teitl, *Prynedigaeth o fewn cylch Etholedigaeth.* Meddai Dr. O. Thomas am dano: "Mi a allwn feddwl fod y llyfr wedi ei ysgrifenu gyda brys anghyffredin; mae ei gynllun yn dra annghelfydd, ac y mae ei gyfansoddiad drwyddo yn hynod o drwsgl ac aflerw. Y mae yr awdwr fel un wedi haner ymddyrysu, yn methu gwybod yn iawn pa beth i'w wneuthur, y mae yn rhedeg o'r naill beth i'r llall—yn haeru ac yn gwadu, ac yn haeru drachefn; ac fel creadur mewn magl yn methu ymryddhau, ac er pob ymdrech i ymysgwyd yn myned yn dynach, dynach, yn ei masgau." Cydnabyddai ei fod wedi newid rhyw gymaint ar ei farn; yna haerai fod y newidiad yn gymharol ddibwys, a rhoddai ystyr hollol annaturiol i rai o'r geiriau a ddefnyddiasai er dangos ei fod yn agos o ran syniad yn y man lle yr ydoedd. Gwaeth na'r cyfan, a'r hyn oedd yn anfaddeuol ynddo, beth bynag allai ei brofedigaeth fod, meiddiodd awgrymu mai ffug oedd ymresymiad Mr. Jones yn erbyn y Parch. John Roberts, a darfod iddo wneyd hyny "i daflu hug ar wyneb ei gyfeillion, ei fod ef yr un farn â hwy;" hyny yw, mai rhagrithio yr ydoedd y Parch. T. Jones yn yr hyn a ysgrifenasai. Achwynai Mr. Evans hefyd ei fod yn cael ei gyfenwi yn y rhagymadrodd i'r llyfr fel "y gwenieithydd a'r cablydd estronol hwn," ond pe buasai wedi talu sylw digonol i'r gystrawen canfyddai mai nid efe yn bersonol, ond y dyb gyfyng am iawn Crist oedd yn cael ei galw felly.

Penderfynodd y Parch. T. Jones na fyddai iddo ymddadleu ychwaneg â Mr. Evans, ond cyhoeddodd lyfryn bychan, wyth tudalen, yn egluro yr holl drafodaeth a fu rhyngddynt ill dau. Teitl y llyfr yw: *Llythyr oddiwrth T. Jones at y rhai oll a'i ddarlleno, ac yn enwedigol at Weinidogion ac Aelodau y Corph o Bobl a elwir y Bedyddwyr, yn achos llyfryn o eiddo Mr. Christmas Evans.* Dyma y peth diweddaf a gyhoeddwyd ganddo, ac y mae yn amlwg ei fod yn ysgrifenu dan deimladau tra dolurus. Ni ddaeth y Parch. Christmas Evans allan dan ei enw priodol yn erbyn Mr. Jones, ac ni feiddiodd wadu cywirder ei adroddiad parthed y drafodaeth a fuasai rhyngddynt, ond yn mhen tua thair wythnos dyma bamphledyn yn caël ei gyhoeddi o Ruthyn, heb enw un awdwr wrtho, yn dwyn y teitl, *Llythyr oddiwrth ychydig o Aelodau y corph o bobl a elwir y Bedyddwyr yn Sir Ddinbych at Mr. Thomas Jones.* Llythyr brwnt oedd hwn, fel y dengys yr esiampl ganlynol o'r holiadau a gynwysa: "(6) Onid yw eich barn chwi ar brynedigaeth yn wrthgyferbyniol i'r Corph y perthynwch iddo? Ac oni ddarfu i chwi gyhoeddi'ch llyfr heb genad y Corph, trwy y twyllddarluniad a roddasoch o flaen Cymanfa Pwllheli?" "(14) Ai nid ydyw eich dadleuon presenol â'ch Corph eich hun, a'r eiddoch gynt yn erbyn yr Arminiaid, yn dangos yn eglur oleu eich bod yn rhy anghraff a charbwl, gyda'ch holl sachaid o ddyfnddysg ac ystorïon gwybodau, i drafod y cyfryw bethau a hyny, yn ol barn gyffredinol y gwŷr mwyaf craffus yn eich Corph eich hun?" Yn sicr nid oedd y fath lyfryn yn haeddu atebiad. Yn fuan dyma "Ail Lythyr" o gyffelyb nodwedd, ac heb enw unrhyw awdwr wrtho, yn gwneuthur ei ymddangosiad. Ni wnaeth y Parch. T. Jones un sylw o hwn mwy na'r cyntaf. Credid ar y pryd mai y Parch. Christmas Evans ei hun oedd awdwr y ddau lythyr, er y ceisiai ymddieithrio, ac erbyn hyn y mae hyny yn gwbl sicr. Trueni fod gŵr parchus, o'i sefyllfa ef, wedi ymostwng mor isel.

Ond y Parch. Christmas Evans a deimlodd ddyfnaf yn y mater wedi y cwbl, oblegyd yn fuan bu y Parch. Thomas

Jones farw, ac aeth y newydd fel brath cleddyf at galon ei wrthwynebydd. Nis gallai Mr. Evans gadw digofaint yn hir, ac yr oedd ei galon yn ei lle, er y collai ei dymher weithiau yn enbyd. Meddai yn mhen blynyddoedd ar ol hyn: "O'r fath boen a barwyd i mi trwy fy nadl â Mr. Jones, o Ddinbych! Fel y gofidiwyd fi iddo farw, a myned i'r nefoedd, fel yr wyf yn cwbl gredu iddo ef fyned, tra yr oeddem yn dadleu â'n gilydd!" Wrth adolygu ei eiriau sylwa y Parch. Owen Thomas, D.D.: "Nid oes amheuaeth genym nad ydynt yn awr ill dau yn y nefoedd, yn cyd-dreiddio i ryfeddodau natur yr iawn, yn cyd-ddiolch am ei rinwedd, ac fe allai yn cydsynu at eu hymrysonau yn ei gylch yma, pan nad oeddent ond megys bechgyn dan oed!"

Yr ydym eisioes wedi cyfeirio at y cydymdeimlad oedd rhwng Mr. Jones, a'r Parch. Ebenezer Morris, ac at y modd y cydolygent am athrawiaeth yr efengyl. Profir hyn yn mhellach gan y llythyr canlynol at Mr. Jones. "Blaenanerch, Mai, 1820 . . Am eich llyfr am anfeidrol werth aberth Crist, yr wyf yn ei gyfrif yn odidog, ac yn gwbl iachus o ran athrawiaeth; ac yn werthfawr iawn o ran ei gyfansoddiad drwyddo oll; i raddau mawr yn deilwng i'r gwirionedd y mae yn ei amddiffyn, ac yn addas i'r Person gogoneddus y mae yn dywedyd am dano. Yr wyf yn gwybod am amrywiol o'r brodyr wedi cael pleser mawr, a budd sylweddol, wrth ei ddarllen, ac effeithiau daionus ar eu meddyliau, a gallaf finau ddywedyd yr un peth. Eich annheilwng frawd, Ebenezer Morris."

Wrth ffarwelio â Mr. Jones fel dadleuydd, goddefer i ni eto ddatgan ein barn gyda golwg ar werth ei wasanaeth i dduwinyddiaeth Cymru. Nis gellir prisio ein rhwymedigaeth iddo fel gwlad yn yr ystyr hwn. Iddo ef yn benaf fel offeryn y rhaid priodoli y wedd eang, rhyddfrydig, sydd ar Galfiniaeth y Dywysogaeth, ac ar y pwyslais sydd yn cael ei osod yn ein holl bwlpudau ar anfeidrol werth aberth y Gwaredwr. Pan yr oedd pregethwyr poblogaidd fel John Elias, a Christmas Evans, yn tueddu i fyned ar gyfeiliorn, ac am gyfyngu galwad yr efengyl i'r etholedigion, efe dan fendith Duw a fu yn foddion i atal y llifeiriant, ac i gadw yr arbenigrwydd priodol ar y gwirionedd anfeidrol gysurlawn fod digon yn iawn Mab Duw ar gyfer pawb, ac y gellid yn ddiberygl wahodd pawb ato. Prawf o gymhesuredd ei feddwl, ac o degwch ei farn, ydyw, mai efe ar y naill law oedd y prif ddadleuydd yn erbyn syniadau Arminaidd y Wesleyaid, ac ar y llaw arall, y dadleuwr penaf yn erbyn y rhai a dueddent at Uchel Galfiniaeth. Mewn rhan fawr rhaid priodoli i ddylanwad y Parch. Thomas Jones y ffaith fod pwlpud Cymru wedi cadw ar ganol y llwybr, heb wyro i gyfeiriad Arminiaeth a Morganiaeth ar y naill law, nac i gyfeiriad Antinomiaeth ar y llaw arall.

O herwydd iddo fod mewn cymaint o ddadleuaeth, a bod gwedd ddadleugar ar lawer o'r llyfrau gyfansoddwyd ganddo, gallai rhai dybio ei fod yn hoff o frwydro, ac yn caru cecraeth. Byddai synio felly yn gamgymeriad difrifol. Gŵr heddychlawn ydoedd yn naturiol, tyner ei deimlad, a charedig ei yspryd, a'i gasbeth ydoedd dadl. Dygir tystiolaeth ddiamwys i hyn gan ei fywgraffwyr cyntaf, sef y Parchn. John Humphreys, Caerwys, a John Roberts, Llangwm, y rhai a'i hadwaenent yn dda, ac a'i carent yn fawr. Zêl angerddol dros yr hyn a ystyriai yn wirionedd Duw yn unig a gyffröai Mr. Jones, ac a barent iddo dynu ei gledd o'i wain. Ar yr un pryd, fel yr ydym yn barod wedi sylwi, meddai holl anhebgorion dadleuydd o'r dosbarth blaenaf. Yr oedd yn glir a threiddgar ei ganfyddiad, yn alluog i weled trwy bob ffug-ymresymu; meddai wybodaeth eang ac adnoddau cyfoethog; ac yr oedd ei feddwl yn naturiol o duedd resymegyddol. Ei fai yn yr ystyr hyn oedd methu ffrwyno weithiau y dueddfryd wawdlyd *(satirical)* gref a feddai, a dywed y Parch. Dr. Thomas nad ymfoddlonai ar daro ei wrthwynebydd i lawr, ond y rhaid iddo ei daro yn *farw*. Er hyn, tueddwn i feddwl mai efe, a'r Parch. John Roberts, Llanbrynmair, oedd y tecaf a'r mwyaf boneddigaidd o holl ddadleuwyr Cymru, ac mai yn groes i'w hanianawd y darfu i'r naill a'r llall ymladd eu brwydrau.

Ychydig ydym wedi ddweyd am y Parch. Thomas Jones fel pregethwr, am mai nid yn y cymeriad hwn y gwnaeth fwyaf o wasanaeth i'w wlad ac i'w Gyfundeb. Ar yr un pryd, prawf y safle anrhydeddus yn mha un y caffai ei osod yn y Cymdeithasfaoedd, ei fod yn bregethwr gwych. Dywed ei fywgraffwyr fod "ei lais yn eglur a pherseiniol, ei olwg yn dreiddiol, difrifol, ac enillgar, a'i agwedd

yn sobr a dirodres." Ychwanegant ei fod, "yn ei ymdriniaeth â gwaith yr Arglwydd, fel un yn teimlo ei bwys a'i ysprydolrwydd, ac nid fel cellweirwr gwag." Dywed Dr. O. Thomas am dano fod "ei ddull yn drymaidd, a'i lais heb fod yn rhyw soniarus iawn," ond fod ei "bregethau yn wastadol yn gyfansoddiadau galluog, ac, ond ei ddodi mewn lle digon cyhoeddus i gyffroi ei deimladau," y byddai effeithiau rhyfedd drwyddo. Oddiwrth hyn yr ydym yn casglu nad oedd ar achlysuron cyffredin yn cael ei ystyried yn bregethwr poblogaidd; mewn tŷ anedd, pan fyddai y gynulleidfa yn fechan, mai araf a thawel fyddai ei draddodiad, er y byddai ganddo fêr yr athrawiaeth iachus yn ddieithriad. Ond pan y caffai ei osod uwchben torf fawr, a phan y gafaelai yntau mewn athrawiaeth bwysig, byddai ei enaid yn cael ei gynhyrfu ynddo, collai bob syrthni a marweidd-dra, a deuai y pryd hwnw yn wirioneddol hyawdl, gan ysgubo y cwbl o'i flaen megys â llifeiriant anorchfygol. Diau hefyd i waeledd ei iechyd ei rwystro i gyrhaedd y poblogrwydd y buasai yn sicr o'i enill fel pregethwr oni bai am hyny.

Dywed ei fywgraffwyr yn mhellach ei fod yn fardd enwog, yn Saesneg a Chymraeg, ond yn benaf yn Gymraeg. Wrth hyn golygant, nid yn unig y meddai feistrolaeth hollol ar reolau barddoniaeth, gaeth a rhydd, ond hefyd y meddai awen gref, yn gallu ehedeg i'r uchelderau. Heblaw y darnau prydyddol a gyhoeddwyd ganddo ceir brawddegau tlysion, llawn barddoniaeth, yn britho ei bregethau argraffedig, y rhai a brofant fod barddoni yn hawdd iddo. Yn mhellach, cyfansoddodd nifer mawr o emynau, amryw o ba rai sydd yn mysg ein emynau mwyaf poblogaidd, ac yn sicr o gael eu canu tra y peri yr iaith Gymraeg. Yn mysg y rhai hyn y mae:—

"Mi wn fod fy Mrynwr yn fyw."

"Rhyfeddod, rhyfeddod, i Brynwr y byd."

"'D oes eisiau'n bod, nac ofn, na chlais, na chlwy'."

Yn ol y Parch. Jonathan Jones, y mae a ganlyn yn rhestr bur gyflawn o weithiau Mr. Thomas Jones:—

1. "Marwnad Ann Parry." Cyhoeddwyd 1788.
2. "Marwnad mewn cof am y Parch. Daniel Rowlands, hefyd am y Parch. William Williams, o Bantycelyn, ac yn ddiweddaf am Dafydd Morrys, Twrgwyn." Cyhoeddwyd 1791.
3. "Sylwadau ar Draethawd a elwir Undeb Crefyddol, neu rybudd yn erbyn Schism." Cyhoeddwyd 1793.
4. "Y Cristion mewn Cyflawn Arfogaeth." Cyfieithiad o waith Gurnal, y drydedd ran. Cyhoeddwyd 1796.
5. "Gair yn ei amser at Drigolion Cymru." Ni fedd hwn ddyddiad.
6. Llawer o ddarnau yn y *Drysorfa Ysprydol*, a olygid ganddo ef a Mr. Charles.
7. "Geirlyfr Saesneg a Chymraeg." Cyhoeddwyd 1800.
8. "Drych Athrawiaethol." Cyhoeddwyd 1806.
9. "Ymddiddanion Crefyddol rhwng dau Gymydog, Ystyriol a Hyffordd." Cyhoeddwyd 1807.
10. "Sylwadau ar Lyfr Mr. Owen Davies." Cyhoeddwyd 1808.
11. "Y Cristion mewn Cyflawn Arfogaeth." Cyfieithiad o'r bedwaredd ran o waith Gurnal. Cyhoeddwyd 1809.
12. "Catecism Eglwys Loegr." Cyfieithiad. Cyhoeddwyd 1809.
13. "Ateb byr i Bapurlen." Cyhoeddwyd 1811.
14. "Achos o Ddiolchgarwch." Cyhoeddwyd 1811.
15. "Diwygwyr, Merthyron, a Chyffeswyr." Neu y Merthyrdraeth. Cyhoeddwyd 1813.
16. "Hymnau Newyddion." Cyhoeddwyd 1814.
17. Cofiant y Parch. Thomas Charles. Cyhoeddwyd 1816.
18. "Ymddiddan rhwng dau Gyfaill, Ymofynydd a Henwr, ar Brynedigaeth." Cyhoeddwyd 1816.
19. "Anrheg i Blentyn." Hanes marwolaeth rhai plant duwiol. Cyhoeddwyd 1806.
20. "Cân, neu Gwyn Ymostyngar." Cyhoeddwyd 1816.
21. "Cân am y Cynhauaf."
22. "Y Cristion mewn Cyflawn Arfogaeth." Cyfieithiad o waith Gurnal, rhan gyntaf. Cyhoeddwyd 1819.
23. "Ymddiddan rhwng Ymofynydd a Henwr ar Brynedigaeth," gydag Attodiad. Cyhoeddwyd 1819.
24. Llythyr at Weinidogion ac Aelodau y Bedyddwyr. Cyhoeddwyd 1820.

Yn ychwanegol cyhoeddwyd cryn nifer o'i weithiau barddonol, yn nghyd â'i hunangofiant ar ol iddo farw.

Rhaid i ni bellach ddyfod at amgylchiadau ei ymadawiad. Pregethodd am y tro olaf yn Ninbych, Sabbath, Mai 28, 1820. Ei destun oedd 2 Cor. v. 4: "Canys ninau hefyd y rhai y'm yn y babell hon ydym yn ocheneidio, yn llwythog; yn yr hyn nid y'm yn chwenych ein diosg, ond ein harwisgo, fel y llyncer yr hyn sydd farwol gan fywyd." Ar ei bregeth datganodd ei gred ei fod wedi cael esgyn i'r pwlpud am y tro olaf. Yr wythnos ganlynol cymerwyd ef yn glaf o'r afiechyd y bu farw o hono. Er fod ei boen yn fawr, dangosodd bob dyoddefgarwch, ac yr oedd yn gwbl hyderus wrth feddwl am groesi i'r byd tragywyddol. Yr oedd hefyd yn gwbl dawel gyda golwg ar yr athrawiaethau a amddiffynasai. Meddai wrth y Parch. John Roberts, Llangwm, yr hwn a ddaethai i ymweled ag ef, gan gyfeirio at ei lyfr ar y

Prynedigaeth: "Yr wyf fi yn marw mewn heddwch, ac yn hollol o'r un meddwl, ac heb ddim trallod meddwl am ddim (oedd yn y llyfr) o ran mater, ond ei fod yn waith gwael iawn." Yr oedd Cymdeithasfa y Bala yn agoshau, a'r Parch. John Roberts yn bwriadu myned yno. Dymunai yntau ei gofio at y Gymdeithasfa, gan ddymuno ar i'r Presenoldeb dwyfol fod yn amlwg; ac ychwanegai, yn ddiau fel cenadwri at ei frodyr: "Gwyliwch rhag i'r achos mawr fyned i lawr genych. Ymrowch i weddïo. Rhodiwch mewn cariad a gostyngeiddrwydd. Ymdrechwch fod yn fuddiol yn mhob lle, a chyda phob rhan o'r gwaith, ac yn fwyfwy manwl am athrawiaeth a dysgyblaeth." Adroddai hefyd amryw emynau, a cheisiai gan Mr. Roberts a'r rhai oedd yn bresenol ganu y gair canlynol:—

"D'ai 'mofyn haeddiant byth, na nerth,
Na ffafr neb, na'i hedd;
Ond hwnw'n unig gwyd fy llwch
Yn fyw i'r lan o'r bedd."

Y mae ei fywgraffwyr wedi cofnodi llawer o'i ymadroddion pan ar ei glaf wely, ac yn teimlo ei fod yn nesu i fyd arall, ond rhaid i ni ymatal. Unwaith dywedai: "A gaf fi, y pechadur duaf, dy foli di, Iesu, yn dragywydd! O! tragywyddol garu Iesu, a'i folianu! O Achubydd pechaduriaid; yn dy law di mi allaf rydio'r afon!" Y geiriau olaf o'i eiddo a ddeallwyd oeddynt: "A gaf fi farw mewn heddwch â'r Duw anfeidrol! O hapus nefoedd. Hapus nefoedd!" Tuag un o'r gloch, dydd Gwener, Mehefin 16, 1820, ehedodd ei yspryd pur i'r gwynfyd tragywyddol.

Y dydd Llun canlynol cymerodd ei gladdedigaeth le. Daeth torf yn nghyd, uwchlaw tair mil, meddir, y liosocaf a welwyd mewn claddedigaeth yn Ninbych erioed. Pregethodd y Parch. Daniel Jones, mab Robert Jones, Rhoslan, oddiar Col. iii. 4: "Pan ymddangoso Crist ein bywyd ni, yna hefyd yr ymddangoswch chwithau gydag ef mewn gogoniant." Ar ei ol pregethodd y Parch. John Davies, Nantglyn, yr hwn a gawsai ei ordeinio yr un pryd a Mr. Jones, yn Nghymdeithasfa y Bala. Ei destun ef oedd Heb. xiii. 7: "Meddyliwch am eich blaenoriaid, y rhai a draethasant i chwi Air Duw." Ar y testun hwn y pregethai y Parch. T. Jones ei hun, yn angladd ei hen gyfaill, Mr. Charles, tua chwech mlynedd cyn hyny. Yna cludwyd ei weddillion i fynwent yr Eglwys Wen, tua milltir o dref Dinbych, ac yno, yn nghanol galar mawr, y gosodwyd ef i orwedd hyd foreu caniad yr udgorn. Ar ei gareg fedd y mae y ddau englyn canlynol, o'i gyfansoddiad ei hunan:—

"I'r du-lwch, gwelwch, mewn gwaeledd—daethum
O daith byd, a'i anedd;
Rhodd fy Mhrynwr, haeddwr hedd,
Noswyl im' o'i hynawsedd.

Heb gur, na dolur, i'm dilyn—arhof
Yr hyfryd ddydd dyfyn;
Cyfodaf, can's caf edyn,
I'r wyl o wledd ar ol hyn."

---

O.Y.—Dymunwn gydnabod ein rhwymedigaeth am lawer o ddefnydd yr ysgrif hon i Gofiant John Jones, Talsarn, gan y Parch. Owen Thomas, D.D.; a Chofiant y Parch. Thomas Jones, Dinbych, gan y Parch. Jonathan Jones.



# PENOD XLI.

—:o:—

## JOHN ELIAS.

*Dygiad i fynu John Elias—Ei daid yn ei gymeryd i'r eglwys, ac yn ei gynghori—Argraffiadau crefyddol boreuol—Myned i wrando pregethwyr y Methodistiaid, ac yn darllen i'r bobl—Yn y pwlpud am y tro cyntaf—Ymladd â llygredigaeth ei galon—Myned i Gymdeithasfa y Bala—Symud i fyw at Griffith Jones, Penmorfa—Cyfyngder meddwl—Ymuno a'r eglwys—Yn dechreu pregethu—Yn dyfod yn boblogaidd ar unwaith—Traws der rhai o'r hen frodyr—Gwrthod caniatau iddo fyned i Manchester i'r ysgol—Yn yr ysgol gyda Mr. Richardson—Y tro cyntaf yn Ynys Môn—Ebenezer Morris yn llwyddo i'w gael am daith i'r Deheudir—Odfaeon rhyfedd ar y ffordd yno—Ei daith trwy y De fel cyffro daeargryn—Y mae yn priodi ac yn symud i Fôn—Mrs. Elias yn ddynes nodedig—Elias yn ymosod ar anfoesoldeb Môn—Ail daith i'r Deheudir—Y mae yn ymosod ar ffair Rhuddlan—Ei boblogrwydd yn Liverpool a Llundain—Yn cael ei erlid—Ei lafur anferth a'i boblogrwydd.*

NIS gallwn lai na gofidio gyda golwg ar y Parch. John Elias, ar lawer cyfrif y pregethwr mwyaf a gyfododd yn Nghymru, os nad, yn wir, yn yr holl fyd, ei fod wedi cael ei adael heb fywgraffiad teilwng hyd y dydd hwn. Nid ydym ychwaith am awgrymu ddarfod i'w goffadwriaeth gael ei lwyr esgeuluso. Gwyddom iddo ef ei hun ysgrifenu rhyw gymaint o'i hanes yn ystod ei fywyd, i amryw gofiantau iddo ymddangos ar ol iddo farw, a bod yn yr iaith rai desgrifiadau byw o nodwedd ac effeithiolrwydd ei areithyddiaeth. Ond, o'r ochr arall, pan ystyriom y safle a lanwai, y dylanwad rhyfedd a fyddai yn cydfyned â'i weinidogaeth, a'r warogaeth a delid iddo fel gŵr o gynghor yn gystal ac fel areithydd dihafal, a bod ei hanes, am agos i ddeugain mlynedd, yn hanes Cyfundeb crefyddol pwysig, o leiaf yn Ngogledd Cymru, nis gallwn lai na theimlo fod ei goffadwriaeth heb dderbyn y parch a deilynga. Yr ydym yn fwy siomedig oblegyd hyn, am fod y diweddaf a fedrai gyflenwi y diffyg, sef y Parch. Owen Thomas, D.D., wedi cael ei gasglu at ei dadau. Bellach, nid oes genym ond gwneuthur y goreu o'r defnydd sydd genym.

Cafodd John Elias ei eni y chwechfed dydd o Fai, 1774. Enw ei dad oedd Elias Jones, gŵr o wehydd wrth ei alwedigaeth, a thipyn o ffermwr ar raddfa fechan gyda hyny. Gwehydd a thipyn o ffermwr hefyd oedd tad Elias Jones, yn byw yn Brynllwynbach, plwyf Abererch, tua phedair milldir o Bwllheli; a phan briododd Elias, ei fab ieuangaf, â merch ieuanc o Lanaelhaiarn, o'r enw Jane Roberts, caniataodd i'r ddau ddyfod ato i fyw. Yn fuan, modd bynag, adeiladodd dŷ iddynt ar dyddyn y Brynllwynbach, gerllaw ei breswylfod ei hun; ac ymddengys fod y mab ac yntau yn rhanol yn amaethiad y fferm, ac hefyd yn y gelfyddyd o wau. Cymharol isel oedd eu hamgylchiadau, ond medrent dalu eu ffordd, a chaent eu diwallu âg angenrheidiau bywyd, ac felly yr oeddent yn barchus yn ngolwg y cymydogion. Er mai fel "John Elias" yr adwaenir gwrthddrych ein hysgrif, ei wir enw yn ol arfer gwlad fyddai John Jones, ac felly y dynodid ef ar y cyntaf, sef pan y rhoddid iddo ei gyfenw o gwbl. Cawn weled y rheswm am newid yr enw eto.

Nid oedd fawr tuedd yn Elias Jones na'i wraig at grefydd; ymddengys eu bod wedi ymroddi i'r byd, heb dalu nemawr sylw i'r pethau a berthynent i'w heddwch. Ond yr oedd ei dad ef yn ŵr tra dychlynaidd, yn cyrchu i eglwys y plwyf bob Sabbath gyda chysondeb, yn cynhal addoliad teuluaidd yn ddifwlch, ac yn rhagori yn fawr ar ei holl gymydogion. Yn fuan aeth ef a'i ŵyr bychan yn nodedig o hoff o'u gilydd. Gyda bod y bychan yn dechreu siarad, ymroddodd i'w addysgu yn llwybrau rhinwedd, gan ei rybuddio am y



PARCH. JOHN ELIAS.

[*Arluniwyd gan H. Jones, ac a gerfiwyd gan S. Bellin. Cyhoeddedig gan Edw. Parry, Caerlleon yn y flwyddyn 18*[illegible].]

perygl o arfer geiriau drwg, cymeryd enw Duw yn ofer, dweyd celwydd, a thyngu. Ac mor fuan ag y daeth y plentyn yn alluog i gerdded cymerai ef yn ei law ar y Sul i'r gwasanaeth yn yr eglwys; anogai ef yn ddifrifol i sancteiddio y Sabbath, ac i barchu addoliad y Duw byw. Felly, gwelwn ddarfod i John Elias, er difaterwch ei rieni, gael ei fagu yn nghanol dylanwadau crefyddol. Pan oedd rhwng pedair a phump oed dysgodd ei daid ef i ddysgu darllen yr iaith Gymraeg. Erbyn ei fod yn chwech mlwydd oed, medrai ddarllen ei Feibl yn dda, a phan gyrhaeddodd saith, yr oedd wedi darllen yr oll o'r Hen Destament sydd rhwng dechreu Genesis a chanol Jeremiah. Pan yn saith mlwydd oed cafodd ei gymeryd yn glaf o'r frech wen; a bu yn glaf iawn, yn agos i angau. Anobeithid dros rai wythnosau am ei adferiad. Collodd ei synwyrau am amryw ddyddiau, a bu yn methu gweled am bythefnos. "Yr ydwyf yn cofio," meddai, "pan oeddwn yn troi i wellhau, fod fy nhaid wedi dyfod at y gwely, dan wylo, a gofyn i mi: 'Fy machgen bach i, a wyt ti yn cofio pa le y mae dy wers di?' Atebais: 'Ydwyf,' gan enwi rhyw benod yn Llyfr Jeremiah. Llawenychodd yr hen ŵr yn fawr fy mod wedi gallu cofio, trwy fy nghystudd trwm, y lle o'r Beibl yr oeddwn yn ei ddarllen pan aethum yn sal, a bod gobaith am i mi gael fy llygaid i ddarllen y Beibl drachefn. Bum yn wael yn hir; ac am dair blynedd neu bedair yn lled afiach yn fynych."

Gyda ei adferiad cryfhaodd ei awyddfryd am ddarllen, a daeth yn nwyd anorchfygol ynddo. Am amser, y Beibl oedd ei unig lyfr, a bu yn hir yn dra amddifad o lyfrau; eithr darllenai y rhai y deuai o hyd iddynt gydag awch, ac, hyd yr oedd yn bosibl i un mor ieuanc, meistrolai eu cynwysiad. Clywsom y byddai yn crafu yr ymenyn oddiar ei fara, er gwneyd math o ganwyllau brwyn, fel y gallai ddarllen yn nhywyllwch y nos wedi i'r teulu fyned i orphwys. Cymerai ei daid ef i'r eglwys megys cynt, ac yn awr gosodai ef ar ben y fainc, i ddarllen ar yn ail â'r offeiriad, yn ol y ddefod yn y Llan. Yr oedd yr hen ŵr hefyd, wrth fyned ac wrth ddychwelyd, yn parhau i'w gynghori gyda dwysder, ar iddo ymgadw rhag pob math o anwiredd. Trwy drugaredd, syrthiodd yr had mewn tir da, a dygodd ffrwyth ar ei ganfed. Meddai Elias ei hun: "Gwelodd yr Arglwydd yn dda fendithio ei gynghorion i'm cadw rhag y pethau hyny."

Yr oedd John Elias er yn blentyn yn nodedig o ddifrifol; byddai ystyriaethau am Dduw, am fyd arall, ac am y farn, yn llanw ei feddwl ieuangaidd; brawychid ef gan freuddwydion am y farn a thragywyddoldeb, a mawr ofnai rhag cael ei fwrw i uffern. Rhoddodd brofion boreu o dynerwch ei gydwybod. Fel llawer o breswylwyr glan y môr, masnachai ei dad mewn nwyddau rhedeg *(smuggled goods)*; nid ystyrid fod gwerthu gwirod ar yr hwn nid oedd y llywodraeth wedi cael toll yn drosedd o gwbl. Un Sul, daeth cenad oddiwrth foneddwr yn y gymydogaeth at Elias Jones, yn gofyn am gostrelaid o'r gwirod hwn. Clybu y bachgen y cais yn cael ei wneyd, ac arswydai wrth feddwl am fasnachu ar Ddydd Duw. A'r dagrau lonaid ei lygaid, erfyniai ar ei dad beidio cydsynio. Ni wnaeth hwnw, modd bynag, ond gwawdio ei gydwybodolrwydd, a'i ofal am sancteiddiad y Sabbath, a chafodd y gwas y gwirod yn ol ei gais. Ar hyn, aeth y plentyn allan, a'r Beibl o dan ei gesail; a phan aed i edrych am dano yn mhen amser, cafwyd ef yn gorwedd ar ei hyd ar fainc gerig a wnaethid i'r gwenyn, gyda ei Feibl wrth ei ochr, a'r cerig yn wlybion gan ei wylo. Yr oedd dibrisdod ei rieni o'r Sabbath yn trallodi y plentyn ieuanc yn ddirfawr. Yn fynych ymgasglai y cymydogion digrefydd i dŷ Elias Jones ar Ddydd yr Arglwydd, a byddai yr ymddiddanion rhyngddynt yn hollol anghydweddol â chysegredigaeth y diwrnod. Naill ai chwedlau ofergoelus, neu helyntion bydol, fyddai testun y siarad yn ddieithriad. Meddai: "Wylais lawer oblegyd hyny yn fynych; ac ambell waith, anturiwn ddweyd gair wrthynt, ond ni wrandawent arnaf."

Adrodda am un amgylchiad pan yr anfonwyd ef gan ei rieni ar y Sul ar neges i dŷ tad ei fam, pellder o tua phedair milldir. Yr oedd yn ddolur calon ganddo fyned, ond ni feiddiai anufuddhau. "Cychwynais," meddai, "mewn trallod meddwl dirfawr, a phan oeddwn ar y ffordd, gwelwn un o'r mynyddoedd o'm blaen yn ddu, ac yn mygu, wedi cael ei osod yn oddaeth nos Sadwrn, ond nis gwyddwn hyny ar y pryd. Meddyliais yn y fan fod dydd y farn wedi dyfod, ac y byddai raid i minau, o ganlyniad, fyned o flaen y Barnwr wrth dori y Sabbath. Ymaflodd trallod a dychryn dirfawr yn fy meddwl y pryd hwnw, nes gorfod llefain, a gweddïo

am gael fy arbed rhag myned i'r farn yn fy mhechodau." Ar yr un pryd, cyfaddefa, er y gweddïai fel hyn am faddeuant pechod, ei fod agos yn gwbl anwybodus am drefn maddeuant, ac am ffordd Duw i gyfiawnhau yr annuwiol.

Er hyn oll cyfeiliornem yn enbyd pe y darluniem y bachgen o Brynllwynbach fel un perffaith, yn arwain bywyd hollol bur, heb wybod dim am rym llygredigaeth, na chael ei orchfygu ganddo. Fel pawb arall, teimlai ar brydiau duedd gref at anwiredd. "Rai gweithiau," meddai, "yn hwyr y Sabbathau ar ol dychwelyd o'r eglwys, cefais fy hudo gan blant ag oedd gyfoedion i mi, a rhai o honynt yn hynach na mi, i'w dilyn i'r hyn a alwent hwy yn chwareu diniwed, hyny ydyw, heb gynhwrf mawr, a bum ar rai prydiau yn methu dywedyd Gweddi yr Arglwydd, yn ol fy arfer, ac yn methu cysgu yn fy ngwely gan euogrwydd a dychryn." Ië, aeth unwaith mor bell a gollwng rheg o'i enau. Clywodd ryw hogyn annuwiol yn tyngu ac yn bytheirio llwon; yn ei ffolineb tybiodd yntau fod hwnw yn fachgen rhagorol, oblegyd ei fod yn arfer y fath iaith, a chododd chwant angerddol ynddo i'w efelychu. I'r pwrpas hwn aeth i ganol cae, yn mhell o glywedigaeth pawb dynion, ac yn y fan hono gollyngodd y gair rhyfygus allan o'i safn. Dyma y tro cyntaf a'r tro diweddaf byth i John Elias regu. Daliwyd ef gan y fath ddychryn a braw yn ddioed, fel y meddyliodd y byddai i'r ddaear agor ei safn a'i lyncu i uffern yn y fan; bu am amser yn rhodio mewn chwerwder yspryd, ac yn ceisio galw ar Dduw mewn gweddi, ond yn methu. Prawf yr hanes fod gwrthnaws gwreiddiol yn ngalon dyn at Dduw, ac at ei gyfraith sanctaidd, hyd yn nod pan fyddo y bywyd oddiallan yn brydferth ac yn foesol.

Hyd yn hyn ni ddaethai i gysylltiad â'r Methodistiaid. Ond yn bur ieuanc clywai fod pregethwyr enwog o Ddeheudir Cymru, ac o ranau eraill o'r Dywysogaeth, yn ymweled ar eu tro â Phwllheli, y Pentre Uchaf, a lleoedd eraill yn Lleyn, a theimlai awydd mawr i'w clywed. Ceisiodd berswadio ei daid i ddyfod gydag ef i'w gwrando. Er fod yr hen ŵr yn Eglwyswr zêlog nid oedd mewn un modd yn rhagfarnllyd, a chwedi i'w ŵyr ac yntau fod yn y llan yn y boreu, aent yn nghyd drachefn y prydnhawn neu yr hwyr i wrando pregeth. Weithiau byddai y pregethwr yn hwyr yn dyfod, a thra yn aros am dano byddai yr anystyriol yn gwag-siarad, er gofid dirfawr i'r hen wehydd defosiynol. Er rhoddi terfyn ar hyn gosodai ei ŵyr i ddarllen penod o'r Beibl yn uchel lle y clywai y bobl; tyrent hwythau o gwmpas i wrando, am, meddai John Elias, "fod clywed bachgen yn darllen yn lled dda, yn beth tra rhyfedd yn eu golwg yr amser hyny." Oddiar yr hyn a wyddom am dano yn ganlynol credwn mai nid "yn lled dda" y darllenai, ond fod ei ddifrifwch, ei oslef, a'i allu i osod y synwyr allan wrth ddarllen, yn at-tynu y bobl, lawn cystal a'i ieuenctyd. Caiff ef ei hun adrodd am y tro cyntaf yr esgynodd i bwlpud: "Un Sabbath, yn y Pentre Uchaf, yr oeddem wedi hir aros am y pregethwr; a daeth fy nhaid ataf, gan ddweyd: 'Y mae yn drueni fod y bobl yn segur fel hyn; dos di i'r pwlpud yna, a darllen benod o'r Beibl iddynt.' Yna efe a agorodd y drws, gwthiodd fi i mewn, a chauodd arnaf yno. Darllenais ran o bregeth Crist ar y mynydd, a gwrandawai y bobl yn astud a difrifol iawn. Edrychais dros fy ysgwydd, a gwelais y pregethwr yn sefyll wrth ddrws y pwlpud; dychrynais yn fawr; cauais y Beibl, ac aethum i lawr yn gyflym. Nid wyf yn gwybod beth oedd fy oedran y pryd hwnw, ond yr wyf yn meddwl fy mod o naw i ddeuddeg mlwydd oed. Hwn oedd y tro cyntaf i mi fyned i'r pwlpud, ac nid oeddwn i na neb arall yn meddwl, yr amser hwnw, y cawswn y fraint o fyned iddo mor fynych."

Hyd yn nod yn yr oedran ieuengaidd hwn yr oedd ei galon yn llawn awydd gwneyd rhyw ddaioni. Felly, wedi dychwelyd o'r eglwys gyda ei daid ar y Sabbath, arferai yn y prydnhawn gasglu plant y gymydogaeth yn nghyd, gan eu dysgu i ddarllen. Yn nhŷ ei dad y cynhelid yr ysgol ar y cyntaf, ond buan yr aeth hwnw yn rhy gyfyng, a bu raid ei symud i'r ysgubor. A dyma yr ysgol Sabbothol gyntaf yn y rhanau hyny o'r wlad. Dysgodd llawer o blant tlodion ddarllen yn ysgubor y Brynllwynbach, gyda hogyn y tyddyn yn athraw. Cyfaddefai un morwr, a fu gwedi hyny yn preswylio am flynyddoedd lawer yn ninas Bangor, mai John Elias oedd ei athraw cyntaf, ac oni bai am dano ef y buasai heb ddysgu darllen hyd ddydd ei farwolaeth.

Pan rhwng deuddeg a thair-ar-ddeg oed dechreuodd weithio fel gwehydd gyda ei dad a'i daid. Myned ar gynydd yr oedd ei awydd am glywed pregethu. Dywed

nad oedd yn deall ond ychydig o'r hyn a lefarai y pregethwyr, ac eto yr oedd swyn diderfyn iddo mewn gwrando pregeth; teimlai ryw hyfrydwch yn y sŵn. Weithiau byddai awelon hyfryd yn chwythu, nes enyn gorfoledd trwy yr holl gynulleidfa; nid oedd neb yn mwynhau y cyfryw ymweliadau yn fwy nag efe, ac eto cyfaddefa na fu pethau grymus iawn, fel y gwelai ar laweroedd eraill, ar ei dymherau ef y pryd hwnw. Yn bur fuan goddiweddwyd ei daid gan lesgedd henaint, fel nas gallai fod yn gydymaith iddo i'r odfaeon fel cynt; ond parhau i fyned i wrando yr efengyl a wnelai efe, pa bryd bynag y caffai gyfleustra. Nid oedd ganddo na chyfaill nac arweinydd; cerddai tua'r cyfarfod ar ei ben ei hun, am nad oedd yn gweled ei hun yn deilwng o gwmni proffeswyr crefydd, ac na allai ddyoddef ysgafnder, ac ymadroddion anystyriol, y dibroffes. Trwy fawr ymdrech a cherdded llawer o ffordd, llwyddai weithiau i gael tair pregeth ar y Sabbath. "Pan y byddai gŵr enwog o'r Deheudir yn dyfod trwy y wlad," meddai, "cerddwn weithiau ddeng milldir i gael y bregeth gyntaf boreu Sabbath, a dilynwn ef hyd yr hwyr, a hyny yn fynych heb ond ychydig iawn o ymborth trwy y dydd." Ymddengys iddo yr adeg hon dderbyn cryn garedigrwydd oddiar ddwylaw hen wraig dlawd yn Brynengan; sylwai hono ar y llanc dyeithr a ddeuai yno mor aml, ac ar ddifrifwch ei agwedd tra yn gwrando Gair Duw yn cael ei draethu, a gwahoddai ef ar y terfyn i'w thŷ i gael tamaid. Nid anghofiodd ei chymwynasgarwch tra fu byw.

Gyda yr awydd am wrando yr efengyl yn cael ei phregethu, cododd ynddo ddymuniad cryf am gael darllen llyfrau crefyddol; "eithr nid oedd ond ychydig iawn i'w cael y pryd hwnw yn yr iaith Gymraeg," meddai. Nid oedd yntau yn deall gair o Saesneg. Pa le bynag y clywai fod llyfr, yn mhell neu yn agos, ai i geisio ei fenthyg. Daeth o hyd i rai llyfrau da, y rhai fuont yn foddion i oleuo ei feddwl gyda golwg ar drefn Duw i achub pechadur. Yn mysg y rhai hyn cyfeiria at weithiau y Parch. Griffith Jones, Llanddowror, yn enwedig ei gatecism; gwaith Eliseus Cole, a Mêr Duwinyddiaeth.

Yn y cyfnod rhwng pedair-ar-ddeg ac un-ar-bymtheg oed bu mewn argyfwng difrifol. Ymgynhyrfai llygredigaeth ei yspryd o'i fewn; teimlai duedd gref ynddo at wylltineb; yr oedd swynion pleserau anghyfreithlon y ffordd lydan yn fynych ar ei orchfygu, ac ar yr un pryd yr oedd yr argraffiadau crefyddol ar ei feddwl yn lleihau. Braidd na thripiodd ei droed yr adeg hon. Eithr cadwodd yr Arglwydd ef rhag i'r drwg gael buddugoliaeth arno, ac ni chaniatawyd iddo dori allan i unrhyw anfoesoldeb cyhoeddus. Brwydr ydoedd a ymladdai ag ef ei hun, yn dufewnol, allan o olwg dynion. Gweddus sylwi hefyd na ddarfu iddo, pan yr oedd y brofedigaeth fwyaf llym, roddi i fynu darllen y Beibl yn gyson, ac na chollodd mo dynerwch ei gydwybod. Adroddir am dano yr adeg hon ei fod yn eistedd ar y clawdd gyferbyn a'r tŷ ryw brydnawn Sul, ac yn darllen Gair Duw. Yn y man daeth ei fam allan, gan fwriadu myned i dŷ cyfagos i yfed cwpanaid o dê, a chymhellai ef i fyned gyda hi. Cyffrodd ei yspryd yntau o herwydd ei hymddygiad; llifai y dagrau dros ei wyneb, ac meddai mewn llais cyffrous: "O mam! Ai ni wyddoch pwy ddiwrnod ydyw? Ai nid ydych yn cofio y gorchymyn, 'Cofia gadw yn sanctaidd y dydd Sabbath?'" Darfu i'w eiriau, ac yn enwedig ei ddagrau, orchfygu ei fam, a gwraig arall oedd wedi galw heibio iddi, fel yr esgeuluswyd y gwahoddiad i dê, ac ni dderbyniodd y naill na'r llall wahoddiad o'r fath ar gyfer y Sabbath mwy.

Trwy gymhorth gras Duw cafodd goncwest ar y duedd lygredig a ymweithiai ynddo, a daeth yr argraffiadau crefyddol ar ei feddwl yn gryfach. Dechreuodd yn awr, er gyda chryn wyleidd-dra, ymgymysgu â phroffeswyr crefydd wrth fyned i'r odfaeon a dychwelyd o honynt; ymddiddanent am y pregethau, ac am eu profiad yn ngwyneb y gwirionedd; yr hyn, yn nghyd â sylwi ar eu hymarweddiad duwiol, a brofodd o ddirfawr fendith iddo. Mawr awyddai am ymuno â hwy yn y gymdeithas eglwysig; ond gwelai ei hun yn rhy annghymwys. Canfyddai ei hun yn bechadur colledig, eithr ofnai nad oedd yr hyn a deimlai yn wir argyhoeddiad; ac arswydai rhag gwrthgilio, a thynu gwaradwydd ar grefydd. "Yr oedd yn well genyf farw allan o'r eglwys na hyny," meddai. Ar ddiwrnod y seiat byddai mewn trallod blin, rhwng chwant myned yno ac ymdeimlad o'i annghymwysder; ai allan i'r caeau i ymofidio, ac i geisio gweddïo, ond methai yn lân a thori trwodd. Bu yn y cyflwr hwn am dros dair blynedd. Trallodid ef yn ddirfawr y pryd hwn am nad oedd yn cynhal addoliad teuluaidd. Un noswaith, pan yn

gwrando pregeth, daeth yr adnod ganlynol i'w feddwl gyda grym anorchfygol: "Canys pwy bynag a fyddo cywilydd ganddo fi a'm geiriau, yn yr odinebus a'r bechadurus genhedlaeth hon, bydd cywilydd gan Fab y dyn yntau hefyd, pan ddel yn ngogoniant ei Dad, gyda'r angelion sanctaidd." Aeth tuag adref a'i feddwl yn llawn terfysg; ceisiai weddïo am faddeuant, a gofyn am i'r Arglwydd ei nerthu i arddel Crist o hyny allan. Erbyn cyrhaedd y tŷ yr oedd ei rieni ar eu traed; arllwysodd ei galon bryderus ger eu bron, gan ofyn caniatad i gael darllen a gweddïo yn y teulu. Y mae lle i gasglu nad oeddynt yn deall ei bryder, nac yn cydymdeimlo fawr âg ef yn ei dywydd; eithr ei daerni a orchfygodd, a'r caniatad gofynol a roddwyd iddo. Ac er heb dderbyn nemawr calondid gan y gweddill o'r teulu ni esgeulusodd y ddyledswydd deuluaidd o hyny allan.

Pan o gwmpas un-ar-bymtheg oed teimlai awydd cryf i fyned i Langeitho, i wrando y Parch. Daniel Rowland. Clywsai lawer o son am dano, ac am yr effeithiau rhyfedd a fyddent yn cydfyned â'i weinidogaeth, gan hen grefyddwyr Sir Gaernarfon; a dysgwyliai yntau gael rhywbeth neillduol i'w enaid trwyddo. Gwyddai fod yr hen seraph yn rhy hen i ymweled â'r Gogledd, eithr addawai iddo ei hun yr elai efe, pan y deuai yn hynach a chryfach, bob cam i Langeitho i'w glywed, er fod y pellder yn rhyw driugain-a-deg neu bedwar-ugain o filldiroedd. Eithr ryw Sul, pan yn bwriadu rhoddi ei fwriad mewn grym yn fuan, aeth i Bwllheli i wrando pregeth, gan ryw ŵr dyeithr. Gan iddo gyrhaedd yn rhy fuan ar gyfer y cyfarfod yn nghapel y Methodistiaid, aeth i gapel yr Annibynwyr, i wrando y Parch. Benjamin Jones, yr hwn ar y pryd a weinidogaethai yno. Darllenodd yn destun y geiriau hyny yn 2 Samuel iii. 38: "Oni wyddoch chwi i dywysog ac i ŵr mawr syrthio heddyw yn Israel?" Dywedodd mai yr achlysur iddo gymeryd y testun hwnw ydoedd, y newydd galarus a'i cyrhaeddasai, fod y Parch. Daniel Rowland, yr hwn oedd yn "dywysog a gŵr mawr" yn Israel Duw yn Nghymru, wedi syrthio yn angau. Gorchfygwyd John Elias yn hollol gan y newydd a'r siomiant. Wrth gyfeirio at yr amgylchiad yn mhen blynyddoedd, dywedai: "Yr oeddwn yn eistedd ar y llawr gyferbyn â'r pwlpud. Mi a glywais y testun, a'r geiriau cyntaf a ddywedodd ar ol ei ddarllen, yn cyfeirio at farwolaeth Mr. Rowland. Ond fe effeithiodd y cyfeiriad hwnw gymaint ar fy nheimladau fel y gorchfygwyd fi yn hollol; torais allan i wylo yn hidl, a chynhyrfwyd fi i'r fath raddau, fel nas gallwn sylwi ar ddim a ddywedwyd ganddo ar ol hyny." Gan i Rowland farw ar y Sadwrn, Hydref 16, 1790, nid annhebyg mai ar Sul, Hydref 24, y cyhoeddai y Parch. Benjamin Jones ei farwolaeth allan o'r pwlpud.

Gan mai ofer bellach oedd y bwriad a goleddasai am ymweled â Llangeitho, penderfynodd fyned i Gymdeithasfa y Bala. Yn ei hunangofiant, er ei fod yn ysgrifenu yn mhen agos i haner can' mlynedd wedi i'r amgylchiad basio, rhydd ddarlun byw o'r daith, ac yr oedd yr adgof am dani yn felus ganddo. "Ymddiddenais a gwŷr ieuainc crefyddol, a gofynais a gawn i fyned gyda hwy i'r Bala. Dywedasant y cawn; a chytunwyd i gyfarfod yn Mhwllheli i gychwyn. Ar yr amser gosodedig ymgyfarfu lliaws o'r bobl ieuainc grefyddol, o amrywiol fanau yn Lleyn ac Eifionydd. Yr oeddynt hwy yn gwybod am y lleoedd y gallem gael gwrando pregethau ar y ffordd. Cychwynasom dan ymddiddan am bethau y Beibl, a phregethau; bryd arall canem salmau a hymnau; pan orphwysem weithiau byddai un neu ddau yn myned i weddi, ac wedi hyny aem yn mlaen drachefn dan ganu. Nid oedd nemawr air yn ein mysg ond y Beibl, a phethau crefyddol, trwy yr holl daith; ac er fod yno nifer mawr o feibion a merched ieuainc, nid wyf yn cofio fod un edrychiad gwamal, nac un gair cellweirus gan y naill na'r llall. Yr oeddent yn ymddwyn fel rhai yn myned i'r Gymanfa, i ddysgwyl cael cyfarfod â Duw. Felly, o nerth i nerth, cyrhaeddasom y Bala. Yno, yr oedd minteioedd o amrywiol leoedd wedi ymgyfarfod, a'r lliaws yn ymddangos fel rhai o'r un feddwl, a'r un neges bwysig ganddynt. Gwelid sobrwydd a gweddeidd-dra prydferth ar hyd yr heolydd, ac yn mhob man arall. Nid oedd yn ddefod gan y diafol y pryd hwnw i ddwyn ei ynfydion rhyfygus a gwageddol ef i'r fath le. Yr oedd y weinidogaeth mor danllyd, a'r arddeliad mor nerthol, fel yr oedd Satan yn arswydo gollwng ei rai dewisol ef yno, rhag iddo eu colli. Yr oedd y Gymanfa hon, sef y flwyddyn 1792, yn un dra hynod; yr oedd llewyrch tân fflamllyd ar y gynulleidfa, bywyd a nerth dwyfol yn y weinidogaeth; a'r gwlith nefol yn disgyn ar bawb, nes adfywio a lloni eu hysprydoedd. Ar ddiw-

edd y Gymanfa hyfryd hon, cychwynasom yn ol tua'n cartrefi yn llawen, gan ymddiddan am, ac ail adrodd, y pregethau gwerthfawr a glywsem, gweddïo, canu, a molianu, nes yr oedd y daith, yr hon oedd dros ddeugain milldir, yn darfod yn rhy fuan genym, er mai ar ein traed yr oeddem oll. Mwynheais y fath hyfrydwch yn nghymdeithas y cyfeillion crefyddol ar y daith hon, fel y penderfynais na allwn fyw heb gael cyfran yn eu mysg."

Dyma y modd y teithiai y Methodistiaid gynt, mewn sain cân a moliant, fel tyrfa yn cadw gwyl, tua'r Gymdeithasfa. Yr oedd yr ymddiddan ar y ffordd am bethau dwyfol, y gwrando pregethau, y canu, a'r cyfarfodydd gweddïo, pan yn ymddadluddedu ac yn tori min newyn wrth ffynhon risialaidd ar lechwedd y mynydd, yn barotoad o'r fath oreu ar gyfer y Sassiwn. Ac os oedd y gweision ar y maes wedi eu gwisgo â nerth o'r uchelder, a'r athrawiaeth yn defnynu o'u genau fel gwlith ar fynyddoedd Hermon, yr oedd calonau y gwrandawyr o'u tu hwythau yn dyner, yn nawsaidd, ac yn barod i dderbyn argraff. Da genym am y desgrifiad byw hwn o daith i'r Gymdeithasfa, a hyny gan ŵr na fedrai oddef un math o ysgafnder, ac na faidd neb amheu cywirder ei dystiolaeth, pe ond i wrthbrofi haeriadau y rhai a ddarluniant yr hen Gymanfaoedd, a'r teithiau iddynt ac o honynt, mewn lliwiau tra gwahanol.

Modd bynag, cymerodd un amgylchiad le ar y daith hon i'r Bala, na oddefai lledneisrwydd yspryd Mr. Elias iddo ei gofnodi; eithr yr adroddwyd am dano wrth Dr. Owen Thomas, gan hen flaenor oedd yn bresenol. Dywedai yr hen ŵr fod rhyw sobrwydd rhyfedd yn ymddangosiad John Elias, nad oedd ef wedi canfod ei gyffelyb. Yn Ffestiniog, ar eu ffordd tua'r Bala, fe benderfynwyd cael cyfarfod gweddïo. Gofynwyd a oedd Beibl gan rywun? Ond nid oedd yr un yn dygwydd bod gan neb, o leiaf, nid oedd neb yn ateb fod ganddo un. O'r diwedd, dyma y gŵr ieuanc sobr, dystaw, dyeithr i bawb, a dillad pur lwydaidd am dano, yn dywedyd fod ganddo ef Feibl, ac yn ei dynu allan o'i logell. Gan fod y Beibl ganddo, anogwyd ef i ddarllen penod. "Yr hyn a wnaeth," meddai yr hen ŵr, "nes yr oedd y benod yn newydd i ni i gyd." Anogwyd ef i fyned i weddi. "Ac os oedd y darllen," meddai, "yn rhyfedd, yr oedd y weddi yn rhyfeddach. Nid wyf yn meddwl i mi glywed y fath weddïo, na chynt, na chwedi hyny." A rhaid cofio nad ydoedd, pan yn gweddïo yn gyhoeddus fel hyn, yn aelod crefyddol.

Ei duedd hyd yn hyn oedd ymdrechu am foesoldeb purach, a chynyg y moesoldeb hwnw i Dduw fel defnydd cyfiawnhad. Eithr yn awr cafodd olygiadau mwy efengylaidd am drefn Duw i faddeu i euog ddyn, fod hyny yn cymeryd lle nid ar sail dim yn y dyn ei hun, ond ar sail ufudd-dod iawnol yr Arglwydd Iesu. Un moddion a fendithiwyd i gywiro ei syniadau ar y pwnc pwysig hwn oedd pregeth ryfedd a glywodd gan Mr. Robert Roberts, Clynog. Cyfeiria ef yn ei hunangofiant at amgylchiad arall. "Un tro," meddai, "yr ydwyf yn ei gofio yn dda, fel yr oeddwn yn myned tua Phwllheli, daeth y gair 'gweinidogaeth y cymod' (2 Cor. v. 18, 19) i fy meddwl gyda rhyw oleuni dyeithr iawn i mi cyn hyny. Cafodd fy yspryd y fath wledd yn y geiriau, 'Bod Duw yn Nghrist yn cymodi y byd âg ef ei hun, heb gyfrif iddynt eu pechodau,' nes yr ymddangosai y drefn o 'gymodi heb gyfrif' yn dra gogoneddus. A gwelais mai y ffordd i ddwyn hyny yn mlaen oedd cyfrif ein pechodau ni ar Grist, fel y cyfrifid ei gyfiawnder ef i ninau. Y mae athrawiaeth y cyfrifiad o werth anfeidrol yn fy ngolwg o hyny hyd yn awr, oddiar yr hyfrydwch a brofais yn y gair y pryd hwnw." Dyma y llanc ieuanc o'r diwedd wedi troi ei wyneb i'r iawn gyfeiriad, gan ganfod ei holl hunangyfiawnderau fel bratiau budron, a theimlo tuedd i waeddi gyda'r apostol: "Ac y'm cair ynddo ef." Nid rhyfedd ddarfod i athrawiaeth y cyfrifiad, yn yr hon y gwelsai ddigon am ei fywyd byth, gael lle amlwg yn ngweinidogaeth John Elias tra y bu byw. Ychwanega: "Teimlais awydd am bregethu hyny i fy nghydgenedl yn mhob man. Ond gwelwn hyny yn ffolineb ynwyf hefyd; awyddu am bregethu y cymod, a minau heb fod yn aelod eglwysig."

Gwelsom eisioes ddarfod iddo benderfynu ymuno â phobl yr Arglwydd ar ei ffordd adref o Gymdeithasfa y Bala, ond rywsut ni fedrai roddi ei benderfyniad mewn gweithrediad; yr oedd ei hunanffieiddiad dwfn, a'i arswyd rhag tynu gwaradwydd ar yr enw bendigedig, fel rhaff gref yn ei ddal yn ol. O'r diwedd meddyliodd ynddo ei hun y buasai cael lle mewn teulu crefyddol i weithio ei gelfyddyd o fantais ddirfawr iddo. Daeth i'w glustiau fod gŵr yn nghymydogaeth Penmorfa, sef Griffith Jones, Ynys-y-

Pandy, gwehydd fel yntau wrth ei alwedigaeth, yn arfer cadw gweithiwr. Heblaw bod yn ddyn tra chrefyddol, yr oedd Griffith Jones yn dipyn o gynghorwr. Wedi cael caniatad ei dad a'i fam, rhwng bodd ac anfodd, trodd ei wyneb tua Phenmorfa. Er ei fod yn gwbl ddyeithr, ac heb fod yn proffesu crefydd, cafodd waith gan Griffith Jones, a lle fel aelod o'r teulu. Yma yr oedd ei linynau wedi syrthio mewn lleoedd hyfryd; yr oedd yr addoliad teuluaidd, yr ymddiddanion am bethau yr efengyl, a'r awyrgylch grefyddol, wrth fodd ei galon. Meddai: "Yr oeddwn yn teimlo fy hun yn ddedwydd iawn yno o ran pobpeth, ond un, sef fy mod heb allu myned gyda hwynt i'r *society*. Byddent yn ymddiddan llawer â mi am grefydd, ac yn gofyn yn fynych i mi, paham yr oeddwn yn aros allan, ond ni fyddent un amser yn ceisio fy hudo." Pan elai Griffith Jones oddicartref, byddai y llanc ieuanc, ar gais y wraig, yn darllen ac yn gweddïo yn ei le; a mawr y son oedd yn yr ardal fod bachgen heb fod yn y seiat, yn cynhal addoliad teuluaidd.

Adroddai Griffith Jones yr hanes canlynol am dano wrth y diweddar Barch. William Roberts, Amlwch: "Yr oedd ei feddwl dan oruchwyliaethau pur ddifrifol pan ddaeth efe gyntaf i'm teulu. Cefais brawf o hyny oddiwrth amryw o'i bapyrau ysgrifenedig, a welais yn nhyllau parwyd-ydd y gweithdy, yn nghyd â llawer o arwyddion eraill. Un diwrnod, adeg cynhauaf gwair, dygwyddodd fod llefarwr dyeithr yn pregethu yn fy nhŷ, am ddeg o'r gloch y boreu, ac effeithiodd y bregeth yn ddwys ar feddwl John Elias. Ar ddiwedd yr odfa yr oeddem i gadw seiat, a dywedais wrtho: 'Dos gyda'r forwyn, Jac, i droi'r gwair, hyd oni ddelwyf fi atoch.' Ac ar hyny mi a gauais y ddor ar ei ol. Pan ymwelais â hwy yn mhen awr neu ddwy, a gweled mor ychydig a wnaethent, gofynais i'r eneth: 'Ai hyn yn unig a wnaethoch?' Atebodd hithau: 'Ni wnaeth Jac ddim ond llefain, ac ymdreiglo yn y gwair, yr holl amser.' 'Aïe,' ebe finau, 'pa fodd felly, Jac?' 'O, fy ewythr,' ebai yntau, 'y gair hwnw a ddaeth i fy meddwl, A'r rhai oedd barod a aethant i mewn gydag ef i'r briodas, a chauwyd y drws; darfu i chwithau gau y drws a minau allan y dydd heddyw.'" Ceisiodd Griffith Jones, mewn canlyniad, feddyginiaethu ei archollion trwy gyfeirio ei feddwl at Grist, a'i gymhell i ymuno â phobl Dduw.

O'r diwedd aeth yr awydd am aelodaeth eglwysig yn drech na John Elias, ac fel hyn y bu. Ryw ddiwrnod yr oedd ef, a morwyn Griffith Jones, allan ar un o'r caeau yn trin yr ŷd. Yr oedd mater ei enaid, a'i awydd am gael lle yn mysg pobl yr Arglwydd, bron a'i ddyrysu; nid elai adref i'w giniaw, ac yr oedd ei holl symudiadau yn ddyeithriol. Ni wyddai yr eneth beth yn y byd oedd arno. Wedi myned i'r tŷ dywedodd wrth ei meistr fod rhywbeth hynod ar John; y byddai weithiau yn gweithio â'i holl egni, bryd arall yn sefyll fel mewn synfyfyrdod; wedi hyny yn wylo yn hidl, ac yna yr ai dros y gwrych, gan ruddfan ac ocheneidio yn ddwys fel pe byddai yn mron marw. Deallodd Griffith Jones ei glefyd, ac meddai yn sychlyd wrth yr eneth: "Fe ddaw daioni o hyn." Yr oedd seiat i fod y prydnhawn hwnw mewn lle yn y gymydogaeth o'r enw Hendre Howell. Yr oedd yr hen bregethwr o Ynys-y-Pandy yn ormod o Galfin i ymyraeth â'r hyn a ystyriai yn gwrs y gweithrediadau dwyfol, ac i osod un math o ddirwasgiad ar y llanc i ymuno â'r seiat heb ei fod wedi llwyr wneyd ei feddwl i fynu ar y pwnc; ond cymerodd ef a'i wraig fantais, ar eu ffordd i'r cyfarfod, i basio trwy y maes lle yr oedd John Elias yn gweithio, ac meddai wrtho: "Yr ydym ni yn myned i'r *society*, gwna di yn ol dy feddwl dy hun." Wedi brwydr dufewnol danllyd penderfynodd y llanc fyned ar eu hol. Yr oedd ei agwedd wrth fyned yn ddyeithriol; llifai y dagrau dros ei wyneb; weithiau cerddai yn gyflym nes bod yn ymyl ei feistr a'i feistres, bryd arall safai yn ymyl y clawdd, a'i holl osgo yn dynodi ofn a phetrusder. O'r diwedd dyna ef wrth ddrws y tŷ, ac yn gosod ei law ar y gliced, a chafodd ei hun yn mhresenoldeb tri o bregethwyr, heblaw amryw o wŷr a gwragedd. Y pregethwyr oeddynt ei feistr Griffith Jones, John Edwards, Ereiniog, a John Griffith Ellis, gŵr ieuanc hynod o boblogaidd a dorwyd i lawr yn mlodau ei ddyddiau. "Yr oeddwn yn ofni," meddai, "yr holai y pregethwyr fi mor galed, ac y gwelent fy mhrofiad mor ddiffygiol, fel na byddai modd iddynt fy nerbyn. Ond er fy mawr syndod, hwy a fuant yn dirion iawn wrthyf, a chefais dderbyniad ganddynt; cefais yr hyn yr hiraethais am dano flynyddoedd meithion, ac yr ofnais yn fynych na chawn ef byth, sef lle yn nhŷ Dduw." Cymerodd hyn le tua diwedd Medi, 1793, pan yr ydoedd

rhwng pedair-ar-bymtheg ac ugain mlwydd oed.

Dywed Mr. Elias am yr eglwys fechan a ymgynullai yn Hendre Howell, ei bod yn cynwys pobl hynod o dduwiol; rhai iselfryd, hunanymwadol, llawn brawdgarwch a charedigrwydd, yn parchu yr Arglwydd Iesu Grist yn fawr, ac yn hoffi ymddiddan am dano. Aml y rhyfeddai ac y diolchai ddarfod iddo gael lle yn eu mysg. Eithr am amser wedi ymuno â chrefydd bu dan draed ofnau. Haerai y gelyn y byddai yn sicr o wrthgilio, ac o dynu gwarth ar enw Crist. Meddai: "Bum am wythnosau, pan ddelai diwrnod y seiat, yn synu ac yn diolch fy mod wedi cael y cyfarfod hwnw cyn gwrthgilio, ac yn ceisio gweddïo yn daer am gael trigo holl ddyddiau fy mywyd yn nhŷ yr Arglwydd." Un o ganlyniadau cyntaf ei ymuniad â'r eglwys oedd cael ei osod ar yn ail a'i feistr i gynal yr addoliad teuluaidd. Gyda y gwaith hwn dangosai y fath gymhwysder, y fath gydnabyddiaeth â gwahanol ffurfiau llygredigaeth ei yspryd, ac â threfn gras i gyfarfod pechadurusrwydd ei natur, fel y rhyfeddai y teulu yn ddirfawr. Meddai Griffith Jones: "Ei dreiddgarwch a'i daerineb yn ei weddïau a barasant i ni oll, yn ddioed, synu yn ddirfawr. Cymharwn ei weddi ef â'r eiddof fy hun, yn fy nychymyg, fel pe buasem ein dau yn myned i barlwr gwr bonheddig. Ni chyfrifwn fy ngweddi fach fy hun ond fel pe y dywedaswn, 'Y mae yma haner dwsin o ddarluniau.' Ond pan ai John i weddïo, ystyriwn ef fel yn desgrifio yr ystafell i gyd yn fanwl, cyn y codai oddiar ei liniau, nes y byddai pawb o'r teulu mewn syndod, ac yn barod i ofyn, 'O ba le y daeth y fath ddoethineb, a nerth i'r bachgen diaddurn hwn?'"

Gyda ei ymuniad â'r eglwys cafodd ei osod dan fath o orfodaeth i gymeryd rhan flaenllaw, a thra chyhoeddus, gyda gwaith crefydd. Nid oedd yr Ysgol Sabbothol, cylch arbenig gweithgarwch dynion ieuainc, wedi cael ei sefydlu eto yn yr ardal, ond yr oedd yno ysgol nos, yn cael ei chynal o gwmpas mewn tai, yn ystod tymhor y gauaf. Yn yr ysgol hon John Elias fyddai y penaf; efe, o herwydd ei gynefindra a'r Beibl, fyddai yn holwyddori; efe hefyd, oblegyd ei ddawn gweddi, a'i fedr fel darllenwr, fyddai yn arwain fynychaf yn y rhanau defosiynol, ac nid yn anfynych rhoddai air o gynghor i'r ieuenctyd. Yn y cyfarfodydd gweddi, y rhai oeddynt yn dra lliosog yn y gymydogaeth, anogid ef yn aml i ddechreu y cyfarfod trwy ddarllen penod o'r Beibl, a byddai ambell i hen frawd calon-gynhes yn ei anog i roddi gair o gynghor iddynt oddiwrth yr hyn a ddarllenai. Pan y dygwyddai i bregethwr dori ei gyhoeddiad, fel na ollyngid y bobl ymaith ar eu cythlwng, byddai raid iddo ef anerch y rhai fyddent wedi ymgynull, mewn ffordd o rybudd neu anogaeth. Meddai Griffith Jones: "Pan ddygwyddai iddo fod yn bresenol mewn cynulleidfa, cyn y byddai yn amser dechreu yr addoliad, arferai gymeryd y Beibl, a darllenai benod, gan esbonio, a rhybuddio ei gyd-ieuenctyd, gyda hyawdledd a nerth mawr." Ac yr oedd hyn oll, cofier, cyn pen ychydig fisoedd wedi iddo ymuno â chrefydd. Aeth y gair ar led trwy yr ardal fod y bachgen oedd yn nhŷ Griffith Jones yn dechreu pregethu. Achosodd hyn gryn siarad, a pheth cyffro, yn arbenig yn mysg y rhai tra awyddus am wneyd pob peth yn weddaidd ac mewn trefn; ond yr oedd yr anfoddogrwydd yn benaf yn mysg y pregethwyr, i'r nifer amlaf o ba rai yr oedd yn hollol ddyeithr. Rhaid addef fod ei ymddygiad yn afreolaidd, ond ar yr hen frodyr y gorphwysai y cyfrifoldeb. Meddai: "Yr oeddwn, yn fy mhlentynrwydd, yn ceisio gwneyd pobpeth a geisient genyf." Prin ychwaith yr oeddent yn arfer gwyliadwriaeth ddyladwy gyda golwg ar y weinidogaeth wrth wthio dyn mor ieuanc, a newyddian yn y ffydd, fel hyn i'r ffrynt; ac oni bai ei fod yn un o fyrddiwn, gyda phwysau yn ei gymeriad, a gras Duw yn ei galon, buasent wedi anafu ei ddefnyddioldeb am ei oes. Ar yr un pryd, yr oedd ganddynt neillduolrwydd arbenig ei ddoniau, ac angerddoldeb ei awydd am wneyd daioni, i'w ddadleu o'u plaid fel esgusawd.

Wrth weled ei gymhwysderau aeth rhai o'r hen frodyr ato, i ofyn ai nid oedd rhywbeth yn gwasgu ar ei feddwl gyda golwg ar bregethu? Atebodd yntau yn gadarnhaol, ei fod yn teimlo cymhellion cryfion i gynghori a rhybuddio y bobl, ond ar yr un pryd y gwyddai ei fod yn gwbl anaddas parthed oedran, gwybodaeth, a phrofiad. Anogasant hwythau ef i feithrin y teimlad, ac i weddïo yn daer am gyfarwyddyd. Daeth yn fuan i gydnabyddiaeth â hen bregethwr a breswyliai yn ardal Llanllyfni, o'r enw William Dafydd, gŵr manylgraff, yn llawn cydymdeimlad â'r ieuanc, ond heb fawr hynodrwydd yn ei ddawn. Efe oedd y cyntaf o'r holl bregethwyr i ddarganfod fod dyfodol dysglaer o flaen y bach-

gen John Elias, os caffai fyw. Pan oedd amryw lefarwyr yn ei dŷ ryw ddiwrnod, ac yn ymddiddan gyda golwg ar y gŵr ieuanc, efe a ddywedodd wrthynt, gyda difrifwch mawr: "Frodyr, fe ddaw rhywbeth mawr o'r bachgen hwn, pan fyddaf fi yn y pridd." Anogai William Dafydd ef i ymroddi i bregethu fel y medrai, ac y caffai ei ddysgu a'i gynorthwyo yn y gwaith. Cymerai ef hefyd gydag ef o gwmpas, gan beri iddo ddechreu yr odfaeon iddo, a chan ymddwyn ato yn y modd tirionaf. Y tro diweddaf y bu Mr. Elias yn Llanllyfni adroddai wrth ei gyfaill, y Parch. John Jones, Tremadog, am yr hyn a ddywedasai William Dafydd wrtho, rhwng difrif a chwareu, tua'r amser hwn. "Sionyn bach," meddai, "cura Robert Roberts (Clynog) a John Roberts (ei frawd) ar bregethu, ac mi a roddaf gini i ti ar dy law. Y maent hwy ill dau wedi myned heibio i mi er ys talm." Cellwair cyfeillgar ydoedd hyn, ac eto awgryma y dysgwyliadau uchel a goleddai yr hen gynghorwr am ei gyfaill ieuanc. Mewn cysylltiad â William Dafydd adroddai Mr. Parry, o Gaer, ffaith dra hynod, sef fod yr hen frawd mewn ymdrech â Duw am iddo anfon gweithwyr i'w gynhauaf, ac iddo gael ei ateb mor bendant fel ag i deimlo yn sicr fod yr Arglwydd yn cyfodi pedwar o wŷr grymus i'r gwaith yn Sir Gaernarfon. Mor llwyr oedd ei argyhoeddiad am hyn fel y darfu iddo eu henwi, a hyny rai blynyddoedd cyn i'r olaf o honynt ddechreu pregethu. Y pedwar oeddynt, John Elias, Richard Jones, y Wern; Evan Evans, Waunfawr, a John Parry, o Gaer. Y mae yn syn na chododd pregethwr o gwbl, gyda'r eithriad o Michael Roberts, yn Sir Gaernarfon, am gryn amser ar ol y pedwar yma.

Er fod John Elias yn pregethu, nid oedd eto yn bregethwr rheolaidd. Gan hyny, anogwyd ef gan y frawdoliaeth yn Hendre Howell, a chan flaenoriaid yr eglwysi cymydogaethol, yn enwedig gan un John Richards, oedd yn flaenor yn y Garn, Dolbenmaen, i fyned i'r Cyfarfod Misol er cael ei gymeradwyo yn briodol. Cydsyniodd yntau i fyned. Yr oedd y Cyfarfod Misol i'w gynal yn Mryn-yr-Odyn, ar ddydd Nadolig, yn y flwyddyn 1794. Perswadiwyd ef gan John Richards i fyned i'w dŷ ef i letya, y nos cyn y Nadolig, ar ei ffordd tua'r Cyfarfod Misol. Beth a wnaeth John Richards yn mhellach ond ei gyhoeddi i bregethu yn nghapel y Garn, yn y plygain ddydd Nadolig, tra ar ei ffordd i'r cyfarfod yn yr hwn y ceisiai ganiatad i bregethu. Nis gwyddom pa fath odfa a gafodd, ond teimlai ef ei hun fod ei ymddygiad yn dra afreolaidd. Aeth tua Bryn-yr-Odyn a'i feddwl yn derfysglyd o'i fewn; gwyddai ei fod yn haeddianol o gerydd oblegyd ei afreolaeth, ac yr oedd arno ofn sefyll gerbron pregethwyr enwog Sir Gaernarfon, y rhai oeddynt fel angelion Duw yn ei olwg. Dywed Dr. Owen Thomas i rai o'r brodyr fod yn bur llawdrwm arno y pryd hwn; cronicla yntau iddo gael ei holi yn ddifrifol a manwl iawn, am ei argyhoeddiad, ei olwg ar ei sefyllfa golledig, ei syniadau am drefn yr iachawdwriaeth, a'i brofiad o Grist a'i ras. Dywedir ei fod wedi cael ei feddianu â'r fath fraw, fel mai hynod o afrwydd a chymysglyd ydoedd yn ei atebion, ac mai yr argraff a wnaeth ar feddwl y rhai oedd yn bresenol oedd, nad oedd dim neillduol ynddo. Er hyn, ar dystiolaeth ei feistr, Griffith Jones, a John Richards, y Garn, ac ychydig eraill a'i hadwaenent, cafodd ei dderbyn yn aelod o'r Cyfarfod Misol, a rhoddwyd iddo ganiatad i bregethu yn y lleoedd y gelwid am ei wasanaeth.

Gyda golwg ar hyn ysgrifena: "Diwrnod i'w gofio i mi ydoedd hwnw, dydd Nadolig, yn y flwyddyn 1794, pryd y derbyniwyd fi yn aelod o'r Cyfarfod Misol, ac y rhoddwyd i mi ganiatad i bregethu efengyl Crist. Nid oeddwn yr amser hwnw ond ugainmlwydd-a-haner oed, a dim ond blwydd a chwarter o broffeswr, ac yn fyr iawn mewn gwybodaeth angenrheidiol i'r gwaith mawr, yn gystal ag mewn profiad ysprydol o bethau Duw. Dechreuais felly, yn fy mhlentynrwydd, ar orchwyl nad oeddwn yn deall ond ychydig am ei natur oruchel, a'i fawr bwys. Ond ni chefais fy ngadael o'r dechreu i edrych yn gyffredin ar y gwaith, fel pe buasai yn rhyw gelfyddyd dynol, i fod yn wamal gydag ef, nac i ymddiddan yn ysgafn am dano. Yr oeddwn yn gweled fy hun yn gwybod rhy fach am Dduw yn Nghrist i allu dywedyd yn oleu am dano; a rhy fychan am ddrwg pechod, a chyflwr truenus pechaduriaid, i allu dywedyd yn effro a difrifol am hyny wrth y bobl. Yr oeddwn yn fy nghael fy hun yn ddiffygiol iawn mewn gweled gogoniant yr Arglwydd Iesu Grist, a phrofi ei gariad ef, i allu dywedyd yn oleu a gwresog am dano wrth fy nghyd-ddynion. Ond goddefodd a chynhaliodd yr Arglwydd fi yn rhyfedd, er maint fy ngwaeledd a'm hanghymhwysder i'r gwaith."

Dywedir hefyd mai yn y Cyfarfod Misol hwn, yn Mryn-yr-Odyn, y newidiwyd ei enw i John Elias. Gofynai John Jones, Edeyrn: "Beth yw enw y dyn ieuanc?" Atebwyd mai John Jones. "Beth yw enw ei dad o?" gofynai drachefn. Atebwyd mai Elias Jones. "Yn enw dyn, gelwch y bachgen yn John Elias, onide ni a fyddwn yn John Jonesiaid i gyd yma yn fuan." Yr oedd John Jones, o Leyn, John Jones, o'r Penrhyn, ac yntau ei hunan o Edeyrn, beth bynag am eraill, yno. Pa fodd bynag, felly y bu. Fel John Elias yr adnabyddwyd ef byth wedi hyny.

Meddai Dr. Owen Thomas: "Ac fe'i hadnabyddwyd yn fuan iawn. Fe deimlwyd ar unwaith fod pregethwr digyffelyb wedi codi yn y wlad. Yr oedd y fath ddifrifwch yn ei ddull, y fath briodoldeb a newydd-deb yn ei bethau, y fath angherddoldeb yn ei deimlad, y fath nerth yn ei draddodiad, y fath lewyrchiadau ar ei ysbryd, ac yn enwedig y fath arddeliad ar ei genadwri, fel yr oedd ei weinidogaeth, o'i gychwyniad cyntaf allan, yn cyffroi yr holl wlad. I ba le bynag yr elai yr oedd yr holl ardaloedd yn cyrchu i'w wrando. Yr oedd y galwadau arno o bob parth yn ddibaid, ac yr oedd yntau, heb arbed dim arno ei hunan, yn cydsynio â hwy. Priodola ef, yn ei hunangofiant, ei boblogrwydd y pryd hwn i gywreinrwydd y bobl, a'u blys am glywed bachgen yn pregethu; ond y gwir yw fod ei bregethau y pryd hyny, yn gystal ac ar ol hyny, fel tân yn goddeithio annuwioldeb, yn dychrynu yr anystyriol a'r rhyfygus, ac yn ychwanegu at yr eglwysi y ffordd y cerddai."

Efallai nad ammhriodol fyddai ceisio cyflwyno i'r darllenydd ryw syniad am John Elias, pan yn cychwyn gyda gwaith mawr ei fywyd. Ar y naill law, nid oedd ond glaslanc heb fod yn llawn un-ar-hugain oed, yn arw ei wisg, yn wledig ei foes, ac yn anniwylliedig. Ni chawsai ddiwrnod o ysgol erioed, hyd yn nod Ysgol Sul; ni wyddai gymaint a gair o Saesneg; yr oedd ei wybodaeth yn hynod o brin, ac yr oedd cylch ei ddarlleniad yn gyfyng, hyd yn nod a chymeryd i ystyriaeth y llenyddiaeth oedd yn yr iaith Gymraeg ar y pryd. Ar y llaw arall, perchenogai athrylith o ddysgleirdeb arbenig, dawn na welwyd ei gyffelyb yn Nghymru, cawsai ei gynysgaeddu gan natur â phob cymhwysder anhebgor areithydd, a meddai mewn cyflawnder y swyn sydd yn hoelio torf wrth wefusau y siaradwr. Yn ychwanegol, yr oedd ei ddifrifwch yn angerddol, a'i awydd am achub eneidiau yn llosgi yn dân poeth yn ei esgyrn. Ac os na feddai gydnabyddiaeth eang a llenyddiaeth, yr oedd adnodau y Beibl wrth ei law ac at ei alwad, bwledau nad oes eu bath i'w hyrddio i ganol cynulleidfa. Ac ystyried ansawdd Cymru yr adeg hono, prin y gellir dweyd fod ei ddiffyg coethder yn llawer o anfantais iddo; braidd nad oedd yn ei ddwyn yn agosach at y cyffredin. Ac os oedd ei areithyddiaeth ar y cyntaf i raddau yn arw a diaddurn, yr oedd yn gwbl naturiol, ac yn gorchfygu y cynulleidfaoedd.

Wrth sylwi ar y poblogrwydd uniongyrchol a enillwyd ganddo, dylem gadw mewn cof fod cewri yn preswylio yn Sir Gaernarfon y pryd hwn. Dyna Robert Roberts, Clynog, eiddil ei gorph, a chrwca ei gefn, ond yn byw ar gyffiniau y byd ysprydol, ac weithiau yn codi cwr y llen nes y byddai y dyrfa yn llewygu gan ddyeithrwch ac arddunedd y golygfeydd. Dyna John Roberts, ei frawd, a breswyliai ar y pryd yn Llanllyfni, yn eangach ei wybodaeth nac efe, ac nid yn mhell yn ol iddo mewn dawn, yntau hefyd yn feistr y gynulleidfa, ac yn cael odfaeon fyddai yn gorchfygu pob peth. Dyna John Jones, Edeyrn, eto, yn anterth ei nerth, a'i ddysgleirder boreuol heb ei gymylu, yn gwefru torfeydd a'i ffraethineb, ac yn eu llorio â'r nerth ofnadwy oedd yn cydfyned â'i bregethu. Dyna Evan Richardson drachefn, mab dyddanwch, a'r athrawiaeth yn defnynu o'i enau fel y gwlith ar y crasdir sych, a'i ireidd-dra braidd yn ddigon i doddi'r cerig ac i blygu'r derw. Dyna Robert Jones, Rhoslan, hefyd, yn llenor coeth, ac yn bregethwr nodedig o Ysgrythyrol. A dyna John Griffith Ellis, ac Evan Evans, Waenfawr, dau a fuont feirw gyda bod eu hathrylith yn dechreu ymagor, ond yn ystod eu hoes fer, a adawsant argraff annileadwy ar gynulleidfaoedd Gwynedd. Dyna y ser tanbaid a ddysgleirient yn ffurfafen y weinidogaeth yn Sir Gaernarfon pan y dechreuodd John Elias bregethu, ac y mae y ffaith ddarfod iddo ef, gyda ei holl anfanteision, ddyfod ar unwaith yn seren mor danbaid a'r un o honynt, os nad i ragori arnynt oll mewn llewyrch, yn brawf diymwad o'i ragoriaethau pregethwrol.

Yr ydym eisioes wedi crybwyll fod galwadau o bob rhan o'r wlad yn gwlawio yn gawodydd arno, can gynted ag y cafodd ei dderbyn yn aelod o'r Cyfarfod Misol.

Wrth gydsynio a'r galwadau hyn troseddai yntau y rheolau, oeddent yn awr wedi cael eu ffurfio gyda golwg ar ddynion ieuainc yn dechreu pregethu. Tystia ef mai yn ei anwybodaeth y gwnelai hyny; elai dros y ffiniau am na wyddai fod ffiniau yn bod, oblegyd ni bu neb ar y ddaear mwy parchus o reol na John Elias. Gyda golwg ar hyn dywed: "Galwodd rhai o'r hen bregethwyr fi i gyfrif, a cheryddasant fi yn garedig." Dywed traddodiad iddynt fod yn arw iawn wrtho, y byddent yn gosod y fflangell ar ei gefn yn ddiarbed, a lled awgrymir fod y llymder hwn yn codi oddiar eiddigedd at ei boblogrwydd. Cyn collfarnu yr hen frodyr yn Sir Gaernarfon dylid cymeryd y pethau canlynol i ystyriaeth: 1. Fod llawer o'r chwedlau gyda golwg ar eu hymddygiad sydd wedi ein cyrhaedd ni yn ddiameu wedi cael eu gorliwio; wrth dreiglo i lawr o'r naill adroddwr i'r llall cynyddasant fel caseg eira, nes erbyn hyn y maent yn fwy anwir na gwir. Y mae rhai o'r pethau a adroddir mor wrthun, yn bradychu y fath ddiffyg mewn moes, a'r fath hyfdra anweddaidd yn nglyn ag ordinhadau tŷ Dduw, fel nas gallant fod yn wirionedd; y mae cymeriadau uchel y rhai a gyhuddir yn ddigon i brofi eu geudeb. 2. Dylid cofio fod John Elias ar y cychwyn yn meddu llawer o hyfdra dyn ieuanc anwybodus o ganol gwlad; fod ei gonglau a'i erwinder heb gael eu llyfnhau, a bod rhai pethau annymunol yn nglyn a'i areithyddiaeth, oedd yn dolurio teimlad dynion diwylliedig fel Robert Jones, Rhoslan, a John Roberts, Llangwm. Cyfaddefai ef ei hun ddarfod i Mr. Richardson, ac wedi hyny Mr. Charles, fod yn foddion i beri iddo roddi heibio amryw bethau gwrthun. 3. Ofnai yr hen frodyr rhag i'w boblogrwydd digyffelyb ei ddifetha. Yn eu golwg hwy pechod y pechodau oedd balchder; ar y pechod yma y curent, rhagddo y gwylient, nid oedd pen draw ar eu gofal rhag i un lledrith o hono lithro i galon pregethwr ieuanc. Gwelent yn Elias arwyddion talent arbenig, a chredent mai ei berygl mawr oedd cael ei wneyd yn falch gan yr ymwybyddiaeth o hyny, yn gystal a chan y galwadau aml a dderbyniai a'r cynulleidfaoedd a dyrent i'w wrando. Felly, os curwyd ef gan y cyfiawnion yn Sir Gaernarfon, yn garedig y gwnaed hyny, ac ni thorodd eu holew penaf hwy ei ben. 4. Nid oedd gronyn o eiddigedd wrth wraidd eu ceryddon. Profir hyny yn amlwg gan y warogaeth a dalai iddynt yn ystod eu bywyd, a'r parch a goleddai i'w coffadwriaeth ar ol iddynt farw. Ar yr un pryd diau iddo ef deimlo yn ddwys dan yr oruchwyliaeth, ac nad oedd y cerydd iddo dros yr amser presenol hwnw yn hyfryd.

Nid hir hefyd y bu rhai o'r brodyr heb newid eu barn gyda golwg arno. Adroddir fod gan Elias tua'r adeg hon gyhoeddiad Sabbath yn y Bala. Tuag yno yr aeth brydnhawn dydd Sadwrn, ond wedi iddo gyrhaedd cafodd fod Mr. John Roberts, wedi hyny o Langwm, yn y dref o'i flaen, a'i fod yntau hefyd i bregethu. Ei gyfarch yn oerllyd a wnaeth Mr. Roberts, ac ychydig a gafodd y gŵr ieuanc ei wneyd y Sul hwnw. Y dydd Llun canlynol yr oedd gan Elias gyhoeddiad mewn capel bychan yn un o'r cymoedd cymydogaethol. Aeth tuag yno yn dra digalon, ac yn llwfr ei feddwl, ac aeth Mr. Roberts yn llechwraidd ar ei ol. Cafodd afael ryfedd mewn gweddi ar y cychwyn; gofynai gyda thaerni am gael ei arwain, a'i waredu rhag rhuthro yn y blaen yn ol ei fympwy ei hun. Bu y weddi yn ddigon i doddi John Roberts. Daeth rhyw lewyrch hynod ar y bregeth a ganlynai; yr oedd nerth o dragywyddoldeb yn cydfyned a'r gwirioneddau a draethid, fel yr oedd y drygionus yn crynu, a'r annuwiol yn toddi fel cwyr o flaen tân, ac o braidd y medrai yr hen efengylwr beidio bloeddio yn ei ymguddfan. Aeth yn ei ol i Sir Gaernarfon a'i feddwl wedi newid yn hollol gyda golwg ar John Elias, a dywedai wrth y brodyr yno fod yr Arglwydd yn ddiau gyda'r llanc, ac y dylent hwythau ei gefnogi yn mhob modd rhag eu cael yn ymladd yn erbyn Duw. O'r dydd hwnw allan bu John Elias a John Roberts yn gyfeillion, ac yn cydlafurio yn ngwinllan Crist.

Yr ydym wedi cyfeirio at brinder gwybodaeth Elias ar ei fynediad allan fel pregethwr. O hyn nid oedd neb yn fwy teimladwy nag efe, nac o'r anfantais a barai hyny iddo yn nghyflawniad gwaith ei swydd. Clywsai am awduron Saesneg wedi ysgrifenu yn alluog ar bynciau duwinyddol, ond enwau yn unig oeddynt iddo ef; nis gallai, oblegyd ei anwybodaeth o'r iaith, gymdeithasu â hwynt trwy gyfrwng eu gweithiau, na chyfoethogi ei feddwl â'u syniadau godidog. Cododd hyn awydd cryf ynddo am gael rhyw gymaint o ysgol er dysgu Saesneg. Y pryd hwn yr oedd y Cymry yn Manchester yn dra amddifad o foddion gras; daeth John Elias atynt ryw Sul, a rhoddodd y fath foddlonrwydd

iddynt fel y gwnaethant grefu arno am ddyfod yno i'r ysgol, gan addaw ei borthi â bara, ei wisgo â dillad, a thalu am ei addysg, ar yr amod ei fod yntau yn pregethu iddynt ar y Sabbathau. Yr oedd y cynygiad wrth fodd ei galon, ac yn y Cyfarfod Misol cyntaf ar ol hyny yn Sir Gaernarfon dyma ef yn gosod y cais gerbron y frawdoliaeth. Eithr derbyniad oeraidd iawn a gafodd; nid yn unig ni chaniatawyd ei gais, ond ceryddwyd ef yn llym am feddwl am y fath beth, a rhoddwyd ar ddeall iddo mai balchder ei galon, a'i awydd am fyned yn bregethwr mawr, oedd yn peri iddo son am ysgol a dysgeidiaeth. Nis gallwn esbonio ymddygiad hen frodyr Sir Gaernarfon o gwbl, oblegyd yr oedd amryw o honynt wedi cael addysg dda. Cawsai Mr. Richardson ei ddwyn i fynu ar gyfer yr offeiriadaeth, ac yr oedd yn hyddysg yn yr ieithoedd clasurol. John Roberts, Llanllyfni, hefyd oedd yn ysgolhaig pur wych, ac oni bai am ddygwyddiad anffodus buasai wedi myned i athrofa y Morafiaid yn Nghaerefrog. Paham y rhwystrent John Elias i gael ychydig o ysgol i ddysgu Saesneg, sydd un o'r dirgeledigaethau nas gall neb ei esbonio; rhaid ei adael i Chwiliwr y calonau. Modd bynag, cymerodd ef y gwrthodiad gyda phob gostyngeiddrwydd; credai eu bod yn gweled peryglon oeddynt yn guddiedig oddiwrtho ef, ac mai eu gofal am dano, ac am achos Duw, a barai iddynt ymddwyn fel y gwnaethant.

Eithr cryfhau yr oedd ei awyddfryd am addysg. Cyfarfyddai yn bur fynych â Mr. Richard Jones, wedi hyny o'r Wern, gŵr ieuanc a gawsai addysg dda, ac oedd yn agos yn gyfoed iddo. Soniai Richard Jones wrtho am yr awduron Seisnig, a darllenai ambell ddarn o honynt, gan gyfieithu wrth fyned yn y blaen. Gresynai yntau am na roddid iddo yr allwedd i agor y ddor at y cyfryw drysorau. Cyn hir gofynodd i'w frodyr drachefn, mewn Cyfarfod Misol, am ganiatad i fyned i ysgol Mr. Evan Richardson yn Nghaernarfon. Hyn a roddwyd iddo; ac er na fu yno ond am ychydig fisoedd, dysgodd ddeall y Saesneg yn weddol, a daeth yn gydnabyddus i raddau mawr â'i gramadeg. Canmolai ei athraw ef yn fawr am ei ddyfalwch a'i zêl; dywedai na fu ganddo erioed y fath ysgolor, ac, heblaw ei ymroddiad a'i ymdrech, fod ganddo allu y tuhwnt i gyffredin i ddysgu iaith. Meddai Elias: "Er na ddysgais ddim i berffeithrwydd, eto cefais fy rhoddi ar ben y ffordd i ddysgu amryw bethau fy hunan trwy gyfrwng llyfrau. Cefais gymhorth i ymroddi i lafurio yn ddiflino, ddydd a nos, nes i mi gyrhaedd rhyw raddau o wybodaeth cyffredinol am y pethau mwyaf angenrheidiol i mi eu gwybod, gyda golwg ar y gwaith mawr yr ymaflaswn ynddo. Ond dysgu yr wyf fi eto (yn awr yn 67 mlwydd oed), ac yn gweled mwy o angen am ddysgu bob dydd." Dywed yn mhellach ei fod wedi penderfynu na chaffai y cynulleidfaoedd fod ar golled oblegyd na chawsai ef fanteision dysgeidiaeth yn nyddiau ei ieuenctyd.

Bu dyfod i gysylltiad â Mr. Richardson o fantais ddirfawr i Elias heblaw mewn cysylltiad âg addysg. Ymddengys, er ei dalent areithyddol, y gwnelai lawer o ystumiau gwrthun ac annaturiol wrth siarad; a bod ganddo ryw rwnc anynad a phoenus yn ei wddf pan y poethai wrth bregethu. Penderfynodd ei athraw y gwnelai ei feddyginiaethu oddiwrth y meflau hyn; dynwaredai ef iddo ei hun ar ol myned i'r tŷ; gosodai ei gorph yn yr un agwedd annaturiol, a gwnai y cyffelyb swn â'i wddf, nes y gwelodd Elias eu gwrthuni, ac y diwygiodd o honynt yn hollol. Ebai ei Fywgraffwyr: "Yn fuan wedi hyny, yr oedd ei holl agweddau yn yr areithfa yn dra phrydferth a theilwng, ac yn gynllun addas i bob pregethwr ei efelychu."

Yn ol pob hanes, cyfododd Elias yn ffurfafen y weinidogaeth fel comed, yn anterth ei dysgleirdeb, a phrin y gellir dweyd iddo, mewn rhai cyfeiriadau, enill cyfudd at ei faintioli yn ystod ei fywyd. Diau iddo ychwanegu yn ddirfawr mewn cyfoeth o adnoddau, mewn coethder iaith, mewn priodoldeb arddull, ac yn yr holl addurniadau sydd yn cyfansoddi perffeithrwydd areithyddiaeth fel celf. Ond mewn yni, grym, gwres, a ffresder, ni ragorodd ar yr hyn ydoedd ar ei gychwyniad allan. Dyna paham y dywedai y Parch. William Roberts, Amlwch, wrth Dr. Owen Thomas: "Ni chlywsoch chwi erioed mo John Elias." "Erioed mo John Elias?" ebai Dr. Thomas yn ol, "do, ganoedd o weithiau." "Naddo, erioed," meddai yntau; "*Mr.* Elias a glywsoch chwi. Ni chlywsoch chwi erioed mo *John* Elias." Prawf cryf fod rhyw nerthoedd yn cydfyned â'i weinidogaeth y blynyddoedd cyntaf, tuhwnt hyd yn nod i'r hyn a brofid yn y rhan ddilynol o'i oes. Y gwir yw na fedrai cnawd sefyll o'i flaen. Ebai hen bererin o

Sir Feirionydd, sef Mr. Meredith Morgan, o Faes-y-Careiau, wrth y Parch. Owen Thomas, D.D.: "Mi a ddywedaf i chwi y peth cyntaf erioed a glywais am John Elias. Fe ddaeth Dafydd Cadwaladr heibio yma ryw ddiwrnod. 'Yr ydwyf fi,' meddai, 'wedi bod mewn Cyfarfod Misol tuhwnt i afon yr Abermaw, ac ar dipyn o daith rhwng y ddwy afon yna, ac yr ydwyf yn galw heibio i gael tamaid wrth basio adref.' 'Da iawn,' meddwn inau, 'y mae yn hoff genyf eich gweled bob amser.' Wedi tipyn o siarad mi ofynais iddo: 'Pa fath Gyfarfod Misol a gawsoch tuhwnt i afon yr Abermaw?' 'Wel,' ebai yntau, 'yr oedd yno ryw fachgen o wehydd o Sir Gaernarfon; ac y mae o wedi dechreu pregethu; ac fe'i rhoison o i bregethu yn y Cyfarfod Misol; y Brenhin Mawr a'i cadwo rhag cyfeiliorni; *fe fydd yn rhaid i'r bobl goelio y peth 'ddywed o!*'"

Cawn yr hanes canlynol am y modd yr ymwelodd John Elias gyntaf âg Ynys Môn. Yr oedd Cyfarfod Misol i gael ei gynal yn Bryndu, ac aeth brawd oddiyno i Gaernarfon, at Mr. Richardson, gan grefu arno am ddyfod i'r cyfarfod i bregethu. Nis gwelai yntau ei ffordd yn glir i addaw, ond dywedai fod ganddo fachgen yn yr ysgol oedd yn bregethwr heb ei fath, ac yn tra rhagori arno ef, y gwnelai anfon hwnw. Modd bynag, nid oedd dim a foddlonai y brawd ond cael y prophwyd ei hun; ac er mwyn cael terfyn ar y ddadl, dywedodd Mr. Richardson y deuai os medrai; ond os na allai yr anfonai John Elias. Taenwyd y gair trwy Fôn y deuai Mr. Evan Richardson i'r Cyfarfod Misol; ni awgrymodd y genad fod unrhyw amheuaeth ar y mater, a mawr oedd y dysgwyliad am dano. Nid y blaenoriaid a'r pregethwyr yn unig ddarfu ymgynull i'r cyfarfod, daeth holl Fethodistiaid yr ynys oedd yn alluog yno. Ond yn lle Mr. Richardson, yr athraw dysgedig, a'r pregethwr poblogaidd, dyma ryw fachgenyn gwladaidd, tal, ac esgyrnog, na chlywsai neb yn flaenorol am ei enw, yn gwneyd ei ymddangosiad. Hawdd dychymygu mawredd y siomedigaeth. Bu cryn betrusder am ei roddi i bregethu yn y Cyfarfod Misol, ond rhag digio Mr. Richardson gosodwyd ef i ddweyd gair o flaen rhywun, nas gwyr neb yn awr pwy. Ymddengys hefyd mai efe oedd i ddechreu yr odfa. Darfu i'w osgo wrth esgyn i'r pwlpud, y difrifwch oedd yn argraffedig ar ei wedd, y defosiwn a ddangosai wrth gael ei hunan yn y lle cysegredig, a'r dull parchedig gyda pha un yr agorai y Beibl, argyhoeddi y gynulleidfa fod rhywbeth yn y llanc. Cadarnhawyd hyny gan ddarlleniad y benod. Cyrhaeddai ei lais treiddgar gyrau pellaf y gynulleidfa; yr oedd ei oslef mor naturiol ac yn cyfnewid fel y cyfnewidiai ansawdd y mater, a'i bwyslais mor darawiadol, nes y teimlai pawb fel pe na chlywsent y benod o'r blaen, a bod y darlleniad yn esboniad o'r fath oreu arni. Yr oedd y weddi a ganlynodd yn rhyfeddach fyth. Teimlid fod y gŵr ieuanc wedi cael mynediad i mewn i'r sancteiddiolaf, ei fod yn ymyl y drugareddfa, a cherbron y Presenoldeb dwyfol a eisteddai rhwng y cerubiaid; deallid yn fuan fod ei apeliadau gwylaidd a thaer wedi cyrhaedd yr orsedd, a bod Duw yn ateb allan o'i fangre. Cyn i'r weddi orphen nid oedd yr un llygad sych yn y lle. Bellach nid gorchwyl anhawdd oedd pregethu; diflanasai rhagfarn y bobl fel y tawdd eira tàn belydrau cynhes yr haul. Pa beth oedd ei destun nis gwyddom, ond cafodd odfa i'w chofio byth; coffhâi yr hen bobl am dani â'r dagrau lon'd eu llygaid yn mhen degau o flynyddoedd. O'r awr hono hyd ddydd ei farwolaeth bu John Elias y pregethwr mwyaf poblogaidd yn Môn. Ar derfyn y cyfarfod ymgasglai y blaenoriaid o wahanol ranau yr ynys o'i gwmpas, gan grefu am gael cyhoeddiad ganddo, ac yr oedd yntau yn hollol barod i gydsynio.

Yr ydym yn cael ei fod yn bresenol yn Nghymdeithasfa Llanfair-Caereinion, Ebrill 11, 12, 1796; ac ymddengys fod y rhai a drefnent y moddion cyhoeddus wedi clywed rhywbeth am dano, felly gosodasant ef i ddechreu un o'r cyfarfodydd. A dywedir fod mwy o son am weddi ryfedd y bachgen o Sir Gaernarfon, fel ei gelwid y pryd hwnw, nag am ddim a fu yn y Gymdeithasfa hono. Dywedai Mr. Humphrey Gwalchmai, yr hwn nad oedd ond bachgen ar y pryd, fod pawb o'i gwmpas, yn gystal ac ef ei hun, yn foddfa o ddagrau; "yr oeddem yn crynu," meddai, "fel pe byddem ar ymddangos gerbron brawdle Crist." Cyrhaeddodd y sŵn am ei hynodrwydd fel pregethwr y Deheudir, a theimlid awydd cryf am iddo ddyfod am daith trwy y dalaeth. Dywedai y Parch. Ebenezer Williams, Sir Faesyfed, i'w dad a blaenor arall fyned tua'r adeg hon i Gymdeithasfa y Bala, yn un swydd er cael cyhoeddiad John Elias. Y cyntaf y tarawsant wrtho, wedi dyfod i'r dref, oedd Mr. John Roberts, wedi hyny o Langwm.

Mynegasant eu neges wrtho, a gofynasant a fyddai y Gymdeithasfa yn foddlon caniatau i Elias ddyfod ar daith trwy Ddeheudir Cymru. "Er mwyn pobpeth," ebai Mr. Roberts yn ol, "gadewch lonydd iddo, i gael gweled beth a wna yr Arglwydd o hono. Y tebygolrwydd yw yr ymddyrchafa yn uchel iawn, neu y syrthia i'r dyfnderoedd. Yr ydym ni yn credu fod ynddo ddefnydd pregethwr annghyffredin, os na chaiff ei ddyfetha yn awr ar y cychwyn." Felly, bu raid i'r ddau frawd o'r Dê ddychwelyd yn siomedig iawn.

Modd bynag, ni fynai y Deheuwyr eu gwarafun. Cyfarfyddodd Mr. Ebenezer Morris âg Elias pan ar daith yn Sir Fôn; ffurfiodd y syniad uchaf ar unwaith am ei gymhwysder i'r pwlpud, a llwyddodd nid yn unig i gael ganddo addaw y deuai i'r Dê os caffai ganiatad, ond hefyd i gael gan y Cyfarfod Misol roddi y cyfryw ganiatad iddo. Wedi cael rhyddid dyna yntau yn cychwyn. Ar ei ffordd pregethai yn Mathafarn, cartrefle y Parch. William Jones, wedi hyny o Dol-y-fonddu, ac adroddwyd hanes yr odfa hon i Dr. Owen Thomas, gan Mr. Morgan Meredith, yr ydym wedi cyfeirio yn barod ato. "Yr oedd John Elias," meddai yr hen ŵr, "yn pregethu allan yn y buarth, oblegyd yr oedd yno ormod o bobl o lawer i fyned i'r tŷ; yn wir, yr oedd yno dyrfa fawr iawn o'i flaen. Yr oedd Mrs. Jones, ac un o'r morwynion, yn y tŷ, yn parotoi ciniaw, oblegyd yr oedd yno lawer iawn o ddyeithriaid wedi ymgasglu; ond yr oedd hi a'r forwyn yn rhyw ddyfod allan, bob yn ail, i wrando ychydig o'r bregeth. Y testun oedd y geiriau yn Ioan i. 29: 'Wele Oen Duw, yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd.' Ac yr oedd yn pregethu gyda y fath nerth, a goleuni, ac effeithiau, nad oeddem ni yn y wlad yma erioed wedi clywed dim cyffelyb. Yr oedd y bobl o'i flaen o, fel pe gwelsech chwi gae gwenith o flaen ystorm fawr o wynt. Yr oedd yno ddynion mawr, cryfion, celyd, yn gwaeddi allan am eu bywyd. Ond toc, fe ddaeth at y gair hwnw, 'y teulu yn rhy fychan i'r oen' (gweler Ex. xii. 4: 'Ond os y teulu a fydd ry fychan i'r oen, efe a'i gymydog nesaf i'w dŷ a'i cymer, wrth y rhifedi o ddynion; pob un yn ol ei fwyta a gyfrifwch at yr oen.') 'Beth ydyw y tramwy,' meddai, 'sydd rhwng Dê a Gogledd, a rhwng y Gogledd a'r Dê?' 'Y teulu sydd yn rhy fychan i'r Oen.' 'Beth ydyw y cyffro sydd y dyddiau yma i anfon cenhadon i filiynau tywyll India, i baganiaid duon Affrica, ac i lwythau anwar Ynysoedd Môr y Dê?' 'Y teulu sydd yn rhy fychan i'r Oen.' I ba beth y daethoch chwi yma, ar ganol dydd gwaith, i dynu dynion oddiwrth eu gorchwylion ar amser prysur fel hyn? 'Y teulu sydd yn rhy fychan i'r Oen.' 'Bobl,' meddai, ac yn codi ei lais yn uchel, 'y mae y wledd ar y bwrdd, Duw ei hunan sydd wedi ei darpar; y mae cyflawnder Duw ynddi; y mae croesaw, y mae galwad arnoch i gyd i ddyfod ati; yr ydwyf fi wedi dod yma heddyw yn un pwrpas i'ch hysbysu fod lle i chwi wrth y bwrdd. 'Y mae y teulu yn rhy fychan i'r Oen.' Ar hyny fe aeth yn waeddi mawr trwy yr holl le i gyd. Ac yr oedd Mr. Jones, Dol-y-fonddu, un o'r dynion mwyaf ei faint yn yr holl wlad, yn gwaeddi ac yn neidio fel hogyn. Gyda hyny, dyma y forwyn, yr hon y pryd hwn a ddygwyddai fod allan, mewn dychryn mawr yn rhedeg i'r tŷ, ac yn gwaeddi: 'Meistres, meistres, dowch allan mewn mynyd, mae meistr wedi myned o'i go.' Yr oedd yno y lle rhyfeddaf a welsoch chwi erioed. Allwch chwi ddim dychymygu am y nerth oedd gydag o y pryd hwnw. Wel, ni a aethom ar ei ol o, am a wn i bob enaid o honom, i Fachynlleth y noson hono, nes oedd pobl Machynlleth wedi dychryn, yn meddwl ein bod wedi dyfod i gymeryd y dref. Nid oedd yno ddim digon o le i haner y bobl yn y capel. Yr oedd yno un o hen offeiriaid y Deheudir, fyddai yn dyfod tua'r Gogledd yma ar gyhoeddiad, yn ei gyfarfod o yn Machynlleth, ac fe feddyliodd hwnw, y creadur gwirion! mai ar ei ol o yr oedd y bobl wedi dyfod, ac yr oedd o am rwystro John Elias i gael pregethu. Ond fe ddywedwyd wrtho mai ar ol y dyn ieuanc yr oedd y bobl wedi dyfod, ac, os na chai ef bregethu, yr âi y rhan fwyaf, os nad y cwbl o honynt, ymaith ar unwaith. Ac felly pregethu ddarfu iddo, yn y ffenestr yno. Ac fe gafodd y fath hwyl y noswaith hono drachefn, fel na wnai yr offeiriad gynyg pregethu ar ei ol. Ac, yn wir, yr oedd yn llawer callach wrth beido pregethu nag oedd o pan am ei rwystro ar y dechreu. A therfynu y cyfarfod trwy weddïo a wnaeth." Ychwanega Dr. Thomas: "Dyma yr adroddiad yn syml, fel y cawsom ni ef o enau yr hen flaenor ei hunan, Mawrth 12, 1850, ac yr ydym yn ei ddodi i mewn am ein bod yn teimlo y byddai yn resyn iddo fyned ar ddifancoll. Yr oedd hyn, can belled ag y gallai yr hen ŵr gofio, yn agos i'r amser y

bu farw y Parch. Peter Williams. Ac fe fu ef farw Awst 8, 1796. Os felly, nid oedd Mr. Elias y pryd hyn ond ychydig dros ddwy-ar-hugain oed, ac heb fod yn pregethu am lawn ddwy flynedd."

Er mai o'r cyfarfod a nodwyd yn unig y meddwn ddesgrifiad, yn ol pob hanes cafodd John Elias odfaeon digyffelyb ar y daith hon, yn y rhai y gweithiai yr un a'r unrhyw nerthoedd. Tystia y Parch. Ebenezer Morris i'w ymweliad fod yn foddion i gychwyn un o'r adfywiadau cryfaf a mwyaf bendithfawr y bu ef yn llygad-dyst o hono. Nid gormod dweyd iddo ysgwyd y Deheudir o gŵr i gŵr. Llenwid y ffyrdd gan ddynion awchus am ei wrando, yn ei ganlyn o ardal i ardal, y fath na welwyd ei gyffelyb er marwolaeth Daniel Rowland. Allan yn yr awyr agored y pregethai gan amlaf oblegyd maint y gynulleidfa. Os gosodid ef i lefaru mewn capel, yn y ffenestr y gwnelai hyny o angenrheidrwydd, gyda mwy o wrandawyr y tu faes i'r muriau na'r tu fewn. Ac yr oedd y dylanwad a'r llewyrch yn annarluniadwy; megys rhuthr corwynt yn rhwygo trwy ganol coedwig dew, gan adael ar ei ol brenau cryfion wedi eu dryllio, coedydd talfrig wedi eu dadwreidddio, a changhenau preiffion wedi eu hysgythru ymaith, yn gyffelyb oedd rhuthr Elias yn nerth Duw ar deyrnas y tywyllwch y tro hwn. Y dewraf ei galon o'r cedyrn mewn annuwioldeb a welwai yn ei bresenoldeb, creaduriaid celyd a groch-waeddant mewn dychryn; y meddwon wrth y canoedd a adawsant y cwpan, a'r difeddwl a'r difater a ddaethant wedi eu difrifoli i geisio am le yn nhŷ Dduw.

Ymddengys mai un odfa galed a dilewyrch a gafodd yn ystod yr holl daith, ac am hono yn unig y crybwylla efe. Pregethai yn Merthyr Tydfil ryw ddiwrnod am ddau o'r gloch, a chan y fath lewyrch oedd ar yr odfa, a'r fath awch oedd yn y bobl am ei wrando, gwnaed iddo addaw pregethu mewn lle poblog yn y gymydogaeth, Dowlais, yn ol pob tebyg, am chwech yn yr hwyr. Rywfodd, ac oblegyd rhyw reswm nad oes genym ni yr un syniad beth ydoedd, yn lle cymeryd pregeth a baratoisai, anturiodd gymeryd testun hollol newydd iddo, gan ymddiried i'w alluoedd a'i hyawdledd, ac i'r cymhorth a roddid iddo ar y pryd. Eithr prin y dechreuodd bregethu cyn iddo deimlo ei fod yn euog o bechod dirfawr yn erbyn Duw, am ryfygu ceisio cyhoeddi ei Air i dyrfa o bechaduriaid, heb gymeryd y llafur hwnw gyda'r gwirionedd, mewn dwys fyfyrdod a gweddi, oedd yn briodol ac angenrheidiol. Am y rhyfyg a'r hunanymddiried hwn cafodd ei geryddu yn llym gan ei Dad nefol; aeth yn dywyllwch fel y fagddu arno, siomwyd ef yn gyfangwbl yn ei alluoedd naturiol, a bu raid iddo roddi i fynu yn llawer cynt nag y bwriadai. Can gynted ag y gorphenodd aeth ar ei liniau ar waelod y pwlpud, a chyda gofid anaele a llawer o ddagrau, efe a daer erfyniodd am faddeuant, ac am i Dduw o'i ras ei gadw rhag bod yn euog o'r cyffelyb amryfusedd mwy. Cofiodd y wers hon byth. Gyda yr eithriad o'r odfa ddilewyrch yma, yr oedd taith gyntaf John Elias trwy y Deheudir yn ofnadwy yn ei dylanwad, a thrwyddi ymddyrchafodd yn ngolwg pawb i'r safle uchaf yn mysg pregethwyr godidog ei ddydd. Yn mhen ychydig wedi hyn gofynai rhywun i Siencyn Thomas, Penhydd, am ansawdd crefydd yn Sir Forganwg. "Crefydd," ebai yntau, yn ei ddull hynod ei hun, "nid oes yco ddim son am grefydd; son y mae pawb am John Elias." Dyna ei ddull hynod ef o ganmol y pregethwr ieuanc. Diau i hanes llwyddiant Elias gael ei gludo gyda buandra i Wynedd, a rhoddodd derfyn am byth ar y rhagfarn oedd yn meddyliau rhai o'r hen frodyr ato.

Gwedi dychwelyd ymroddodd i lafurio yn ddiarbed, a pha le bynag yr elai yr oedd effeithiau rhyfedd yn cydfyned a'i weinidogaeth. Y fath oedd y syniad a goleddid am dano fel y rhoddwyd ef i bregethu yn Nghymdeithasfa y Bala y boreu olaf yn y flwyddyn 1797, a dywed Dr. Thomas iddo gael odfa y pryd hyny oedd yn coroni yr holl Gymdeithasfa. Ei destun oedd Esaiah liii. 11: "O lafur ei enaid y gwel ac y diwellir," a pharhaodd i bregethu, meddir, am awr a thri chwarter. Dyna y tro cyntaf iddo bregethu mewn Cymdeithasfa yn Ngwynedd. Pregethodd yn Nghymdeithasfa y Bala y flwyddyn ganlynol, a phob blwyddyn o hyny hyd ei farwolaeth, gyda'r eithriad yn unig o'r flwyddyn 1832, pan y lluddiwyd ef gan y ddamwain ofidus a'i cyfarfu.

Y pwynt nesaf yn ei hanes yw ei briodas â Miss Elizabeth Broadhead, merch henaf Mr. Richard Broadhead, Tre'rgof, Llanbadrig, Môn, yr hyn a gymerodd le Chwef. 22, 1799. Cyfaill y priodfab ydoedd Mr. Richard Jones, wedi hyny o'r Wern, yr hwn oedd yn gyfoed ag ef fel dyn a phregethwr, a'r hwn a bregethodd y prydnhawn hwnw allan wrth y tŷ i dyrfa liosog oddiar

Gen. iii. 20. Yr oedd Richard Broadhead yn dirfeddianydd lled helaeth, ac yn gefnog ei amgylchiadau; ond ymsefydlasai Elizabeth mewn masnach ar ei chyfrifoldeb ei hun yn Llanfechell. Darfu i'w thad, yr hwn oedd yn Eglwyswr zêlog, sori wrthi am briodi pregethwr tlawd fel John Elias; ni roddai iddi ddim fel cynysgaeth, ni chynorthwyai hi ychwaith mewn unrhyw fodd yn ystod blynyddoedd cyntaf ei bywyd priodasol, pan yn ymladd a'r byd wrth fagu plant, a bygythiai dori ymaith oddiwrthi bob rhan yn yr etifeddiaeth. Bu yr hen ŵr, fodd bynag, fyw yn ddigon hir i newid ei farn am ei fab-yn-nghyfraith; daeth i deimlo ei fod yn foneddwr yn mhob ystyr o'r gair heblaw meddiant o gyfoeth, ac yn ei ewyllys ddiweddaf cafodd Mrs. Elias yr un gyfran o'r etifeddiaeth a'i chwiorydd eraill.

Haedda priod John Elias sylw arbenig. Hi oedd yr henaf o chwech o ferched, a chafodd ei dwyn i fynu mewn rhan gydag ewythr iddi, yr hwn a breswyliai gyda'i chwiorydd yn Neuadd Cemlyn, ac hefyd oedd yn offeiriad yn Eglwys Loegr. Yr oedd efe yn llawn rhagfarn at y Methodistiaid. Unwaith, pan yn eneth fechan, aeth Elizabeth i ymweled â'i rhieni, ac ar ei ffordd trodd i dŷ hen flaenor a breswyliai ar eu tir, sef Edward Jones, gŵr a gawsai ei ymlid o'r naill le i'r llall oblegyd ei grefydd. Yr oedd y teulu ar y pryd yn yfed tê; a chafodd merch y meistr tir gwpanaid, a brechdan fêl gyda hyny. Wrth y bwrdd gyda hwy eisteddai pregethwr; rhoes hwnw ei law ar ben Elizabeth fach, gan ddweyd: "Fe allai y caiff hi weled." Er na wyddai hi y cysylltiadau, gwnaeth y geiriau, a dull y pregethwr o'u dweyd, argraff annileadwy ar ei meddwl. Tybir mai ymddiddan yn obeithiol am lwyddiant yr efengyl yr oedd y teulu ar y pryd. Y fath oedd rhagfarn ei hewythr a'i modryboedd yn y Neuadd at y Pengryniaid, fel y buont am dair wythnos heb ymddiddan â'u nith ar ol iddi ddweyd ei bod wedi galw yn nhŷ Edward Jones. Y pregethwr wrth y bwrdd oedd un George Griffiths, o'r Deheudir, llefarwr tra rhagorol, ond â chrwb ar ei gefn. Pregethai un tro yn dra godidog yn Nghymdeithasfa y Bala; ar ei ol pregethai Robert Roberts, Clynog, yr hwn yntau oedd yn gefngrwm, nes gorchfygu pawb. Ar derfyn yr odfa dywedai John Jones, Edeyrn, wrth y pregethwyr o'i gwmpas: "O, frodyr, gwyn fyd na byddai crwmp ar gefn pob un o honom."

Ond i ddychwelyd at Miss Elizabeth Broadhead. Ymddengys iddi gael addysg dda; bu am gryn amser mewn ysgol yn Lloegr. Yn nhŷ modryb iddi, a breswyliai yn y Fronddu, y gafaelodd y gwirionedd gyntaf yn ei meddwl, wrth wrando pregeth yn ddamweiniol. Aeth yn dywydd mawr arni yn nghylch ei mater tragywyddol; a phan welodd ei rhieni a'i pherthynasau ei bod yn tueddu at y Methodistiaid, aethant yn chwerw eu hyspryd, fel y bu raid iddi ddianc i dŷ ewythr iddi o ochr ei mam, sef Shadrach Williams, a chydag ef y cafodd noddfa. Meddai hithau ddigon o annibyniaeth yspryd i beidio pwyso ar neb, ac agorodd siop ar ei chyfrifoldeb ei hun, mewn tŷ perthynol i Shadrach Williams, yn Llanfechell. Yno daeth i gydnabyddiaeth â merch ieuanc dduwiol iawn o'r enw Jane Thomas. Llawer seiat felus a gafodd y ddwy. "Fel hyn yr wyf fi, Jane anwyl, yn cael fy nghuro gan ofnau meddwl, nes yr wyf bron digaloni," ebai y naill. "Mi fum i yr un fath a chwi, Miss Broadhead," meddai y llall, "ond y gair hwnw sydd fel ar fel, a darn arall o'r bregeth a'r bregeth, a roes ymwared i mi." Daeth yn gwestiwn iddi â pha seiat i ymuno, am nad oedd gan y Methodistiaid achos yn Llanfechell, a phenderfynodd o'r diwedd gynyg eu hunan yn aelod yn Llanrhyddlad, gan y cynhelid y cyfarfod eglwysig yno yn y prydnhawn, a bod ei pherthynasau hithau yn teimlo yn ddigllawn at gyfarfodydd y nos. Ryw ddiwrnod dyna hi yn cau y siop, ac yn cychwyn yn ofnus am Lanrhyddlad. Prin y meddai ddigon o wroldeb i agor y drws, a dywedai wrthi ei hun pan yn gosod ei llaw ar y gliced: "O Arglwydd! A wrthodant hwy fi?" Hen bobl gyffredin yr olwg arnynt, ac wrth eu ffyn, oedd y swyddogion. Synodd arnynt wrth weled merch ieuanc brydferth, wedi gwisgo yn hardd, yn dyfod i'w mysg. Ebai un o honynt, gan ddynesu ati, a gosod ei law ar *spencer* o *muslin* gwyn oedd am dani: "Betty Broadhead, beth yw hwn sydd am danat? Os wyt am gael lle gyda ni, rhaid i ti beidio gwisgo peth fel hyn." "Mi beidiaf, Owen Jones anwyl," ebai hithau yn ol. Ei derbyn a gafodd, a daeth yn anwyl iawn gan y frawdoliaeth. Un tro dywedai ei phrofiad mewn llais braidd yn isel. "Pwy sydd yn siarad?" gofynai hen flaenor nad oedd yn gweled nac yn clywed

yn dda. Atebwyd mai Elizabeth Broadhead. Ebai yntau yn ol: "Gadewch iddi ddweyd; ni chlywais i erioed mo honi heb ddalen olewydden yn ei chilfin."

Mewn canlyniad i'w briodas symudodd Mr. Elias i Lanfechell i fyw, ac felly Môn o hyny allan sydd yn gysylltiedig â'i enw, ac wedi cael ei hanfarwoli trwyddo. Digon ffwdanus y bu ar y par ieuanc am rai blynyddoedd. Meddai ef: "Y blynyddoedd cyntaf ar ol priodi, yr oeddym yn lled drallodus a phrofedigaethus o ran ein hamgylchiadau bydol. Byddai fy meddwl mewn trallod mawr, gan ofn nas gallem dalu i'n gofynwyr, a thrwy hyny fod yn euog o wneyd anghyfiawnder â dynion, a thynu gwaradwydd ar enw ac achos Duw. Yr oedd yn dda i mi yn yr amgylchiadau hyny fod lle i fyned at orsedd gras; a bum lawer gwaith yn ceisio gweddïo yn daer am i'r Arglwydd fy nghadw rhag gwneyd anghyfiawnder âg un dyn. Nid oeddwn yn gofyn nac yn dymuno cyfoeth, ond yn unig cael modd i wneuthur cyfiawnder â phawb, a gallaf ddweyd i Dduw yn ei fawr drugaredd fy ngwrando yn hyny. Yn mhen ychydig flynyddoedd gwellhaodd ein masnach, fel yr oeddem yn gallu byw yn gysurus, talu ein ffordd, magu ein plant, a rhoddi ysgol iddynt."

Dynes ardderchog, un o bigion y ddaear fel gwraig, oedd Mrs. Elias. Coleddai yr un syniad a'i phriod am urddas y weinidogaeth fel uchel alwedigaeth, am bwysigrwydd safle pregethwr fel cenad dros Dduw at bechaduriaid, ac am yr angenrheidrwydd iddo ymddarpar, yn mhob ryw fodd, er iawn gyflawni dyledswyddau ei swydd. Felly, hyd yr oedd yn ddichonadwy, cymerai gyfrifoldeb y fasnach ar ei hysgwyddau ei hun. Ei henw hi, Elizabeth Elias, oedd ar y siop, uwchben y drws. Ni fu enw John Elias yno erioed. Hyd yn nod pan yr oedd y plant yn fân, a thrafferthion y fasnach a'r teulu yn fawr, ymorchestai i wneyd pob trefniant angenrheidiol, fel na rwystrid ei phriod i fyned at ei gyhoeddiad neu i gychwyn i'w daith. Pan fyddai yn ei fyfyrgell gofalai na chai neb na dim aflonyddu arno; na biliau eisiau ei talu, na thrafaelwr yn gofyn am *orders*, na phersonau yn dyfod ar neges, oddieithr ei fod o'r pwysigrwydd mwyaf. Cadwai y plant fel na chwareuent ac na wnelent ystwr yn nghymydogaeth yr ystafell, gan argraffu ar eu meddwl ieuangaidd fod eu tad yn llafurio gyda gwaith mawr. Hi oedd yn cadw y fasnach, a'r fasnach oedd yn cynhal y teulu, oblegyd nid oedd y gydnabyddiaeth a dderbyniai Mr. Elias am ei lafur, er ei boblogrwydd digyffelyb, ond hynod fychan, ac nid oedd ond dim i deulu ddibynu arno. Na feddylied neb ychwaith mai diwydrwydd, a medr i drin y byd yn fforddus, oedd unig ragoriaethau Mrs. Elias. Yr oedd o feddwl tra ysprydol, yn llawn defosiwn ac yspryd addolgar. Pan fyddai Mr. Elias oddicartref, yr hyn a ddygwyddai yn bur aml, cynhaliai hi y ddyledswydd deuluaidd yn mlaen yn ddifwlch. Nid oedd neb ychwaith mwy awyddus am wrando pregethu. Mor adnabyddus oedd ei hawydd, a chymaint ei pharch hithau yn mysg yr amaethwyr, fel mai anaml y caffai gerdded i Lanrhuddlad boreu Sabbath, yr hwn le oedd tua phedair milltir o bellder; gyda bod y ddyledswydd deuluaidd drosodd byddai y forwyn yn gwaeddi: "Mae ceffyl y Tymawr," neu rywle arall, "a'r gwas, wrth y gareg farch." Un o'r rhai mwyaf caredig iddi yn yr ystyr hwn oedd Richard Hughes, clochydd Llanfechell. Pan y sylwai hi yn ei bresenoldeb nas gallai fyned i glywed gŵr dyeithr oedd ar ei daith trwy y wlad, am nad oedd ganddi anifail i'w farchogaeth, dyna y clochydd yn cau ei ddwrn, a'i fawd i fynu, ac yn dweyd: "Aros gartref, Mrs. Elias! Na chewch, mor wired i; myfi bia *Lion*, ac mai hwnw at eich galwad y pryd y mynoch." Heblaw diolch am bregethwyr na welwyd yn aml eu hafal, dylai Cyfundeb y Methodistiaid gydnabod y nefoedd am wragedd pregethwyr, oblegyd hebddynt ni allasai y gweinidogion, er cymaint eu dawn, gyflawni y gwaith a wnaethant. Yn mysg y rhai hyn un o'r rhai rhagoraf oedd Mrs. Elias, ac nid oes ond goleuni y dydd mawr a ddatguddia ddyled Cymru iddi.

Eithr er dewred ei ffydd, yr ydym yn ei chael hithau unwaith yn syrthio i ddigalondid. Aethai llong lawn o frethynau, a nwyfau eraill o gyffelyb nodwedd, yn ddrylliau ar greigiau Cemmaes. Credai trigolion Môn y pryd hwnw mai eu heiddo hwy oedd yspail y môr, fod ganddynt hawl gyfiawn i bobpeth a deflid i lan ar draeth eu gwlad. Felly rhedodd pawb at y llong ddrylliedig, gan feddianu pobpeth y gallent osod eu dwylaw arno, fel nad oedd nemawr dŷ yn y gymydogaeth heb ddigon o frethyn, a phob defnydd dillad, am flwyddyn neu ddwy. Rhwng hyn, a bod siop newydd wedi cael ei hagor yn y gymydogaeth, bu

siop Mrs. Elias heb neb yn dyfod i ofyn pris llathen o frethyn am gryn amser. Pan yr oedd ei phriod oddicartref, naill ai yn Llundain neu yn y Deheudir, syrthiodd i ddigalondid rhag ofn nas gallai dalu i'w gofynwyr, ac ysgrifenodd ato lythyr tra thorcalonus. Ysgrifenodd yntau yn ol yn ei hanog i ymddiried yn Rhagluniaeth y nefoedd, fod yr Arglwydd yn sicr o ofalu am danynt hwy, ac am ei enw ei hun; a bu y llythyr hwn yn foddion i'w dirwyn i fynu o'r pydew dwfn i ba un y cawsai ei thaflu gan annghrediniaeth.

Pan symudodd Mr. Elias i Fôn yr oedd Methodistiaeth yn bur isel yno. Nid oedd ond ychydig o gapelau yn y wlad, a'r rhai hyny yn fychain, ac yn hynod annghyfleus. Tlodion gan mwyaf oedd yr aelodau, ac ychydig fyddai y gwrandawyr, oddigerth pan ddeuai rhyw bregethwr hynod a phoblogaidd o'r Deheudir trwy yr ynys. Eithr yr oedd cynulleidfaoedd cymharol fawr yn ymgynull yn Amlwch, ac ychydig leoedd eraill. Dau bregethwr o ddim enwogrwydd a feddai y Methodistiaid yn Môn y pryd hwnw, sef Mr. John Jones, Bodynolwyn, yr hwn oedd yn gefnog ei amgylchiadau, yn trafaelu mewn *gig*, ac o herwydd ei ddoniau yn cael eistedd yn y deyrngadair; a Mr. Richard Lloyd, Beaumaris, am yr hwn y cawn grybwyll eto. Codasai gŵr arall o enwogrwydd mawr yno, sef Mr. John Jones, Amlwch, ond yr oedd efe er ys tro wedi symud i Sir Gaernarfon, ac yn cael ei adwaen fel John Jones, Edeyrn. Eithr yn fuan wedi dyfodiad Mr. Elias i'r ynys cyfododd ynddi amryw o bregethwyr grymus, megys y Parchn. W. Roberts, Amlwch, Cadwaladar Williams, John Prydderch, &c.

Ar unwaith, gyda ei sefydliad yn yr ynys, ymdaflodd Mr. Elias i waith yr efengyl, a hyny yn mhob ffurf arno, gyda yr holl yni â'r penderfyniad a'i nodweddai. Pregethai pa le bynag y caffai gyfleustra, mewn amaethdai, yn yr awyr agored ar lan y môr, neu ar ochr mynydd, neu ar fin y ffordd fawr; a'r fath oedd ei ddawn a'i allu pregethwrol fel y cynullai tyrfaoedd i'w wrando, pa le bynag y llefarai. Daeth yn fuan y gallu ysprydol cryfaf o fewn y wlad. Nid gormod dweyd iddo gynyrchu chwildroad crefyddol yn eu mysg, ac yn moesau y trigolion. Yr oedd ei lafur agos yn ddiderfyn. Darllenai yn helaeth, a myfyriai yn ddwys, er cael pethau addas i'w llefaru wrth y bobl; ac yna ai allan fel cenad y nefoedd gan daranu yn erbyn annuwioldeb, a phregethu efengyl y deyrnas. Yr oedd amrai bechodau yn uchel eu pen yn y wlad y pryd hwn; ac heb ymgynghori â chig a gwaed, na gofalu beth a ddywedai neb am dano, nid oedodd ymosod arnynt.

Un o brif bechodau Môn oedd ammharchu y Sabbath, yr hwn bechod nis gallai yntau ei oddef. Arferai trigolion Llanfair-yn-Nghornwy, ymgasglu at eu gilydd ar Sabbath y Sulgwyn i losgi nyth cigfran, yr hon a nythai flwyddyn ar ol blwyddyn ar ysgythredd craig serth, a elwir y Gadair. Tybid fod cywion byw yn y nyth ar y pryd. Rhwyment sypyn o eithin a grug wrth eu gilydd gyda chadwen haiarn, ac wedi ei danio gollyngent ef i waered hyd at y nyth, nes gosod hono yn wenfflam, a rhostio y cywion oedd ynddi. Sal oedd y difyrwch, a chreulawn yr ymddygiad, ond meddai ddigon o atdyniad i gasglu yn nghyd dorf o ynfydion. Wedi arllwys eu creulondeb ar y gigfran a'i chywion ai y bobl i yfed i'r tafarndai; byddai yno feddwdod mawr, a llawer o afreolaeth, ac nid yn anfynych gorphenai yr helynt mewn ymladdfeydd gwaedlyd. Penderfynodd Mr. Elias y gosodai derfyn ar y ddefod waradwyddus. Aeth yno i ganol y dorf gan bregethu cysegredigaeth dydd Duw, a dynoethi y pechod o'i halogi, ac mor effeithiol fu ei bregeth nes y darfu yr arferiad o'r dydd hwnw allan.

Adroddir fod amryw bersonau yn nghymydogaeth Llanrhyddlad, yn yr hwn le yr oedd Mr. Elias yn aelod eglwysig, wedi dysgu *interlude*, yr hon y bwriadent ei chwareu Sul y Pasg. I'r pwrpas, codasid *platform* uchel allan ar y maes. Clywodd yntau am yr amcan, a chyffrodd ei enaid ynddo. Yno yr aeth yn nerth ei Dduw, ac yn ddiegwan o ffydd; a chwedi esgyn i le amlwg cymerodd yn destun Josh. vi. 26: "Melldigedig gerbron yr Arglwydd fyddo y gŵr a gyfyd ac a adeilado y ddinas hon, Jericho." Y fath oedd dylanwad ei eiriau fel y meddianwyd y dorf gan ddychryn; y chwareuwyr a guddient eu penau o'r golwg mewn cywilydd, a rhedasant adref ar frys a gosodasant eu llyfrau ar dân, ac ni fu chwareu *interlude* yn nghymydogaeth Llanrhyddlad o hyny hyd y dydd hwn. Pregethodd yr un bregeth mewn cyfarfod llygredig yn Mhentir, a chyda y cyffelyb ddylanwad. Y tro hwn aeth y chwareuwyr i'r *platform*, ond cwympodd hwnw i'r llawr, a thorodd y prif gampwr ei fraich; yr hyn, gyda phregeth Mr. Elias,

a roddodd derfyn tragywyddol ar yr arferiad.

Gan fod afonydd a ffrydiau dyfroedd yn brin yn Môn ceir yno liaws o felinau gwynt, ac ni phetrusai nemawr, os byddai awel yn chwythu, falu ŷd ar y dydd Sabbath. Teimlai Mr. Elias yn ddwys oblegyd yr arferiad, a chyhoeddai wae ar bwy bynag fyddai yn yspeilio Duw o'i ddydd. Nid hir y bu cyn i felinau gwynt yr ynys gael gorphwys oll ar ddydd yr Arglwydd, faint bynag fyddai yr angen am falu. Arferiad arall, hynod o niweidiol i foesgarwch a chrefydd, a ffynai yn Môn yr adeg hon, oedd y "priodasau gwahodd." Byddai darllaw helaeth ar gyfer priodas, a dynion o bell ac o agos yn cyrchu yno i yfed, er budd y pâr ieuanc. Yn ddieithriad gorphenai y priodasau hyn mewn meddwdod ac ymladdfeydd. Nis medrai Mr. Elias oddef y cyfryw lygredigaeth; taranodd yn ei erbyn gyda holl frwdaniaeth ei natur. Ar y cyntaf, ychydig o gefnogaeth a gaffai; yr oedd yr arferiad yn hen ac yn barchus yn ngolwg cymdeithas, a byddai crefyddwyr yn ymuno yn y ddefod, er na byddent yn rhedeg i eithafion rhysedd. Ond ni ddigalonodd efe; traddodai areithiau tanllyd, y fath na fedrai cnawd eu goddef, yn erbyn y drwg yn y seiat, yn y Cyfarfodydd Misol, ac allan o'r pwlpud. Yn raddol llwyddodd i fowldio syniad y wlad, a chafodd gan y Methodistiaid benderfynu na oddefent neb yn aelodau a gyrchai i'r cyfarfodydd llygredig hyn.

Nid ar un ffurf penodol o bechod ac anfoesoldeb yr ymosodai, ond ar ddrwg yn mhob ffurf arno. Yn fuan wedi iddo ymsefydlu yn y sir ymwelodd yr Arglwydd â'r wlad trwy gynhauafau gwlybion iawn, a hyny dros rai blynyddau yn olynol. Mewn canlyniad aeth ymborth dynion yn brin, ac yn uchel ei bris. Yr oedd y dynion mwyaf cefnog, gan gymeryd mantais ar y prinder i ofyn crogbris am eu hŷd, yn cynyddu yn gyflym mewn cyfoeth, ac yn pentyru golud ar eu gilydd, tra yr oedd y gweithwyr yn cael eu darostwng i dlodi dirfawr, ac yn gorfod dyoddef eisiau angenrheidiau bywyd. Teimlodd yntau o'r herwydd, a chan farnu fod dyledswydd yn galw, cyfansoddodd bregeth ofnadwy o lem yn erbyn cybydd-dod, ac annrhugarawgrwydd, oddiwrth Esaiah lvii. 17: "Am anwiredd ei gybydd-dod ef y digiais, ac y tarewais ef; ymguddiais, a digiais, ac efe a aeth rhagddo yn gildynus ar hyd ffordd ei galon." Traddododd y bregeth hon, ac amryw bregethau eraill o gyffelyb nodwedd, ar hyd a lled y wlad, a mawr fu y cyffro a gynyrchwyd ganddo. Byddai rhai o'i wrandawyr yn ei feio yn drwm, os nad yn ei gablu; dywedent ei fod yn cymeryd mantais annheg ar y pwlpud, ac yn ymyraeth â mater nad oedd yn perthyn iddo. Ond y fath oedd y nerthoedd oeddynt yn cydfyned â'i eiriau, a'r argyhoeddiadau a' gariai i gydwybodau pawb, fel na feiddiai neb ei wrthwynebu yn ei wyneb. A thystiai Mr. Roberts, Amlwch, i'w ymdrechion ddwyn ymwared i dlodion yr ynys, trwy dueddu y rhai a feddent helaethrwydd o dda y byd hwn i dosturio wrth y rhai oeddent mewn cyfyngder.

Cawsai ei feddwl ei lenwi yr adeg hon, wrth sylwi ar agwedd wasgedig y wlad, â'r syniad fod y Duw mawr am roddi y genedl i fynu i farn, oni ddychwelai ar fyrder oddiwrth ei phechod. Credai fod llwyddiant Prydain Fawr trosodd oni chymerai edifeirwch dwys le ar unwaith. Geilw Mr. Roberts, Amlwch, ei bregethau yr adeg hon yn rhai dychrynllyd. Teimlai y gwrandawyr wrth ei glywed yn llefaru oddiar Hosea ix., xii., &c., fel pe buasai barn y dydd mawr, gyda ei holl ddychrynfeydd, yn ymagor arnynt ar y pryd. Ond wedi gyru y dorf i fin anobaith, dangosai fod rhyw gymaint o sail i obeithio am arbediad yn y geiriau, "Gwae hwy *pan* ymadawyf oddiwrthynt." Gwaedda gydag effaith annirnadwy: "A ydyw efe ddim wedi ymadael a'n cenedl? Nac ydyw! nac ydyw! Ond y mae y gogoniant wedi symud o'r lle y bu,—nid ydyw ar y drugareddfa, nid yw yn y pregethau, fel yn nyddiau Harris a Rowland. Nis gwn i yn y byd pa un ai ar y rhiniog, ai ar ganol y ddinas, ai ar y mynydd y mae y gogoniant heddyw. Nid yw yn ei le pa fodd bynag. Ond mi anturiaf ddweyd oddiwrth y gair yma '*pan*' ei fod yn ngyrhaedd rhai crynedig i alw ar ei ol!" Wedi hyny, bloeddiai, a'r dagrau yn llifo dros ei ruddiau, "O Arglwydd, a gaiff y rhai celyd hyn dy weled yn troi yn ol i'th gysegr, yn lle eu damnio? Yr wyf yn dychymygu clywed llais Duw yn ateb, 'Cânt, os ydynt yn cydnabod eu bai.'" Gyda hyn dyma yr argae yn tori, a diolchgarwch y gynulleidfa yn ymarllwys allan mewn mawl a chlodforedd.

Mewn gwirionedd, bu ei ddyfodiad i Fôn fel ysgydwad daeargryn cryf. Teimlodd y trigolion ar unwaith fod gallu aruthrol wedi dyfod i'w mysg, a chodasant fel un

gŵr i wrando ar y pregethwr rhyfedd. Prin yr oedd poblogrwydd Ioan Fedyddiwr ar ei ymddangosiad cyntaf yn nghyffiniau yr Iorddonen, pan yr atdynai ato holl Judea, yn rhagori ar eiddo Mr. Elias yn Ynys Môn. Methai yr annuwiolion gwaethaf ymatal rhag dyfod i'w glywed; unwaith y deuent o fewn cyrhaedd ei areithyddiaeth byddai dychrynfeydd y byd tragywyddol yn ymdori arnynt; gwyneblasent yn ei bresenoldeb, curai eu gliniau yn nghyd, a phrin y teimlent fod yspryd ynddynt. Dwysbigwyd canoedd, ychwanegwyd lluoedd at yr eglwysi, daeth galwad am helaethu capelau ac adeiladu rhai newyddion dros y wlad, a chyfododd y Methodistiaid o fod yn wrthddrychau dirmyg ac erlid i gael eu parchu gan gymdeithas, ac yn allu yn y tir. O hyn allan bu John Elias yn eilun Môn. Edrychai pawb i fynu ato fel prophwyd Duw. Bonedd y tir a'u parchent, y tlawd a'r rheidus a ymgryment iddo, a phan ei cyhoeddid i bregethu llawenychai torf. Nid oedd na gŵr dyeithr o'r Deheudir, na neb arall, yn cael edrych arno yn hafal iddo fel pregethwr. Fel amgylchiad bychan yn dangos y parch a delid iddo, adroddir ei fod unwaith yn myned mewn cryn frys i gyfeisteddfod Cymdeithasfa Caernarfon; pan ddaeth i olwg y gainc fôr sydd yn gwahanu y ddwy sir, gwelai fod y cwch wedi cychwyn eisioes am Arfon, a gwnaeth arwydd ar y cychwyr i ddychwelyd mor fuan ag y medrent. Er fod amryw bobl o urddas yn y bâd ar y pryd, trodd y rhwyfwyr yn eu holau ar unwaith, er mwyn ei gymeryd ef i mewn. Nid oedd yr hen John Jones, Bodynolwyn, mewn un modd yn hoffi hyn, ac meddai rhwng difrif a chellwair, "Beth ydym ni wedi ei wneyd i'r cychwyr yma pan y maent yn parchu John Elias gymaint yn fwy na ni?"

Am y cyfnod hwn dywed Mr. Elias: "Byddwn yn teithio llawer yn y blynyddoedd hyny, ac wedi hyny hefyd; yn myned i'r Deheudir unwaith bob dwy flynedd, a'r flwyddyn arall i Lundain, heblaw myned i amryw o siroedd Gogledd Cymru, ac i Liverpool, Manchester, &c. Er y byddai tyrfaoedd lliosog iawn yn gwrando, a llawer yn ymddangos fel pe byddent yn cael rhywbeth wrth wrando, cadwodd yr Arglwydd fi rhag ymchwyddo. Gan fod fy nghalon mor lygredig, a'r diafol mor gyfrwys a diwyd, bum yn crynu lawer gwaith rhag cael fy nhemtio i falchder o herwydd fy mhoblogrwydd. Ond gwaredodd yr Arglwydd fi trwy ei ras. Byddai ystyried diffygion ac ammherffeithrwydd fy mhregethau goreu yn peri i mi alaru yn ddwys lawer gwaith, hyd yn nod y bregeth a ganmolid gan y bobl; a bu yn dda genyf lawer noson, ar ol pregethu, gael cyfle i weddïo am olchi ymaith halogrwydd fy mhregethau a'm gweddïau yn ngwaed yr Oen. Byddai meddwl hefyd am y miloedd oedd yn gwrando arnaf heb gael dim lleshad, yn peri i mi dristwch a galar dwys, am fy mod yn teithio y gwledydd mor ddifudd." Dyma brofiad un o'r pregethwyr a arddelwyd fwyaf yn Nghymru, ac nis gall amheuaeth fod parthed gonestrwydd ei gyfaddefiad.

Am ychydig o'i deithiau y meddwn hanes, ac ni fedrem adrodd am danynt oll, o ddiffyg lle, hyd yn nod pe bai y wybodaeth angenrheidiol genym; ond teimlwn angenrhaid i roddi talfyriad o hanes ei daith i'r Deheudir yn y flwyddyn 1801, allan o'i bapyrau ef ei hun. Nid annhebyg mai dyma ei ail daith i'r Dê, a'r gyntaf iddo ar ol ymsefydlu yn Môn. Cychwynodd o Lanfechell dydd Llun, Gorphenaf 20, ac yr oedd i bregethu yn Waunfawr y noson hono. Yr oedd yr hîn yn boeth, ac yntau yn teimlo yn llesg, fel yr oedd wedi blino yn enbyd cyn cyrhaedd y lle, ac yr oedd amser dechreu wedi pasio yn mhell. Llefarai Mr. Richardson, Caernarfon, i aros ei ddyfodiad. Teimlai yn hyderus wrth esgyn i'r pwlpud fod ganddo genadwri oddiwrth Dduw, ac ni siomwyd ei ddysgwyliadau. Dranoeth, sef y 21, llefarai yn Meddgelert am ddeg, oddiar Eph. i. 7: "Yn yr hwn y mae i ni brynedigaeth trwy ei waed ef;" yn y Penrhyn, am ddau, oddiar Eph. i. 19: "A pheth yw rhagorol fawredd ei nerth ef tuag atom ni y rhai y'm yn credu;" ac yn Harlech, y nos, oddiar yr un testun ag yn Meddgelert. Bu yr Arglwydd yn dda wrtho trwy y dydd. Ar yr 22ain, llefarai yn y Dyffryn yn y boreu, yn Abermaw am ddau, ac yn Llwyngwril y nos. Boreu y 23, yr oedd ei gyhoeddiad yn Bryncrug; ac wrth weled y bobl yn gadael gwaith y cynhauaf, ac yn ymgasglu yn lluoedd i'w wrando, teimlai ei feddwl yn dra therfysglyd o'i fewn, rhag y byddai yr Arglwydd yn absenol. Ond siomwyd ef yr ochr oreu, cafodd oleuni newydd i'w feddwl ar Grist, fel gwreiddyn y Cristion, yn rhoddi ynddo sudd ac ireidd-dra; a bod yr ireidd-dra hwnw yn dyfod nid trwy rinwedd y tynu o du'r credadyn, ond trwy y nerth

grasol sydd yn Nghrist, yn gweithio i fynu o'r gwreiddyn i'r canghenau. Erbyn y prydnhawn daethai i Pennal; ei destun oedd, Marc xviii. 38: "Canys pwy bynag a fyddo cywilydd ganddo fi a'm geiriau," &c.; ac erbyn myned at y gwaith yr oedd blas newydd arno. Yr oedd yr Arglwydd yn agos iawn ato yn Machynlleth y noson hono pan y llefarai oddiar Job vii. 17: "Pa beth yw dyn pan fawrheit ef?" Synai at y parch a roddid iddo yma, ac at yr ymgeledd a dderbyniai oddiar ddwylaw rhai o radd uchel yn y byd; ond teimlai nad oedd hyn yn ddim yn ymyl yr anrhydedd o gael bod gyda gwaith yr Iesu.

Boreu y 24ain, y mae yn sangu ar ddaear y Dê, ac yn pregethu yn Nhre'r-ddol. Ychydig o bobl a ddaethai yn nghyd, ond nid oedd yr Arglwydd wedi llwyr guddio ei wyneb. Am ddau yr oedd yn Llanfihangel; Iago i. 22 oedd y testun; a "gwneuthurwyr y gair" oedd y mater. Cafodd yma odfa effeithiol iawn. Y nos, pregethai yn Mhenllwyn, oddiar Phil. i. 11: "Wedi eich cyflawni â ffrwythau cyfiawnder." Dydd Gwener, aeth i Cynon erbyn deg. Cywilyddio arddel Crist oedd y pwnc, a chafodd lawer o gymhorth wrth bregethu. Erbyn dau aeth i Aberystwyth, ac er mai dydd Sadwrn ydoedd, yr oedd seiat ar ol y bregeth. Y testun oedd, Eph. iv. 30: "Na thristewch lân Yspryd Duw;" yn drwm y cerddai yr olwynion, ac eto teimlai fod ganddo genadwri, er mai ychydig a ymddangosai fel yn ei chlywed. Dywed fod eglwys Aberystwyth y pryd hwn mewn cyflwr tra difrifol; fod meddwdod yn uchel ei ben yn mysg yr aelodau, ïe, yn mysg y blaenoriaid. Y seiat hono diarddelwyd un am feddwdod, a gwrthodid derbyniad i un arall oblegyd yr un bai. Ar yr un pryd teimlai lawenydd o herwydd ymgais yr eglwys i ymlanhau; wedi glanhau y tŷ, y deml, efallai yr ymddangosai y Shecina. Dranoeth oedd y Sabbath, a phregethodd ddwy waith drachefn yn Aberystwyth, sef am naw yn y boreu, oddiar Rhuf. iii. 31, ac am ddau oddiar Marc ix. 49. Teimlai yn gythryblus ynddo yn y rhagolwg ar yr odfaeon hyn, yn un peth am y gorfyddai iddo bregethu ar ol Mr. Williams, Lledrod, ond cafodd gymorth oddiwrth Dduw, yn arbenig yn y boreu, a theimlai fod ganddo achos diolch. Y nos, llefarai yn Llanilar; nid oedd o un defnydd ceisio myned i'r capel gan faint y dyrfa, diau fod canoedd wedi ei ganlyn o Aberystwyth, ac allan wrth ochr y capel y bu raid iddo bregethu. Rhuf. viii. 29 oedd y testun: "Pob peth yn cydweithio er daioni i'r rhai sydd yn caru Duw," a chafodd odfa hynod o effeithiol, dywed i ryw awel neillduol ddisgyn ar y bobl yno. Dydd Llun, y 27ain, yr oedd yn Llangwyryfon am ddeg, yn Lledrod am ddau, ac yn Swyddffynon yn yr hwyr. Cafodd wyneb yr Arglwydd i raddau mwy neu lai yn y tair odfa.

Dydd Mawrth, yr 28ain, dechreuai y Gymdeithasfa yn Llangeitho, ond gorfodwyd Mr. Elias i fyned i bregethu i Blaenpenal erbyn saith yn y boreu, a chafodd arwydd o foddlonrwydd Duw. Yn dra phryderus yr oedd yn wynebu ar y Gymdeithasfa; dywed fod pethau yn cael eu trin yn y cyfarfod deg o'r gloch a thuedd ynddynt i godi terfysg. Pa beth oeddynt, nis gallwn ddyfalu yn awr; yr oedd pwnc y Neillduad heb ddechreu cynhyrfu, ond y mae yn dra sicr eu bod yn dal rhyw gysylltiad â pherthynas y Corph a'r Eglwys Sefydledig. Am bedwar, pregethai ar y maes ar ol Ebenezer Morris. Teimlai hyn yn brofedigaeth fawr; yr oedd Mr. Morris yn hŷn pregethwr, ac yn enwog trwy Gymru, tra nad oedd Mr. Elias ond dyn ieuanc saith-ar-hugain oed. Eto, medrai weddïo yn daer am i Mr. Morris gael cymhorth, a chafodd flas annghyffredin wrth wrando arno. Cafodd yntau lawer o gymhorth wrth lefaru am fawredd nerth Crist at y rhai sydd yn credu. Y noswaith hono pregethai mewn tŷ fferm o'r enw Goetre. Dranoeth, sef y 29ain, oedd ddydd mawr yr wyl. Cynhelid cyfarfod i'r pregethwyr a'r blaenoriaid am naw, ac wrth fod Mr. Elias yn dechreu trwy weddi cafodd afael ryfedd, yn enwedig wrth eiriol am i'r Arglwydd eu cadw rhag ymollwng i gnawdolrwydd. Ymdrinwyd gyda difrifwch mawr am y perygl i flaenoriaid fod yn ddi-Dduw, i'w harfau fyned yn ddiawch, a bod yn ysgafn wrth ymwneyd â Duw yn y dirgel; am yr angenrheidrwydd i'r athrawiaeth fod yn gyfan yn ei holl bynciau, a'r angenrheidrwydd am weithrediadau cadwedigol yr Yspryd Glân, ac am i fywyd y llefarwyr fod yn syml ac yn addas i'r efengyl. Ymddengys fod hwn yn gyfarfod nodedig iawn. Meddai Mr. Elias: "Yr oedd yr Arglwydd yn amlwg yno, hyd onid oedd fy enaid yn llawn llawenydd a diolch wrth weled arwyddion fod Duw yn ail ymweled a'r brodyr yn y Deheudir, ac yn adgyfodi y bylchau sydd yno yn muriau Seion. Felly y terfyn-

odd y cyfarfod gyda'r tawelwch mwyaf a diolchgarwch." Ychwanegai fod y weinidogaeth gyhoeddus yn dda iawn. Am un-ar-ddeg llefarai Roberts, Clynog, a Griffiths, Nefern; am ddau Lloyd o Gayo, a John Elias. Testun Mr. Elias yma oedd Iago i. 22, a'i fater oedd bod yn wneuthurwyr y Gair. Y noson hono pregethai yn y Gelli. Yr ydym yn gweled ddarfod i Mr. Elias bregethu ddwywaith yn y Gymdeithasfa, er ieuanged ydoedd. Gwna Dr. Phillips, yn y *Drysorfa*, yn ei ragymadrodd i Hen Gofnodau Cymdeithasfaoedd y Deheudir, y sylw hwn: "Byddai gwahoddiadau taerion (am bregethwyr i'r Cymanfaoedd) yn cael eu hanfon o'r naill dalaeth i'r llall, ac yr oedd y son am John Elias yn dyfod i'r Sassiwn yn peri cynhwrf trwy yr holl wlad, oblegyd y rhoddai odfaeon wrth fyned a dyfod, a chyrchai yr un bobl i'w wrando am ddiwrnodau cyn ac ar ol y Gymanfa. Nid oedd yn arferiad y pryd hwnw i'r un gweinidog bregethu fwy nag unwaith yn yr un Gymanfa, ond y mae eithriad i bob rheol, ac yr ydym yn casglu oddiwrth y cofnodau hyn i Mr. Elias bregethu ddwywaith mewn tair o Gymdeithasfaoedd yn y naw mlynedd."

Rhaid i ni fyned yn fwy bras trwy weddill y daith. Gorph. 30, llefarai yn y boreu yn y Penant. Wrth bregethu yn Llanrhystyd am ddau, oddiar Marc viii. 38, cafodd odfa hynod iawn; torodd allan yn orfoledd mawr, bu y bobl am amser maith yn molianu yn y capel, ac yna aethant tua Llannon erbyn odfa yr hwyr dan ganu yr holl ffordd. Cyfarfod effeithiol gafwyd yma. Yr ydym yn cael iddo basio trwy Aberarth ac Aberaeron, heb bregethu, a'i fod yn llefaru boreu y 31, yn Ffosyffin, ar Rhuf. viii. 29. Bu yr Arglwydd yn dirion iawn wrtho yma. Am ddau yr oedd yn Mhensarn, ac Ebenezer Morris yn ei gyfarfod; odfa galed a gafodd yma, teimlai fod ofn dyn yn dwyn magl. Y nos yr oedd yn Mhenmorfa, ymgasglasai torf anferth yn nghyd; ymddengys fod yr holl wlad wedi codi i'w ganlyn, a phregethai yntau oddiar Eph. iv. 30. Meddai: "Nid wyf yn gwybod i mi gael mwy erioed o gymhorth yr Yspryd i ddweyd am Berson yr Yspryd, ac am ei dristâu, nag a gefais yno." Y mae yn sicr ei fod yn gyfarfod i'w gofio byth. Awst 1af, yr oedd ei wyneb ar Twrgwyn, a chyd-deithiai torfeydd gydag ef o ardal Penmorfa, fel yr oedd ei enaid mewn gwasgfa wrth eu gweled. Pregethodd oddiar Rhuf. iii. 31, ac yn mysg ei wrandawyr yr oedd amryw bregethwyr a thri o offeiriaid. Cafodd yma lawer o help. Gyrwyd ef i Gapel Drindod erbyn un, i Glosygraig erbyn tri, ac i Gastellnewydd-Emlyn erbyn yr hwyr. Achwyna ei fod yn hynod o flin ar ol pregethu bedair gwaith yn ystod y dydd.

Yr ail o Awst oedd y Sabbath, ac y mae yntau yn croesi i Sir Benfro, gan bregethu yn y boreu yn Capel Newydd. Yma yr oedd torf fawr wedi ymgynull, a hyny o wahanol ardaloedd, ac yr oedd arno ofn dirfawr cael ei adael iddo ei hun, ond ymwelodd yr Arglwydd yn dirion ag ef, a chafodd lawer o gymhorth. Erbyn dau yn Llechryd yr oedd y dorf yn fwy, yn amryw filoedd meddid, fel nad gwiw meddwl am fyned i'r capel, a bu raid iddo bregethu yn yr awyr agored; Job vii. 17 oedd y testun, cafodd flas i'w enaid, ac yr oedd sobrwydd dirfawr wedi meddianu y bobl. Wrth fyned i Aberteifi at yr hwyr, gwelai y ffordd yn llawn o ddynion, teimlai wasgfa rhag mai efe yn unig oedd y bobl yn geisio; ac erbyn cyrhaedd y dref nid yn unig yr oedd y capel yn llawn, ond yr holl heol. Pregethodd yn y ffenestr oddiar Ezec. ix. 4, a hyny dan lawer o arddeliad. Y 3ydd yr oedd yn Llandudoch yn y boreu, a thrachefn am ddau, a'r nos yn Nhrefdraeth. Dranoeth llefarai yn Nhreddafydd, Dinas, ac Abergwaun, a gorphwysai y noswaith hono yn nhŷ Mr. Jones, Llangan. Y 5ed yr oedd yn Nhrehowell, Felindre, a'r Garnachenwen. Dranoeth yn Nhrefin, Caerfarchell, a Thyddewi. Boreu y 7fed yr oedd yn Solfach, a chafodd odfa effeithiol iawn wrth lefaru am Oen Duw yn tynu ymaith bechodau y byd; ond ar y terfyn bu raid iddo ffarwelio a rhyw frawd oedd wedi ei ganlyn am bedair-ar-bymtheg o odfaeon. Odfa drwm a gafodd yn yr Hall yn y prydnhawn, dim llewyrch, a'r bobl yn gysglyd, ac ar y diwedd canai yn iach â chwaer oedd wedi ei ganlyn am bymtheg odfa. Ymwelodd Duw ag ef y nos yn Hwlffordd. Dranoeth llefarai yn Woodstock, Bull Hook, a Bromblain, ger Narberth. Yr 8fed oedd y Sabbath, pregethai y boreu yn Narberth, tref Saesneg, a chythryblwyd peth arno oblegyd i rai geisio ganddo bregethu Saesneg, ond cafodd gymhorth i lefaru tu hwnt i'w ddysgwyliad. Am ddau llefarai yn Dolfaen, gerllaw tŷ Mr. Nathaniel Rowland, eithr nid yw yn dweyd iddo gyfarfod y gŵr parchedig. Nos Sul pregethai yn Llanbeudy, wrth ddrws tŷ tafarn, gerllaw tŷ Cadben Bowen; yr oedd yr odfa wedi

dechreu cyn iddo gyrhaedd, yr heol, yn groes i'w ddysgwyliad, yn orlawn o ddynion, a chafodd yntau yr awel o'i du. Dywed fod rhyw sobrwydd neillduol wedi meddianu y dorf, a bod llawer yn wylo. Dranoeth cawn ef yn Llanwnio yn y boreu, ac yn Meidrim, Sir Gaerfyrddin, am ddau; yma yr oedd Cadben Bowen a'i briod, y rhai a'i canlynasent ef am bum' odfa, yn gorfod ymadael, a dymunent arno eu cofio gerbron yr orsedd.

Oddiyma teithiai yn ei flaen trwy Gaerfyrddin, lle y cafodd odfa drom, Cynwil, Cwmdwyfran, Nantcaredig, Cross Inn, a Llanfynydd. Cafodd odfa annghyffredin yn y lle olaf wrth draethu ar ymadawiad y gogoniant i roddi lle i'r farn; torodd yn waeddi cyffredinol ar y canol, ac yn swn bloeddiadau y bobl am i'r gogoniant aros y gorphenodd y cyfarfod. Yn Llansawel, dranoeth, yr oedd yn lle rhyfedd wrth ei fod yn son am gymod â Duw, a'r bobl yn tori allan mewn sain cân a moliant. Golwg gysglyd a gafodd ar y bobl yn Nghayo; ofnai am Cilycwm fod y gogoniant yn pellhau; nid yw yn ymddangos iddo bregethu yn Llanymddyfri, eithr cyfarfyddodd yno â Roberts, Clynog, ac aeth y ddau yn nghyd i balasdy Ystradwalter, lle y cafodd y ddau, yn arbenig Robert Roberts, lawer o gymhorth i lefaru. Odfa hyfryd dranoeth yn Llanddeusant, dim neillduol yn Llangadog; ond yn Llansadwrn, y noswaith hono, er iddo ddarllen ei destun, Marc viii. 38, ni chafodd ddweyd dim arno; arweiniwyd ef i son am yr angenrheidrwydd o adnabod Crist. Cyfeiriai at ddau beth, sef goleuo yr enaid i adnabod Crist, ac ystwytho yr ewyllys i dderbyn Crist. Ymddengys mai pethau a gafodd ar y pryd oedd y rhai hyn, ac yr oeddynt yn ymaflyd yn nheimladau y gynulleidfa fel gwreichion mewn tanwydd sych; aeth yn lle rhyfedd yno, a gorphenwyd y cyfarfod mewn teimladau o orfoledd sydd yn annarluniadwy.

Yr 16eg oedd y Sabbath, ac yr oedd ei gyhoeddiad yn Llandeilo am naw yn y boreu. Erbyn cyrhaedd yno yr oedd y miloedd wedi ymgasglu, fel yr oedd yn rhaid llefaru ar yr heol; yn mysg y gwrandawyr yr oedd offeiriad y plwyf, a chynygiai y fynwent i gadw y cyfarfod; ond rhag dyfod cyhuddiad i'w erbyn am ei garedigrwydd gwrthodwyd ei gynygiad. Daethai yno ugeiniau o filwyr, ac amryw swyddogion; ar y canol canwyd yr udgorn i alw y milwyr yn nghyd, ond cyfryngodd yr offeiriad fel y cafodd pawb aros hyd y diwedd. Odfa fendigedig a gafwyd; Ioan i. 29 oedd y testun, ac wrth ei fod ef yn dangos Oen Duw yn tynu ymaith bechodau y byd, rhoddwyd i'r bobl y fraint o wledda arno, hyd onid aeth yn orfoledd trwy yr holl heol. Am ddau, yn Cefnbyrach, yr oedd y dorf yn fawr iawn, prin y medrai ei lais treiddgar ef gyrhaedd y cyrau pellaf; yno yr oedd wyneb yr Arglwydd arnynt drachefn mewn modd nodedig, a thorodd allan yn glodforedd ac yn foliant trwy yr holl gynulleidfa. Yn Bremenda y nos eto yr oedd tyrfa fawr wedi ymgynull, a'r awelon dwyfol yn chwythu yn hyfryd. Boreu dranoeth, yn Llanddarog, ni chafodd lawer o hwyl ar bregethu, eithr bu lle rhyfedd yn y seiat a ganlynai. Yr oedd amryw o'r bobl wedi bod mewn rhedegfa geffylau; ac wedi ymddiddan â hwynt cawsant eu diarddel oll. Eithr cyn gwneyd hyny llefarodd Mr. Elias yn gryf am gerdded y terfynau rhwng y byd a'r eglwys, a chau yr adwyau, ac yna aeth i weddi ar ran y rhai oeddynt i gael eu tori allan. Daeth yno ryw ddifrifwch fel o dragywyddoldeb; torai rhai allan i wylo dros y lle, tra y llewygai eraill.

Oddiyno y mae yn tramwy trwy Brandy Way, Llandyfeiliog, Cydweli, yn yr hwn le yr oedd gwrthwynebwyr i'r athrawiaeth, Llanelli, lle y bu yr Arglwydd yn dirion hynod, Gopa Fach, Abertawe, Llansamlet, a Chastellnedd, lle y cafwyd gwledd o'r fath oreu. Yn Penrhys cafwyd cyfarfod i'w gofio byth; nid oedd yr Arglwydd yn ymguddio yn y Dyffryn, ond yn y Pîl y noswaith hono llanwai llewyrch wyneb Duw y cyfarfod, ac aeth yn orfoleddu ac yn neidio. Nid oedd y bobl yn tori allan yn Mhenybont-ar-Ogwr, ond yr oedd y genadwri yn cael lle; felly hefyd yn Mhencoed. Gwedi pregethu yn Aberthyn dan arweiniad, daeth i Aberddawen; yr odfa yn galed; ond meddai: "Gwelais yr hen Basset dduwiol ar lan afon yr Iorddonen, yn dysgwyl yr alwad i dŷ ei dad. Yr oedd yn dweyd yn dawel fod gafael Duw yn parhau yn gadarn ynddo o hyd, ac er fod y tonau yn arw, y byddai iddynt ei daflu i'r lan cyn hir. O, yr oedd yn dawel!" Odfa hynod y nos hono yn Nhrehill, y bobl yn aros i wrando ar eu ceffylau wrth ddychwelyd o'r farchnad, a rhyw sobrwydd rhyfedd wedi eu meddianu. Awst 23, sef y Sabbath, pregethai y boreu yn Cadoxton i dorf fawr, dyeithriaid yn

benaf, yn yr awyr agored dan bren cysgodfawr; am ddau yn Ninas Powys, disgynodd rhyw sobrwydd rhyfedd ar y dyrfa; a'r nos hono yn St. Ffagan, wrth weled llu ger ei fron a'i canlynasent trwy y dydd, eiddigeddai am gael pregethu Crist iddynt, a rhoddodd yr Arglwydd ei wyneb fel y rhyfeddai y bobl at Oen Duw. Cafwyd awel hyfryd yn Mhentyrch dranoeth; odfa dda yn Mryntirion; ond yn Llantrisant y noswaith hono y caed un o gyfarfodydd rhyfeddaf y daith; dygai yr Arglwydd dystiolaeth amlwg i air ei ras, ac yr oedd tywalltiadau nerthol yn disgyn ar y bobl trwy y capel. Dydd Mawrth, cawn ef yn Llanwono a Merthyr Tydfil. Dydd Mercher, yn Llanfabon, ychydig o bobl oedd wedi ymgynull, ond cafwyd cyfarfod hynod, ac os oedd y capel yn wag o ddynion yr oedd yn llawn o Dduw. Wedi hyny llefarodd yn Eglwysnewydd, a lle arall (Caerdydd, yn ol pob tebyg), Llaneurwg, Risca, Casnewydd, a Chapel Nash. Yn y lle olaf llewyrchai yr Arglwydd ei wyneb yn helaeth, ac yr oedd swn ei wynt yn eu mysg.

Sul 30, cawn ef yn Mryste, lle y pregethodd dair gwaith, ond didrefn iawn y gwelai bethau. Nid oedd fawr hwyl ar yr odfaeon deg a dau, ac aeth yn wasgfa ar ei feddwl rhag iddo orfod myned ymaith heb i Dduw ymddangos; ond yn nghyfarfod y nos daeth i'r golwg mewn modd amlwg. Y dydd olaf o Awst y mae yn croesi yn ei ol i Sir Frycheiniog, gan bregethu yn y Forge, Ty'n-y-wlad, Aberhonddu, a Defynog. Yn y lle olaf gwrthwynebwyd ef yn gyhoeddus gan offeiriad, a thrwyddo cyfododd y diafol derfysg; ond cafodd y gwir ei le trwy y cwbl. Yr oedd hyn ar yr ail ddydd o Fedi, tua chwech wythnos wedi i Mr. Elias gychwyn i'w daith.

Y mae y gweddill o'r cyhoeddiad wedi ei dori allan o'r llyfr, ni wyddis gan bwy. Y mae yn amlwg ddarfod i'w ddyfodiad trwy y Dê gynyrchu cyffro mawr, ac y byddai dylanwadau anorchfygol yn cydfyned â'i weinidogaeth yn aml, y cyfryw fel yr oedd nerth corph dirfawr yn angenrheidiol er gallu ymgynal o danynt, a llawer o ras er ymgadw rhag myned yn falch. A chafodd Mr. Elias ddegau o'r cyffelyb deithiau. Gyda golwg arno dywedai y Parch. Ebenezer Richard, Tregaron: "Llawer gwaith y bu braidd arnaf ofn clywed ei fod yn dyfod trwy y wlad, gan gymaint y swn fyddai am ei ddyfodiad. Yr oedd arnaf ofn y buasai yn cael ei ddarostwng yn ein mysg; ond wedi iddo ddyfod, byddai pawb yn cael mwy na'u dysgwyliad. Ni welais neb yn codi yr achos âg un bregeth yn ngolwg pawb fel y gwnai efe."

Yn y flwyddyn ganlynol, sef cynhauaf 1802, y gwnaeth ei ymosodiad bythgofiadwy ar ffair Rhuddlan, amgylchiad sydd yn brawf o'i ddewrder, yn gystal ag o'r dylanwad a fyddai yn cydfyned a'i eiriau. Ymddengys ei bod yn hen ddefod yn Rhuddlan, er ys oesoedd lawer, i gynal ffair er cyflogi medelwyr, bob Sabbath, yn amser cynhauaf, i'r hon yr ymgynullai tyrfaoedd o ddynion o wahanol barthau y wlad, rhai yn chwilio am waith, ac eraill yn dyfod er mwyn meddwdod ac afreolaeth. Byddai lliaws o ffermwyr cyfrifol yn cyrchu yno hefyd o'r cymydogaethau cylchynol, rhai mor bell ag o wyth i ddeuddeng milltir o ffordd, er cyflogi gweithwyr am yr wythnos ganlynol; a'r gyflog a delid yno a ystyrid yn safon cyflogau yr ardaloedd, yn Siroedd Dinbych a Fflint. Byddai yno hefyd brynu a gwerthu pladuriau, crymanau, a phob celfi amaethyddol, nes troi y Sabbath yn ddydd marchnad, ac ar yr un pryd byddai yr anfoes a'r afreolaeth mwyaf yn myned yn y blaen yn y tafarndai. Cyffrodd yspryd Mr. Elias ynddo gan yr halogiad hwn ar ddydd Duw, a phenderfynodd yr ai i ganol y ffair, ac yr ymosodai ar y castell yma o eiddo y diafol. Gwnaed y bwriad yn nghyd a'r amser yn hysbys i'r aelodau eglwysig yn yr ardaloedd o gwmpas. Ryw Sul dacw Mr. Elias, a difrifwch ofnadwy yn eistedd ar ei wedd, yn cychwyn tua Rhuddlan; gydag ef y mae torf o bobl dduwiol, o ardaloedd Llanelwy, Dinbych, a'r cymydogaethau, yn barod i ddal ei freichiau i fynu, ac i amddiffyn ei hoedl, os bydd mewn perygl. Yn eu mysg gwelir Mr. John Roberts, Dinbych, pen cantwr y wlad, yr hwn a ragorai ar bawb yn ngrym a phereidd-dra ei lais. Cyrhaeddwyd y lle tua dau o'r gloch, pan yr oedd rhialtwch y ffair yn ei anterth. Yr oedd yr heolydd yn llawn o ddynion, canoedd o ba rai a garient eu crymanau a'u pladuriau ar eu breichiau neu ar eu hysgwyddau, nes bod yn ddigon i greu dychryn. Heblaw y twrf a'r dwndwr cysylltiedig â chyflogi, clywid yno swn y crythau a'r telynau, a'u chwareuwyr yn llawn diod a chynhwrf, yn nghyd â thrwst y dawnsyddion masweddol ac annuwiol.

Cymerodd Mr. Elias ei safle ar y grîs uchaf o flaen y New Inn, ac felly yr oedd

yn amlwg ac yn glywadwy i'r holl bobl. Taflodd drem ddifrifol ar y miloedd oeddent o'i flaen, ac yna gyda llais treiddgar, cyflawn o awdurdod, rhoddes y penill canlynol allan i'w ganu:—

"Yr Arglwydd biau'r ddaear lawr,
A'i llawnder mawr sydd eiddo;
Yr Arglwydd biau yr holl fyd,
A'r bobl i gyd sydd ynddo."

"Yr wyf yn meddwl,' ebai'r hanesydd, "na chlywais y fath ganu erioed, a meddianwyd yr holl dorf derfysglyd â rhyw sobrwydd anarferol." Daethai y cyfeillion yno gan ddysgwyl ammharch, a chan ofni am eu bywyd; ond y fath oedd difrifwch gwedd y pregethwr, yr awdurdod a deimlid yn ei drem, a dylanwad y canu rhyfedd, fel na feiddiai y mwyaf rhyfygus godi cynhwrf. Hyd yn nod cyn i'r canu orphen yr oedd y pladuriau a'r crymanau wedi cael eu gosod o'r golwg. Wedi darllen rhanau o'r Ysgrythyr, mewn modd nas medrai neb ond efe, aeth i weddi, ac yr oedd y weddi hono yn rhywbeth i'w chofio byth. Llifai y dagrau dros ei ruddiau pan trosodd a throsodd y diolchai i Dduw am gadw y ddaear yn gyfan, heb lyncu y dorf annuwiol yn fyw i uffern yn eu pechodau. Yr oedd ei ddifrifwch yn llethol, a'i daerineb yn llanw pawb â dwysder, pan yr erfyniai ar i'r Arglwydd roddi yn nghalonau gwŷr mawr y gymydogaeth i ddyfod allan i bleidio sancteiddiad ei Ddydd. Meddai yr hwn a adroddai yr hanes: "Ni chlywais y fath daerineb gafaelgar, a'r fath bwysigrwydd a difrifwch yn ngweddi dyn erioed." Teimlai y mwyaf annuwiol fod Duw yn y lle mewn gwirionedd.

Wedi gorphen y weddi, a chanu penill, cymerodd Mr. Elias yn destun, Ex. xxxiv. 21: "Chwe' diwrnod y gweithi; ac ar y seithfed dydd y gorphwysi: yn amser aredig, ac yn y cynhauaf, y gorphwysi." Yr oedd darlleniad y testun yn effeithio ar y bobl. Sylwai ar bedair adran y testun, sef 1, Chwe' diwrnod y gweithi; 2, Ar y seithfed dydd y gorphwysi; 3, Yn amser aredig y gorphwysi; 4, Ac ar y cynhauaf y gorphwysi. A dyma ef yn chwilio y Beibl am fygythion Duw yn erbyn torwyr ei Sabbathau, ac yn hyrddio y rhai hyny gyda grym anorchfygol i ganol y dorf, nes yr oedd y dewraf yn llewygu. Yna cyfeiriai at farnau yr Arglwydd wedi disgyn ar dorwyr Sabbath; ac yn eu mysg at y tân mawr yn Llundain, yr hwn a ddechreuodd ar y Sul, a hyny yn ddiau yn gerydd ar y trigolion am eu diystyrwch o'r dydd cysegredig. Wedi hyny, atebai y gwrthddadleuon a ellid godi. "Beth os bydd yn gynhauaf gwlyb, a'r ŷd yn braenu ar y maes, a ddylem ni orphwys pe b'ai y Sul yn ddiwrnod têg a braf?" Dylet, ti a ddylet ufuddhau i orchymyn Duw; "yn amser y cynhauaf," medd Gair yr Arglwydd, "y gorphwysi." Gwell fyddai gan yr Arglwydd anfon llu o angelion i drin dy ŷd di, yn hytrach nag i ti ammharchu ei ddydd sanctaidd ef. "Beth os caf golled, ac y byddaf yn methu talu fy ffordd, am na buaswn wedi gwneyd fy ngoreu, adeg cynhauaf gwlyb, ar y dydd Sabbath?" Mi a ddywedaf hyn i ti, y mae miloedd o'r rhai a gadwasant y Sabbath, wedi cael modd i fyw yn llawer gwell na thi, ac i farw yn gan' mil gwell. Cyn y diwedd, dyma holl enaid y pregethwr yn cyffroi ynddo fel pe byddai mewn gwewyr; estyna allan ei fraich dde, a chyfyd ei lais fel udgorn, nes y treiddia trwy y dorf fel taranau Duw hollalluog, a chydag afonydd o ddagrau yn llifo dros ei wyneb, bloeddia: "O'R LLADRON! O'R LLADRON! O'R LLADRON! DWYN DYDD YR ARGLWYDD!! YSPEILIO DYDD FY NUW!!" Y mae yr ymadroddion yn cerdded fel taranfollt; nid oedd cnawd fedrai ddal; bloeddiai y bobl mewn dychryn, a chwedi gweddi ddifrifol gan Mr. Elias, y mae pawb yn cychwyn adref wedi brawychu, a dywedent wrth eu gilydd ar y ffordd na chymerent y byd am fyned yno, nac i un man arall, i gyflogi ar y Sabbath mwy; ac ni fu y cyfryw beth wedi hyny yn Sir Fflint.

Adroddai y diweddar Barch. Robert Roberts, Tan-y-clawdd, iddo orddiwes dyn yn dychwelyd o'r ffair fel yntau, a phan yn troi tua'i gartref; y fath oedd dylanwad geriau Mr. Elias arno, fel y credodd fod y fraich a gariai y cryman wedi gwywo, ac felly syrthiodd yr erfyn o'i law ar y ffordd; ac yr oedd yn ofni ei godi i fynu a'r llaw arall, rhag i hono hefyd ddiffrwytho. "Collodd ei gryman,' ebai yr hanesydd, "ond efe a gafodd ddwy fraich, a llawer mwy na hyny, cafodd ei ail eni yn yr odfa hono; bu fyw weddill ei oes yn gristion gloyw, a bu farw mewn tangnefedd." Aeth son am bregeth ryfedd Mr. Elias dros y wlad; cyrhaeddodd glustiau yr Esgob, a'r prif foneddwyr, ac anfonodd y rhai hyny i orchymyn trigolion Rhuddlan na chynhalient y fath ffair mwy. Eithr ni fuasai raid iddynt, yr oedd Mr. Elias wedi tori asgwrn cefn y ffair am byth. Yn wir, dywedir iddo

wneyd y sylw a ganlyn ar ddiwedd ei bregeth: "Efallai fod rhywun yn barod i ddweyd, fod y ffair hon yn hen sefydliad, ac yr adgyfodir hi eto. Yr wyf yn ateb, os ceisia rhywun ei hail gyfodi, bydd yn felldigedig gerbron y Drindod sanctaidd, yn Dad, Mab, ac Yspryd Glân.'

Yn y flwyddyn 1800 yr ymwelodd â Llundain am y tro cyntaf; gwnaeth hyny bob dwy flynedd o hyny allan hyd ddydd ei farwolaeth, ac yr oedd ei boblogrwydd lawn cymaint ag yn Nghymru. Nid yr anwybodus a'r werin gyffredin yn unig a redent ar ei ol, ond llenorion, gwŷr dysgedig, offeiriaid Eglwys Loegr, gweinidogion Ymneillduol o bob gradd; ïe, dynion wedi ymadael oddiwrth y ffydd, ac felly yn edrych arno ef fel cyfeiliornwr. Bob Sabbath pregethai am saith yn y boreu i gapelaid llawn, a thrachefn fynychaf dair gwaith yn ystod y dydd. Nos Sul, byddai y capel wedi ei orlenwi, a chanoedd yn methu myned i mewn. Yn mysg ei wrandawyr ceid dynion fel Owain Myfyr, Dr. William Owen Pugh, Howells, Longacre, a Hughes, Clerkenwell. Yn un o'i lythyrau oddiyno dywed: "Y mae cynulleidfaoedd mawrion yn ymgynull i wrando y Gair, fel y metha llawer fyned i mewn i'r capel. Bendigedig fyddo Duw, nid wyf yn cael fy ngadael i mi fy hun wrth bregethu iddynt. Bendith annrhaethol yw fod yr Arglwydd yn fy ffafrio i, un mor wael ac annheilwng, â gradd o'i bresenoldeb a'i gymhorth. Och! y mae llawer o'r rhai sydd yn dyfod yn awr i wrando, fel rheol, yn dra esgeulus o'r ordinhad sanctaidd, ïe, y mae llawer o honynt yn gyfeiliornwyr, sef yn Ddeistiaid, a Sosiniaid. O! am i mi gael bod yn dyst ffyddlawn dros Dduw a'i wirionedd iddynt." Byddai gan rai filldiroedd lawer i'w teithio, ond byddent yno yn brydlawn, bob Sabbath ac wythnos, mor gyson a'r pregethwr ei hun.

Yr oedd y cyffelyb boblogrwydd, a'r un awyddfryd am ei wrando, yn nglyn â'i ymweliadau â Liverpool. Pregethai dair gwaith, ac yn fynych bedair gwaith, ar y Sabbathau; a phregethai bob dydd gwaith, am haner dydd, yn nghapel Pall Mall. Am awr y parhäi y gwasanaeth, a byddai y capel yn orlawn. Y gweithwyr ar y dociau a frysient yno ar yr awr ginio, gan fwyta eu tamaid wrth fyned neu ddychwelyd; y masnachwyr a adawent y siop, a'r marsiandwyr y swyddfa, er gwrando Mr. Elias yn cyhoeddi Gair y bywyd. Pa amlaf y pregethai, mwyaf fyddai y cyrchu ar ei ol, ac anaml yr elai cyfarfod heibio heb fod rhyw ddylanwad yn disgyn ar y dorf nes gorchfygu pob peth. Y mae ei boblogrwydd mawr yn fwy hynod pan gofier fod ei weinidogaeth yn ofnadwy o lym. Yn nghanol dychrynfeydd y byd tragywyddol y preswyliai; ei benaf waith fyddai hyrddio taran-folltau cyfraith Duw i ganol y difraw a'r difater; aml y gwasgai ei wrandawyr i fin anobaith, er mai anfynych ychwaith y byddai yn eu gollwng heb agor drws o obaith ar eu cyfer; ac nid oedd dim a ofnai yn fwy na gwneyd sedd yr annuwiol yn esmwyth. Adrodda un o'i gofiantwyr ei fod yn gwrando arno yn mis Rhagfyr, 1802. Y mis blaenorol cawsai y pregethwr seraphaidd hwnw, Robert Roberts, Clynog, ei alw adref oddiwrth ei waith, ac ymddengys ddarfod i'r amgylchiad effeithio yn fawr ar Mr. Elias, gan lanw ei yspryd âg awydd am achub pechaduriaid. Yn yr odfa y cyfeirir ati, pregethai yn Pall Mall, oddiar Esaiah i. 11: "Wele, chwi oll y rhai ydych yn cyneu tân, ac yn eich amgylchu eich hunain â gwreichion; rhodiwch wrth lewyrch eich tân, ac wrth y gwreichion a gyneuasoch. O'm llaw i y bydd hyn i chwi; mewn gofid y gorweddwch." Yr oedd rhywbeth brawychus yn ngwedd ei wyneb, ei ymadroddion a ddisgynent ar y dyrfa fel pelenau o dân, a cherddai aeth trwy yr holl gynulleidfa pan y desgrifiai y crefyddwyr hunangyfiawn a rhagrithiol, ar ol ei holl drafferthu ofer gyda eu tân a'u gwreichion, yn cael eu rhoddi i orwedd mewn tywyllwch o ofid tragywyddol; a'u tân a'u gwreichion, sef eu dyledswyddau a'u cyflawniadau crefyddol rhagrithiol, yn lle rhoddi llewyrch iddynt pan yn taro eu traed wrth y mynyddoedd tywyll, wedi troi yn ddefnyddiau tywyllwch eithaf iddynt. Bu son am y bregeth hon yn Liverpool am flynyddoedd. Nid rhyfedd fod Dr. Thomas yn dweyd am dano, ei fod fel pregethwr yn gwbl annesgrifiadwy, a bod ynddo rywbeth a wnelai ei ddylanwad ar ei wrandawyr yn annghymarol.

Tua'r flwyddyn 1800 cafodd Mr. Elias ryw fynediad rhyfedd i mewn i drysorau yr eilfed-benod-ar-bymtheg o Efengyl Ioan, sef gweddi yr Arglwydd Iesu cyn cychwyn allan i Ardd Gethsemane. Fel hyn y dywed: "Cefais olygiadau goleu a hyfryd ar drefn Duw, yn ei ras penarglwyddiaethol, yn achub pechaduriaid, ac ar raslonrwydd a chadernid diysgog trefn yr iachawdwriaeth. Y mae arnaf hiraeth yn

awr am rai o'r golygiadau a gefais y pryd hyny. Bum dros flwyddyn yn llefaru ar y benod hono yn unig, oddieithr mewn claddedigaethau, neu ryw achlysuron neillduol eraill. Bu yr Arglwydd yn dda iawn wrthyf; rhoddodd ddrws agored o flaen fy meddwl i fyned i mewn i wirioneddau mawrion yr efengyl—rhyfeddodau ei gariad, goludoedd ei ras, ei fawr amryw ddoethineb—a drws ymadrodd hefyd i lefaru arnynt gyda mesur helaeth o lewyrch. Yr wyf wedi colli y cwbl, ond yn unig sylwedd yr athrawiaeth sydd yn y benod nodedig hono, yr hyn sydd yn alar mawr i mi. Nid oedd genyf amser na hamdden i ysgrifenu nodiadau rheolaidd o'r hyn a fyddwn yn ei lefaru, ac felly nid oes genyf ddim o'r pethau wedi eu cadw." Y mae yn eglur, yn ol ei farn ei hun, fod rhyw ogoniant yn perthyn i'r syniadau a gafodd am yr efengyl y pryd hwn, tuhwnt i ddim a gafodd yn ystod gweddill ei oes. Sicr yw fod y byd ar ei golled oblegyd na feddai hamdden i ysgrifenu, ac nis gallwn lai na gwynfydu na fuasai rhywun yn bresenol yn y cyfarfodydd, yn medru llaw-fer, ac yn cofnodi y meddyliau godidog oedd yn cael eu traethu.

Yr oedd poethder yr erledigaeth ar y Methodistiaid trosodd cyn i Mr. Elias ddechreu pregethu; yr oeddent erbyn hyny wedi dyfod yn rhy liosog a chryfion i'w baeddu gan y werinos, ac i'w carcharu gan foneddwyr; ond yr oedd ychydig weddill o'r hen yspryd yn aros yn y wlad, a theimlodd yntau oddiwrtho fwy nag un waith. Ni byddai un amser yn cyffroi pan yr ymosodid arno; ymresymai a'r boneddigion yn garedig; ac meddai un ynad wrtho yn yr *Inn*, lle yr aethant yn nghyd er mwyn gweled ei drwydded: "Ŵr dyeithr, nid oes dim rhyngof fi a chwi, ond fy mod yn ffaelu cael llonydd gan eraill; dydd da i chwi." Dygwyddodd amgylchiad pur nodedig yn ei hanes yn y flwyddyn 1809. Cymdeithasfa Beaumaris ydoedd, a'r prydnhawn cyntaf. Yr oedd Mr. Charles, o'r Bala, wedi pregethu ar Actau xxvi. 18, a John Roberts, Llangwm, ar Psalm v. 11. Yn y *Bull Hotel* y lletyai Mr. Elias, ac am naw o'r gloch yr oedd, yn ol ei arfer bob Cymdeithasfa, yn cynhal y gwasanaeth teuluaidd. Gwnai hyny yn y parlwr mawr, yr hwn oedd yn llawn o bobl, a'r ffenestr yn llawn agored er mwyn i'r bobl y tuallan glywed. Ar ganol y weddi, dyna ryw foneddwr yn dychwelyd o hela, ac yn saethu ergyd allan o'i wn i mewn i'r ystafell. Dychrynodd pawb; agorodd Mr. Elias ei lygaid a gwelai yr ystafell yn llawn o fwg; ond aethai yr ergyd uwchlaw penau y bobl fel na dderbyniodd neb niwed. Wedi gweled na chawsai neb ei niweidio dyma Mr. Elias yn ail-gydio yn ei weddi, a'r gair cyntaf a ddywedodd oedd: "O, Arglwydd, trugarha wrth dy elynion! Achub dy elynion!" Wedi gorphen y weddi, rhoed emyn allan i'w chanu; ond gyda hyny dyma ŵr y tŷ i mewn, yn erfyn arnynt ymatal, am fod y mawl yn cynddeiriogi rhyw foneddwr a letyai yn y gwesty. Gwnaed yn ol ei ddymuniad, ac yn y man aeth Mr. Elias allan i ymddiddan â'r creadur rhyfygus. Cafwyd yr hanes hwn o enau Mr. Parry, o Fangor, yr hwn oedd yn bresenol ar y pryd.

Cafodd ei atal i bregethu yn Llanidloes mor ddiweddar â'r flwyddyn 1819. Ar yr heol y llefarai, a hyny yn nghanol gwyl mabsant oedd eto heb gael ei hymlid allan o'r dref, ac ymgasglasai torf fawr i wrando, tua phum' mil o bobl, fel y bernir. Wedi i'r Parch. Humphrey Gwalchmai ddechreu, cymerodd Mr. Elias yn destun, Ioan xii. 32. "A minau, os dyrchefir fi oddi ar y ddaear, a dynaf bawb ataf fy hun." Ni wnaed un cyffro gan y werinos, ond wedi iddo lefaru am ryw haner awr, gan hoelio yr holl dorf wrth ei wefusau, dyna foneddwr yn ymwthio yn mlaen at y bedrolfen, ac yn gorchymyn i Mr. Hugh Jones fyned ato. Ei neges oedd rhwystro Mr. Elias i bregethu. Ceisiodd Mr. Jones, yr hwn oedd ŵr cyfoethog, ac yn flaenor gyda'r Methodistiaid, ei dawelu, a chafodd ganddo fod yn llonydd am ychydig. Ond yn fuan dyna ef i mewn i'r wagen, ac yn gosod ei law ar ysgwydd y pregethwr, gan erchi iddo dewi. Dychrynodd llawer, ond trôdd Mr. Elias ato yn dirion, a gofynodd am genad i orphen trwy weddi, yr hyn a gafodd. Aed oddiyno i'r capel, ond nid oedd yno le i chwarter y dorf. Modd bynag, cymhellai ef hwynt i beidio dangos dig at y boneddwr. A chyn ymadael aeth i siarad ag ef, a deallai ei fod yn cywilyddio oblegyd ei ymddygiad, ac, meddai Mr. Elias: "Yr wyf yn meddwl yn sicr, wedi ymddiddan â'r gŵr, y cawswn bregethu wrth ei balas." Adroddai efe hefyd iddo gael ei rwystro i bregethu yn Llanfair-Caereinion.

Am y blynyddoedd cyntaf bu yn wrthrych gwawd a chamddarluniad clerigwyr Môn. Adrodda John Elias yr ieuengaf, yn ei adgofion am Llanfechell, gyda golwg ar

y Parch. Lewis Hughes, offeiriad y plwyf yn nyddiau cyntaf preswyliad Mr. Elias yn y lle: "Byddai fy nhad, bob tro y cyfarfyddai ag ef, yn ei gyfarch yn y modd mwyaf boneddigaidd; ond am lawer o flynyddau, troi draw yn ddisylw y byddai y gŵr Eglwysig, fel pe buasai arno ofn i anadl ei gymydog Methodistaidd effeithio ar ei dafod yn y llan y Sabbath, a pheri iddo bregethu fel un o'r Puritaniaid." Ond clafychodd Mr. Lewis Hughes o'r afiechyd y bu farw o hono, ac yn ei glefyd rhaid oedd gyru am Mr. Elias. Nid yn unig efe a weinyddai ar enaid yr offeiriad, trwy ddarllen y Beibl iddo, gweddïo ar ei ran, a'i gyfarwyddo gyda golwg ar y pethau a berthynent i'w heddwch; ond efe hefyd a weinyddai ar ei gorph. Ni chymerai gyfferi y meddyg, mynai i Mr. Elias, yr hwn oedd yn nodedig o hyddysg mewn meddyginiaeth, barotoi moddion iddo. Teg yw cofnodi, ar yr un pryd, ddarfod i'r Parch. John Elias enill cymeradwyaeth offeiriaid y wlad, a'i fod yn uchel ei barch yn eu mysg, fel yn ngolwg pob dosparth arall, flynyddoedd cyn iddo farw.

Yn ystod y blynyddoedd 1800—1809, yr oedd ei lafur, rhwng ei ddarllen helaeth, ei ymdrech egnïol am wybodaeth, ei astudiaeth ddwys yn ei fyfyrgell, ei deithiau aml a hirion, ei egni yn y pwlpud, a'r cyffroadau rhyfedd a fyddent yn cynhyrfu ei yspryd yn fynych pan yn pregethu i gynulleidfaoedd mawrion, bu ei natur agos rhoddi ffordd. Cawn ef yn cychwyn i Lundain Awst y flwyddyn 1802, yn dra llesg, a rhyw anhwylder yn ei wddf, fel yr oedd ei briod mewn pryder dirfawr gyda golwg arno; gwasanaethodd yma am ryw ddeng wythnos, ac yna, cyn cael nemawr amser i orphwys ar ol dychwelyd, y mae yn myned drachefn am daith faith drwy Sir Feirionydd. Yn haf 1805, yr ydoedd wedi myned yn bur wanllyd, ei gylla yn anhwylus, a'i lais yn ddrwg; a chan dybio y gallai mordaith fer i Liverpool fod yn llesiol iddo, y mae yn cychwyn tuag yno mewn llong o Amlwch. Gorph. 23, ysgrifena at ei wraig: "Yr ydwyf yn gobeithio fod clefyd y môr wedi gwneuthur lles i mi; a byddaf yn ymdrochi bob dydd er pan ddaethum yma, ond y Sabbath; yr wyf yn teimlo fy hun yn bresenol wedi cryfhau llawer; y mae fy ystumog a fy llais yn gwella." Mor wael oedd ei wedd y pryd hwn fel yr ofnai cyfeillion Liverpool na chaent weled ei wyneb ef mwy. Ond er cymaint ei lesgedd, pregethai bob canol dydd fel arfer, ac fynychaf bob nos, a hyny gyda nerth a dylanwad anorchfygol. Diwedd yr un flwyddyn, y mae yn cychwyn am Lundain, gan bregethu ar y ffordd yno yn Llangollen, Rhos, Adwy'r Clawdd, Gwrecsam, &c. Yn mhen ychydig wedi cyrhaedd y Brifddinas ysgrifena: "Y mae y gwaith yn fawr iawn yma, odfa bob nos, oddieithr nos Sadwrn, a thair odfa a seiat ar y Sabbath; er hyny, nid wyf yn blino ar y gwaith; y mae yr Arglwydd yn dda iawn wrthyf ynddo; nid yw yn cuddio ei wyneb yn hollol."

Cawn ef Sulgwyn, 1806, yn nghyfarfodydd blynyddol Liverpool. Byddai yn y rhai hyn gyda chysondeb; rhyw bedair neu bump o weithiau y bu yn absenol yn ystod tair-blynedd-a-deugain. Y Sulgwyn hwn yr agorwyd yr ail gapel Methodistaidd yn y dref, sef capel Bedford Street. Cawsai y cyntaf, capel Pall Mall, ei agor bedair-blynedd-ar-bymtheg yn flaenorol, sef Sulgwyn 1787. Fel yr arferai am lawer o flynyddoedd, pregethodd Mr. Elias yn Pall Mall am chwech yn y boreu. Erbyn deg aed i'r capel newydd, lle y gwasanaethwyd yn unig gan Mr. Charles. Am ddau a chwech llefarai Mr. Elias, a rhyw frawd arall gydag ef. Odfa ryfedd a gafwyd y nos; yr oedd y gwin nefol yn llifo dros y llestri, a'r hen gyfeillion yn llamu gan lawenydd. Braidd nad oedd yr hen bregethwr, Mr. Thomas Edwards, yn neidio yn uwch na neb. Meddai efe ar gorph cryf, tua dwy lath o daldra; byddai yn wresog iawn yn fynych wrth bregethu, a phan y gorfodid ef i dori allan i folianu byddai yn nodedig o boeth. Gadawodd ei neidio a'i folianu y tro hwn argraff annileadwy ar feddyliau rhai o'r ieuenctyd oeddynt yn llygad-dystion.

Dechreu Hydref, 1806, aeth Mr. Elias i Lundain drachefn, ar gais y brodyr yn Nghymdeithasfa Caernarfon. Arfaethasai fyned i Gymdeithasfa Abergwaun, a gynhelid yn yr un mis; yr oedd y Parch. Ebenezer Morris wedi ei wahodd gyda thaerni, ac yr oedd ei awydd yntau am fyned yn fwy am fod Sir Benfro yn cael ei hysgwyd ar y pryd gan adfywiad crefyddol cryf; a siomiant mawr iddo oedd methu myned. Dywed fod golwg gysurus ar yr achos yn Llundain; lliaws mawr yn gwrando, ac argoelion fod a fynai yr Arglwydd â llawer o honynt. Bu yn y Brifddinas y tro hwn am ryw ddeng wythnos; pregethai bob nos, a thair gwaith y Sul, ac ymddengys iddo lefaru oddiar tua thrigain-a-deg o destynau. Daeth o Lundain

i Liverpool erbyn Sul, yr 22ain o Ragfyr, lle yr arhosodd gan bregethu hyd ddydd Nadolig. Boreu y Nadolig llefarai yn Pall Mall am chwech yn y boreu, ac yn Nghaer y prydnhawn a'r hwyr. Oddiyno aeth i Gymdeithasfa Llanrwst, ac yr oedd yn ddechreu Ionawr arno yn cyrhaedd Llanfechell. Ar y 13eg o Chwefror y mae yn cychwyn tua Chymdeithasfa Ruthyn, gan bregethu mewn gwahanol leoedd ar y ffordd. Cawn ef yn ol yn Nghyfarfod Misol Niwbwrch ar y 23ain. Dranoeth i'r Cyfarfod Misol, yr oedd yn ddydd o ympryd cyffredinol, a thraddododd yntau anerchiad difrifol ar yr achlysur, mewn tri o wahanol gapelau yn y gymydogaeth. Y Sul, sef Mawrth y cyntaf, pregethodd bedair gwaith, sef yn Pantycoli, Llanrhyddlad, Cemmaes, a Llanfechell. Y dydd Mercher canlynol cychwynai drachefn ar daith trwy Siroedd Dinbych a Fflint; daeth i Liverpool Sadwrn y 14eg, ac arhosodd yno hyd y 18fed; yna aeth i Manchester. Bu yno hyd y dydd Llun canlynol, pan yr ymadawodd am Gaer, yn yr hwn le y pregethodd y noswaith hono.

Rhaid i ni ymatal. Yr ydym yn cofnodi y pethau hyn er dangos mor anferth oedd ei lafur. Dengys ei gofnodau iddo bregethu gant o weithiau namyn pump o Chwefror 13, hyd Mawrth 29, a thrafaelu rhwng chwech a saith cant o filldiroedd. Ni wnaed y cyffelyb gan neb yn Nghymru, oddigerth Howell Harris, ac nid yw yn syndod ei gael yn Llandrindod, haf 1808, a'r haf canlynol, a'i iechyd yn fregus, ac wedi cael ei ddal gan wendid dirfawr. Eithr oblegyd gwydnwch ei natur, ac am fod gan yr Arglwydd lawer o waith i'w gyflawni trwyddo drachefn, cafodd ei adfer i'w iechyd cynefin, a dychwelodd yn gryf ei gorph, ac yn hoeyw ei yspryd.



JOHN ELIAS.

*(Darlun a gyhoeddwyd gan H. Hughes, yr Arlunydd yn Lerpwl, yn 181[illegible])*



PARCH. JOHN ELIAS, O FON.

[*Darlun o hono a gerfiwyd gan W. Roos.*]

# PENOD XLII

——:o:——

## JOHN ELIAS *(parhad).*

*Marwolaeth Mr. Charles yn gwthio y Parch. John Elias i'r ffrynt—Nad aeth Mr. Elias yn mhell i gyfeiriad Uchel Galfiniaeth—Ei weinidogaeth yn parhau yn gymhelliadol—Marwolaeth Mrs. Elias—Ei ail briodas—Yn cyfarfod a damwain ar ei ffordd i'r Bala—Odfaeon rhyfedd—Odfa nerthol tu hwnt yn Nghymdeithasfa y Bala—Odfaeon gorchfygol eraill—Mr. Elias yn ei deulu—Mr. Elias yn ei ardal—Mr. Elias yn ei fyfyrgell—Mr. Elias yn y pwlpud—Mr. Elias yn y Gymdeithasfa—Mr. Elias ar yr esgynlawr—Mr. Elias fel arweinydd y Cyfundeb—Mr. Elias fel Ymneillduwr—Diwedd ei oes.*

YMAE yn anmhosibl i ni, a chadw o fewn terfynau rhesymol, gofnodi holl hanes oes weinidogaethol Mr. Elias; rhaid i ni ymfoddloni ar groniclo rhai o'r prif ffeithiau. Yr ydym eisioes wedi cyfeirio at y rhan a gymerodd yn y ddadl parthed Neillduad Gweinidogion, fel nad rhaid ei ail adrodd. O angenrheidrwydd, yr ydoedd ef yn mysg yr wyth a ordeiniwyd y tro cyntaf yn Nghymdeithasfa y Bala. Ymddengys mai efe oedd y cyntaf i weinyddu yr ordinhadau yn mysg Methodistiaid Liverpool. Nos Sul, rywbryd cyn diwedd y flwyddyn 1811, gweinyddai Swper yr Arglwydd, nis gwyddom ai yn nghapel Pall Mall, ynte capel Bedford Street. Cyn dechreu, traddododd anerchiad hynod o effeithiol, yn egluro natur marwolaeth iawnol y Gwaredwr, a'r digonolrwydd sydd ynddo ar gyfer y penaf o bechaduriaid, yn nghyd â natur y sacrament sanctaidd, a'r cymhwysderau angenrheidiol tuag at gyfranogi yn deilwng o hono. Wrth ei fod yn llefaru disgynodd rhyw lewyrch rhyfedd ar ei yspryd ef ei hun, ac ar y cymunwyr cynulledig, fel nad oedd llygad sych yn y lle. Os coleddai rhai yn flaenorol amheuaeth am briodoldeb gwaith y Cyfundeb yn ordeinio gweinidogion, diflanodd am byth y noson hono. Y nos Lun ganlynol gweinyddai yr ordinhad o fedydd; prin y gellir dweyd fod yr ordinhad sanctaidd hon wedi cael ei lle priodol yn mysg y Methodistiaid yn flaenorol; edrychai llawer arni fel defod wrth osod enw ar y plentyn. Ond y tro yma eglurodd Mr. Elias ei dwyfol osodiad, ei natur, ei dyben, yn nghyd â phwy oeddent briodol ddeiliaid bedydd, a hyny mor rymus ac eglur, fel y cafodd y bobl syniadau hollol newydd am y sacrament.

Cyfnod pwysig yn hanes y Parch. John Elias oedd marwolaeth Mr. Charles, yn y flwyddyn 1814. Gwthiodd yr amgylchiad ef i'r ffrynt, efe o hyn allan a gydnabyddid gan bawb yn arweinydd, ac a eisteddai yn gwbl naturiol yn y brif gadair, yn arbenig yn Ngwynedd. Nid ydym am ddweyd fod y llywodraeth yn gwbl unbenaethol ychwaith, ac na feiddiai neb ei wrthwynebu, cam neu gymhwys. Na, yr oedd yn y Cyfundeb yn Ngwynedd ddynion cryfion, megys Thomas Jones, Dinbych; Richard Jones, y Wern; Mr. Lloyd, Beaumaris, ac eraill, y rhai a feiddient annghytuno weithiau a Mr. Elias. A theg cydnabod y byddai yntau, pan ei hargyhoeddid, yn cydnabod ei gamgymeriad, ac yn dangos yspryd addfwyn a llonydd. Ond anaml y codai gwrthwynebiad iddo. Yr oedd ei ddifrifwch, ei fawr zêl dros burdeb mewn athrawiaeth ac ymddygiad, a'i allu nodedig i egluro ei feddwl ac i ddylanwadu ar eraill, yn ei hynodi yn mysg ei frodyr, ac yn hawlio iddo y lle blaenaf. O hyn allan, hyd ddydd ei farwolaeth, y mae hanes Methodistiaeth yn Ngwynedd yn anwahanol gysylltiedig a'i hanes ef.

Yr ydym eisioes wedi cyfeirio ato yn llithro i raddau i'r heresi Uchel Galfinaidd; at ei bregeth o blaid iawn cydbwys, at y Parch. Thomas Jones, Dinbych, yn ei argyhoeddi; ac at y dadleuon a'r cyffro a ddilynodd. Bu Mr. Elias gryn amser cyn dyfod allan o'r gors yr aethai iddi gyda

golwg ar natur y prynedigaeth. Yn ei ragymadrodd i bregethau Mr. Hurrion ar "Brynedigaeth Neillduol," gwna y sylw hwn: "Nid yw yn addas dweyd fod Cyfiawnder Crist, fel y gwnaed ef i'r holl eglwys, yn cael ei gyfrif i bob credadyn; ond yn hytrach fod yr hyn wnaeth Iesu Grist yn ei le yn cael ei gyfrif iddo. Y mae cymaint ag a all cyfiawnder a'r gyfraith ei ofyn ganddo yn cael ei gyfrif iddo; y mae yn cael ei gyfiawnhau oddiwrth yr holl bethau oedd yn cael eu rhoddi yn ei erbyn o flaen gorsedd Duw." Syniad hynod gymysglyd, ac yn cynwys ynddo hanfod y meddylddrych am iawn cydbwys; ond tystia Dr. O. Thomas nad oedd y golygiad hwn yn gymeradwy ganddo yn ei flynyddoedd olaf. Er nad oedd yn cwbl gydweled â Mr. Jones, Dinbych, ar y pwnc pwysig o Brynedigaeth, ni chollodd ei barch ato, na'i ffydd ynddo, trwy yr holl drafodaeth. Fel hyn yr ysgrifena ychydig cyn ei farw: "Anrhegodd yr Arglwydd Ogledd Cymru ag un gŵr dysgedig a llafurus iawn, ag y bydd ei goffadwriaeth yn beraidd, a'i waith yn werthfawr gan genedl y Cymry am oesoedd lawer, sef, y diweddar Barch. T. Charles, o'r Bala, yr hwn a fu fel tywysog Duw yn eu plith, yn arweinydd doeth, pwyllog, a gofalus. Cafodd y diweddar Barch. Thomas Jones, o Ddinbych, hefyd ddysgeidiaeth foreuol helaeth, ac yr oedd yn ŵr llafurus a defnyddiol iawn yn ein plith, er nad ordeiniwyd ef yn weinidog yn yr Eglwys Sefydledig. Yr oedd ef a Mr. Charles yn cyd-dynu dan yr iau yn nodedig o siriol a heddychol." Awgryma yr ymadroddion hyn y teimlai y cyffelyb barch at Mr. Jones, Dinbych, ag a deimlai at Mr. Charles.

Nid aeth Mr. Elias ychwaith i gyfeiriad Uchel Galfiniaeth yn mhell, fel ag i beidio gwahodd pawb at Grist, ond gosodai ar y pechadur yr holl gyfrifoldeb am wrthod yr efengyl. Yn y modd hyn yr ysgrifena at ei fab, yr hwn oedd yn yr ysgol yn Nghaer: "Y mae dy lythyr yn gogwyddo gormod at lwybr Antinomaidd, trwy gamgymeryd a chamddefnyddio yr athrawiaeth am anallu dyn, ac felly yn tueddu i osod y bai ar Dduw. Ymddengys fel pe byddit yn meddwl nad oes genyt ti ddim i'w wneyd, oddieithr i rywbeth rhyfeddol dy gyfarfod, megys y dygwyddodd i Saul wrth fyned i Damascus. Beth! Dim i'w wneyd ond aros yn dy bechodau? A bod yr Hollalluog i'w feio am nad yw yn dy alw oddiwrthynt, ac yn dy lusgo hyd yn nod yn erbyn dy ewyllys? O, fy anwyl fab, gwylia gyfeiliorni! Er bod dyn yn farw mewn camweddau a phechodau, eto nid ydyw yn farw fel pren neu faen. Nid ydyw dyn heb enaid, a chynheddfau galluog, i weithredu yn rymus a rhwydd. . Y mae yr Arglwydd wrth achub pechaduriaid yn ymddwyn tuag atynt fel creaduriaid rhesymol. Nid yw yn eu llusgo fel cerig, neu yn eu gyru fel anifeiliaid direswm; ond y mae yn gweithio ynddynt ac arnynt fel dynion; yn dangos iddynt ddrwg pechod, eu haeddiant a'u trueni, a bod eu colledigaeth yn hollol wrth eu drws eu hunain; ac yna yn ngwyneb eu truenus gyflwr, yn datguddio Crist a'r iachawdwriaeth gyflawn sydd trwyddo iddynt, fel pechaduriaid colledig, nes dwyn yr enaid i ddymuno, dewis, a derbyn Crist, ac i waeddi o'r galon; ac y'm ceir ynddo ef!"

Hollol gyffelyb oedd tôn ei bregethau; yr oeddynt yn gyflawn o anogaethau i bechadur adael ei ffyrdd, ac yn ei ddal yn gyfrifol gerbron Duw am ei golledigaeth, os mai yn ol y byddai. Fel engraifft, cymerer ei bregeth y nos o flaen Cymdeithasfa y Bala, yn y flwyddyn 1836, ar Diar. i. 24: "Yn gymaint ag i mi eich gwahodd, ac i chwithau wrthod, i mi estyn fy llaw, a neb heb ystyried." Rhoddai bwys mawr ar ystyried, pwysleisiai ar hyn fel dyledswydd ag y mae cymhwysder mewn dyn i'w chyflawni. Tybiai glywed y pechadur yn ymesgusodi: "Fedraf fi ddim edifarhau." Yna atebai: "A elli di ddim galw dy ystyriaeth at ddaioni Duw tuag atat, y trugareddau aneirif wyt ti wedi dderbyn, a'r gwaredigaethau mawrion wyt ti wedi gael?" "Fedraf fi ddim credu.' "Fedri di ddim galw dy ystyriaeth at y Beibl, at y dystiolaeth am Grist, at dy angen mawr am dano, ac at yr addasrwydd sydd ynddo i wneyd i fynu am byth dy holl ddiffygion? Beth sydd yn damnio gwrandawyr yr efengyl? Angrhediniaeth. Beth ydyw achos angrhediniaeth? Gelyniaeth calon at Dduw yn tori allan mewn anystyriaeth. Paham y maent yn gwrthod gwahoddiadau doethineb? 'Heb ystyried.' Dyna yr Iesu mawr, ar ol dyfod i lawr o'r nefoedd i'r ddaear, a marw i enill trefn heddwch, yn yr efengyl yn estyn ei law, ac am wneyd cytundeb heddwch a'r gwrthryfelwr. A ydyw y cymod yn cael ei wneyd? Nac ydyw. Paham? Gwrandewch ar y Gŵr sydd a'i law allan yn dweyd *paham*; 'I mi estyn fy llaw, a neb heb ystyried. Diystyrasant fy holl gynghor i.' Paham



Y FRON, LLANGEFNI.
*[Cartref y Parch. John Elias yn ei flynyddoedd olaf.]*



COF-ADAIL Y PARCH. JOHN ELIAS, YN MYNWENT LLANFAES, BEAUMARIS.

y mae y rhai a wahoddwyd yn gwrthod dyfod i briodas Mab y Brenhin? 'A hwy yn ddiystyr ganddynt.' Oedd yno ddim digon o ddarpariaeth ar eu cyfer? Yr oedd 'pob peth yn barod.' 'A hwy yn ddiystyr ganddynt.' A oedd yr alwad ddim yn ddidwyll a thaer? Yr oedd gweision ar ol gweision yn cael eu hanfon atynt i'w cymhell. Yr oedd y Brenin yn gwrthod derbyn eu nacâd. 'A hwy yn ddiystyr ganddynt.' Oedd rhyw wendid arnynt oedd yn eu hesgusodi? 'Ni fynent hwy ddyfod.' 'A hwy yn ddiystyr ganddynt a aethant ymaith, un i'w faes, ac arall i'w fasnach.' Yr oedd eu hanewyllysgarwch yn dyfod i'r golwg yn eu hanystyriaeth, a'u hanystyriaeth yn cryfhau eu hanewyllysgarwch." Nis gellir synio am wedd fwy cymhelliadol ar weinidogaeth yr efengyl, a ffurfia brawf diymwad nad oedd y duedd leiaf at Antinomiaeth yn mhregethau nac yn nghredo y Parch. John Elias.

Tua dechreu y flwyddyn 1828 cyfarfyddodd â phrofedigaeth lem yn marwolaeth ei anwyl wraig. Buasai efe yn Nghymdeithasfa y Wyddgrug, y dyddiau olaf yn Chwefror, a chan fod Mrs. Elias yn llesg ni theithiodd allan o'r sir yn ystod mis Mawrth. Ar yr un pryd nid ystyriai fod ei bywyd mewn perygl. Y Sul olaf yn Mawrth yr oedd ei gyhoeddiad yn Nghaergybi; prin y tybiai fod ei briod yn waeth na'r dyddiau blaenorol, ar yr un pryd dymunai aros gartref gyda hi yn hytrach na myned at ei gyhoeddiad. Eithr ni wnai hi ganiatau hyn mewn un modd. Yn bur fuan wedi iddo gychwyn cyfnewidiodd Mrs. Elias er gwaeth; mynai y plant anfon ar ol eu tad i'w gyrchu adref, eithr gwrthodai hi yn bendant, gan ddweyd: "Beth yw fy nhipyn cystudd i at y gwaith sydd ganddo ef mewn llaw?" Pan ddychwelodd cafodd hi yn wael iawn, a gwaethygu a wnaeth hyd dydd Mercher, pryd yr hunodd yn yr Arglwydd. Teimlodd ef yr ergyd yn ddirfawr. Y peth cyntaf a wnaeth ar ol iddi farw oedd ysgrifenu teyrnged o barch iddi yn y Beibl teuluaidd. Fel yr ydym wedi sylwi yn flaenorol, ni wyr Cymru faint ei dyled i Mrs. Elias, oblegyd oni bai am ei llafur a'i gofal hi gyda y fasnach, a'r teulu, nis gallasai efe ymroddi i waith y weinidogaeth fel y gwnaeth. Yn bur fuan wedi claddu ei briod, yn unol â chynghor y meddyg, cymerodd daith faith trwy y rhan fwyaf o Ogledd a Deheudir Cymru; bu yn bresenol yn Nghymdeithasfaoedd Llanidloes, Aberystwyth, Liverpool, Manchester, a'r Bala; a theithio a wnaeth agos trwy y gweddill o'r flwyddyn. Ond achwynai ei bod yn hynod boenus i'w deimlad, er carediced ei blant a maint eu gofal am dano, gael y tŷ yn wag o'r hon oedd iddo yn ddymuniant ei lygaid, ar ei ddychweliad adref o'i deithiau.

Yn ystod y flwyddyn ganlynol ei brif waith, heblaw pregethu yr efengyl, fu cynhyrfu y wlad, yn arbenig Môn, i dalu dyled y capelau. O herwydd y llwyddiant anarferol fu ar yr efengyl, yn arbenig gweinidogaeth Mr. Elias, cawsai tua deugain o addoldai newyddion eu hadeiladu yn Môn yn unig, ac yr oedd cryn faich o ddyled yn gorwedd arnynt. Teimlai yn ddwys oblegyd hyn, gan ei ystyried yn sarhad ar Dduw fod dyled ar ei dŷ. Cynhyrfodd ei frodyr yn y Cyfarfod Misol; aeth yn bersonol i bob capel o fewn yr ynys, gan bregethu, a chadw seiat, ac anog y bobl i ymdrech. Meddai: "Yr annghysondeb a'r gwarth mwyaf yw pregethu Crist wedi llwyr dalu dyled ei bobl, mewn capelau sydd yn cael eu llethu dan feichiau trymion o ddyled. Ac yr wyf yn meddwl y pregethwn yn well o lawer mewn capelau diddyled nag mewn rhai dyledog, oblegyd gallem ddysgwyl cael mwy o bresenoldeb Duw gyda ni." Llwyddodd yn ei amcan yn rhyfedd, a chyn hir yr oedd holl gapelau ei sir ei hun â'r geiniog olaf o'u dyled wedi ei chlirio. Bu yn cyffroi ac yn anog ar yr un mater trwy Gymru, a Llundain, a Liverpool, a hyny gyda graddau helaeth o lwyddiant.

Tua dechreu y flwyddyn 1830 cawn ef yn myned i'r sefyllfa briodasol drachefn. Fel hyn yr ysgrifena yn ei Hunangofiant: "Ar y 30ain o Chwefror, 1830, priodais Lady Bulkeley, gweddw y diweddar Syr John Bulkeley, Presaddfed, a daethom i fyw i'r Fron, gerllaw, lle yr ydym hyd heddyw. Trefnodd yr Arglwydd drachefn i mi ymgeledd gymhwys, cyfeilles siriol, a mamaeth dyner a gofalus, yr hon sydd yn llawer o ddyddanwch i mi yn fy nyddiau blin, a hi a fu yn gymhorth mawr i mi gyda gwaith yr Arglwydd." Yr oedd Mr. Elias yn bresenol yn ŵr cymharol gyfoethog, oblegyd heblaw yr hyn a enillasai yn ei fasnach, cawsai ei ddiweddar briod y rhan oedd yn dygwydd iddi o gyfoeth ei thad. Felly, y mae yn awr yn ymryddhau yn gyfangwbl o bob gofal bydol, gan gyflwyno y fasnach i'w blant.

Yn mis Mehefin, 1832, cyfarfu â dam-

wain wrth fyned o'r Fronheulog i Gymdeithasfa y Bala, yr hon a ysgydwodd ei gyfansoddiad, ac a adawodd ei hol arno tra fu byw. Buasai yn y Gymdeithasfa y dydd blaenorol; traddodasai araeth rymus ar natur eglwys yn y cyfarfod ordeinio, a chawsai ei gyhoeddi i bregethu am ddeg o'r gloch ar y *Green*, y dydd olaf. Wrth fyned tua'r cyfarfod mewn *gig*, efe, a Mr. Davies, ac un Mr. Smith (Aberafon ?), o herwydd direidi dau hogyn tarfu y ceffyl, a rhedodd i ffwrdd. Neidiodd y tri allan, a dihangodd y ddau arall nid yn unig heb ysgraffiniad ar eu cnawd, ond heb rwygo eu dillad, eithr am Mr. Elias cwympodd ef ar ei ben, ac yr oedd yn gwbl ddideimlad pan aed ato. Cludwyd ef yn ei ol i'r Fronheulog, cyrchwyd meddyg ar frys, ond er pob ymdrech yn ddideimlad y bu am beth amser. Darfu i'r ddamwain ofidus doi y Gymdeithasfa â thristwch; prin yr oedd blas i wrando ar yr enwogion a ddaethent yno i bregethu gan faint y teimlad; rhwng y cyfarfodydd bu John Evans, New Inn, Ebenezer Richard, ac agos yr holl weinidogion yn y Fronheulog yn ymweled ag ef, a dywedir i bob pregethwr a blaenor perthynol i Sir Fôn fod yno. Bwriadasai efe bregethu ar Ezec. x. 13: "O olwyn!" a llefaru am droadau rhyfedd olwyn Rhagluniaeth; yn lle hyny bu raid iddo fod yn ddystaw dani. Yn y Fronheulog y bu am gryn amser; ac ni allai bregethu hyd yr ail Sul o Dachwedd. Gyda golwg ar hyny ysgrifena: "Lleferais unwaith y Sabbath diweddaf (Tachwedd 12fed), a dywedant wrthyf i mi bregethu awr gron. Yr ydwyf yn bwriadu ymdrechu llefaru unwaith bob Sabbath am ychydig eto, os caf gymhorth gan yr Arglwydd." Tua dechreu Rhagfyr yr oedd wedi cryfhau cymaint fel ag i allu myned i'w gyhoeddiadau o gwmpas y sir; ac yn gynar y flwyddyn ganlynol ail ymaflodd yn ngwaith y weinidogaeth gyda yr yni a'r ymroddiad a'u nodweddent yn ystod ei fywyd.

Yn ystod ei deithiau meithion ar hyd a lled Cymru, ac i drefydd Lloegr, cyfryngodd Rhagluniaeth ar ei ran yn hynod lawer gwaith, gan ei waredu allan o beryglon. Tua gwanwyn y flwyddyn 1819, yr oedd yn Llundain, a noda ddarfod iddo bregethu yno y tro hwnw unarddeg-ar-ugain o weithiau. Bwriadai gychwyn oddiyno Ebrill 26ain; ond o herwydd rhyw amgylchiad anhysbys gohirio ei ymadawiad a wnaeth hyd dranoeth. Fel hyn yr ysgrifena wedi cyrhaedd Liverpool: "Trugaredd a'm cadwodd rhag cychwyn ar y 26ain, fel yr oeddwn yn bwriadu; canys dymchwelodd y cerbyd hwnw ar ei daith; torodd rhai o'r teithwyr eu hesgyrn, nes y gorfu iddynt aros ar y ffordd. Gallaswn inau fod yn un o honynt oni buasai gofal Rhagluniaeth dirion Duw am danaf."

Adroddir ei fod unwaith yn croesi culfor Menai, yn Boldon, o Sir Fôn. Yr oedd ei geffyl, yr hwn oedd gydag ef yn y cwch ar y pryd, yn dra ofnus; dymunai yntau ar y cychwyr am beidio codi hwyl, rhag dychrynu yr anifail, a pheryglu bywyd pawb. Ufuddhasant hwythau am yspaid; ond wedi myned encyd oddiwrth y lan dyma hwy yn codi yr hwyl i fynu. Y canlyniad fu i'r ceffyl frawychu, a neidio i'r môr, gan wthio Mr. Elias o'i flaen i'r dwfr. Neidiodd un o'r dynion ar ei ol. Ond yr oedd Mr. Elias i fynu yn fuan, gan nofio yn esmwyth ar ei gefn, ac ebrwydd y cyfodwyd ef i'r cwch drachefn. Diangodd ef a'r ceffyl heb ychwaneg o niwed na'r dychryn a'r drochfa. Y noswaith hono pregethai yn Nghaernarfon mor rymus ag erioed. Dro arall, pan yn croesi afon ar ei ffordd i Griccieth, yn yr hon yr oedd llif enbyd, cafodd ei gipio ymaith oddiar gefn ei anifail gan ruthr y llifeiriant. Ond yn rhagluniaethol cludwyd ef at helyg a dyfent ar fin yr afon, a thrwy ymaflyd ynddynt daeth yn ddyogel i'r lan. Y mae yn gwbl wir fod gweision Crist yn anfarwol hyd nes y gorphenant eu gwaith.

Y mae rhoddi hanes holl odfaeon grymus Mr. Elias yn gwbl ammhosibl; prin y mae cymydogaeth o Gaergybi i Gaerdydd lle na cheir traddodiad am dano yn cyhoeddi yr efengyl yno fel prophwyd Duw, nes yr oedd y gynulleidfa wedi cael ei dal gan syndod a rhyfeddod. Ond rhaid i ni gyfeirio at ychydig y mae genym ddesgrifiad o honynt. Cafodd odfa ryfedd yn Nghymdeithasfa y Bala, yn y flwyddyn 1807. Yn wir, yr oedd y Gymdeithasfa hon yn hynod drwyddi. Dyma y tro cyntaf i'r Parch. Ebenezer Richard fod yn y Bala; llefarai oddiar 2 Cor. x. 4: "Canys arfau ein milwriaeth ni nid ydynt gnawdol." Yr oedd ei ddawn toddedig yn hollol newydd i'r Gogledd, a'r boreu hwnw yr oedd ei delyn mewn hwyl, a'i lais mwyn, toddedig, yn tyneru teimladau y gynulleidfa nes yr wylent ffrydiau o ddagrau heb yn wybod iddynt, a deallai pawb fod arfau y filwriaeth yn nerthol yn yr odfa hono. Cofféid am y bregeth hon yn yr holl odfaeon dilynol. Cawsai Mr. Elias a Mr. Evan

Richardson eu cyhoeddi i lefaru am ddau. Dechreuodd Mr. Elias tuag ugain mynyd wedi dau, gan gymeryd yn destun Eph. iii. 18, 19: "Fel y galloch, wedi eich gwreiddio a'ch selio mewn cariad," &c. Safai yn ffenestr yr hen gapel, fel y clywid ef gan y dorf fawr a lanwai y cwrt, yn gystal a chan y lliaws oeddent wedi ystwffio i mewn i'r capel. Wrth ei fod yn trin am y cariad yr hwn sydd uwchlaw gwybodaeth, dyma nifer o'r bobl oedd yn y capel yn dechreu llefain a gorfoleddu. Nid oedd hyn ar y pryd wrth fodd Mr. Elias, a chydag awdurdod, ac yn y dull mwyaf difrifol, gorchymynodd iddynt dewi, fel na byddai iddynt rwystro y bobl a ddaethant o bell ffordd, i glywed. Atebodd hyny y pwrpas; a chafwyd perffaith dawelwch hyd ddiwedd y bregeth. Dywedir fod hon yn un o'r pregethau godidocaf a draddodwyd ganddo erioed, ac yr oedd rhyw awdurdod a llewyrch rhyfedd yn cydfyned â'r gwirionedd. Os oedd y bobl yn ymatal rhag bloeddio ni fedrent atal eu dagrau; gellid darllen yn eu hwynebau fod eu teimladau bron eu gorchfygu; nyddid eu cyrph i bob ffurf gan ddwysder y cyffroad oedd o'r tufewn iddynt, tra yr ymddyrchafai y pregethwr yn uwch, uwch, yn ei areithyddiaeth, ac y tywalltai ffrydiau o hyawdledd byw. Yn yr olwg ar ryfeddodau y cariad digymhar annghofiodd y pregethwr a'r gynulleidfa yr amser, ac yr oedd yn bedwar o'r gloch cyn i'r bregeth orphen. Gyda ei fod yn dweyd Amen, dyma Mr. Richardson ar ei draed, a'r gair cyntaf a ddaeth o'i enau oedd, "Gweddïwn." Gyda ei fod yn dechreu anerch yr orsedd dyma yr argae yn tori; y mae teimladau y dorf oeddynt wedi bod yn croni am awr a haner o amser yn myned yn drech na hwynt; ymollyngodd y miloedd i folianu a gorfoleddu yn ddilywodraeth; ac yno y buont mewn hwyl, gan annghofio eu hangenion corphorol, hyd y cyfarfod chwech o'r gloch. Gofidiai Mr. Elias yn fawr iddo gymeryd i fynu amser ei gyfaill a'i feistr gynt, ond yr oedd Mr. Richardson wrth ei fodd, ac yn mwynhau y bregeth gystal a neb.

Ceir yn ei fywgraffiad hanes pregeth ryfedd a draddodwyd ganddo, tua diwedd y flwyddyn 1809, yn nghapel Pall Mall, yn Liverpool. Ei destun oedd, Eph. ii. 12: "Eich bod chwi y pryd hwnw heb Grist," a thrueni dyn heb Grist oedd y mater. Daliwyd y gynulleidfa gan ddychryn; daeth rhyw arswyd o dragywyddoldeb dros yr holl dorf; y fath oedd gafael y gwirionedd yn nghydwybodau y gwrandawyr mwyaf rhyfygus fel y crynai eu gliniau yn nghyd, ac yr aeth eu hwynebau yn welw fel calch. Tua'r diwedd, yr oedd teimladau ei enaid gwasgedig bron a'i orchfygu ef ei hun; crynai ei lais; ffrydiai y dagrau allan o'i lygaid, a dyma ef yn llefain: "O! O! drueni y dynion sydd *heb* Grist! Nid oes tafod a all byth adrodd, na meddwl meidrol a ddichon amgyffred i dragywyddoldeb, y fyrddiynfed ran o drueni dynion *heb* Grist! Dyma'r noethion, heb wisg! cleifion, heb feddyg! newynog, heb fara'r bywyd! euog, heb gyfiawnder! aflan, heb ffynhon! colledig, heb Geidwad! damniol, heb iawn!" Wedi ei drechu gan ddifrifwch y syniad, ymollyngodd i wylo, a rhoes ei wyneb am fynyd neu ddwy ar y Beibl agored oedd o'i flaen, tra y teyrnasai y dystawrwydd mwyaf brawychus dros y bobl, yr hwn na thorid arno ond gan ocheneidiau dwysion y rhai oeddynt wedi eu gwasgu i fin gwallgofrwydd. Ond ar darawiad dyna y pregethwr yn codi ei ben i fynu; y mae ei wyneb wedi ei weddnewid yn hollol; yn lle bod yn ymgorfforiad o felldithion Ebal, y mae yn awr fel Gerizim yn gyflawn o fendithion, a chyda gwedd angylaidd a llais cyflawn o felusder, dyma ef yn bloeddio: "Bendigedig fyddo Duw! Y mae Crist i'w gael heno i'r rhai sydd hebddo hyd yma!' O'r anwyl, dyna ollyngdod! Yr oedd fel gwaredigaeth o ymylon Gehenna. Dyma ugeiniau yn neidio ar eu traed, ac yn bloeddio: "Diolch, diolch byth," dros y lle. Bu yr odfa hon yn ddechreuad bywyd tragywyddol i liaws, a daeth degau i ofyn lle yn nhŷ Dduw mewn canlyniad iddi.

Un o'i odfaeon rhyfeddaf oedd am ddau o'r gloch yn Nghymdeithasfa Pwllheli, Medi 16, 1831, pan y llefarai oddiar Psalm lxviii. 1: "Cyfoded Duw, gwasgarer ei elynion, a ffoëd ei gaseion o'i flaen ef." Ychydig o'r hyn a ddywedai sydd wedi ei groniclo, ond teimlai pawb yn y cyfarfod hwnw fod Duw wedi cyfodi. Amser marwaidd ydoedd ar grefydd ar y pryd, ac yr oedd y bregeth fel ysgydwad daeargryn yn nghanol tawelwch mawr. Nid yw yn ymddangos iddi dori allan yn orfoledd, ond yr oedd y fath awdurdod yn y gwirionedd, fel prin yr oedd neb yn y gynulleidfa heb gael ei argyhoeddi fod rhywbeth mwy na dynol yn yr efengyl, ac mai ofer iddo fyddai ymladd yn ei herbyn.

Adrodda y Parch. Lewis Jones, o'r Bala, na fu ef erioed yn y fath le, nac erioed dan y fath deimladau, ag yr ydoedd yn yr odfa hono. Hen frawd o Borthmadog a ddywedai am y tro hwn: "Fe bregethodd John Elias y pryd hwnw yn Sassiwn Pwllheli nes yr oedd Sir Gaernarfon yn crynu drwyddi, a 'dyw hi byth wedi dyfod ati ei hun." Mewn canlyniad i'r bregeth hon daeth llawer at grefydd yn Lleyn ac Eifionydd; a dygwyd yr eglwysi trwy y wlad i deimlo, gyda rhyw ddwysder ac angerddolrwydd newydd, yn achos y byd annuwiol. Yr wythnos ddilynol drachefn pregethai Mr. Elias yn Mrynengan, ac yr oedd tyrfa fawr o Bwllheli a'r amgylchoedd, er fod y pellder tua naw milltir, wedi dyfod i wrando arno. Ymddangosai y dylanwad a gychwynasai yn y bregeth ryfedd yn Mhwllheli fel yn dwyshau. Yn y Bontfechan, yn Llanystumdwy, Hydref 14, dydd Jiwbili yr Ysgolion Sabbothol, torodd y diwygiad allan gyda grym mawr. Ychwanegwyd mewn ychydig amser tua haner cant at rifedi yr eglwys yno. Am beth amser nid ymddangosai fod y cyffroad yn ymledu i'r cymydogaethau o gwmpas. Cyn diwedd y flwyddyn, modd bynag, daeth y newydd fod y *cholera* wedi ymddangos yn Lloegr, a'i fod yn ysgubo dynion i fyd arall wrth y miloedd. Effeithiodd hyn er difrifoli y crefyddwyr yn fwy, a gyru ofn ar y difater. Ymledodd y cyffro trwy holl Sir Gaernarfon. Diwrnod rhyfedd oedd dydd Mercher, Mawrth 21, 1832, sef y diwrnod a benodasid gan y llywodraeth i fod yn ddydd ympryd ac ymostyngiad. Yr oedd pob eglwys a chapel yn llawn. Disgynasai rhyw yspryd rhyfedd ar ddynion. Amlwg oedd fod nerthoedd y nefoedd yn gweithio; trodd yr ympryd yn orfoledd, a'r alarnad yn gân. O hyny allan am fisoedd, trwy holl Sir Gaernarfon, ni chlywid ond sain gorfoledd a buddugoliaeth; anaml y terfynai unrhyw gyfarfod heb fod rhywrai yn tori allan i folianu, ac ychwanegwyd tua dwy fil o aelodau at yr eglwysi Methodistaidd yn y sir hon yn unig. Gellir edrych ar y diwygiad, a siarad yn ddynol, fel wedi cychwyn gyda phregeth Mr. Elias yn Nghymdeithasfa Pwllheli. O bosibl yr hoffai y darllenydd gael trefn y pregethu yn y Gymdeithasfa. Nos Fercher, Daniel Evans, Capel Drindod, a John Elias. Nos Iau, Richard Jones, y Bala, a David Meyler, Abergwaun. Boreu dydd Gwener, Rees Phillips, Llanymddyfri, a Robert Evans, Llanidloes. Am ddeg, Richard Davies, Llansadwrn, a Daniel Evans, Capel Drindod. Am ddau, William Havard, a John Elias. Am chwech, Evan Griffiths, Meifod, a Robert Griffiths, Ruabon. Boreu dydd Sadwrn, John Peters, Trawsfynydd, a John Roberts, Llangwm.

Odfa i'w chofio byth oedd yr un a gafodd yn Nghymdeithasfa y Bala, yn y flwyddyn 1835. Dywed Dr. O. Thomas am dani, ei bod yn amheus a welwyd effeithiau rhyfeddach yn nglyn â phregeth erioed; fod arswyd Duw wedi llenwi y lle, a dynion cryfion yn llewygu gan ofn. Pregethai Mr. Elias am ddeg o'r gloch y prif ddiwrnod, ar ol y Parch. David Griffiths, Llantwd; a'i destun oedd, Esaiah vi. 9, 10: "Brasâ galon y bobl hyn, a thrymhâ eu clustiau." Ychydig o'r bregeth sydd ar gael; efallai fod yr arbenigrwydd yn codi nid yn gymaint o ragoriaeth materion ag o ddifrifwch ofnadwy y pregethwr, a'r dylanwad gorchfygol oedd yn cydfyned â'i eiriau. Yr oedd creaduriaid annuwiol yn gwaeddi mewn dychryn, fel pe buasent wedi cael eu gwanu â chyllell; lliaws a syrthient mewn llewygfeydd, a throai Mr. Robert Owen, Nefyn, at ŵr ieuanc o bregethwr oedd yn ymyl, ac a'i wyneb mor wyned a'r calch, gofynai: "'Machgen anwyl i, beth a wnawn ni?" Yn gyffelyb y dywedai John Williams, Llecheiddior, wrth William Havard; yr hwn a atebai yn ol, "Treiglo at y gwaed wnawn ni." Wrth ymdrin â'r geiriau "Trymhâ eu clustiau," a desgrifio cyflwr peryglus y rhai sydd yn clywed yn drwm, defnyddiai y gymhariaeth o ddyn yn myned ar hyd y ffordd fawr, a cherbyd yn dyfod yn gyflym ar ei ol. A dyna ef yn llefain, fel pe wedi brawychu drwyddo: "Paham nad ai y dyn yna o'r ffordd?" "Clywed yn drwm y mae o." "Gwaeddwch arno i gilio o'r perygl." "Hoi! hoi! ddyn! Ciliwch o'r ffordd!" "Na, y mae'r cwbl yn ofer; y mae yn *clywed yn drwm*, ac o'r diwedd dacw'r cerbyd ar ei draws, ac yntau yn cael ei ladd!" Dywedai un fod y desgrifiad mor fywiog, a'r darlun mor gynhyrfus, fel yr oedd yn gweled yr hen ddyn ar ganol y ffordd, ac yn teimlo ei hunan yn barod i neidio o'r fen lle yr eisteddai er mwyn rhedeg i geisio ei achub. Cyn diwedd y bregeth yr oedd Mr. Elias â'i natur wedi ei chynhyrfu i'r graddau eithaf; byddai weithiau yn anerch dynion, a phryd arall yn anerch Duw. Yn y man dyna ef yn edrych i fynu tua'r nef, gan haner

plygu heibio cwr y pwlpud, a chyda'r dagrau yn llifo dros ei ruddiau, ac mewn llais cyflawn o ing enaid, anercha y Goruchaf: "Arglwydd mawr, paham y rhoist ti y testun hwn i mi? Gofynais am un arall i ti cyn cychwyn o gartref, ond hwn a roddaist. 'Brasha galon y bobl hyn.' Fe fyddai yn well gen i fyned yn *hangman* yr holl ffordd o Gaergybi i Gaerdydd, na dod i Green y Bala i frashau calon y dynion hyn!" Dywedai Mr. Evans, Tonyrefail, yr hwn oedd yn y Gymdeithasfa, ac yn pregethu am ddau o'r gloch, fod y geiriau yn disgyn megys pelenau llosgawl, a bod y bobl yn cwympo wrth y degau fel pe bai rhywun yn eu saethu o goed y Rhiwlas, a'u bod yn ymgreinio ar y ddaear mewn ing annhraethol. Galwai Mr. Evans hon yn un o odfaeon yr "Wb, wb." Am yr odfa hon dywedai Dr. Charles, Athraw Coleg Trefecca, yr hwn yntau oedd yn bresenol: "Yr wyf yn meddwl nad oedd yr un llygad sych yn y gynulleidfa fawr hono. Yr oedd y pregethwyr yn wylo ac yn gweddïo ar yr esgynlawr, lliaws o'r gwrandawyr yn syrthio megys yn feirw, a delweddau dychryn a synedigaeth yn argraffedig ar bob wynebpryd." Dywedai y Parch. Ebenezer Richard, yr hwn a bregethai yn yr un lle, yn y prydnhawn, ar ol Mr. Evans, Tonyrefail: "Y mae y pwlpud yma yn bren dyoddef i mi, wedi y cynghor difrifol a draddodwyd i'r brodyr ddoe (gan Mr. Roberts, Amlwch), ac yn arbenig wedi y bregeth ofnadwy a glywsom ni yma yn y boreu. Yr oedd fy holl natur i mewn arswyd, ac yr ydwyf heb ddyfod ataf fy hun yn iawn eto. Yr oeddwn yn teimlo, mewn gwirionedd, wrth wrando, fel pe buasai y ddaear yn crynu am filltiroedd o'n hamgylch. Mi a fuaswn yn fwy parod, pe y gwrandawswn ar fy nheimladau, i alw arnoch i gyduno â mi i droi y cwrdd yma yn y prydnhawn i weddïo yn hytrach na cheisio pregethu. Ond yr ydym, serch hyny, wedi taro ar destun hapus iawn: 'Yr Arglwydd sydd gyda chwi, tra byddoch chwi gydag ef!'" Goleuni y dydd mawr yn unig a ddengys faint effeithiau y bregeth hon o eiddo Mr. Elias; dygwyd llawer mewn canlyniad i ystyriaeth o'u cyflwr, ac ychwanegwyd rhai canoedd at yr eglwysi trwy y wlad.

Dengys yr hanes canlynol, a gawsom oddiwrth y Parch. John Roberts, Tai Hen, y nerth oedd yn cydfyned a phregethu Mr. Elias. Fel hyn yr ysgrifena Mr. Roberts: "Bu gwaith Mr. Elias yn priodi y foneddiges, Lady Bulkeley, yn dramgwydd mawr, nid yn unig i deulu ei ddiweddar briod, ond hefyd i'r rhan fwyaf o'i gyfeillion yn y weinidogaeth, ac yn wir, i Fethodistiaid yr holl sir. Rhan o'r trosedd oedd priodi un o safle gymdeithasol y *lady*, ac yr oedd ei bod yn aelod o'r Eglwys Sefydledig yn gwneyd y drwg yn waeth. Yr oedd llawer o'r brodyr blaenaf yn y Cyfarfod Misol yn teimlo mor chwerw fel y buasent yn ei roddi dan ddysgyblaeth lled drom, pe buasent yn gallu gweled eu ffordd i hyn. Teg yw dweyd fod Mr. Roberts, Amlwch, yn edrych ar yr helynt a godwyd fel peth lled ddialw-am-dano. Eithr da erbyn hyn fod i Mr. Elias le mor uchel, a safle mor gadarn yn nheimlad yr holl wlad.

"Pa fodd bynag, parodd y briodas dramgwydd chwerw am ryw dymhor; a bu i oerfelgarwch ei frodyr, a'u geiriau caledion yma a thraw am dano, beri iddo gadw draw yn hollol o'r Cyfarfod Misol am yspaid. Yr adeg hon dygwyddodd Cyfarfod Misol y sir fod yn Bethesda, Cemmaes, ei hen gymydogaeth, lle yr oedd llu mawr o hen gyfeillion anwylaf Mr. Elias, ac yr oedd rhai o'i gyfeillion penaf yn ddiaconiaid. Crefwyd yn daer arno drwy lythyrau i ddyfod i'r Cyfarfod Misol. Wedi methu, aeth dau o honynt yr holl ffordd i Langefni, i'r Fron, lle yr oedd yn byw, i bledio arno ddyfod, ac ni fynent, medd yr hanes, ollwng gafael o hono, nes cael o honynt addewid am y fendith. Aeth y gair i glustiau y brodyr tramgwyddedig, ac eraill, fod cyfeillion Cemmaes wedi bod yn Llangefni gyda Mr. Elias, ac y byddai yn y Cyfarfod Misol. Yr adeg hono yr oedd y diweddar Barch. Owen Jones, wedi hyny o Landudno, yn ŵr ieuanc newydd ddechreu pregethu, a dygwyddodd iddo fod yn cyd-drafaelu a'r Parch. Richard Lloyd yr holl ffordd ar draws yr ynys, o Beaumaris i Cemmaes. Adroddai Mr. Jones ar ol hyn wrth gyfaill nad oedd dim i'w gael yr holl ffordd gan Richard Lloyd ond trydar, a datgan ei ofnau rhag i gyfeillion Cemmaes osod Mr. Elias i bregethu yn eu Cyfarfod Misol, ac yn enwedig ei roddi i bregethu y noswaith gyntaf, pryd y byddai yr holl frawdoliaeth yno, ac yn gorfod gwrando. Pan gyhoeddwyd Mr. Elias i fod ar ol brawd arall y nos gyntaf, gwelwyd nifer yn duo ac yn brochi; ond y mae llu mawr yn teimlo rhyddhad a dwfn lawenydd. Pan ei gwelwyd yn araf esgyn i'r pwlpud, y mae rhai yn sibrwd: "O frenin, bydd

fyw byth!' Eraill lawer, a'r dagrau gloywon yn treiglo i lawr eu gruddiau, ydynt bron yn methu ymatal gwaeddi allan: 'Fy nhad, fy nhad! cerbyd Israel a'i farchogion!' Ar ol i Mr. Elias ddechreu pregethu gwelwyd yn fuan fod y nefoedd fawr yn foddlawn. Eisteddai Mr. Owen Jones wrth ochr y Parch. Richard Lloyd, o dan y pwlpud. Safai Mr. Prytherch yn nghanol y sêt fawr, yn wylo fel plentyn. Y mae yr holl dorf erbyn hyn yn foddfa o ddagrau, a rhai yma a thraw wedi tori allan mewn gorfoledd. Mae Mr. Owen Jones yn troi ei olwg at ei gymydog, Richard Lloyd, i wybod pa fodd yr oedd efe erbyn hyn yn teimlo, a gwelai ei fod yntau wedi cael ei lwyr orchfygu, a dwy ffrwd o ddagrau yn rhedeg i lawr ar hyd ei ruddiau. Profodd hyn yn ormod i'r pregethwr ieuanc allu ei ddal; neidiodd i fynu i gyduno yn y gorfoledd, yr hwn erbyn hyn oedd wedi llwyr foddi llais cyrhaeddgar y pregethwr. A golygfa a gofiwyd yn hir oedd gweled y brodyr Cadwaladr Williams, Richard Lloyd, John Prytherch, ac eraill, yn ymryson ysgwyd dwylaw, a chofleidio, ac wylo, cyn cael o Mr. Elias amser i gyrhaedd gwaelod grisiau y pwlpud y noswaith ryfedd hono. Bu hyn yn derfyniad ar yr holl helynt, ac adferwyd Mr. Elias i'r frenhiniaeth. Bu hefyd yn foddlonrwydd ac yn llawenydd mawr trwy holl wersylloedd y Methodistiaid yn Môn." Yr ydym yn gosod yr hanes dyddorol hwn i mewn yn y man yma, yn benaf fel engrhaifft arall o'r nerth rhyfedd a fyddai yn aml yn cydfyned â gweinidogaeth Mr. Elias.

Dygwyddodd amgylchiad nid annhebyg yn Nghymdeithasfa Caernarfon, Medi, 1830. Cyhoeddasid Mr. Elias i bregethu ar y maes am ddeg o'r gloch y prif ddiwrnod. Cafwyd hîn weddol, a'r cymylau yn cadw eu cynwys, tra y llefarai y pregethwr blaenaf; ond cyn i Mr. Elias gael hamdden i dynu ei destun, dyma y gwlaw mawr yn tywallt, nes gwneyd pregethu allan yn gwbl ammhosibl. Cyhoeddwyd ei fod i lefaru yn nghapel Moriah, ac yno y rhedodd y bobl nes ei orlenwi. Y pryd hwn, yr oedd John Elias, yr ieuangaf, wedi digio yn fawr wrth ei dad am ail briodi, ond daethai i Gaernarfon, a methai yntau beidio dilyn y dorf i Moriah. Yno yr aeth, ac i'r *gallery*. Pwnc Mr. Elias oedd y ffigysbren ddiffrwyth. Yn fuan teimlwyd fod gogoniant Duw wedi llanw y lle; cerddai arswyd trwy bob calon pan yr oedd y pregethwr yn darlunio y fwyell ar gael ei chymhwyso at wreiddyn y pren. Ond pan y cyhoeddai fod gobaith am arbediad, ac y desgrifiai Fab Duw yn y nefoedd yn eiriol drosto, "Gad ef y flwyddyn hon hefyd," dyma y bobl yn cael eu hanadl, ac yn tori allan i orfoleddu nes boddi llais y siaradwr. Ond yr oedd golwg ryfedd ar wyneb John Elias ieuanc ar yr oriel. Ac o'r diwedd, wedi llwyr golli arno ei hun, dyna ef yn gwaeddi dros y lle: "Fy nhad ydi o; ïe, a nhad anwyl i hefyd." Mae yn amlwg nad oedd na drwg deimlad, nac arall, a fedrai sefyll o flaen Mr. Elias, pan fyddai ar uchel fanau y maes, a Duw yn ei arddel.

Adroddir am gyfarfod rhyfedd iddo yn Nghymdeithasfa y Bala, nad yw y dyddiad genym. Trymaidd fuasai y cyfarfodydd o'r dechreu. Pregethai efe yn olaf am ddau o'r gloch, oddiar Ioan xvi. 7: "Buddiol yw i chwi fy myned i ymaith, canys onid af fi, ni ddaw y Dyddanydd atoch." Er ei fod yn llefaru yn dda ac yn bwysig, ychydig o ddylanwad oedd yn cydfyned â'i eiriau; yr oedd y dorf fawr, tua phymtheg mil o nifer, yn ymddangos yn hynod o ddideimlad; a chan fod yr hîn yn boeth, a'r gwres yn danbaid, eisteddai llawer, neu ynte lledorweddent, ar y ddaear yn lluddedig. Tua diwedd ei bregeth yr oedd yn amlwg arno ei fod mewn teimlad dwys, rhag i'r Gymdeithasfa ddarfod heb ddim llewyrch, a chan edrych yn ddifrifol ar y bobl, dywedai: "Y mae y diafol yn ymffrostio er ys meityn, gan ddywedyd wrthyf, 'Eiddof fi fydd y bobl; hwy a ddaethant yma yn fy meddiant, a hwy ânt oddiyma yn fy nghafael, er eich holl ymdrechion chwi a'ch brodyr.' Rhaid i ninau addef nas gallwn ddim, er y mawr ddymunem wneyd; yn ei feddiant ef y bydd y dyrfa er dim a allwn ni." Dywedai hyn mewn llais cwynfanus, llawn o drallod. Ond yn sydyn dyna y cwmwl yn cilio oddiar ei wyneb, a sirioldeb fel tywyniad haul yn cymeryd ei le, a chyda thôn hyderus a beiddgar, llefa: "Ond er cymaint yw ein gwendid ni, ac er cadarned yw y cadwynau sydd gan Satan am y bobl, dywedodd Mab Duw, 'Buddiol yw i chwi fy myned i ymaith, canys onid af fi, ni ddaw y Dyddanydd atoch.'" Y mae y geiriau megys yn cynhyrfu ei enaid; cyfid ei olygon tua'r nef, estyna allan ei fraich ddê, a chyda ei holl nerth llefa y rhan olaf o'r testun: "*Eithr os mi a af*, MI *a'i hanfonaf* EF *atoch*." Gyda'r geiriau dyna ryw drydan yn cyniwair trwy yr holl dyrfa; yr oedd

fel taranfollt allan o awyr las, ddigymylau; dyna y miloedd oedd yn eistedd ac yn gorwedd yn neidio i fynu, ac yn bloeddio mewn gorfoledd, fel nas gellid clywed nemawr a ddywedodd y pregethwr o hyny allan. Teimlid yr un dylanwad gan y pregethwyr a'r blaenoriaid oeddynt ar yr esgynlawr, a gwelid rhai yn crïo yn ddi-lywodraeth, nad oedd deigryn yn dyfod i'w llygaid nemawr amser. Ar derfyn yr odfa dywedai yr Hybarch Simon Lloyd wrth gyfaill yn ei ymyl: "Dyna yr amlygiad rhyfeddaf o allu dwyfol a welais erioed."

Rhaid addef y byddai weithiau yn cael odfaeon celid, ac fe sylwa Dr. Thomas y byddai ei rai caled ef yn rhai *caled iawn*. Adrodda Dr. Thomas am odfa felly iddo yn Mangor, ychydig cyn Sulgwyn, 1835. Brashau calon y bobl oedd y pwnc, a'r bregeth oedd hono a wnaeth y fath wr-hydri yn Nghymdeithasfa y Bala. Eithr er mor ddifrifol y mater, er mor fedrus y traddodiad, ac er fod y pregethwr yn gwneyd ei oreu i yru yr hoelion i dre, yr oedd y cwbl yn disgyn ar y gwrandawyr yn hollol ddieffaith. Nid oedd neb yn arddangos yr arwydd lleiaf o deimlad. Owen Thomas, y pryd hwnw yn bregethwr ieuanc, oedd wedi dechreu yr odfa. Wedi iddo fyned i'r tŷ, dywedai ei fam wrtho: "Mae yn ddrwg gan fy nghalon i mai ti fu yn dechreu yr odfa i John Elias heno." "Paham?" gofynai yntau. "Paham? rhag i ryw feddwl mai o dy achos di yr o yn ei chael hi mor galed." Pan ofynodd y blaenoriaid i Mr. Elias pa bryd y deuai yno drachefn, efe a addawodd ar unwaith y deuai yno y nos Sul ar ol Sassiwn y Bala. Caiff Dr. O. Thomas adrodd y gweddill o'r hanes: "Fe ddaeth y nos Sul, Mehefin 22, 1835, ac fe gafodd odfa i'w chofio byth, yr hynotaf a glywsom ni ganddo erioed. Pan y byddwn ni yn cofio am dano, at y noswaith hono, yn naturiol, y bydd ein meddwl yn rhedeg. Ni chlyw-som ddim cyffelyb erioed, ac nid ydym yn dysgwyl clywed dim cyffelyb byth. Yr ydym yn cofio eto ein bod, rywbryd yn ystod y bregeth, yn troi megys yn ddiar-wybod i ni ein hunain, ac yn edrych dan y *gallery*, i weled a oedd y colofnau yn eu lle ai peidio. Ei destun oedd, Heb. vi. 7, 8 (Y ddaear yn yfed y gwlaw, sydd yn mynych ddyfod arni). Ni a allem ddodi y bregeth i mewn yma yn lled gyflawn, ac nid ydym yn amheu na ddarllenai yn lled dda. Ond ni byddai dim o honi, a ellid roddi byth ar bapyr, braidd yr un cym-horth i neb, ac yn enwedig i'r rhai nas clywsant ef eu hunain, i ffurfio prin un ddirnadaeth am y lle rhyfedd oedd yn y Tabernacl yn Mangor y noswaith hono. Yr oedd yno ugeiniau, os nad canoedd, a rhai o honynt hyd hyny yn nodedig am ei hannuwioldeb, yn gwaeddi allan am eu bywyd. Fe bregethodd *am awr-a-phum-mynyd-ar-hugain*: ond yr oedd ei hunan dan gynhyrfiadau mor nerthol fel na phregeth-odd drachefn am yn agos i fis o amser."

Clywsom am dro pur debyg yn nglyn â Chymdeithasfa yn Nolgellau. Yr oedd y Parchn. W. Roberts, Amlwch; John Jones, Talysarn; David Jones, Caernarfon; a Henry Rees, yno, yn ddynion cymharol ieuainc, ac yn pregethu yn rhagorol iawn. Rywsut, ychydig o lewyrch a gafodd Mr. Elias. Braidd na ellid meddwl fod ei ogon-iant wedi cael ei gymylu gan ysplander y sêr dysglaer hyn oedd wedi ymddangos yn ffurfafen y weinidogaeth. Gwyddai y blaenoriaid ei fod yn teimlo yn siomedig, a chwedi cydymgynghori, aethant ato i'w lety y noswaith hono, gan ddweyd: "Mr. Elias, y mae y dref yn llawn o ddyeithr-iaid, ac yr ydym ni yn barnu mai priodol fyddai cael odfa boreu fory, cyn iddynt wasgar. A wnewch chwi bregethu am saith o'r gloch?" Siriolodd trwyddo, ac meddai: "Byddaf ddiolchgar am y cyfleus-tra." Anfonwyd y *crier* allan â'r hys-bysiad, ac ar yr awr appwyntiedig yr oedd y capel yn orlawn. Testun Mr. Elias ydoedd, Heb. ix. 28: "Felly Crist hefyd, wedi ei offrymu unwaith i ddwyn ymaith bechodau llawer, a ymddengys yr ail waith heb bechod." Darluniai bechod fel pwysau yn gwasgu ei wrthddrych i lawr, i beidio codi mwy; yr angelion ni chadw-asant eu dechreuad yn suddo dano i'r pydew diwaelod, heb fedru ymryddhau oddiwrtho; yr aberthau Iuddewig, ar ba rai y cawsai pechodau y genedl eu rhifo, yn cael eu gwthio i ddinystr hollol; a'r bwch dihangol hyd yn nod, ar yr hwn y cawsai anwiredd meibion Israel eu cyfrif, yn cael ei yru mor bell i'r anialwch fel nad ymddangosai drachefn. Yna darluniai yr Arglwydd Iesu ar Galfaria, a phechodau y byd yn pwyso arno, yn cael ei wasgu o'r golwg gan y baich ofnadwy. Ond, yn wahanol i bawb arall, fe ymddengys hwn yr ail waith. "Sut olwg fydd arno? A ydyw y llwyth o bechod yn gysylltiedig âg ef o hyd? Na, diolch i Dduw, fe ym-ddengys *heb bechod;* HEB BECHOD." Mor fyw oedd y desgrifiad fel y teimlai y

bobl eu bod yn canfod yr Iesu yn dyfod ar y cymylau, gyda holl ogoniant buddugoliaethwr, ei berson yn ogoneddus fel yr haul, a'r cysylltiad rhyngddo â phechod wedi ei dori am byth. Aeth yn un fonllef o orfoledd trwy y gynulleidfa. Dyna yr odfa a goronodd y Gymdeithasfa. Aeth pawb i'w ffordd, a Mr. Elias yn eu mysg, fel rhai wedi cael ysglyfaeth lawer.

Gallem grybwyll am odfaeon eraill hynod o ddilewyrch a gafodd. Pregethai oeth, wrth lefaru ar y "gŵr a'r march gwyn," yr oedd ar uchelfanau y maes, a'r cadarnaf yn gwelwi yn ei bresenoldeb. Adrodda Dr. Owen Thomas hefyd am y tro cyntaf y bu y Parch. John Jones, Talysarn, yn Llanymddyfri; ei fod ef a Mr. Elias yn pregethu yn y Cyfarfod Misol am ddau yn y prydnhawn. Am Mr. Elias yr oedd y dysgwyliad; yr oedd Mr. Jones yn hollol ddyeithr, a llawer heb glywed son am ei enw. Cafodd y Parch.



[*Darlun a gyhoeddwyd yn yr "Evangelical Magazine," yn 1820.*]

un noson waith yn Nghrughywel, a phan y clywodd glowyr Cendl, Penycae, a Nantyglo, dyna hwy yn cyrchu tuag yno yn dorfeydd, heb newid eu dillad, ac heb ymolchi, a'u gwynebau mor ddu a'r huddygl. Mr. William Morris, Cilgeran, oedd yn dechreu yr odfa, ac yr oedd pob gair a ddyferai dros ei wefusau yn cydio, ond hynod ddilewyrch oedd Mr. Elias, ac aeth y bobl adref wedi eu siomi yn fawr. Modd bynag, yn Aberhonddu, nos dranJohn Jones odfa effeithiol, ac yr oedd y dorf yn mwynhau yn fawr, ond caled oedd hi ar Mr. Elias. Wrth fyned adref clywid llawer yn canmol John Elias, ei fod yn pregethu yn annghyffredin, ond yn holi "*pwy allasai yr hen wr a bregethodd ar ei ol fod?*" Teg dweyd ar yr un pryd mai anaml y byddai yn ddilewyrch; fel rheol, byddai yn debyg i angel yn ehedeg yn nghanol y nef, a'r efengyl ganddo yn ogoneddus.

DARLUNIAU CYSYLLTIEDIG A CHOFFADWRIAETH Y PARCH. JOHN ELIAS.



1.—Brynllwyn Bach—lle ei enedigaeth.

2.—Cartref Griffith Jones, Ynys-y-Pandy.

3.—Capel Llanrhyddlad.

4.—Ei Gartref yn Llangefni.

5.—Hendre Howell, ger Penmorfa, lle y daeth yn aelod eglwysig.

6.—Capel Llangefni.

Yr ydoedd lawn mor hynod yn ei weddïau ag yn ei bregethau. Arferai eofndra sanctaidd ar Dduw; ai ato â phob math o gwynion, hyd yn nod pethau cymharol fychain, a byddai yn fynych yn cael atebion amlwg a rhyfedd. Yr oedd hyn yn nodweddiadol o'r Tadau Methodistaidd. Tystiai John Wesley na ddarfu iddo weddïo erioed heb dderbyn atebion pendant. Byddai yn myned â phob peth at yr Arglwydd, hyd yn nod y ceffyl yn cloffi fel nas gallai gyrhaedd mewn pryd y lle y bwriadai bregethu ynddo; eithr wedi gweddïo gwellhaodd cloffni y ceffyl, a galluogwyd yntau i gadw ei gyhoeddiad. Yn gyffelyb y gwnelai Mr. Elias. Un boreu galwyd ef i dŷ cymydog; pan gyrhaeddodd yno cafodd y teulu yn wylo; eu geneth fach ddau fis oed ar lin y fam, ac i bob ymddangosiad wedi marw. "Mr. Elias," meddai y tad, "y mae hi yn gynhes; ewch at Dduw yn ei hachos hi, wir." Plygodd yntau ar ei liniau yn ddiegwan o ffydd, ac meddai: "Os yw hi yn fyw, Arglwydd, gwrando ni ar ei rhan; gwel yn dda ei rhoddi hi i'w thad a'i mam am dipyn eto, os yw yn fyw." Gwellhaodd y fechan o'r fynyd hono, bu fyw i gyrhaedd ei chwech-mlwydd-a-thriugain, a hwnw yn fywyd crefyddol ar ei hyd. Dygwyddodd amgylchiad cyffelyb yn nglyn âg ef yn Liverpool. Yr oedd yno ferch ieuanc nodedig o dduwiol wedi bod mewn *fever;* cawsai ei hadfer mewn rhan o'r afiechyd, ond yr oedd ei meddwl o hyd yn parhau yn ddyryslyd, ac ofnid mai gwallgof fyddai dros weddill ei hoes. Ar ddechreu y cyfarfod eglwysig, dydd Llun y Sulgwyn, gweddïai Mr. Elias drosti yn hynod iawn; yr oedd wedi llenwi ei enau â rhesymau i'r fath raddau, ac yn arfer y fath eofndra duwiol ar y Brenhin mawr, nes y tarawyd pob meddwl yn y lle âg arswyd. O'r dydd hwnw allan gwellhaodd yr eneth, ac nid hir y bu cyn cael ei llawn adfer i'w synwyr a'i hiawn bwyll, er mawr lawenydd i'w pherthynasau.

Caffai ei ateb weithiau â phethau ofnadwy. Yn y flwyddyn 1830 yr oedd yn bresenol mewn Cymdeithasfa yn Manchester; ac ar yr un diwrnod cynhelid rhedegfa geffylau yn ymyl y dref. Teimlai Mr. Elias ei yspryd yn gyffrous ynddo o herwydd yr anwiredd; ac ar ddechreu y cyfarfod neillduol gweddïai yn daer am i'r Arglwydd atal rhwysg y gelyn. Teimlai pawb fod rhywbeth hynod yn y weddi; aeth pawb i gredu y deuai Duw allan yn erbyn y rhedegfeydd, ac meddai un wrth gyfaill yn ei ymyl: "Gwell i Ahab rwymo ei gerbyd, a dianc ymaith." Prin yr oedd Mr. Elias wedi codi oddiar ei liniau pan y duodd yr awyr i'r fath raddau, fel y bu raid goleuo y nwy yn holl fasnachdai y dref; dechreuodd wlawio yn drwm o gwmpas un-ar-ddeg o'r gloch, a thywallt a wnaeth y fath na welwyd y cyffelyb hyd bump o'r gloch prydnhawn dranoeth. Cyn pen haner awr wedi i'r gwlaw ddechreu yr oedd y torfeydd wedi dianc oddiar y cwrs rhedeg, ac ni chynhaliwyd y rhedegfa y flwyddyn hono. A dywedir fod y gawod yn gyfyngedig i gyffiniau Manchester. Dro arall, arosai yn Nghaernarfon am rai dyddiau, ac ar y pryd yr oedd *mountebanks* wedi dyfod yno, y rhai a lygrent y lle â'u chwareuon gwageddus. Nis gallai enaid cyfiawn Mr. Elias lai na phoeni oblegyd yr annuwioldeb a'r rhysedd, ac ar derfyn y cyfarfod eglwysig gweddïodd am i'r Arglwydd, trwy ryw foddion, roddi terfyn ar yr ynfydrwydd. Teimlid ar y pryd ei fod yn cael gafael ryfedd. Y dydd canlynol dymchwelodd pedrolfen y chwareuwyr, a lladdwyd tri o honynt yn y fan; a dau arall, yn y weithred o ddawnsio ar raffau, a syrthiasant ac a dorasant eu gyddfau. Cynyrchodd yr amgylchiad, yn arbenig y cysylltiad rhyngddo a gweddi Mr. Elias, fraw cyffredinol trwy y dref, a'r cymydogaethau o gwmpas. Ofer ceisio esbonio y pethau hyn trwy eu galw yn gyd-ddygwyddiadau rhyfedd; y mae llaw Duw yn amlwg ynddynt; ac yn y dyddiau hyn, fel yn y dyddiau o'r blaen, y mae yr Arglwydd yn gwrando gweddi, ac yn gwneuthur barn ar y ddaear.

Bellach ni a roddwn ddesgrifiad o'r Parch. John Elias mewn gwahanol gysylltiadau, gan ddechreu gydag

ELIAS YN EI DEULU.

Sefydliad pwysig yn nhŷ Mr. Elias oedd y ddyledswydd deuluaidd. Byddai y siop yn cael ei chau ddwy waith yn y dydd, yr holl deulu yn cael eu galw yn nghyd, ac fel rheol byddai yno nifer o ddyeithriaid o wahanol fanau, yn enwedig yn y boreu. O bosibl fod un wedi dyfod mewn pryder gyda golwg ar ei gyflwr, ac eisiau cyfarwyddyd pa fodd i ddod i'r goleu; un arall yn genad dros eglwys mewn helynt a phenbleth, ac wedi dyfod i geisio cynghor; ac un arall eto ar ran rhywun claf yn y gymydogaeth, ac wedi dyfod i ofyn am feddyginiaeth. Deuent yno oll yn y boreu,

yn un peth er cael y fraint o glywed Mr. Elias yn darllen ac yn gweddïo; a pheth arall, am y gwyddent, wedi iddo fyned i'w fyfyrgell ar ol boreufwyd, na wnai Mrs. Elias ei alw i lawr er mwyn neb na dim, oddieithr ei fod yn fater bywyd ac angau. Darllenai Mr. Elias benod lawn ar ei hyd, a hyny gyda'r un gofal am briodoldeb mewn pwyslais a goslef, a'r un ymdrech am osod allan y synwyr, a phe buasai ar y maes yn dechreu y cyfarfod cyhoeddus yn y Gymdeithasfa. Ac fe fyddai y weddi yn ymdrech mewn gwirionedd gyda Duw. Byddai yn myned at yr orsedd â chyflwr y byd ar hyny o bryd, ystad arbenig yr eglwys, rhyw agweddau newyddion ar lygredigaeth fyddai yn peri poen i'w feddwl a niwed i grefydd; ac achos cleifion y gymydogaeth a'r amgylchoedd, gan gyfeirio atynt ar wahan. Yn y weddi deuluaidd byddai yn lledu ei holl achos, ac achos pawb y teimlai fod arno rwymau gyda golwg arnynt, gerbron Gwrandawr gweddi, a byddai yn dadleu â'r Arglwydd, ac yn llanw ei enau â rhesymau, mewn modd rhyfedd iawn. Adroddir am wraig i gymydog iddo, ei bod yn bur glaf, ac y byddai yntau yn cofio am dani yn gyson yn y weddi deuluaidd. Un diwrnod, wedi codi oddiar ei liniau, dywedai wrth Mrs. Elias: "Yr wyf yn ofni fod Elizabeth druan wedi marw." "Beth sydd yn peri i chwi feddwl hyny?" gofynai hithau. Atebai yntau: "Mi a'i collais yn hollol o'm gweddi y boreu yma." Gyda fod y gair allan o'i enau, dyna guro wrth y drws; daethai gŵr y ddynes yno i'w hysbysu am ei hymadawiad, ac i ddymuno arno bregethu yn ei hangladd. Y weddi deuluaidd yn nhŷ Mr. Elias oedd prif ddygwyddiad y dydd, ac a roddai i'r diwrnod ei gyweirnod. Byddai rhyw ddifrifwch rhyfedd ynddo pan yn cyflwyno y teulu i ofal Duw y boreu y byddai yn cychwyn i daith. Dechreu y ganrif yr oedd y wlad yn crynu rhag "Boney," ac yn ofni rhag iddo lanio gyda byddin yn y wlad hon. Cyfranogai Mr. Elias mewn rhan o'r cyfryw arswyd, a dywedai weithiau wrth gyflwyno eu hachos i'r Arglwydd: "Pwy wyr na fyddant yn ymguddio yn nghilfachau y creigiau cyn y dychwelaf."

Byddai yn llywodraethu ei dŷ yn dda, yn dra gofalus am gadw dysgyblaeth briodol, ac yn cyfuno tynerwch â thoster. Ebai Mr. Elias, ei fab: "Ni byddai fy nhad byth yn ceryddu am y trosedd cyntaf, eithr yn rhybuddio yn rymus o'r herwydd. Am yr ail drosedd, byddai raid mechnio drosof er arbediad. Fy mechniydd i bob amser oedd Margaret Williams," hen ferch serchog, oedd yn byw gyda'i thad mewn tŷ yn ymyl yr eglwys. Ar yr achlysur hwn ysgrifenid gweithred, a rhoddai Margaret groes wrth ei henw, a chedwid yr ysgrifen yn y ddesc gyda difrifoldeb mawr. Adrodda Mr. Elias, yr ieuangaf, yn mhellach, ei fod ar noson dywyll a gwyntog, ac yntau yn hogyn rhyw ddeng mlwydd oed, yn myned ar gefn y gaseg i'r dwfr. Daeth ei dad a'i fam heibio, gyda llusern oleu ganddynt, wrth ddychwelyd o'r seiat. Parodd y goleuni disymwth i'r gaseg wylltio a neidio, ac ebai'r bachgen wrthi: "Godacia ti," gan ddefnyddio gair llusg a glywsai gan lanciau y gymydogaeth. Ac meddai: "Teimlodd fy nhad yn ddwys wrth fy nghlywed, a bron nad aeth efe i lewyg ar y clawdd, yn y man lle y mae'r capel yn bresenol. Wedi i mi ddarfod glanhau a phorthi yr anifail aethum i'r tŷ, pan y gwelwn gyfnewidiad yn ngwyneb fy anwyl dad. Wedi i mi fyned i'm gwely y noson hono, daeth fy nhad i'r ystafell ar fy ol gyda chwip ganddo, a gofynodd i mi yn ddifrifol ai ni wyddwn fy mod wedi rhegi. Dywedais inau nas gwyddwn; a chywir oedd hyny, canys nis gwyddwn i ddim am eirdarddiad 'Godacia ti.' Ond dyna fy nhad yn dweyd mai '*God ache thee*,' 'Duw a'th boeno,' oedd ystyr y geiriau, ac felly mai rheg arswydus ydoedd. 'Wel,' ebai fy nhad, 'gan dy fod heb wybod beth oedd yr hyn a ddywedaist, ni'th geryddaf y tro hwn. Fe allai y bydd raid i mi edrych arnat yn ddyn annuwiol, ond yr wyf yn penderfynu na chaf dy weled yn dyngwr neu yn rhegwr, dros i mi dy roi i orwedd yn dy waed am bythefnos.'" Dywedai hyn gyda y fath ddifrifwch fel ag i argyhoeddi y llanc y cyflawnai ei fygythiad.

Y tro cyntaf y cofiai Mr. Elias, yr ieuangaf, am dano ei hun dan gerydd ei dad oedd pan yr esgeulusodd fyned i'r ysgol ddyddiol, yr hon oedd yn cael ei chadw yn y llan. Treuliodd y boreu yn nhŷ Margaret Williams, yr hon a arferai fod yn garedig wrtho. "Pan ddaeth y plant allan," meddai, "aethum inau i'w canol, a dyna lle yr oeddwn yn rhyw fwmian canu. Ond yr oedd fy nhad wedi fy ngweled yn dyfod o dŷ Margaret Williams. Wele fi, ar ol myned adref, o flaen y barnwr, a'r ddedfryd oedd fy nhaflu i garchar. Lle y carchar oedd y

parlwr bach, ac yr oedd fy nhraed i fod yn y cyffion mewn llyfethair dafad, a minau i sefyll felly ar waelod y ffenestr. Nid oedd na bara na dwfr i'w cael yn y carchar, ac felly yr oedd yn waeth ynddo nag yn ngharchar y sir yn Beaumaris. Ond nid oedd John Elias bach i fod heb ei borthi. Daeth Mary Jones, y Bwlch, i'r pentref, a chlybu hi rywfodd am y carchariad; ac mewn tŷ yn y pentref y cafodd fara ac ymenyn, ac nid wyf yn sicr hefyd nad oedd siwgr wedi cael ei osod ar wyneb yr ymenyn; a chan agor y ffenestr hi a estynodd i mi yr anrheg ddymunol ac amserol. Mae yn debyg nad oedd un *clause* yn nghyfraith y parlwr bach yn erbyn agor y ffenestr, ac nid hawdd yw bod yn ddigon manwl i wneyd cyfraith heb fod rhyw fwlch ynddi." Nid annhebyg fod y rhieni yn cau eu llygaid yn wirfoddol ar estyniad y frechdan i'r plentyn, ac nad oeddent am fod yn rhy galed arno mewn oedran mor dyner; ond trwy y cerydd meddyginiaethwyd ef yn hollol ar y pwnc hwn, ac ni esgeulusodd yr ysgol mwy.

Ychwanega: "Am fy mam, yr oedd hithau yn un lem yn ei cherydd. Byddai raid myned i'r llofft ac ymddyosg, a hithau yn myned i weddi cyn dechreu ar y gweinyddiad cospedigaethol, ond nid wyf yn cofio i mi ddweyd Amen erioed gyda gweddïau fy mam ar y cyfryw adegau. Hyn oedd yn hynod, ni allai fy mam aros yn y tŷ pan fyddai fy nhad yn ceryddu, na'm tad aros pan y byddai fy mam yn ceryddu."

Yr oedd y Parch. John Elias nid yn unig yn ofalus am gadw ei blant rhag cael eu llygru gan arferion drygionus, ond hefyd am feithrin ynddynt yspryd ymofyngar. Cefnogai hwynt i ofyn iddo am esboniad ar ryw adnod ddyrys yn y Beibl, neu ar ryw bwnc o athrawiaeth; ysgrifenai yntau iddynt ateb eglur a rhwydd, cyfaddas i'w hamgyffred plentynaidd, gan ymgais at wasgu y peth atynt mewn modd ymarferol. Gosodai ei fab John ofyniad yn aml ar y bwrdd, yn y fyfyrgell; dranoeth fe fyddai atebiad Mr. Elias i'w gael yn yr un lle. Pan oddicartref ysgrifenai lythyrau at ei blant; y mae llawer o honynt ar gael, a chynhwysant gynghorion gwerthfawr, yn cael eu cyflwyno yn y dull mwyaf serchog a doeth. Cymerer y difyniad byr canlynol o lythyr a ysgrifenodd, pan yn gwasanaethu yn Llundain, at ei ferch, yr hon oedd yn eneth ieuanc tua phymtheg oed: "Yr ydwyf yn gwybod, fy ngeneth anwyl, fod dy beryglon oddiwrth y byd, a'r cnawd, a'r diafol, yn ychwanegu fel yr wyt yn cynyddu mewn dyddiau. O! fy anwyl blentyn, gweddïa yn aml ac yn daer am ras, am dduwioldeb. Yr wyt yn y lle goreu i ddysgwyl; yn moddion gras, yn eglwys Dduw. O! aros yno byth, byth! A dysgwyl yn ddyfal yno am yr Arglwydd. Meddwl yn aml iawn am Iesu Grist, Ceidwad pechaduriaid; ïe, Ceidwad plant. Y mae yn hoffi cael rhai i'w wasanaeth yn ieuanc; cymerodd blant yn ei freichiau, ac ymhyfrydai mewn clywed plant yn ei foli yn y deml. Adgyfododd ferch Jairus pan ydoedd yn ddeuddeg oed, ac achubodd ferch y wraig o Ganaan. Pwy a wyr nad adgyfyd, ac nad achub efe fy merch inau hefyd. Fy anwyl Phœbe, ymgais at ddysgu y pethau hyny yn dy ieuenctyd, na fyddant yn warth nac yn ofid i ti wedi myned i oedran, os cei di fyw. . Y maent yn cyfrif y pethau canlynol yn mysg rhinweddau prydferthaf a phenaf y boneddigesau yn Llundain. (1) Gwylder. Y mae yn rhoddi yr ystum fwyaf boddhaol i'n hedrychiad, i'n hymddygiad, a'n hymddiddanion; ac y mae wedi enill y fath gymeradwyaeth yn mhlith dynion call, fel ag y cuddia lawer o ddiffygion. Ond heb wylder, ni ddysgleiria na ffraethineb na dysgeidiaeth; bydd tegwch a glendid yn anfoddhaol, ac hyd yn nod bonedd ei hun yn ddirmygus. Nid oes dim a ddichon wneyd i fynu y diffyg o wylder yn nghymeriad merch. (2) Yr ail rinwedd mewn boneddiges ydyw tymher dda. Os anweswn dymher ddrwg yn ein hieuenctyd, bydd yn dra anhawdd ei llywodraethu, na diwygio oddiwrthi, wedi i ni dyfu i lawn oed. Gan hyny, y mae dysgu llywodraethu y dymher o'r pwys mwyaf; ac y mae llawer o'n cysuron personol a theuluaidd yn dibynu ar hyn. Nid oes dim a ddichon fod yn fwy boddhaol i bawb na thymher hynaws. Am hyny, fy anwyl ferch, bydded i ti weddïo yn aml a thaer am ras i lywodraethu dy dymherau. Bydd yn ostyngedig ac yn ufudd iawn i'th anwyl fam; yn serchog a thirion gyda'th frawd; yn hynaws a charedig wrth y forwyn, a thuag at bawb. Ymdrecha, fy anwylyd, am wneyd dy fam yn gysurus, ac am wneuthur ein teulu yn esiampl o dangnefedd, iawn drefn, a dedwyddwch. Yr wyf yn gobeithio yr ystyri y pethau hyn, y rhai a anfonodd dy dad atat o'i gariad, ac o'i wir ddymuniad

am dy gysur tymhorol, a'th hapusrwydd tragywyddol.'

Nis gellid gwell cynghorion i ferch ieuanc, a bywyd yn dechreu ymagor o'i blaen; a theimlir anwyldeb tad yn cyniwair yn gynhes fel cylchrediad y gwaed trwy bob brawddeg. Ysgrifenai hefyd yn fynych at ei briod pan oddicartref; ac nid gair byr, yn desgrifio ansawdd ei iechyd, a fyddent, ond llythyrau meithion, yn cynwys hanes crefydd yn yr ardaloedd trwy ba rai y teithiai, desgrifiad o'i odfaeon, a sylwadau ymarferol pwysig. Gwerthfawrogai Mrs. Elias y llythyrau hyn yn fawr. Ebai y mab: "Ar amserau, pan fyddai fy nhad ar ei deithiau gweinidogaethol, fe allai y byddai son wedi myned allan fod fy mam wedi cael llythyr oddiwrth fy nhad, yn rhoddi hanes Cymanfa neu Gymdeithasfa arbenig y bu efe ynddi. Byddai llaweroedd yn gofyn am ei weled neu ei glywed, a hithau, fy anwyl fam, fel hyn yn ei gadw yn ei llogell, yn gyfleus i gyflawni dymuniad ei chyfeillion." Byddai llythyr Mr. Elias yn myned o gwmpas, o'r naill dŷ i'r llall; ystyrid ef y peth nesaf mewn gwerth at y Beibl ei hun; wrth gael ei ddarllen, a'i drosglwyddo o law i law, ai yn ddarnau, "ac fel hyn," meddai ei fab, "y collwyd llawer o lythyrau rhyfeddol, y rhai y buasai yn werth iddynt fod ar gael yn barhaus." Cofiai efe frawddeg oedd yn un o lythyrau ei dad at ei fam: "Fy anwyl wraig, synu yr ydwyf fod pryfyn gwael fel myfi mewn cerbyd, tra na chafodd fy Meistr ond asyn i'w farchogaeth."

ELIAS YN EI ARDAL.

Yr oedd y parch a deimlid at Mr. Elias yn Llanfechell a'r cymydogaethau, ac yn wir trwy holl ynys Môn, yn ddiderfyn. *Mr.* Elias ei gelwid bob amser, yn ei gefn fel yn ei wyneb, ac efe oedd yr unig weinidog Ymneillduol a anrhydeddid yn y modd hwn, oblegyd cyfyngid y teitl i'r clerigwyr a'r pendefigion. Efe oedd oracl y wlad; ato ef y troai pawb mewn anhawsder. Cyrchai y bobl ato o bell am gyngor cyfreithiol, am feddyginiaeth rhag afiechyd, am gyfarwyddyd mewn dyryswch, ac am gymhorth mewn cyfyngder. I ganoedd, meddai ei air awdurdod cyfraith; edrychid ar ei eiriau agos fel geiriau Duw. Dywedai un na fyddai trigolion Môn yn gofyn beth a ddywed yr Ysgrythyr un amser, ond beth a ddywedai John Elias. Gorliwio oedd hyn, bid sicr; ac eto, cynwysa y dywediad gnewyllyn o wirionedd, sef mai yn ngoleuni Mr. Elias, i raddau mawr, y deallent y Beibl. Ni fu yn yr ynys na chynt na chwedyn y fath ddylanwad ysprydol. Nid y tlawd a'r cyffredin yn unig a edrychent i fyuu ato, ond coleddai bonedd y wlad y syniadau uchaf am dano. Pan ddeuai dyeithrddyn ar ymweliad at un o foneddwyr Môn, ni freuddwydid am iddo gael dychwelyd heb weled "y Prophwyd," ac ystyrid cael ysgwyd llaw âg ef yn fraint.

Er engrhaifft o'r parch a deimlai boneddigion ato, cymerer yr hanes canlynol. Ganol dydd un Sabbath, daeth y diweddar William Bulkeley Hughes, Ysw., A.S., Plascoch, i dŷ capel Llanfechell. Dygwyddai un o'n gweinidogion fod yn yr ystafell i ba un y cawsai y boneddwr ei wahodd iddi, a bu y ddau yn ymddiddan a'u gilydd am ryw ddeg mynyd. Pan wedi codi ar ei draed, ac ar gychwyn allan, syrthiodd llygaid Mr. Hughes ar y darlun o'r Parch. John Elias oedd yn crogi ar y pared. Mewn eiliad, tynodd ei het oddiam ei ben, ac edrychai arno yn syn. O'r diwedd dywedai: "Ië, dyma fo, un o'r dynion goreu a welais erioed, ac felly y dywedai fy nhad bob amser am dano." Meddai yn mhellach: "Y mae genyf, yn Plascoch, lythyr oddiwrtho a dderbyniais ar adeg fy mhriodas, na chymerwn gan' *sovereign* gan neb am dano."

Nid oedd bugeiliaeth, o leiaf yn y ffurf bresenol arni, wedi cael ei geni y pryd hwnw, ond byddai efe yn cyflawni gwaith bugail o'r fath fwyaf lafurus yn yr holl ardaloedd o gwmpas ei gartref. Fel hyn yr ysgrifena y Parch. John Roberts, Taihen: "Fel rheol, pan fyddai Mr. Elias gartref yn Llanfechell, byddai yn myned i dair *society* bob wythnos; sef i Lanrhyddlad, lle yr oedd ef a Mrs. Elias yn aelodau, i Cemmaes, ac i Bethlehem. Yr oedd Llanfechell y pryd hwnw, fel yn awr, tua'r canol, a byddai ganddo rhwng dwy a thair milltir i fyned i bob un o'r lleoedd hyn. Ar ol bod trwy'r dydd yn ei fyfyrgell, yn astudio yn ddwys fel y byddai ef, ac mewn ymdrech yn ei weddïau gyda Duw, gwelid ef yn cerdded yn araf i'r cyfarfod eglwysig, neu i'r odfa fyddai wedi cael ei threfnu iddo. Y mae wedi ymwisgo mor drefnus a phe byddai yn myned i ymddangos ar faes y Gymanfa, a phob ymddygiad ac osgo o'i eiddo yn foneddigaidd ac urddasol, a thiriondeb a difrifwch gŵr Duw yn argraffedig ar ei wedd. Ni

feddylid am i neb ddechreu y *society* ond efe; a'r fath wledd o fwynhad a bendith a fyddai edrych a gwrando arno, ar ol dyfod o hono, fel y teimlid oddiwrth Dduw. Yr oedd arogl myrr ar ei wisgoedd, a chyn gorphen y darlleniad o'r rhan o'r Gair a'r weddi, teimlai pawb fod eu llestri wedi eu llanw, ac y maent yn barod i dywallt allan eu teimladau y naill i'r llall. A chydâ golwg ar Mr. Elias yn y cyfarfodydd hyn, anhawdd fyddai penderfynu, meddir, pa un ai yr awdurdod frenhinol, ynte y tynerwch tadol, a ddeuai i'r golwg yn fwyaf amlwg. Ac ar y diwedd, nid oedd un yn foddlawn myned adref, heb gael y fraint o ysgwyd llaw â Mr. Elias, a theimlid fod hyn nid yn unig yn fraint, ond hefyd yn foddion o ras i'w hysprydoedd."

Dengys symudiad gwelltyn gyfeiriad y gwynt, a dengys y ffaith ganlynol, a adroddir gan ei fab, y safle a feddianai Mr. Elias yn marn y cyhoedd. "Yn Nhan-y-fonwent y preswyliai Robert Edwards, gôf y gymydogaeth. Byddai fy nhad yn barnu mai efe oedd y goreu am bedoli ei gaseg o bawb a welodd efe trwy Gymru. Pan fyddwn i yn fachgen yn myned a'r gaseg i'w efail i'w phedoli, yn fynych byddai yr amgylchoedd wedi eu llenwi â cheffylau pobl eraill. Y mynyd y gwelai Robert Edwards fy wyneb, deallai fy neges, ac yr oedd ond odid yn gwybod am y daith fyddai gan fy nhad o'i flaen. Tarawai y morthwyl ar yr einion, yn arwydd fod gwaith pawb i sefyll, hyd nes y byddai anifail cenhadwr y Brenhin mawr wedi cael y weinidogaeth angenrheidiol iddi."

Pregethodd lawer yn nghymydogaethau Llanfechell; prin y mae tŷ yn yr ardaloedd na bu ynddo yn traddodi Gair y bywyd; ac yr oedd ei boblogrwydd yn ddiharebol. Pan y clywid ei fod i bregethu gartref ar ol bod i ffwrdd ar daith, byddai yn gyffro trwy yr holl wlad; dywedai y bobl wrth eu gilydd: "Y mae Mr. Elias i fod yma y Sul nesaf, ac fe dynir y llwch oddiar bob hen bilyn a chyfrwy." Meddai Mr. Robert Edwards, a breswylia yn nhŷ capel Llanfechell: "Pan ddeuai yn ol o daith, rhaid fyddai iddo bregethu yn holl dai a chapelau yr ardaloedd, a mawr fyddai y cyrchu i'w wrando yn mhob lle yr elai iddo, fel pe byddai yn ŵr dyeithr. Cafodd, ar yr amgylchiadau hyn, rai o odfaeon grymusaf ei oes. Pregethai gystal byth ag y medrai bob tro, yn y tŷ tlawd fel ar faes y Gymdeithasfa. Dyma ychydig o'r testynau yn y tai o amgylch Llanfechell: 'A pha ateb a roddir i genhadau y genedl;' 'Da yw i ŵr ddwyn yr iau yn ei ieuenctyd;' 'A pha beth a wnai yn nydd yr ymweliad;' 'I weled dy nerth a'th ogoniant fel y'th welais yn y cysegr;' 'Os dechreu o'r farn o du Dduw.' Rhaid fyddai cael Mr. Elias i bregethu mewn priodasau, gwylnosau, a holl angladdau y gymydogaeth." A gwnelai y cyfan yn ddidal. Ryw ddiwrnod, daeth gŵr o ardal Llanrhyddlad ato, John Jones wrth ei enw, yn drist iawn ei wedd, gan ofyn a wnai efe bregethu yn nghladdedigaeth ei wraig. "Deuaf ar unwaith, John bach," meddai Mr. Elias. "Pa faint raid i chwi gael am ddod acw?" "Dim ond coron," ebai yntau yn ol. Nid oedd y gŵr yn proffesu crefydd ar y pryd. Aeth Mr. Elias i'r cynhebrwng, a phregethodd yn effeithiol iawn. Wedi gorphen y gwasanaeth, aeth John Jones ato, a chan estyn ei law iddo, dywedai: "Dyma'r goron, Mr. Elias." "Na," ebai yntau, "nid hona oeddwn i yn feddwl, ond coron fwy ei gwerth; cadwch chwi y pum' swllt, John Jones."

Ni phetrusai bregethu yn erbyn y drygau a fyddai yn ffynu yn y gwahanol ardaloedd; a gwnai hyny mor effeithiol nes peri i'r troseddwyr dybio fod rhywun neu rywrai wedi achwyn arnynt wrth Mr. Elias. Meddai ei fab: "Byddai pysgota penwaig yn orchwyl mawr gan y Cemlyniaid yn ei amser (cymydogaeth gyfoethog, tua thair milldir o Lanfechell, oedd Cemlyn); ceid meibion y ffermydd yn mysg y pysgotwyr. Byddai William Owen yn poeni fy nhad am gael odfa yno, cyn i'r cychod droi allan. Addawodd fy nhad fyned; ond rywfodd neu gilydd yr oedd wedi clywed y byddid yn gosod rhwydau ar y Sabbath. Ac yn y bregeth dyna ef yn dweyd yn erwin yn erbyn yr halogiad o'r Sabbath, a'r pysgotwyr yn mron marw dan y taranau. Dyna lle yr oedd William Owen yn y benbleth, yn methu gwybod pa fodd yr elai i'r cwch gyda'r lleill, gan eu bod yn sicr o gredu mai efe a ddygodd eu drygair at fy nhad. Ar ol yr odfa, efe a ddaeth, gan rwbio ei fraich a gwasgu ei het, ac a ddywedodd: 'John Elias anwyl, beth a wnaf? Chwi a ddywedasoch ein holl gastiau drwg ni, ac ni chredant fyth nad myfi a achwynodd wrthych.' Pa fodd bynag, dyma ddarfod ar osod rhwydau ar y Sabbath yn Nghemlyn."

Pa bryd bynag y byddai achos o bwys i gael ei drin, neu ŵr ieuanc yn cychwyn

gyda gwaith y weinidogaeth, yn un o'r eglwysi o gwmpas Llanfechell, Mr. Elias yn ddieithriad fyddai y cenhadwr dros y Cyfarfod Misol; ac mewn cysylltiad â hyn byddai yn fynych dan arweiniad hynod. Cafodd ei anfon unwaith i eglwys Bethlehem i holi dyn ieuanc am ddechreu pregethu, yr hwn oedd o feddwl cryf, yn eangach ei wybodaeth na'r cyffredin, y gymydogaeth oll yn edrych i fynu ato fel dyn o allu a gwybodaeth, ond â rhyw amheuaeth gyda golwg ar ei gymeriad. Dechreuodd yr arholiad, a dyma y cawr, yn ngwydd yr eglwys ac o flaen Mr. Elias, yn methu ateb braidd un cwestiwn a ofynid iddo. Synodd ar bawb yn y lle. Cododd un o'r blaenoriaid, sef Mr. John Owen, i'w amddiffyn, gan ddweyd: "Peidiwch bod yn galed arno, Mr. Elias; gwyddom ni oll fel eglwys y gallai yn hawdd ateb pob gofyniad a roddasoch iddo heno, ond fod rhyw dywyllwch wedi dyfod drosto; eich ofn chwi efallai." "Ië, John Owen bach,' ebai Mr. Elias yn ol; "beth os mai tywyllwch oddiwrth yr Arglwydd Iesu, Pen yr eglwys, ydyw?" Profodd y dywediad yn wir; cefnodd y gŵr ieuanc ar eglwys Dduw, ac ar bob moddion o ras, a bu yn ymdroi yn y pyllau aflan am flynyddoedd lawer.

Byddai yn nodedig o ofalus gyda dysgyblaeth. Meddai ei fab: "Fy nhad agos bob amser fyddai yn cael ei alw i wneyd y gwaith hwn; weithiau byddai raid iddo ddiarddel o'r eglwys ddynion cefnog yn y byd, a mawr eu dylanwad yn y gymydogaeth. Bygythiai y rhai hyn niweidio ein masnach; a chan ei bod ar raddfa fechan, nid anhawdd fuasai gwneyd. Ond byddai fy mam bob amser yn hynod o dawel ei meddwl; ofnai nid am ei masnach, ond rhag i eglwys Dduw dderbyn niwed trwy fod pechod yn cael ei oddef yn y goludog a'r cryf." Dangosai efe wroldeb dirfawr, a chydwybodolrwydd dwfn, ar yr achlysuron hyn, fel y dengys yr hanes canlynol:—

Mewn eglwys fawr yn Sir Fôn, aelodau yr hon a rifai o gwmpas tri chant, yr oedd tri o ddynion ieuainc gweddol wybodus, wedi mwynhau manteision dysgeidiaeth, ond o duedd goegaidd, yn peri terfysg. Nid oeddynt yn foddlawn ar drefn yr eglwys, ac eto ni ymadawent o honi. Yr oeddynt yn ddraen yn ystlysau y cyfeillion crefyddol yno, ac ni wyddent beth i'w wneyd o honynt. O'r diwedd, penderfynodd y Cyfarfod Misol anfon Mr. Elias yno. Pan glywodd y terfysgwyr hyn penderfynasant ymddadleu âg ef, a'i guro ar ymresymu, neu o leiaf ei gyffroi i dymher. Dywed yr hwn a adroddai yr hanes: "Pan ddeallasom fod Mr. Elias yno, yn cadw seiat, heb wybod yr achos, prysurasom i'r capel. Yr oedd ar ganol gweddïo pan aethom i mewn. Er fod y weddi yn daer, yn ddifrifol, ac yn dra gostyngedig, eto yr oeddym yn teimlo fod ynddi rywfath o lymder annesgrifiadwy, a grëai arswyd ynom heb wybod paham. Yr oedd ynddi gyfeiriadau mynych at rai yn 'chwenych y blaen; 'un ac ail rybudd;' 'synied yr un peth;' 'tynu oddiwrth rai yn rhodio yn afreolus;' ac ymadroddion cyffelyb. Gwedi terfynu y weddi bwysig, teyrnasai dystawrwydd, yn ymylu ar fod yn boenus, dros y gynulleidfa. Dechreuodd Mr. Elias gyfarch yr eglwys ar ddysgyblaeth eglwysig, yr angenrheidrwydd iddi fod yn bur, yn onest, ac yn benderfynol. Yna anerchodd y troseddwyr, y rhai a adwaenai yn dda, yn barchus, yn llariaidd, ac yn ddeniadol, ond yn wir fawreddus, awdurdodol, ac mewn cwbl hunanfeddiant. Dywedodd lawer am gysegru pob dysg, dawn, a dylanwad, at wasanaeth crefydd; am yr angen o edifeirwch, ffydd, a chariad; ac yn neillduol gostyngeiddrwydd, hunanymwadiad, a meddwl ein gilydd yn well na ni ein hunain. Ar hyn galwodd un o'r tri—yr hynaf—ef at y pwnc! Aeth cwmwl dros wynebpryd mawreddog Mr. Elias; saethodd tân o'i lygaid, nes yr oedd arswyd yn ymdaenu dros bawb oedd yn bresenol; ond ni chollodd ddim o'i hunanfeddiant. Newidiodd ei wedd eto, a gofynodd yn hollol lariaidd, eto yn fawreddog a phenderfynol, beth oedd ganddynt i'w ddweyd. Dechreuodd un o honynt ymddadleu âg ef; atebodd yntau yn bwyllog a meistrolgar; ond cyn iddo ef orphen ateb hwnw, cymerodd yr ail ef mewn llaw; a phan yr oedd Mr. Elias yn dechreu ateb hwnw, torodd y trydydd ar ei draws. Tawodd Elias yn fawreddog; canfu y ddichell, mai ei faglu ef a'i yru o dymher oedd yr amcan, ac nid gwellhau y clwyf. Eisteddodd i lawr, a cheisiodd ganddynt hwythau fyned yn y blaen. Wedi i'r olaf dewi cyfododd ar ei draed fel tywysog, a mawredd yn eistedd ar ei wedd, a chyda llais awdurdodol, dywedodd ei fod yn amlwg i'r holl eglwys mai amcan y dynion hyn oedd codi terfysg, a bod Gair Duw yn gorchymyn tynu oddiwrth y cyfryw rai, ac archodd i bawb oedd yn tybio mai hyny oedd dyled-

swydd yr eglwys godi eu deheulaw. Yr oedd yr eglwys agos yn unfrydol. Yna, cyhoeddodd yntau eu diarddeliad gyda difrifwch ac awdurdod arswydus, ac meddai, gan ddyrchafu ei law ar yr un pryd: 'Ciliwch oddiwrth y dynion dryg-ionus hyn!' Y fath oedd y nerth oedd yn cydfyned â'i eiriau, fel yr oedd y bobl a eisteddent yn agos i'r terfysgwyr yn chwalu oddiwrthynt, fel pe y buasai ofn arnynt i'r ddaear eu llyncu, a gadawyd y tri yn hollol ar eu penau eu hunain. Yna, llithrodd y tri allan yn ddystaw, 'a chau-wyd y drws!'"

Byddai Mr. Elias yn hynod o ddedwydd wrth weinyddu y ddau sacrament sydd yn perthyn i'r eglwys Gristionogol. Ystyriai rhieni hi yn fraint ei gael i fedyddio eu plant. Anaml y crwydrai i dir dadleuaeth ar yr achlysuron hyn; yn hytrach rhoddai arbenigrwydd ar y dyledswyddau pwysig cysylltiedig â'r ordinhad, a orphwysent ar y rhieni, ac ar yr eglwys. Eithr medrai amddiffyn ei egwyddorion pan fyddai galw am hyny. Ar un adeg yr oedd adfywiad mawr ar grefydd yn Môn, a dynion wrth y degau a'r ugeiniau yn cael eu dychwelyd, ac yn ymuno â'r eglwysi. Cymerodd rhai brodyr perthynol i'r Bedyddwyr fantais i drallodi meddwl amrai o'r dychweledigion, trwy ddweyd wrthynt: "Oni throchir chwi, ni ellwch fod yn gadwedig. Rhaid i chwi ufuddhau, a chymeryd eich bedyddio yn yr afon, onide ni fyddwch yn ddysgyblion i Grist." Meiddiodd un o honynt fyned at Mr. Elias, gan ddweyd wrtho ei fod yn dyfod ato o gydwybod dros Dduw, i'w anog i fod yn onest at y bobl, a'u bedyddio trwy eu trochi yn ol Gair yr Arglwydd, heb yr hyn nis gallent fod yn gadwedig, am nad oeddent wedi ufuddhau i orch-ymyn pendant Crist. Yntau, yn bur ddi-gyffro, a ofynodd ddau neu dri o gwestiynau i'r brawd, yr hwn, gan nas medrai ateb, a droes i gondemnio, a bygwth, a phro-phwydo. Er na theimlodd nemawr oddi-wrth yr ymosodiad, deallwyd ei fod am gadarnhau eneidiau y dysgyblion ieuainc ar bwnc y bedydd, y cyfleustra cyntaf a gaffai.

Yn bur fuan, mewn tref gyfagos, yr oedd i fedyddio un dyn mewn oedran, a thri o fabanod. Daethai cynulleidfa lios-ocach nag arferol yn nghyd, am fod dysgwyliad am ddatganiad ar ran Mr. Elias o'i egwyddorion. Wedi i gyfaill ddechreu yr odfa dechreuodd ar wasan-aeth y bedydd. Dywedai: "Yr ydym ni yn bresenol yn myned i gyflwyno rhai trwy fedydd i'r Arglwydd. Y mae yr amgylchiad yn un lled annghyffredin, sef cyflwyniad un mewn oed, gyd âg eraill, trwy fedydd i Grist. Y mae hyn yn ein gosod mewn sefyllfa debyg iawn i'r am-gylchiadau yr oedd yr apostolion ynddynt yn moreu Cristionogaeth, pan yr oeddent yn bedyddio teuluoedd cyfain, a'r deiliaid yn rhai o bob oedran. Yr ydym yn debyg iawn hefyd i'r sefyllfa y bydd ein cenhadon ynddi yn fynych, yn y gwledydd paganaidd, pan fyddant yn bedyddio y dychweledig-ion, ac yn cyflwyno rhieni a phlant, rhai o bob oed, hen ac ieuanc, trwy yr ordinhad o fedydd, i'r Arglwydd." Wedi traethu yn nodedig o effeithiol ar amcan bedydd, ac at yr elfen a ddefnyddir yn y bedydd, sef dwfr glân, neu ddwfr pur, yn cael ei gymhwyso at y bedyddiedig yn enw y Drindod, dechreuodd sylwi ar ddeiliaid bedydd. Cychwynodd gyda y gorchymyn a gofnodir gan yr Efengylwyr: "Ewch i'r holl fyd." Yna aeth yn mlaen i ddangos y tebygolrwydd rhwng y bedydd Cristion-ogol, a'r enwaediad dan yr Hen Oruchwyl-iaeth. Meddai: "Ni roddodd yr Ar-glwydd unrhyw addewid i'w bobl, mewn unrhyw oes, heb gadarnhau y cyfryw gyda sêl benodol. Rhoddodd addewid i Noah, a sefydlodd y bwa yn y cwmwl, fel sêl i'w chadarnhau. Rhoddodd addewid i Abraham, ac i'w had ar ei ol, a rhoddodd yr enwaediad fel sêl o'i ffyddlondeb. Felly, yn ngosodiad i fynu yr oruchwyl-iaeth newydd, dan yr efengyl, trefnwyd bedydd yn arwydd, yn sêl, o'i ffyddlondeb i gyflawni ei addewid i'w bobl ac i'w plant. Gan fod y plant yn rhan o Israel Duw y pryd hwnw, pa fodd nad ydynt yn rhan o eglwys Dduw yn awr? Wrth gymeryd y deyrnas oddiar yr Iuddewon, am na ddygent ei ffrwythau, ni newidiwyd ei natur. Pan y torwyd y canghenau ymaith, ni symudwyd y boncyff; a phan ddychwelir hwy yn eu hol, eu himpio yn yr hen wreiddyn, eu holewydden ei hun, a wneir. Yr un yw yr eglwys, o ran ei dyben, yn awr a'r pryd hwnw. Gan fod y plant ynddi gynt, rhaid eu bod felly yn awr, oni ddarfu i Dduw ei hun eu tori ymaith. Atolwg, pwy a allai eu tori ymaith? Yn mha le y mae y benod, pa le y mae yr adnod, lle y crybwyllir am eu diarddeliad? Pa le, mewn gorchymyn neu esiampl, y ceir yr awgrym lleiaf am y fath beth? Nis gwelaf fi mo hono mewn un man. A hyd oni ddangosir hyny i ni,

ni allwn ni ryfygu eu hyspeilio o'u hawlfraint briodol yn yr eglwys yn awr, yn ol gosodiad Duw ei hun." Wrth ei fod yn llefaru fel hyn yr oedd y dorf wrth ei bodd, a gwen foddhaol yn chwareu ar lawer gwyneb.

Yna, gwnaeth nodiadau manwl gyda golwg ar briodoldeb taenelliad, gan gyfeirio at yr addewid: "Tywalltaf arnoch ddwfr glân." Dangosai fod taenellu fel ffugr yn cyfateb yn berffaith i fedydd yr Yspryd Glân yn ol y darluniau Ysgrythyrol: "Dychwelwch wrth fy ngherydd; wele, mi a dywalltaf fy Yspryd i chwi;" "Hyd oni thywallter yr Yspryd o'r uchelder;" "Tywalltaf fy Yspryd ar dy hâd," &c.; a'i fod yn cyfateb i'r hanes Ysgrythyrol yn amser yr apostolion, megys: "Efe a dywalltodd y peth yma a welwch ac a glywch chwi," &c. Yna, dangosai addasrwydd taenellu yn ei gydweddiad â dull esmwyth gweinidogaeth yr efengyl yn ei holl osodiadau; yr hawsder diberygl gyda golwg ar weinyddiad bedydd yn mhob gwlad, yn mhob hinsawdd, ar bob tymhor, ac yn mhob adeg. Yna, eglurai fod ychydig ddwfr mor briodol fel arwydd yn y bedydd, ag ydyw ychydig fara ac ychydig win yn y swper sanctaidd. Aeth trwy holl drafodaeth y cwestiwn, yn ei wahanol ganghenau, gyda pherffaith oruchafiaeth; yr oedd ei ymadroddion fel hoelion yn cael eu sicrhau yn meddyliau y bobl; teimlent fod y mater, mor bell ag yr oedd a fynent hwy âg ef, wedi ei benderfynu am byth. Yna, trodd at y dyn mewn oedran, a dywedodd wrtho: "Cyfod, bedyddier di," ac felly y cwblhawyd y gwaith arno. Gwedi hyny dygwyd y plant yn mlaen. Pan y cymerai hwy i'w freichiau, ymddangosai wrth ei fodd, a gwen siriol a syml ar ei wynebpryd, fel pe yn sugno mwynhad a hyfrydwch yn y gorchwyl. Derbyniai hwy gydag anwyldeb serchus iawn; tynai ei law dros eu dillad i'w dangos yn brydferth a thrwsiadus, a hyny yn llawn mor fedrus a thyner a mamaeth. Adroddai eiriau y Gwaredwr: "Gadewch i blant bychain ddyfod ataf fi, ac na waherddwch iddynt, canys eiddo y cyfryw rai yw teyrnas nefoedd." Yna, fel un wedi cael buddugoliaeth drwyadl, gofynai: "Os oeddynt yn y deyrnas; os rhyngodd bodd i'w Tad nefol roddi iddynt y deyrnas, pwy ydym ni i'w cau allan, neu i atal rhagddynt un o freintiau y deyrnas; y deyrnas nad oedd o'r hyd hwn!" Wedi eu bedyddio gweddïodd drostynt yn hynod afaelgar ac effeithiol, a rhoddodd benill allan i'w ganu, o waith Mr. Jones, Dinbych, ac unodd yr holl dorf yn y mawl gyda'r teimladau mwyaf cynhes:—

"'Nol d'orchymyn, Arglwydd Iesu,
Gynt bedyddiwyd llawer teulu,
Am dy fod, o'th rinwedd didranc,
Yn glanhau yr hen a'r ieuanc."

Bu effeithiau tra dymunol mewn canlyniad i'r anerchiad hwn; tawelwyd meddyliau y dychweledigion, darfu y cyffro a'r berw yn y wlad, a chafodd y dysgyblion ieuainc lonydd oddiwrth ymosodiadau yr athrawon eraill.

Wrth weinyddu yr ordinhad o swper yr Arglwydd, yr hyn a wnelai yn fynychach na neb arall yn Môn, byddai yn hynod o effeithiol, ac yn aml byddai yr effeithiau yn orchfygol. Yr oedd y rhai fyddai yn cyfranogi yn cael eu cyfleu ar ganol y llawr, rhwng y meinciau, tra yr oedd y gwrandawyr eraill wedi cilio i'r oriel; oblegyd ni feddyliai neb am fyned allan cyn gorphen gwasanaeth y cymundeb; yr oedd pawb megys wedi eu rhwymo i aros. Hoffai efe i bawb dderbyn yr elfenau ar eu gliniau; ni allai oddef eisteddleoedd ar ganol llawr yr addoldai; dewisai gael y llawr yn glir bob amser, er gosod meinciau, fel y gellid cael lle i'r cyfranogwyr yn rhesi rhyngddynt. Y dull arferol oedd i un o'r blaenoriaid ei ganlyn ef, gyda y bara a'r gwin, i gyflenwi fel y byddai efe yn myned yn mlaen. Buasai yn dda genym roddi darluniad Gwalchmai ar ei hyd o hono ar noson cymundeb, ond rhaid i ni ymfoddloni ar dalfyriad cymharol fyr:—

"Y mae pawb wedi cymeryd eu lle. Y mae dystawrwydd y bedd dros yr holl addoldy. Diau y clywsid trwst deilen yn ysgwyd, pe buasai yno, gan y gosteg, gyda'r eithriad o ochenaid led ddystaw yn dianc weithiau o waelod calon. Y mae y bwrdd wedi ei barotoi. Y mae Elias yn eistedd wrth yr ochr, a phwys ei benelin ar yr ymyl, a'i ben ar ei law, ac ychydig o arwyddion lludded arno ar ol y bregeth egniol. Y mae pob peth o gwmpas y bwrdd yn blaen, yn ddisyml, a diaddurn iawn; ond eto, y mae yna ryw fath o brydferthwch dymunol ar bob peth. Gwir nad oes yna mo'r brethyn *crimson*, wedi ei ymylu â'r *gold gimp fringe*, ac nad oes 'J. H. S.' mewn llythyrenau o aur pur, na llun y groes mewn gwaith edau a nodwydd ar y canol; ond beth er hyny, y mae yna lian glân, canaid, a hwnw mor

-wyned a'r eira, wedi ei daenu dros y bwrdd. Gwir nad oedd yna mo'r *flagon* uchel, na'r *chalice* addurnedig; ond gadewch i hyny fod, y mae y poteli gwydr duon cyffredin sydd yna yn edrych yn bur deg ar y llian claerwyn acw. Er nad oes yna mo'r meiliau caboledig i sereni llygaid neb, eto mae y cwpanau *china* bychain yna yn edrych yn ddengar iawn. Gwir yw nad oes mo'r dysglau wedi eu gwisgo âg aur melyn, mwy na'r fasged arian dan y bara; ond eto, er hyn i gyd, y mae y rhai cyffredin sydd yna i'w gweled yn lân ac yn ddymunol iawn. Os nad oes yna nemawr o wychder mewn dim, efallai fod yna aberthau Duw, sydd yn ganmil mwy o werth, sef calon ddrylliedig, ac yspryd cystuddiedig, y rhai ni ddirmygir byth gan Frenin y nef! Er nad oes yna un cerfiad henafiaethol ar y ford na'r gadair, i swyno teimlad neb; eto, y mae yna 'Ysgrifenydd wedi ei ddysgu i deyrnas nefoedd,' i gyflawni y gwasanaeth. Y mae yn codi ar ei draed. Fel y mae y bobl yn gwyro, y mae efe yn ymddangos yn uwch na phawb, a braidd yn dalach nag arferol. Hynod o hoff yw yr olwg arno. Ceir yma rywbeth yn dyrchafu pawb, y cymunwyr a'r edrychwyr, i ryw deimladau tra chysegredig, a hyny yn hollol ddiarwybod iddynt eu hunain. Y mae y gweinyddwr yn meddu boneddigeiddrwydd gwŷr y llys, tynerwch dillyn benyw, a gwroldeb cadfridog. Bydd yn sicr o'i nôd gyda phob peth bob amser. Wel! y mae yn dechreu ar ei orchwyl. Dyna ef yn galw sylw y dorf at y bwrdd, ac yn cyfeirio â'i fys at yr elfenau sydd arno. 'Yn awr,' meddai, 'yr ydym yn myned i wneuthur coffadwriaeth o angau Crist, mewn ufudddod i'w orchymyn, ac o barch i'w ddymuniad; gwnewch hyn er coffa am danaf! Hyderaf y cawn fod yma dan arwyddion o'i foddlonrwydd.'"

Wedi llefaru yn bur effeithiol am natur y sacrament, aeth yn mlaen i ddweyd iddo gael ei sefydlu gan yr Iesu y nos y bradychwyd ef. "Dewisodd y Gwaredwr y nos y bradychwyd ef i'w sefydlu, am ei fod, y pryd hwnw, fel yn noswylio oddiwrth ei lafur cyhoeddus. Yr oedd wedi dweyd: 'Rhaid i mi weithio gwaith yr hwn a'm hanfonodd tra y mae yn ddydd; y mae y nos yn dyfod, pan na ddichon neb weithio.' Yr oedd ei nos ef wedi dyfod erbyn hyn. Yr oedd yr haul wedi machludo y tro diweddaf ar ei ben glân, oblegyd ar y dydd canlynol yr oedd i gael ei draddodi yn gyhoeddus i ddwylaw ei elynion i gael ei groeshoelio a'i ladd. Nos ei ddyoddefiadau mawr oedd hon. Oes o ddyoddefiadau oedd ei fywyd, ond erbyn hyn yr oedd holl ffrydiau dyoddefiadau ei dymhor ar y ddaear wedi cydgyfarfod yn ddyfroedd uchel hyd yr ên! Yr oedd rhywbeth rhyfedd iawn yn nywediad Pilat am dano: 'Wele y dyn!' Ni welodd efe, druan, ddim ond y dyn ynddo. Dyma alwad arnom ninau heno i edrych arno megys yn weledig ar y bwrdd: 'Wele y dyn' yma. Hefyd, wele 'Immanuel, Duw gyda ni.' Yr oedd Crist trwy ei fywyd wedi bod yn ŵr gofidus a chynefin â dolur. Yr oedd tristwch ei gyfeillion, gwendid ei ddysgyblion, caledwch ei elynion, ac erledigaeth yr Iuddewon, wedi gwasgu llawer ochenaid o'i fynwes o bryd i bryd; yr oedd dagrau cydymdeimlad wedi rhedeg dros ei ruddiau glân uwchben bedd Lazarus, ac uwchben dinas Jerusalem; ond erbyn hyn yr oedd y ffrydiau oll fel wedi cyfarfod yn nghyd, megys afon nerthol, o bob man, ac o bob byd; yr oedd ei nos ddu wedi dyfod! Yr oedd uffern yn cynhyrfu o danodd; yr oedd daear fel pe buasai wedi penderfynu ei wrthod; ac yr oedd y nef yn dechreu duo uwch ei ben. Ei elynion oeddynt wedi cynllunio y fradwriaeth, ac megys yn sychedu am ei waed. Yntau ei hun wedi ymneillduo i weddïo yn yr ardd, mewn lle dystaw, llonydd, tawel, gerllaw afon Cedron; a Judas hefyd a adwaenai y lle, oblegyd mynych y cyrchasai yr Iesu yno! Yr oedd rhyw frys mawr ar bawb y noson hono am gyflawni eu gwaith. Yr oedd Judas mewn brys. Yr Iesu yn gweled yr awydd mawr oedd arno, a ddywedodd wrtho: 'Yr hyn yr wyt yn ei wneuthur, gwna ar frys.' Wedi cyrhaedd Gethsemane, nid oedd amser maith iddo weddïo y weddi ddyfalach, canys yr oedd tyrfa y gwaewffyn gerllaw. Yr oedd brys ar y milwyr i'w ddal a'i rwymo; brys yn ei arwain trwy'r heolydd, ac i'r llysoedd; brys am ei gondemnio a'i fflangellu, ei wawdio a'i rith-goroni, a brys am ei yru o'r byd! Dyma destun ein myfyrdod ni heno. 'Wele y dyn!' Dacw yr hwn oedd yn ddysgleirdeb gogoniant y Tad, ac yn wir lun ei Berson ef, dan gondemniad am feiau nad oedd yn euog o honynt! Dacw ddedfryd marwolaeth y groes ar yr Oen difeius a difrycheulyd! Dacw yr hwn sydd yn dal teyrnwialen llywodraeth y byd, ar orsedd y nef, yn sefyll yn fud o flaen gorsedd y

rhaglaw Rhufeinaidd! Dacw yr hwn sydd yn gwisgo goleuni fel dilledyn, ac yn taenu y nefoedd fel llen, a'r milwyr yn rhanu ei ddillad, ac yn bwrw coelbren am ei wisg ddiwniad! Dacw yr hwn sydd wedi ei goroni â gogoniant ac â harddwch wedi ei goroni â drain! Nid oedd ryfedd gwaeddi allan: 'Wele y dyn!' Wel, atolwg, mewn pa faint o amser y dygwyd yr holl orchwylion hyn yn mlaen? Y nos y bradychwyd ef! Dyma rai o'r pethau sydd genym ninau yn awr i'w cofio, fel y byddo i'n calonau gael eu llanw â gwir gariad ato. Beth allai fod yn llanw ei feddwl ef y pryd hwnw? A ydoedd wedi anghofio pawb gan fawredd ei drallod ei hun? Na, yr oedd ei gariad at ei bobl yn uchaf ar ei galon o hyd! Elai yr archoffeiriad âg enwau deuddeg llwyth Israel ar ei fynwes i'r cysegr; felly, yr oedd enwau ei bobl wedi eu hysgrifenu ar galon yr Iesu."

Erbyn hyn, yr oedd y gynulleidfa mewn teimladau hynod; ni welid yno wyneb dyn, pa un bynag ai yn mysg y frawdoliaeth oedd yn cyfranogi, ai yn mysg yr edrychwyr, nad oedd ei lygaid fel ffynhonau o ddagrau. Eto, wylo dystaw ydyw; er fod y dagrau yn ffrydio, a'r teimladau wedi toddi, teyrnasa dystawrwydd dwfn trwy y lle. Wrth ranu yr elfenau y mae yn parhau i lefaru; er fod nifer y rhai sydd yn cyfranogi yn fawr, ac yntau yn prysuro i fyned yn ei flaen, nis gall beidio traethu ar ddyoddefiadau Mab Duw, a mwyfwy effeithiol y deuai ei eiriau ar deimlad y bobl. Yn y man cydiodd yn y gair: "Dangos marwolaeth yr Arglwydd." Meddai: "Os bydd y ddeddf yn dyfod yn ei hysprydolrwydd, ac yn gofyn perffeithrwydd, a ninau yn teimlo ein bod yn euog, pa beth a wnawn? Dim ond dangos marwolaeth yr Arglwydd. Beth a wnawn os bydd ein cydwybod yn ein condemnio? Ni a ddangoswn farwolaeth yr Arglwydd. Os bydd y gelyn yn edliw dillad budron, beth a wnawn? Dim ond dangos marwolaeth yr Arglwydd. Ni a'i cyfeiriwn ef at y rhai sydd gerbron yr orsedd, wedi dyfod allan o'r un cystudd mawr a ninau, ac wedi golchi eu gynau, ac wedi eu cànu yn ngwaed yr Oen! Gwaed yr amod sydd yn rhyddhau y carcharor o gadwynau pechod, o afael llygredigaeth, ac oddiwrth felldith y ddeddf. Y mae ein rhyddid ni wedi ei enill mewn gwaed! Y mae y gwaed wedi ei daenellu ar y gyfraith, ac ar y bobl oll!"

Braidd nad oedd hyn yn ormod i'w ddal; yr oedd y bobl wedi eu bedyddio mewn dagrau, ac aml un, yma a thraw, wedi tori allan i orfoleddu yn gyhoeddus. Yr oedd Mr. Elias yntau wedi dychwelyd at y bwrdd gyda'r cwpan, ar ol gorphen y gwaith. Y mae yn awr yn cydio yn y gair nesaf: "Hyd oni ddelo." "Onid yw yn fraint i ni fod y golofn goffadwriaethol hon wedi ei chodi yn y byd? Pa hyd y mae i sefyll? Hyd oni ddelo! Ni waeth pa faint o lid a fyddo gan y diafol a'i alluoedd ati, pyrth uffern nis gorchfygant hi. Y mae Brenhin Seion yn dewis i'w ddeiliaid ei gofio yn ei waed! Pan y byddo brenhinoedd y byd hwn yn enill buddugoliaethau, bydd raid adeiladu cofgolofnau mawrion, ac addurno eu pinaclau â delwau o bres; ond dyma Iesu Grist yn dewis cael ei bortreadu ger ein bron, wedi ei groeshoelio, ac yn ei waed. Dywedai Ioan am yr olwg ardderchog a gawsai arno: 'Ac mi a welais Oen megys wedi ei ladd.' Y colofnau cadarnaf a gwychaf a gododd dynion, y mae ychydig o ganrifoedd o ystormydd y byd yn ddigon i'w chwalu hyd eu sylfeini; ond dyma golofn, a godwyd mewn ychydig oriau, a saif hyd oni ddel efe i'w ogoneddu yn ei saint. Fe fydd rhywrai yn derbyn y cwpan pan y byddo llef yr archangel ag udgorn Duw yn eu newid mewn moment, ar darawiad llygad, ac yn eu cipio i gyfarfod â'r Arglwydd yn y cymylau, i'w gofio mewn gwlad berffaith, yn yr orphwysfa sydd eto yn ol i bobl Dduw! Y mae y Cyfryngwr wedi sylfaenu ei deyrnas mewn gwaed; ïe, yn ei waed ei hun; nid â gwaed arall, ond trwy ei waed ei hun, y cwblhaoedd efe y cyfan. Y mae llawer o dref fawr Liverpool wedi cael eu sylfaenu yn ngwaed y Negroaid druain, ond sylfaenodd y Cyfryngwr ei deyrnas yn ei waed ei hun.

"Wrth gofio ei angau, dylem gadw mewn côf yr achos o hono. Y Messiah a leddir, ond nid o'i achos ei hun! O achos pwy, gan hyny? Dy feiau di, bechadur! 'Efe a archollwyd am ein camweddau ni.'" Yna troes at y bobl, a chyda nerth anorchfygol, gofynodd: "Os pechod a fu yn blaenllymu pigau y goron ddrain, a roddwyd ar ei ben glân, nes yr oedd y gwaed yn llifo o'r archollion, a allwn ni garu pechod byth mwy? Os ein pechodau ni fu yn minio y waywffon a wanwyd yn ei ystlys, fel y daeth allan waed a dwfr, a allwn ni fyw mewn pechod mwyach?" Yr oedd y gynulleidfa fawr erbyn hyn ar

ymddryllio, mewn gorchest yr oeddent yn gallu ymgynhal. Wedi sefyll am fynyd, dywedodd yn bur gyffrous: "Gyfeillion! yn yr olwg ar Grist ar y groes ar Galfaria, yn gwaedu o herwydd ein pechodau ni, yr wyf yn rhoddi hèr i neb sydd yma fedru byw yn annuwiol byth mwy! A oes modd i anystyriaeth dyn sefyll yn ngolwg y groes? A oes yma neb a fedr anghofio ei Briod byth mwy? Na, nid oes yma neb a all symud cam oddiwrth odreu y groes o heno allan. Dylem gofio bradwriaeth Judas gydag atgasrwydd, dylem gofio ei erlidwyr gyda chasineb at eu hysgelerder; ond dylem gofio mai ein pechodau ni oedd yr erlidwyr gwaethaf. Edrychwn ar yr hwn a wanasom, nes galaru o'i blegyd mewn edifeirwch pur, ac y teimlom ddychryn rhag ail-groeshoelio i ni ein hunain Fab Duw."

Nis gallai y bobl ddal yn hwy, aeth yn llefain cyffredinol trwy y lle; ni fedrai aml i frawd ymatal rhag tori allan mewn banllef, ac yr oedd amryw o'r hen chwiorydd yn gorfoleddu yn hyfryd. Trechwyd yntau yn y fan hon; aeth ei deimladau drylliedig yn ormod iddo; tynodd allan ei ffunen boced, a goblygodd ei wyneb iddo. Wedi mudandod am fynyd, ac ymdrech i adfeddianu ei deimlad, dywedodd, gyda llais haner crac: "Gyfeillion, yr wyf yn teimlo mwy o rwymau i'w garu heno nag erioed!" Cyn gorphen, anerchodd yr edrychwyr gyda difrifwch ofnadwy, ac yna aeth i weddi. Yna, rhoddodd benill allan i'w ganu:—

"Daeth trwy
Ein Iesu glân a'i farwol glwy',
Fendithion fyrdd, daw eto fwy.
Mae ynddo faith ddiderfyn stôr,
Ni gawsom rai defnynau i lawr,
Beth am yr awr cawn fyn'd i'r môr?"

Canwyd yr hen benill gyda blas newydd; dyblwyd a threblwyd yr un llinellau, drosodd a throsodd, drachefn a thrachefn, am hir amser; a bu y cymundeb hwn yn ddigon i beri i ddegau, oeddynt wedi bod yn cloffi rhwng dau feddwl am flynyddoedd, i benderfynu yn y fan a'r pryd i blygu i Grist.

Cyn gadael Mr. Elias yn ei gysylltiad a'i ardal, ac â gwlad Môn, gallwn grybwyll dwy ffaith fel dangoseg pellach o'r parch cyffredinol a deimlid ato. Un yw, y byddai yn ddieithriad yn cael ei osod i bregethu nos olaf y Gymdeithasfa yn ei sir ei hun, ac y byddai yn aml yn cael yno odfa fwy nerthol na neb. Y llall yw, ddarfod iddo gael ei benodi yn un i gyflwyno anerchiad, dros Gyfarfod Misol Môn, i'r Brenhin Sior IV., pan yn pasio trwy yr ynys ar ei ffordd i'r Iwerddon, yn y flwyddyn 1822. Cawsai Mr. Elias air oddiwrth Ardalydd Môn, yn datgan ei foddhad o'r herwydd, a'i awydd am i'w Fawrhydi gael gweled prif bregethwr Cymru. Ond gan fod ei gyhoeddiad mewn man arall ar y pryd, sef Llundain, a bod y brodyr yno yn anfoddlawn ei ollwng yn rhydd, methodd Mr. Elias fyned i wydd y brenhin.

ELIAS YN EI FYFYRGELL.

Pan y rhwystrwyd Mr. Elias yn ei awyddfryd am addysg gan hen frodyr Sir Gaernarfon, ac y bu raid iddo ymfoddloni ar ychydig fisoedd yn ysgol Mr. Evan Richardson, gwnaeth adduned na chai cynulleidfaoedd Cymru fod ar eu colled o'r herwydd, os gallai ymdrech a llafur gyflenwi y diffyg. Talodd ei adduned gyda'r cydwybodolrwydd mwyaf. Ymrodd i ddarllen ac i efrydu, fel y daeth yn un o'r dynion mwyaf gwybodus yn y Dywysogaeth. Nid oedd yn ysgolhaig, a phrin y gellir ei alw yn ddysgedig, yn yr ystyr y defnyddir y gair yn gyffredin; ni allai gyfansoddi yn yr ieithoedd clasurol, na'u deall ychwaith, heb gymhorth geirlyfrau; ond am wybodaeth gyffredinol, prin yr oedd ei gyfartal yn holl Gymru. Tystiai Mr. Gwalchmai, yn y bregeth angladdol a draddododd iddo, mai ychydig iawn o wŷr y colegau, ïe, y rhai a dderbyniasent raddau uchel, allai gystadlu â Mr. Elias mewn gwybodaeth. Darllenai yn drwyadl; meistrolai bob llyfr y deuai o hyd iddo. Dywedai Mr. Michael Roberts wrth Dr. Owen Thomas mai y llyfr Saesneg cyntaf a gafodd y Parch. John Elias, oedd *Brown's Compendious View of Natural and Revealed Religion*, ac iddo ei wneyd yn eiddo hollol iddo ei hunan; ddarfod iddo drafferthu i droi at bob adnod y cyfeirir ati ynddo, a'i astudio mor fanwl a llwyr nes yr oedd braidd yn gyfan ar ei gôf. A dyna ei arfer gyson gyda phob llyfr a ddarllenai o hyny hyd ddiwedd ei oes. Bwytäi ef yn gyfan, malai ef yn ei fyfyrdod fel y treulir ymborth yn y cylla, a deuai ei gynwys yn rhan o'i gyfansoddiad meddyliol. Rhaid ei fod yn darllen llawer ar ei deithiau, wrth farchogaeth, ac yn ei lety yn hwyr ac yn foreu. Ac am dano, pan gartref, dywed ei fab: "Byddai fy anwyl dad yn ei lyfrgell bob mynyd a allai gael; yno yr oedd ei gartref,

a byddai fel gŵr allan o'i elfen, pan y cedwid ef oddiyno weithiau gan amgylchiadau anorfod. Dychwelai ef i'w lyfrgell yn aml pan fyddem ni yn myned i'n gorweddleoedd, a mynych yr arhosai yno hyd ddau neu dri o'r gloch y boreu. Llawer gwaith y clywais fy anwyl fam yn galw arno i'w wely, a dywedai wrthi ei fod yn dyfod; cysgai hi drachefn, a darllenai a myfyriai yntau." Pan y blinai ei feddwl wrth aros yn hir uwchben mater, ceisiai orphwysdra iddo, nid mewn seibiant oddiwrth lafur, ond trwy droi at ganghen arall o wybodaeth hollol wahanol. "Rai blynyddau yn ol," meddai ei weddw, "byddwn yn ceisio ganddo ddyfod allan gyda mi i roi tro, er mwyn ei iechyd, ond anfynych y llwyddais, ei ateb bob amser fyddai: 'O, fy anwylyd, nid oes genyf amser, y mae gwaith fy Meistr yn fawr!'"

Meddai wybodaeth eang hyd yn nod yn y canghenau hyny nad ydynt yn dal cysylltiad uniongyrchol â'r pwlpud. Yr oedd wedi astudio cyfansoddiad gwladol Prydain Fawr yn drwyadl, ac yr oedd yn dra chydnabyddus yn ei deddfau a'i barnedigaethau. Mewn amgylchiadau cyffredin gallai roddi cynghor cyfreithiol y gallesid dibynu arno, yn gystal ag odid gyfreithiwr. Ychydig o feddygon oeddent yn deall y corph dynol yn well. Adroddai gŵr ieuanc ei fod yn dygwydd lletya unwaith yn yr un tŷ ag ef. Wedi swper, aeth yn ymddiddan, yn mysg pethau eraill, am ddifyniaeth *(anatomy)* y corph dynol. Dechreuodd Mr. Elias siarad am ryfeddodau Duw yn nghyfansoddiad corph dyn, gan ei ddarlunio fel peiriant byw, yn gynwysedig o esgyrn, gwythienau, rhedwelïau, a mân linynau *(nerves)*, gyda y galon yn gweithredu fel canolbwynt, a phob rhan yn cyfateb yn berffaith y naill i'r llall, nes yr oedd pawb wedi synu. Mor fyw oedd y desgrifiad nes y methai y llanc gysgu y noson hono gan syndod ato ei hun. Yr oedd hefyd wedi efrydu yn fanwl yr anhwylderau y mae y corph yn ddarostyngedig iddynt, yn nghyd a'r moddion goreu i'w symud. Pan yn preswylio yn Llanfechell, ato ef y deuai agos bawb am feddyginiaeth mewn afiechyd. Adwaenai fferyllwyr Liverpool ei gyfarwyddiadau *(recipes)* yn dda, ac ystyrient hwy fel prawf o wybodaeth fferyllol eang a manwl. Nodedig iawn oedd ei gydnabyddiaeth â daearyddiaeth y byd; gwyddai am ei afonydd, a'i fynyddoedd oll, a siaradai am danynt fel am afonydd a mynyddoedd Gogledd Cymru. Braidd nad oedd ei wybodaeth am drigolion y gwahanol wledydd, eu moesau, eu harferion, a'u crefydd, mor gyflawn a llwyr ag am drigolion ei wlad ei hun. Deuai y wybodaeth hon i'r amlwg yn hynod pan y llefarai yn nghyfarfodydd y Feibl Gymdeithas, neu Gymdeithas Genhadol Llundain. Adroddir am dano unwaith mewn cyfarfod Beiblau yn Ruthyn, yn darlunio y ddaear yn troi, a'r naill wlad yn dyfod i'r golwg ar ol y llall. China eang, a'i thri chan' miliwn o eilunaddolwyr; Africa, a'i miliynau o farbariaid duon, y rhai ni wyddant ragor rhwng eu llaw ddehau a'u llaw aswy; India, a'i phobl yn ymdaflu dan olwynion y *Juggernaut*, a'i gweddwon yn cael eu llosgi yn fyw; Persia ac Arabia dan dwyll y gau-brophwyd; ac Ewrob, rhan o honi yn Babyddol, rhan yn perthyn i Eglwys Groeg, a rhan yn Brotestanaidd. Bu am tuag awr yn eu desgrifio fel hyn, a hyny mor fanwl a byw a phe buasai wedi treulio ei oes yn ymdaith ar hyd-ddynt, nes y dywedai un boneddwr wrth fyned allan wrth ei gyfaill: "Ni chlywais y fath araeth erioed o'r blaen o blaid y Feibl Gymdeithas." "Syndod," meddai y llall, "y mae y dyn yna yn gwybod daearyddiaeth a hanes yr holl fyd." Dywedir fod Mr. Elias mor gyfarwydd mewn seryddiaeth, fel y darfu iddo un flwyddyn ddarganfod camgymeriad yn Almanac Moore gyda golwg ar amser diffyg oedd i gymeryd lle ar yr haul. Yn wir, y mae yr hyn a adroddir am eangder ei wybodaeth, mewn cynifer o wahanol bynciau a changhenau, mor hynod, a braidd annghredadwy, fel y byddem yn tueddu i ystyried yr adroddiadau yn gamarweiniol, neu o leiaf wedi eu gorliwio yn ddirfawr, oni bai fod genym dystiolaeth didroi-yn-ol, o enau cynifer o dystion nas gellir amheu eu geirwiredd, fod y cwbl yn ffeithiau safadwy.

Ond prif faes ei lafur oedd Deonglyddiaeth Ysgrythyrol a Duwinyddiaeth. Dywed Dr. O. Thomas fod ei wybodaeth yn Ysgrythyrau yr Hen Destament a'r Newydd, a phob rhan o'r naill fel y llall, o ran y llythyren a'r ystyr, yn ymddangos yn ddihysbydd. Dywedasom nad oedd yn gallu deall yr ieithoedd clasurol; ond meddai ryw gymaint o wybodaeth o'r Groeg a'r Hebraeg, fel y gallai eu deall trwy gymhorth geiriaduron, a dirnad beirniadaeth esbonwyr ar y gwahanol eiriau. Ceid agos i bob esboniad a gyhoeddasid yn yr iaith Saesneg yn ei lyfr-

gell; a phan fyddai yn egluro ei destun, hawdd deall nid yn unig ei fod wedi eu darllen, ond hefyd wedi eu cymharu â'u gilydd, ac wedi ffurfio barn gyda golwg arnynt. Yr oedd ei feddwl wedi ei gyfoethogi, braidd tuhwnt i neb yn ei oes, â gweithiau prif dduwinyddion yr oesoedd, yn arbenig y Puritaniaid. Yn y modd hyn yr oedd fel ysgrifenydd wedi ei ddysgu i deyrnas nefoedd.

Wrth ddewis testun, cymerai y gofal mwyaf i gael allan ei ystyr fanwl. Mewn Cymdeithasfa yn Nolgellau, unwaith, pan yn cynghori pregethwyr ieuainc, dywedai fod pob pregethwr, wrth ddarllen ei destun, megys pe byddai yn cymeryd ei lŵ gerbron Duw, y byddai iddo egluro a dangos meddwl Duw yn y gyfran hono o'r gwiredd. Ni byddai un amser yn cymeryd darn o frawddeg yn destun, gan ddarnio y synwyr a gwneyd cam â'r meddwl; yn hytrach dewisai ymadrodd llawn, gyda chyfeiriad eglur at ddyledswydd neu athrawiaeth, fel y byddai ganddo sylfaen deg i'w bregeth. Wedi cael testun, darllenai bob peth o fewn ei gyrhaedd arno. Eithr nid casgliad o syniadau awdwyr a fyddai ei bregeth ef; nid powsi o flodau, wedi eu cymeryd o wahanol feusydd, heb ddim yn eiddo iddo ei hun ond y llinyn a fyddai yn eu rhwymo yn nghyd. Yn hytrach, yr oedd ei feddwl yn gyffelyb i ffwrnes dawdd, yn yr hon y byddai syniadau gwahanol awdwyr yn cael eu cyd-doddi a'r mwn gwerthfawr oedd yn ei feddwl yn barod. Byddai ei bregethau hefyd nid yn unig yn gynyrch myfyrdod dwys, ond yn ffrwyth gweddïau. Nid gormod dweyd na ddarfu iddo gyfansoddi pregeth erioed ond gyda "llefain cryf a dagrau." Daliai wirioneddau mawrion yr efengyl yn ei fyfyrdod nes y byddai ei deimladau yn enyn, a'i enaid ynddo yn gwresogi; yna, cymerai hwy drachefn i bresenoldeb Duw, er mwyn iddynt gyfranogi o'r tân sanctaidd; ac felly byddai ei bregeth yn gyflawn o ddefnydd hylosg parod i'w hyrddio i fysg annuwiolion. Nid digon ganddo gael golwg glir ar y gwirionedd, a syniadau cyson, tarawiadol, a nerthol i'w traethu oddiarno; ei bwynt penaf fyddai cael cenadwri oddiwrth Dduw at bechaduriaid. Llawer diwrnod, ïe, llawer noson, a dreuliodd, mewn ing enaid, yn ymdrechu â'r Arglwydd am genadwri. Clywid ei ruddfanau weithiau yn yr ystafell o tan ei fyfyrgell, a cheid ei ddagrau yn llyn ar y llawr. Unwaith, yr oedd yn parotoi pregeth ar gyfer Cymdeithasfa y Bala, a'r testun oedd: "O olwyn!" Un diwrnod, daeth yn amser ciniaw, ac aeth y forwyn i alw arno. Ond er curo a churo nid oedd neb yn ateb. Clywai swn wylo, ac ochenaidio, fel pe bai dyn a'i galon ar dori, ond ni chaffai gan Mr. Elias ateb. Dychrynodd Nelli Hughes, yr hen forwyn ffyddlawn, ac agorodd ddrws yr ystafell, ac er ei mawr syndod gwelai ei meistr ar ei hyd ar ei wyneb, a'i lyfrau wedi eu taenu yn agored o tano. Y dirgelwch oedd, yr adnod yn gwrthod agor iddo; eisiau cael pregeth i'r Bala, ac wedi dod o hyd i destun, ond yn methu cael cenadwri. A'r hyn sydd yn syn yw, mai pan ar y ffordd i brif odfa y Gymdeithasfa, gan fwriadu pregethu ar y testun hwn, y cyfarfu a'r ddamwain y darfu i ni gyfeirio ati, rhwng y Fronheulog a'r Bala, ac y torodd ei fraich.

Ië, bwledau, wedi eu poethi yn nhân y Dwyfol Bresenoldeb, fyddai gan Mr. Elias wrth bregethu. Nid yn unig byddai yn gweddïo llawer pan yn cyfansoddi ei bregeth, eithr hefyd yn flaenorol i'w thraddodiad, yn enwedig ar amgylchiadau neillduol. O'r braidd y rhoddai hun i'w lygaid na chwsg i'w amrantau y nos cyn pregethu mewn Cymdeithasfa. Y noson cyn un o'r odfaeon rhyfedd a gafodd yn Nghymdeithasfa Caernarfon, ni fu yn ei wely o gwbl, ac aeth i'r maes heb brofi boreufwyd. Dywedai hen forwyn y teulu fod rhywbeth ofnadwy yn ngwedd ei wynebpryd pan yn myned allan. Lletyai yn nhŷ ei chwaer-yn-nghyfraith, yr hon, fel y rhan fwyaf o'i theulu, oedd yn Eglwyswraig zêlog, ac yn rhy lawn o ragfarn at y Methodistiaid i fyned i'w wrando; dywedai hon wrth weled ei wedd pan yn pasio: "Y mae o yn sicr o ladd ei hun yn mysg y Pengryniaid." Meddai Gwalchmai: "Yr oedd ei yspryd gweddi yn dwyn holl wrthddrychau ei fyfyrdod i wir eglurdeb yn ei feddwl, yn nerthu ei ymroddiad i'r gwaith, yn puro ei chwaeth gysegredig, yn bywiogi ei yspryd tanllyd, ac yn rhoddi pwysigrwydd difrifol yn ei holl lafur. Dyma lle yr oedd y callestr yn dyfod i'r tarawiad cyntaf â'r dur, i gynyrchu y wreichionen a enynai yn fflam dân, ac a oddeithai yn olosg ysol, i'w wasgaru dros gynulleidfaoedd lliosog, nes y byddai pob calon yn gwir deimlo gan y gwres."

ELIAS YN Y PWLPUD.

Sylwer arno fel y mae yn codi ar ei draed. Dyn tal ydyw, tua phum' troed-

fedd a deg modfedd o hyd, ac yn tueddu at fod yn denau. Nid oes prydferthwch neillduol yn ei wynebpryd, oblegyd y mae olion y frech wen yn drwm arno. Y mae ei arleisiau yn uchel, a'i ruddiau yn ddyfnion. Ei wallt, yn gyffelyb i'w bryd, sydd yn tueddu at fod yn dywyll; caiff ddisgyn yn ol ei dyfiant, heb ei droi y naill ffordd na'r llall; ac eto, gan mor naturiol ydyw, nid yw yn ymddangos fel bargod tô gwellt. Teimlir fod ei wyneb wedi cael ei gymhwyso gan natur i osod allan deimladau ei galon. Eithr gogoniant y wynebpryd yw y llygaid; llygaid byw a threiddgar, ac enaid mawr yn ymwthio i'r golwg ynddynt. Ei wisg sydd yn nodedig o lanwedd, heb gymaint ag ysmotyn yn ei llychwino, oblegyd y syniad uchel a goledda am urddas yr efengyl. Nid yw yn dilyn ffasiwn yr oes; gwisga yn debyg i Grynwr, yn syml, a threfnus; ac eto y mae yn ymddangos yn hynod o foneddigaidd.

Craffer eto ar ei lais. Nid llais mawr a chryf mo hono, cyffelyb i daranau, neu swn dyfroedd lawer, fel eiddo Ebenezer Morris; nid llais cyflawn, soniarus, peroriaethus, yn gweddu i ddawn llifeiriol, fel eiddo John Evans, Llwynffortun; ac nid llais llawn o fiwsig, cyfaddas at ganu yn dda, fel eiddo Jones, Talsarn; ond llais clir, treiddgar, hollol ddigrynu, yn medru cyrhaedd cynulleidfa o ddeng mil ar y maes yn gwbl ddiorchest, ac yn alluog i lefaru am awr a haner i dorf fawr, pe byddai raid. Dywedai Dr. O. Thomas am dano ei fod yn un o'r lleisiau siarad goreu, os nad y goreu, a glywodd erioed; ond ei fod yn gwbl amddifad o'r beroriaeth a allai ei hunan swyno cynulleidfa, a'i fod yn fwy cyfaddas i'r cyffrous a'r ofnadwy nag i'r tyner. Medd yntau lywodraeth berffaith arno. Swnia bob gair yn glir ac yn grwn, yn enwedig y sill olaf; yn ei wres mwyaf, a phan dan ddylanwad y cynhyrfiad cryfaf, nid yw y geiriau yn cael rhedeg i'w gilydd, na'r naill yn dilyn yn rhy glos ar sawdl y llall. Dyma ran o'r wers a ddysgodd gan Evan Richardson. Ebai hwnw wrtho ryw foreu dydd Llun yn yr ysgol: "John bach, yr oeddit yn cyfeiliorni yn rhyfeddol wrth bregethu ddoe." "Yn mha beth, Mr. Richardson?" meddai yntau. "Wel, ti elwaist yr Un mwyaf gogoneddus yn y nefoedd a'r ddaear, amryw droion yn dy bregeth, yn Iesu hyll!" Ymddengys fod ganddo ryw *yll* y pryd hwnw ar ddiwedd brawddeg, pan fyddai wedi gwresogi yn ei fater; ond ni chlywid mo honi ganddo ar ol y boreu hwnw. Perffeithiwyd ei barabl yn llwyr trwy addysg Mr. Charles. Pan y pregethai Mr. Elias yn Nghymdeithasfa Caernarfon, yn y flwyddyn 1836, yr oedd Mr. Morgan, Syston, a Christmas Evans yn mysg ei wrandawyr. Cyfeiriai Mr. Morgan gydag edmygedd at ddull clir y pregethwr o swnio ei eiriau, er ei fod i raddau yn hen, ac wedi colli ei ddanedd. "O," meddai Christmas Evans yn ol, "y mae wedi dysgu y gelfyddyd o reoli ei lais." Pan gyfarfyddodd Mr. Morgan âg Elias ar ol hyn, gofynodd iddo a oedd y peth yn wir. Atebai yntau ei fod, ac mai i hyfforddiant Mr. Charles yr oedd yn ddyledus, yr hwn oedd wedi ei gyfarwyddo i beidio codi y cyweirnod, na chyflymu, pa nifer bynag fyddai yn gwrando arno, ond siarad yn gwbl naturiol.

Eistedda rhyw ddifrifwch rhyfedd ar ei wedd pan yn ymddangos gerbron y gynulleidfa yn y pwlpud, hawdd gweled ei fod yn ymdeimlo â phwysigrwydd ei genadwri, ac a'i safle ofnadwy pan megys yn cyfryngu rhwng y byw a'r marw. Gafaela yn y Beibl mewn modd hynod o barchedig; tyn ei napcyn gwyn allan o'i logell, a goblyga ei wyneb ynddo am ychydig fynydau mewn gweddi ddwys ar Dduw. Yn ei law chwith y mae llyfr du, teneu, a'i fys blaenaf yn ei ganol. Cyn tynu ei destun teifl olwg esmwyth, ddifrifol, ar y dorf, ac yna darllena yr adnod yn araf, a dwys, mewn dull sydd yn awgrymu i bob gwrandawr fod mwy yn y geiriau nag oedd ef wedi dybio o'r blaen, ac mewn llais sydd yn cyrhaedd cwr eithaf y dorf. Gyda medr mawr dechreua esbonio yr adnod a ddarllenodd, gan ddangos ei chysylltiad â'r cyd-destun, a chan sefyll a phwysleisio ar ystyr y geiriau neillduol ynddi. Cyfeiria, efallai, at gyfieithiadau gwahanol, at arferion a defodau Dwyreiniol, at y deongliadau a'r traddodiadau Iuddewig, ac at amgylchiadau Israel ar y pryd yn eu cysylltiad â chenhedloedd eraill. Crybwylla o bosibl olygiadau Ainsworth, Pool, Lightfoot, Lowth, neu Horsley; neu ynte Campbell, Macknight, Owen, neu Leigh. Gwrthoda yn bendant un esboniad, er fod amryw feirniaid galluog yn ei bleidio; ymddengys mewn gradd o betrusder pa un o ddau eraill i'w gymeryd; ond o'r diwedd dyga yn mlaen resymau beirniadol neu ddeongliadol, duwinyddol, neu hanesyddol, dros y golygiad a gymeradwyir ganddo, nes peri i'r gwrandawyr oll gredu mai yr ystyr hwnw yw y

gwir ystyr, a gwneyd yr adnod o hyny allan yn gwbl gynefin iddynt. Rhwng yr esboniad a'r bregeth sydd i ganlyn bydd y testun wedi ei argraffu yn annileadwy dros byth ar feddyliau y bobl. Gwna y cwbl yn glir, gan adael ar ei ol lwybr goleu, cyffelyb i'r llwybr llaethog. Wrth bregethu ar weledigaeth yr esgyrn sychion yn mhrophwydoliaethau Ezeciel, pwysleisiai ar fod asgwrn yn dyfod at *ei* asgwrn. "Nid asgwrn at asgwrn," meddai, "ond at *ei* asgwrn. Yr asgwrn yma," gan ddal cymal cyntaf un o fysedd y llaw ddê ar hirfys y llaw chwith, "at yr asgwrn yma," gan symud dros y cymal cyntaf at ail gymal y bys. "Esgyrn y bysedd at yr arddwrn, asgwrn yr arddwrn at asgwrn y fraich, asgwrn y fraich at asgwrn yr ysgwydd." Ac wrth ddweyd hyn gosodai ei fys ar y rhanau hyny o'r corph a ddesgrifiai, nes gwneyd yr olygfa mor fyw i'r gynulleidfa, fel braidd nad oeddent yn dychymygu eu bod yn canfod y cymhalau priodol yn dyfod at eu gilydd.

Perchenogai ryw allu anghyffredin i beri i bob gair a ddywedai lynu yn y meddwl, fel pe byddai wedi cael ei ysgrifenu yn y graig dros byth â phin o haiarn ac â phlwm. Dywedai y diweddar Barch. D. Charles Davies, M.A., ei fod unwaith mewn lle yn Sir Ddinbych, a phan yr ydoedd ef a gweinidog arall ar ganol ymdrin â rhyw fater perthynol i feirniadaeth Ysgrythyrol mewn cydymddiddan yn y tŷ lle y lletyent, torodd hen ŵr gwledig oedd yn bresenol ar eu traws, gan ddweyd: "Mi wn inau Roeg." "Chwi yn gwybod Groeg?" gofynai Mr. Davies yn ol; "faint o Roeg wyddoch chwi?" Ebai yntau: "Mi wn mai *exagorasen* yw y gair Groeg am "llwyr-brynu" yn yr adnod yn y drydedd o'r Galatiaid." "Yr ydych yn iawn," meddai Mr. Davies, "ond sut y daethoch chwi i wybod hyny?" Adroddai yntau fod Mr. Elias yn pregethu yn un o Gymdeithasfaoedd y Gogledd, ac wrth egluro ei destun iddo ddyfod ar draws Gal. iii. 13, gan goffhau mai *exagorasen* oedd y gair a ddefnyddiai Paul am "llwyr-brynu" yn yr adnod. Er mai unwaith y dywedodd y gair, a hyny wrth fyned heibio, dywedodd ef yn y cyfryw fodd fel yr oedd y gair estronol wedi aros yn nghof yr hen Gymro uniaith am ddegau o flynyddoedd gwedi.

Os byddai ffugr, neu gyfeiriad hanesyddol, yn y testun, eglurai ef yn ei fanylion, nes ei wneyd yn fyw i'r dychymyg. Yn Nghymdeithasfa Caernarfon, yn y flwyddyn 1836, pan y pregethai ar y geiriau yn Iago i. 21, am dderbyn "yr impiedig air," eglurai y gymhariaeth am impio gyda'r fath briodoldeb ac effeithiolrwydd, fel y dywedai un gŵr wrth adael y maes: "Wel, pa les bynag arall a gefais i yn y Sassiwn yma, mi fedraf inau impio coed yrwan." Yr ydym yn darllen am dano yn pregethu mewn Cymdeithasfa yn Nhredegar; ei destun oedd, 1 Cor. xv. 3: "Canys mi a draddodais i chwi ar y cyntaf yr hyn hefyd a dderbyniais, farw o Grist dros ein pechodau ni, yn ol yr Ysgrythyrau.' Darluniai amgylchiadau y croeshoeliad—yr hoelio ar y pren, y gwaed yn ffrydio o dyllau yr hoelion, y tywyllwch ofnadwy yn gorchuddio yr holl ddaear am dair awr, bloedd ingol yr Iesu: "Fy Nuw, fy Nuw, paham y'm gadewaist,' &c.—nes yr oedd y dyrfa wedi llwyr ymgolli yn yr amgylchiad. Mor fyw oedd y desgrifiad fel y tybiodd llawer ar y maes eu bod yn gweled yr Iesu yn hoeliedig ar y pren, â'u llygaid naturiol; ac anhawdd, a braidd ammhosibl, eu hargyhoeddi o'u camgymeriad, er fod eu rheswm yn tystio i'r gwrthwyneb. Am ddau, pregethai y Parch. Ebenezer Richard, ac meddai: "Fy nghyfeillion anwyl, nid wyf yn meddwl y gallaf bregethu, am fod fy meddwl wedi cael ei orchfygu gan y bregeth ddeg o'r gloch. Yr oeddwn i yn meddwl wrth glywed y brawd anwyl yn desgrifio y croeshoeliad, mai ar ben uchaf y cae hwn y croeshoeliwyd Mab Duw, ac mai y pryd hwnw, ryw ddwy awr yn ol, yr oedd y weithred yn cymeryd lle."

Y mae yn amheus a fu neb yn Nghymru mor alluog a Mr. Elias i leoli ei wrandawyr yn gwbl yn nghanol yr amgylchiadau a ddesgrifiai. Adroddai y diweddar Barch. David Roberts, Bontfaen, am dano yn pregethu mewn Cymanfa yn Morganwg. Dranoeth, yr oedd dau fachgen yn siarad â'u gilydd am y Gymanfa, a'r pregethu, a'r pregethwr. "Pwy," meddai un, "oeddet ti yn hoffi fwyaf?" "Pwy?" meddai y llall; "pwy, hefyd, ond John Elias." "Wel, ïe, ond oedd e' yn dda? Ond oedd e' yn dweyd yn ardderchog am Petr? *Yr oeddwn i yn gweled Petr yn sefyll wrth y bont yna.*" Arferai John Jones, Talsarn, adrodd am dano unwaith yn pregethu mewn Cymdeithasfa leol, yn Mangor, ar ddydd Iau y Dyrchafael. Allan ar y maes y pregethai, yn gyfagos i'r *Penrhyn Arms.* Y testun y pryd hwnw oedd, Paul gerbron

Agrippa. Darluniai Paul yn amddiffyn ei hunan, gan bresenoli mor fyw ei eiriau, ei lais, ei olwg, ei ystum, yn nghyd a'r cadwynau am ei ddwylaw, fel y darfu i ryw longwr oedd yn gwrando ar y cae, ac yn sefyll yn ymyl Mr. John Jones, waeddi allan: "Ffei, ffei! Tynwch y *chainiau* yna, ar unwaith, oddiam ddwylaw y dyn." Pregethwr ieuanc, yn meddwl cryn dipyn o hono ei hun a'i ddysg, a ddywedai unwaith wrth un o'i hen wrandawyr, yr hwn hefyd oedd wedi bod yn was i fab Mr. Elias: "Pe buasai John Elias yn fyw yrwan, ni fuasai yn ddim byd o bregethwr." Cyffrodd yr hen ŵr drwyddo, ac meddai: "Aïe, wir? Chlywsoch chwi mo hono, 'machgen i. Chwrdd'soch chwi erioed â neb a'i clywodd yn dweyd fel yna. Byddai ei eglurhad ef wrth ddyfod at ei destun yn well na llawer pregeth, a hyny cyn dechreu llefaru. Mi a'i clywais yn pregethu am Paul yn Areopagus, nes yr wyf yn gydnabyddus âg Areopagus byth. Peidiwch chwi deyd fel yna am Mr. Elias mwy."

Er dangos yn mhellach y medr a feddai Mr. Elias i wneyd amgylchiad yn fyw i'w wrandawyr, adroddir am dro hynod a ddygwyddodd mewn Cymdeithasfa yn Casnewydd, Sir Fynwy. Cadeirydd y Gymdeithasfa oedd y Parch. David Charles, Caerfyrddin. Yn y cyfarfod neillduol, wrth ymdrin â'r pwnc, sef hollwybodaeth Duw, braidd nad oedd Elias, er ei fod wedi llefaru yn dda odiaeth, wedi cael ei daflu i'r cysgod gan ogoniant y meddyliau ardderchog a draethwyd gan y Cadeirydd. Ond yn yr odfa gyhoeddus ar y maes, y Parch. John Elias oedd meistr y gynulleidfa. Ei destun ydoedd am y gŵr a'r march gwyn yn Dat. xix. 11. Yr oedd y gynulleidfa wrth ben ei fys, ac wedi cael ei llyncu i fynu gan ogoniant yr Iesu fel rhyfelwr, nes yr oedd pawb wedi anghofio eu hunain. Yn y man, dyna y pregethwr yn troi ei fraich aswy i ffurf haner cylch, ar lun bwa; yna, gosoda ei fraich ddehau ar ei draws fel saeth; y mae yn anelu i ganol y bobl, ac yn gwneyd osgo i dynu yn y bwa, ac i ollwng y saeth. Tybiodd y dynion oedd o flaen y cyfeiriad, gan fel yr oeddynt wedi cael eu llwyr lyncu i fynu, fod saeth wirioneddol yn cael ei thaflu i'w mysg, a syrthiodd nifer o honynt yn wisg eu cefnau, o ymyl y *platform* hyd gŵr eithaf y dorf, fel yr oedd yno res lydan o bobl ar eu hyd ar y llawr. Nid nerth y gwirionedd ddarfu eu llorio y tro hwn, ond ofn y saeth ddychymygol oddiar y bwa.

Cyfeiriai meddyg enwog yn Mangor, o'r enw Dr. O. O. Roberts, at y dylanwad rhyfedd a gafodd Elias arno ef unwaith. Wrth ddychwelyd, wedi bod yn hela, daeth Dr. Roberts heibio i gapel bychan yn y wlad, nid yn nepell o Lanrwst, lle y cynhelid Cyfarfod Misol. Clywai lais rhywun yno yn siarad yn hynod o danllyd; a phwy ydoedd ond John Elias. Ei destun oedd, y darn llaw yn ysgrifenu ar galchiad y pared yn ngwledd Belsassar. "Ac," meddai Dr. Roberts, "sefais yno am fynyd, gan amcanu myned yn fy mlaen tuag adref; ond er treio nis gallwn symud modfedd oddiar y llecyn ar ba un y safwn. Toc, clywn y gwn yn syrthio i'r llawr odditan fy nghesail, ond yr oeddwn wedi myned yn rhy amddifad o nerth i'w godi; anghofiais y cwn a phob peth, ac yntau yn bwrw arni. Os ydych yn y fan yna, credais yn sicr fy mod yn gweled â'm dau lygad y darn llaw, yn fyw o'm blaen, yn ysgrifenu ar galchiad pared y capel bach; a'm bod yn canfod y geiriau *Mene, Tecel, Upharsin*, gan mor fywiog yr oedd yr amgylchiad yn cael ei bortreadu o flaen fy meddwl. Yr oeddwn yn y cwrt o flaen y capel yn teimlo fy ngwallt yn sefyll ar fy mhen mor syth a *quills porcupine*. Ni chlywais y fath beth yn fy mywyd."

Wrth godi penau, byddai y rhaniadau gan amlaf yn destynol, sef geiriau neillduol y testun yn cael eu troi yn benau. Triniai hwy yn gampus dros ben, gan gymharu y gair â'r defnydd a wneyd o hono mewn manau eraill yn yr Ysgrythyr. Os "caledwch" fyddai ganddo dan sylw, olrheiniai y gair, a'i gysylltiadau amrywiol, megys "calon-galed," "gwar-galed,' "gwyneb-galed," "talcen-galed." Os edifeirwch, edifarhau *oddiwrth*, edifarhau *am*, edifarhau *fel*, edifeirwch *tuag at*, edifeirwch *i*. Ai yn y blaen fel hyn nes gorphen y pen cyntaf, a byddai rhyw awdurdod hynod yn cydfyned â'r hyn a ddywedai. Teimlad pawb fyddai: Dyna hwna wedi ei benderfynu. Gadewch iddo, yn y fan yna, am byth. Ar eich bywyd, gwyliwch ymyraeth âg ef. Yna ai yn y blaen at yr ail fater, yr hwn a driniai yn gyffelyb. "Ac," meddai Dr. Owen Thomas, "yn fuan fe ganfyddid rhyw gyffroad rhyfedd arno. Byddai ei deimladau yn tanio, ei lygaid yn melltenu, ei lais yn enill rhyw oslef agos annaearol, a rhyw nerth goruwchnaturiol ynddo. Erbyn hyn fe fyddai yr

olwg allanol arno wedi cyfnewid yn ddirfawr; edrychai yn dalach o fodfeddi nag ydoedd; a byddai ei gorph yn ymwau, ac yn ymgordeddi, dan ddylanwad ei deimladau, ac yn cyfateb i'r meddyliau a fyddent yn berwi ei enaid. Ar adegau edrychai yn syn, yn ofnus, yn frawychus; tynai ei fochau rywfodd i'w enau; cloai y gwefusau; ymddangosai fel yn gweled rhyw ddrychfeddwl arswydlawn, ond yn methu cael gafael hollol arno, neu ar y geiriau priodol i'w ddarlunio. Ond, toc, fe welid y fraich yn cael ei hestyn allan, a'r bys blaenaf yn chwareu fel pe buasai ganddo fywyd o'i eiddo ei hunan, annibynol ar y fraich a'r corph; teflid y drychfeddwl allan fel y fellten ofnadwy; clywid y daran ddychrynllyd yn rhuo; disgynai y cawodydd aruthrol; byddai teimladau y dorf i gyd fel yr eiddo Israel dan Sinai; gwaeddai lliaws mewn cyffro am eu bywyd—fel y dyn hwnw yn Mrynsiencyn—'Evan Richard, o Gaernarfon, neu rywun o rywle, am bum' mynyd, rhag i ni farw!'—a byddai yno ocheneidiau, a gruddfanau, ac wylofain cyffredinol; dychrynfeydd Duw yn llanw y lle. Ond ar hyny, fe welid ei wedd yn newid, a'r serchawgrwydd a'r graslonrwydd mwyaf yn pelydru yn ei wynebpryd; clywid ei lais yn lleddfu; dygai allan, yn ei holl oludoedd, drefn yr efengyl am ymwared, un Iesu wedi marw er mwyn i'r euog gael byw, a hyny yn y fath hwyl, a chyda y fath brawf yn nghydwybodau y bobl ei fod ef ei hunan wedi cael ei fywyd ynddo, fel y byddai gobaith yn gwawrio ar y calonau mwyaf cythryblus; y cymylau tywyll, duon, yn cael eu gwasgar; yr awyr yn clirio; yr haul yn codi; a chysgod angau ei hunan yn cael ei droi yn foreu dydd. Terfynai trwy weddi daer, a rhoddai benill allan i'w ganu, mor gyfaddas i'r bregeth a phe buasai wedi ei wneyd ar ei chyfer, ac elai pawb adref dan yr argraffiadau dwysaf, a rhai wedi eu hachub am byth—wedi myned trwodd o farwolaeth i fywyd."

Er ysgrifenu fel hyn, cyfaddefa Dr. Thomas nad oes darlunio yn bosibl ar weinidogaeth Mr. Elias, yn enwedig ei odfaeon rhyfedd, i'r rhai na ddarfu ei glywed. Ymddengys fod ei ddifrifwch yn angherddol. Ni chynwysai ei bregeth yr un gair ysgafn, na dim i beri gwen; yr oedd ei enaid yn rhy lawn o ddychrynfeydd Duw i oddef dim yn ymylu ar ysmaldod. Hawdd deall ei fod yn trigo yn feunyddiol yn nghymdeithas y gwrthddrychau a ddarlunid ganddo. Llefara am uffern fel un wedi cael ei ysgytian uwch ei phen; braidd na allech gymeryd eich llw wrth wrando arno ei fod wedi canfod y damnedigion yn rhwym draed a dwylaw, a'i fod wedi bod yn clustymwrando ar swn eu gruddfanau a chlinc eu cadwynau. Traetha am y nefoedd fel un wedi bod y tu fewn i'r llen, yn gweled y saint wedi ymwisgo yn eu gynau gwynion, ac yn anfeidrol brydferth yn nghyfiawnder y Meichiau, ac wedi clywed eu mawl yn ymddyrchafu yn anthem ogoneddus. Os y farn a ddesgrifir ganddo, gallech dybio fod ei lygaid yn sefydlog ar y Barnwr, yn eistedd ar orseddfainc wen fawr, a'r nefoedd a'r ddaear yn ffoi rhag ei ofn. Wrth ymdroi yn mysg y sylweddau brawychus hyn y mae enaid y pregethwr yn poethi ynddo, ac yn angerddoldeb y gwres llunia frawddegau hynod o gryfion. Ebai y diweddar Dr. Roberts, Mynyddygof, tad Syr William Roberts: "Clywais ef yn desgrifio yr argraff ar y geiniog; dangosai fel yr oedd argraff y diafol wedi suddo i enaid dyn, nes yr oedd y gwrandawyr wedi delwi o'i flaen. 'Ond,' meddai, gan godi ei lais, 'bendigedig! Fe fedr ein Duw ni ail-fintio ceiniogau'r cythraul.'"

Y mae dau beth eto yn nglyn âg areithyddiaeth y Parch. John Elias heb gael sylw digonol genym. Un yw y bys y cyfeiriai Dr. O. Thomas ato, fel aelod yn meddu bywyd annibynol ar y corph i ba un y perthynai. Pan fyddai enaid y pregethwr wedi cael ei gyffroi byddai y bys hwn yn gwau yn y modd mwyaf arswydlawn; ymddangosai fel ymgorphoriad o holl awdurdod cyfraith Duw; y mae yn cyniwair yn ddiorphwys trwy y gynulleidfa, a theimla pob gwrandawr ei fod yn pwyntio ato ef, ac yn dweyd wrtho yn ei iaith: "Ti yw yr euog; i ti mae y gwirionedd ofnadwy hwn yn perthyn." Dywedai y Parch. Michael Roberts mai bys Elias oedd un o'r pethau a ddylanwadent fwyaf o bob peth arno ef. Yr elfen arall y cyfeiriem ati oedd y dystawrwydd brawychus a fyddai yn cymeryd lle yn nghanol ei areithyddiaeth. Braidd nad oedd y cyfwng dystaw hwn yn fwy hyawdl na'r rhaiadr o hyawdledd a ymarllwysai yn flaenorol. Oblegyd os oedd y gwefusau yn fud yr oedd cyhyrau y wyneb yn llefaru; yr oedd y llygaid yn fflachio tân, a'r bys yn pwyntio. Teimlai pawb nad oblegyd na feddai ddim i'w ddweyd yr oedd y pregethwr yn ddystaw, ond oblegyd

fod ganddo ormod; am fod y meddyliau yn croni o'i fewn fel nas gallai roddi mynegiant iddynt, yr un fath a'r dwfr yn rhuthro i wddf y botel; ac yn fuan y torid ar y dystawrwydd hwn gan daran groch, mor ofnadwy ei swn fel y byddai y mwyaf anystyriol yn crynu gan arswyd. Am y dystawrwydd hwn y dywedai Eben Fardd:—

"'R oedd hyd yn nod ei atal dywedyd
Yn gyfwng o hyawdledd cu."

Yn Mr. Elias, braidd na ellir dweyd fod areithyddiaeth gysegredig wedi cyrhaedd perffeithrwydd. Dywedai y diweddar Mr. Henry Richard, A.S., yn Nhreborth, mor ddiweddar a'r flwyddyn 1880, ei fod ef yn ei ddydd wedi gwrando y rhan fwyaf o brif areithwyr Ewrob, ond na chlywodd efe neb yn dyfod yn agos i John Elias. Byddai Mr. Elias yn gwybod pa bryd i ffrwyno ei ddawn yn gystal a'r pryd i'w ddefnyddio. Cawn engrhaifft o hyn mewn cysylltiad â Chymdeithasfa a gynhaliwyd yn Llanbedr, Sir Aberteifi, yn y flwyddyn 1828, yr ail Gymdeithasfa, fel yr ydym yn tybio, i'r Methodistiaid yn y dref hono. Llefarai Mr. Elias yn olaf am ddeg o'r gloch, a'i fater oedd, Duwdod yr Arglwydd Iesu. Daethai canoedd o Undodiaid i'r Gymdeithasfa, wedi cael eu hattynu gan ei enwogrwydd areithyddol ef, ac yr oeddent yn llawn cynddaredd pan y traethai y pregethwr ar yr Iesu fel Duw. Tua diwedd ei bregeth, gyda ei holl hyawdledd areithyddol, gwnaeth gyfeiriad uniongyrchol atynt. "Os chwychwi, Undodiaid, sydd yn iawn," meddai, "yna yr ydym ni yn euog o addoli creadur; yr ydym yn gosod abwydyn, nad ydyw ond megys er doe, yn gydradd â Duw; fe'n ceir yn euog o eilunaddoliaeth yn y farn fawr." Ac wrth ei fod yn dweyd yr oedd y wyneb yn gweithio, y llygaid yn melltenu, a'r bys yn pwyntio. "Ond," meddai, "os nyni sydd yn iawn," a chyda hyn yr oedd pawb yn dysgwyl i ffrydlif ei gondemniad ymarllwys yn rhaiadr ofnadwy ar yr Undodiaid druain; ond gosododd ffrwyn arno ei hun, a'r oll a ddywedodd oedd: "Os nyni sydd yn iawn, yna yr ydych chwi, Undodiaid, yn methu." Dywedai y Parch. Kilsby Jones, yr hwn oedd yn gwrando, mai yr ymataliad hwn, *the restraint of power*, oedd yr engrhaifft uchaf o fedr areithyddol y bu yn dyst o hono erioed, ei fod yn llawer mwy effeithiol na'r hyawdledd grymusaf. Ni ataliodd hyn ychwaith ddim ar gynddaredd yr Undodiaid, dilynodd rhai o honynt ef i dŷ y Parch. John Jones, lle y lletyai, gan fygwth ymosod arno, ac oni bai i'r Parch. Ebenezer Richard gyfryngu, nid yw yn annhebyg y buasent yn cyflawni eu bygythiad.

Temtir ni i osod i mewn ddesgrifiad o hono yn pregethu mewn capel yn Môn ar noson waith. Pregethai un Thomas Jones, Corwen, o'i flaen, a chafodd hwnw, er mai gŵr cymharol ieuanc ydoedd, odfa hynod iawn. Enillasai feistrolaeth berffaith ar y gynulleidfa; yr oedd y dorf yn foddfa o ddagrau, a rhai ar fin gorfoleddu; ac yn nghanol y teimladau mwyaf hyfryd y gadawodd y bobl wrth eistedd i lawr. Braidd nad oedd rhai yn barod i ddweyd: "Y mae yn ofer pregethu ychwaneg heno. Gwell terfynu ar hyn." Yn wir, dywedai rhai hyny yn ddystaw ar y pryd. Ond nid un i'w roddi i lawr felly oedd Mr. Elias. Pa fodd bynag, dacw ef yn cyfodi yn araf a gwylaidd; cyfeiria at ffenestr yn y talcen, a gofyna: "A fyddwch chwi gystal ag agor y ffenestr acw?" Yna, cyfeiria at ffenestr arall yn y cefn, gan orchymyn agor hono eto, am fod yr awyr yn lled drymllyd. "A fyddwch chwithau gystal a dyfod yn mlaen o'r drysau, y mae digon o le yn yr eisteddleoedd yma." Amcan hyn oll yw tawelu meddyliau y bobl, a chael eu sylw am y tro oddiwrth yr hyn a glywsent yn y bregeth flaenorol. Yna, rhydd emyn i'w chanu:—

"Ymddyrcha, Dduw y nef, uwch law,
Oddiyno daw d'arwyddion," &c.

Y mae yn gwrandaw swn y canu er adnabod tymheredd yr awyr, a deall yn mha gyweirnod i ddechreu llefaru. Darllena ei destun yn eglur a dirodres: "Llawer a ddywedant wrthyf yn y dydd hwnw, oni phrophwydasom yn dy enw di? oni fwriasom allan gythreuliaid yn dy enw di? ac oni wnaethom wyrthiau lawer yn dy enw di? Ac yna yr addefaf wrthynt, Nis adnabum chwi erioed; ewch ymaith oddiwrthyf, chwi weithredwyr anwiredd." Teifl darlleniad y testun len o ddwysder dros wyneb y bobl. Y mae yn rhagymadroddi, ac yn esbonio cysylltiadau'r testun, nes y mae fel masnachdy eang, yn agor y ddor, ac yn symud y gauadlen, a holl drysorau ystordy mawr y gwirionedd yn ymddangos fel haner dydd o flaen yr holl dorf, bychan a mawr, ar unwaith; neu, o leiaf, cyn pen deng mynyd. Y mae yn rhanu ei destun yn gelfydd.

Dyma ni wedi myned trwy un orsaf yn awr. Y mae yn myned rhagddo, ac yn ymresymu â'r dorf yn oleu, yn argyhoeddiadol, ac yn afaelgar, nes y mae cyn pen ugain mynyd wedi enill meddylfryd y bobl yn lân, ac wedi golchi ymaith yr holl deimladau uchel a godwyd gan y bregeth gyntaf, ac wedi claddu ei ragflaenydd o'r golwg ddeg-llath-ar-hugain dan y ddaear. Yn awr, y mae y dorf yn gwbl ar ben ei fys, ac yntau yn deall ei fod yn gweithio teimladau ei wrandawyr i fod yn arweiniad i wefryddiaeth gwreichionog ei genadwri. Y mae wedi llyncu syniadau y bobl i fyny yn llwyr, gan eu gosod i droi ar begwn ei bwnc ei hun yn unig. Y mae yn gwaeddi: "Gwrandewch yn awr." Yn sicr, dyna ymadrodd heb ei eisiau, ar hyn o bryd beth bynag; camp fyddai cael gan neb beidio gwrando yn awr; y mae pob pen sydd yma yn glust i gyd er ys meityn. Ei yspryd sydd wedi ei danio gan wres y gwirionedd megys y mae yn yr Iesu. Pryder a dysgwyliad sydd yn gwisgo gwyneb pob dyn, ac y mae pob clust wedi ei hoelio wrth ddor ei ymadrodd. Ymddengys yn awr fel cadfridog yn sefyll o flaen y dorf, a chleddyf yr Yspryd yn ei law, ac y mae fel yn ymwybodol ynddo ei hun ei fod dan arweiniad uniongyrchol ei Feistr. Braidd nad yw fel un wedi penderfynu y mŷn ryw bechadur yn rhydd o'i berygl, pe byddai heb bregethu byth mwy. Mewn gwirionedd, ymddengys yn awr, nid yn unig fel pe byddai yn ymwybodol fod "Tywysog llu yr Arglwydd" ar ei ddeheulaw, ond hefyd fel pe byddai yn deall sefyllfa a theimlad y dorf sydd o'i flaen, ac yn gweled fod min y cleddyf yn cyffwrdd â chydwybodau y bobl yn barod.

Ah! dyma ni wedi pasio yr ail orsaf yn awr. Y mae rhyw newidiad yn ei wedd. Y mae ei lais yn disgyn i ryw dinc mwyn yn y *minor key*. Y mae yn dechreu tyneru, os nad yn dechreu toddi, teimladau y dorf; ond nid oes dim eto o'r hwyl hyfryd a deimlwyd dan y bregeth gyntaf. Dychwela at y dull ymresymiadol, fel pe byddai yn gweled rhywun heb ei lwyr argyhoeddi. Y mae yn uchder nerth ei weinidogaeth yn awr. Y mae yn son am ffrwyth pechod fel un wedi profi ei chwerwder ei hunan. Y mae yn son am edifeirwch fel un wedi bod yn gwaedu ei hun dan ei archollion. Y mae yn darlunio uffern fel un wedi bod ei hun yn chwilio ei holl ogofäu â lanterni. Arweinia y bobl i ymyl dibyn gwlad y gwae, nes y mae llawer fel pe byddai arnynt ofn syrthio dros ymyl y *gallery* yn y capel. Y mae rhywbeth tebyg i anobaith fel pe byddai wedi ei argraffu ar ruddiau pawb. Rhyw deimlad rhyfedd fyddai yn y dorf pe gollyngid pawb adref ar hyn! Buasai yn well i'r bobl gael myned ymaith ar ol y bregeth gyntaf. Pa fodd bynag, rhagddo y mae yn myned; y mae yn gollwng ei saethau tanllyd mor aml, ac mor effeithiol, nes y mae teimladau ei wrandawyr yn cael eu dwysbigo, a'u calonau yn gwaedu ar lawr. Y mae yspryd y peth byw yn gweithio trwy yr holl gynulleidfa fawr; y mae rhyw ferw trwy bob man; ac o'r braidd na thybiem fod y dorf fel pe byddai yn dychymygu fod y ddaear yn symud dan eu traed. Y mae pawb eto yn fud; nid oes yma ddim eto o'r teimladau uchel a brofwyd dan y bregeth gyntaf, er fod yma rywbeth—rhywbeth—y peth—beth y galwn ni ef?—sydd yn fwy effeithiol fil o weithiau na dim a glywsom o'r blaen. Y mae wynebau y bobl wedi colli eu hagwedd gyffredin; y mae pob llinyn yn eu gwedd fel pe byddai wedi ymollwng. Beth, mewn gwirionedd, ydyw peth fel hyn? O'r braidd na feddyliem, wrth syllu ar wyneb gwelw llawer un, ei fod yn dywedyd yn ddirgel yn ei fynwes: "Mwy yw fy anwiredd nag y gellir ei faddeu." Ah! dyna ef yn troi yn awr oddiwrth yr annghredadyn at y gwrthgiliwr. Y mae ei eiriau yn disgyn fel tân ar benau y bobl. Y mae rhyw haner crac yn ei lais yn awr, ac y mae bron yn tori i wylo. Beth ddaw o'r dorf bellach? Y mae rhai wedi eu cadwyno, rhai wedi eu synu, rhai wedi eu syfrdanu, ac eraill wedi ymollwng. Y mae yn gwaeddi allan: "Wel, deuwch â'r waredigaeth i'r golwg bellach!" "Ah! a fyddai yn onest i mi ddangos y noddfa i chwi cyn i chwi deimlo eich perygl?" Y mae y dorf yn ddystaw fud eto. Y mae rhai yn dechreu tynu allan eu napcynau i sychu eu gruddiau gwlybion. Y mae ambell hen chwaer yn methu yn lân a chadw y teimlad i lawr; y mae yn agor yn rhy gryf i'r *safety valve*. Clywir un yn gwaeddi allan yn y gornel draw: "Fy mywyd i!" Un arall, yn mron ymdori yn y fan arall, wedi ymatal yn hir, yn gwaeddi: "Oes gobaith i fy math i?" Un arall: "O, fy enaid gwerthfawr i!" Ac un arall: "Beth a wnaf?" Y mae yna ddynion cryfion a'u hwynebau yn amliwio wrth geisio cuddio eu teimladau. Ond nid oes yma eto ddim o'r cyffro cyffredinol oedd dan y bregeth gyntaf.

Ar hyn, dyma y pregethwr, o ganol ei ymresymu, yn cael ei gymeryd i fyny gan deimlad cryf. Dyma ni yn cael ein symud i orsaf newydd eto. Y mae yn codi ei lef, ac fel pe byddai yn rhedeg i ganol y gwersyll, ac yn codi baner y groes yn ngolwg y bobl, ac â llais treiddgar, fel udgorn arian y deml, yn cyhoeddi gobaith i'r euog, ac agoriad carchar i'r rhai sydd yn rhwym. Y mae yn galw ar bawb at orsedd trugaredd. Y mae yn dyferu myrr oddiwrth ben ei fys hyd hespenau rhydlyd cloion calonau pechaduriaid celyd; y mae yn tywallt olew gras ar glwyfau yr archolledig. Egyr ddrws llydan o obaith o flaen yr hen wrthgiliwr, a geilw ar yr afradlon i ddod yn ol i dŷ ei Dad. Y mae fel bugail tyner yn gwylio y praidd, ac yn tynu y defaid o'i flaen i'r gorlan a'i ffon gnwpa:—

"A'i danbaid lygaid a'i lef—dilyna
Afradloniaid adref—
Fe lwydda grym ei floedd gref"

i symud yr holl dorf ar unwaith, fel pe byddent wedi cael eu trydanu gan fellt y gyfraith, a'u bywhau gan lais hyfryd rhad ras yn eu harwain at odreu y groes. Y mae y waredigaeth wedi dyfod i'r golwg o'r diwedd; y mae drws trugaredd wedi ei agor o led y pen; y mae trothwy y noddfa yn cael ei dangos gerllaw. Y mae yn awr fel yn estyn ei fraich hir dros ymyl yr areithfa, ac a'i law yn datod y cwlwm ac yn tynu y cortyn oddiam wddf rhyw hen bechadur sydd yn sefyll ar y *drop;* ac y mae hwnw yn neidio i fynu yn nghanol y dorf, gan waeddi allan: "Y fagl a dorwyd, a minau a ddihengais!" Y mae yr holl dyrfa fawr fel pe byddai yn gwyro dan ei weinidogaeth, fel y goedwig dderw yn plygu dan y rhyferthwy hyd y llawr.

Dyma yr olygfa yn newid eto, ac yr ydym wedi cyrhaedd yr orsaf ddiweddaf yn awr. Y mae ei wedd yn sirioli, a gobaith yn dychwel ar wedd y dorf. Y mae yn cymysgu ei gymhwysiad o'r athrawiaeth at y bobl â gweddïau taerion drostynt, gydag effeithiolrwydd digon i hollti calonau o adamant! Y mae fel pe bai yn cael ei gipio i'r drydedd nef, ac yn son am yr orphwysfa sydd eto yn ol i bobl Dduw, fel un fyddai wedi bod yno yn eistedd ar y fainc, ac yn cario teimladau gogoniant yn ol i'r ddaear, i'w cyflwyno i fynwesau y gwrandawyr bob un. Dyma ddydd y Pentecost mewn gwirionedd yn Nghymru! Crewyd teimladau yn yr odfaeon hyn a hir gofir yn Môn, ac na bydd tragywyddoldeb ei hun yn ddigon o hyd i'w golchi ymaith.

ELIAS YN Y GYMDEITHASFA.

Rhaid i ni geisio cyfuno amryw ddesgrifiadau er ffurfio y darlun goreu a fedrwn o Mr. Elias mewn Cymdeithasfa. Rhoddwn eto ddarluniad o hono yn y cynhadleddau; cymerwn yn ganiataol yn awr fod y cyfarfodydd preifat trosodd, y penderfyniadau wedi eu pasio, a'r adeg wedi dyfod i ddechreu yr odfa gyhoeddus gyntaf ar y maes. Mawr yw yr holi sydd a ydyw John Elias wedi dyfod. O'r diwedd dacw ef yn y golwg, yn cyfeirio ei gamrau at y maes lle y mae yr esgynlawr wedi ei godi. Yr olwg arno sydd yn dra boneddigaidd; y mae ei ddillad glân, ei glos pen glin, a'i hosanau duon, meinion, yn tynu sylw pawb. Efallai na bydd y bregeth gyntaf ond cyffredin, ond yn nesaf daw un o hen gewri y Deheudir, yr hwn sydd yn feistr y gynulleidfa, ac y mae ef yn pregethu yn nodedig iawn, gan gynyrchu teimladau hynod trwy yr holl dorf.

Wedi iddo orphen, dyma Mr. Elias yn codi, ac yn neshau at y ddesg. Teifl edrychiad dros yr holl dorf, fel pe byddai yn tremio yn graff trwy bob wyneb hyd y galon. A'i anadl tŷn ei fochau i mewn; cyfeiria â'i fys ddwywaith at ryw fanau yn y dorf sydd yn sibrwd mewn tipyn o aflonyddwch, nes y mae pawb mor llonydd a delwau ar y pared; ond nid yw efe wedi agor ei enau eto. O'r diwedd, dyna ef yn dechreu llefaru: "Y mae genyf air neu ddau i'w dweyd cyn i neb syflyd o'i le. Nid yw hi eto prin chwarter wedi saith o'r gloch; ni raid fod brys ar neb; y mae yn hir-ddydd haf. Yr wyf wedi deall er ys meityn ar wyneb y dorf fod pawb yma heno fel pe byddai yn teimlo fod y nefoedd yn ein hymyl. Y mae gweision y Duw goruchaf yn llaw eu Meistr. Y mae yn eglur yn barod eu bod wedi eu gwisgo â nerth o'r uchelder. Clywir udgorn bloedd brenhin yn y gwersyll. Yr ydym wedi clywed a gweled pethau anhygoel heno. Clywsom drwst crac yn muriau Jerico, a gallwn yn hyderus ddysgwyl y bydd yr hen furiau yn garneddau ar lawr cyn nos yfory; ac ni a gawn weled hyny hefyd yn sicr oni bydd i rywbeth ynom ni, neu yn ymddygiad y dorf, neu y dref, dristhau yr Yspryd. Gan hyny, er mwyn gwerth eneidiau eill fod yn yr esgoreddfa y mynyd hwn, yr wyf yn atolwg am i bawb fod ar

eu gwyliadwriaeth. Dymunwn dynghedu pob dyn sydd yma i fod yn fwy difrifol yn awr nag erioed. Na ato Duw i neb o honom fod yn euog o'r fath beth ag ymlid y golomen nefol o'n mysg. Na weler un dyn meddw ar yr heol heno, ar bwys colli enaid. Na fydded dim yn ymddygiad neb, yn y tai nac allan o honynt, i ddolurio teimlad un *magistrate* na swyddog gwladol, mwy na'r pregethwr neu y dyn duwiol cyffredin. Dysgwyliwn i foesau yr holl dorf fod yn ddifrycheulyd heno; onide, dyma y Sassiwn ddiweddaf fydd yn y dref hon am byth! Y mae yma filoedd o ddyeithriaid i gael eu lletya heno yn y gymydogaeth; cofied pob dyn fod yn ufudd i fyned i'r lle y mae wedi cael ei wahodd; pa orchest, a'r hin fel hyn, fyddai myned dair milltir o ffordd, pe bai raid? Gofaled pob un am fod yn ffyddlawn a diolchgar am ei lety. Chwithau sydd yn lletya, agorwch eich drysau o galon. Nac anghofiwch letygarwch. Na chymerwch unrhyw drafferth na thraul; yr oll a ofynwn yw gwely sych, diberygl, a thamaid o fara, a llymaid o ddwfr. Gwerthfawrogwch ddyfodiad y dyeithriaid dan eich cronglwyd am dro. Efallai mai heno yr eneinir eich aelwydydd gyntaf â dagrau y saint; efallai mai heno y cysegrir eich nenbrenau gyntaf â gweddïau duwiolion. Darfu i'r hen bererinion gynt, trwy ffydd, letya rhai angelion yn ddiarwybod, a gwledda yn hyfryd gyda hwy yn eu lluest-tai. Pwy wyr na chewch chwithau heno letya duwiolion yn nghwmni anweledig angelion y nef. Chwithau sydd yn cyfarwyddo y lletywyr, gofelwch am drefnu fel y byddo gweddïwr yn myned i bob tŷ. Sylwed y dorf i gyd, ar fod addoliad teuluaidd yn mhob anedd heno yn *exact* am naw o'r gloch. Y mae y nefoedd fawr wedi gwenu arnom eisioes; y mae negeswriaeth gyflym gan yr angelion rhwng yr orsedd a'r maes hwn er ys meityn; ac am naw o'r gloch heno yr ydym yn hyderu y bydd ysgol Jacob yn orlawn o deithwyr ol a blaen, ac y bydd y fath nerth gan gyd-weddïau o'r gymydogaeth hon, dros chwech milltir o amgylch, fel y tynant y nefoedd i lawr at y ddaear, ac y codant y ddaear mor agos i'r nef, fel y bydd pabell Duw gyda dynion, ac mai y Sassiwn hon fydd prif destun yr ymddiddan heno yn nghyfringynghor y drydedd nef." Wedi y fath gyfarchiad, dychrynai pawb rhag gwneyd dim ag a fyddai yn achos tramgwydd.

Naw o'r gloch yw yr awr weddi. Rywsut, daethai lliaws i wybod yn mha dŷ yr oedd Mr. Elias yn lletya, a chwarter cyn naw yr oedd yr heol gyferbyn a'r tŷ yn orlawn o bobl, yn dysgwyl cael ei glywed yn darllen ac yn gweddïo. Am naw, dyna y ffenestr yn cael ei hagor, ac yntau yn rhoddi penill i'w ganu:—

"Ag isop golch fi'n lân,
Ni byddaf aflan mwyach;
A byddaf, o'm golchi fel hyn,
Fel eira gwyn, neu wynach."

Mesur salm byr; mesur go annghyffredin. Nid oes neb a ddechreua y canu am beth amser. Ond o'r diwedd dyma hen ŵr y tŷ yn ei chynyg hi; canwr trwstan truenus yw efe; ond gwna y tro ar y pryd. A phwy sydd allan ar yr heol, wrth y ffenestr, ond Cadi Rondol. A dyma yr hen Gadi yn cipio y mesur i fyny, ac yn dechreu ei rolio yn yr awyr, a'r olwg arni yn rhyfedd iawn. Ond waeth beth a fo, gweithia yr hen ddynes ei ffordd, a gafaela y dorf yn y canu mor wresog, fel y pasia peth amser cyn cael gosteg i fyned yn y blaen â'r gwasanaeth. Wedi gorphen y canu, darllenai Mr. Elias salm, ac yna plygai ar ei liniau. Ofer ceisio darlunio y weddi ryfedd. Os bu Jacob yn ymdrechu a'r angel, yr oedd Elias y noson hono wedi ymaflyd yn nerth Duw. Mynai arwydd er daioni y noson hono, cyn codi oddiar ei liniau, fel blaenffrwyth o ryw gynhauaf mawr dranoeth. Yr oedd y weddi hon yn treiddio trwy galonau annuwiolion fel cleddyf tanllyd ysgwydedig, ond yr oedd yn dyrchafu teimladau y duwiolion, nes yr oeddynt yn dychymygu eu bod ar adenydd cerubiaid, ac yn colli eu gwadnau oddiar y ddaear. Wedi gweddïo, rhoddwyd penill allan i'w ganu drachefn, a chanu rhyfedd ydoedd, canu ag yr oedd yn bleser gan seraphiaid dewi i wrando arno. Bu effeithiau y weddi hon yn rhyfedd. Dychwelwyd lliaws at grefydd, y rhai a roisant brawf o'u gwir droedigaeth mewn oes o fywyd wedi ei gyflwyno i Grist.

Dranoeth yw dydd mawr yr wyl. O bob cyfeiriad gwelir y bobl yn dylifo tua'r lle y cynhelir y Gymdeithasfa, rhai mewn cerbydau, eraill ar feirch, ond y nifer liosocaf o lawer ar draed. Dynion sydd i'w canfod ar bob llaw, ar gopäu y bryniau draw, yn britho y ffyrdd, ac yn croesi y caeau, a phawb â'u hwynebau ar yr un pwynt. Erbyn amser dechreu, deg o'r gloch, y mae y dyrfa yn fawr iawn, yn ddeng mil o bobl, yn ol y cyfrif isaf, ac yn ugain mil, yn ol cyfrif ambell un. Dyn

cymharol ieuanc sydd yn pregethu gyntaf. Y mae yn ymadroddwr gwych, yn trin ei fater yn fedrus, ac yn meddu cymhwysderau gweinidogaethol diamheuol. Teimla y bobl wrth eu bodd wrth wrando; proffeswyr crefydd yn enwedig ydynt yn cael eu hadeiladu; gwelir gwen ar aml i wyneb, a deigryn mewn aml i lygad. Ac eto, nid yw masnach wedi cael ei llwyr roddi i fyny yn y dref; ceir ambell un yn helynta yn swyddfa y cyfreithiwr, neu yn ymdroi yn y siop; a gwelir nifer o ieuenctyd difeddwl hefyd yn rhodiana hyd yr heolydd. A phe y taflem gipdrem ar faes y Gymdeithasfa, canfyddem nifer o wrandawyr anystyriol, naill ai ar eu hyd ar y ddaear, neu yn lledorwedd ar y cloddiau gyferbyn.

Ond gyda bod y pregethwr cyntaf yn terfynu dyna gyfnewidiad amlwg yn cymeryd lle yn y dorf. Dyna segurwyr y dref yn ymgasglu i'r maes yn llu; y mae y rhai a ledorweddent ar y ponciau draw yn ymwasgu at gorph y gynulleidfa; cyfeiria pawb eu llygaid at y ddesc ar yr esgynlawr, lle y mae Mr. Elias i wneyd ei ymddangosiad. Dacw ef yn dyfod i'r golwg a gwedd ddifrifol arno. Gellid meddwl ei fod am wneyd un orchest anfarwol. Heddyw, neu byth, am achub yr eneidiau sydd ger ei fron! Braidd na ellid tybio fod y bregeth i'w chanfod yn ei wyneb; y mae areithyddiaeth i'w chanfod yn y dull yr ymafla yn ymylon ei got, ac y defnyddia ei napcyn llogell. Wedi canu penill, o fesur salm, dyna ef yn cymeryd ei destun yn Eph. iii. 18, 19: "Fel y galloch, wedi eich gwreiddio a'ch seilio mewn cariad, amgyffred gyda'r holl saint, beth yw y lled, a'r hyd, a'r dyfnder, a'r uchder, a gwybod cariad Crist, yr hwn sydd uwchlaw gwybodaeth, fel y'ch cyflawner â holl gyflawnder Duw." Darllena yr adnodau yn llawn llythyr, mewn llais peraidd a threiddiol; dilynir y darlleniad gan ddystawrwydd dwfn, a sylwir fod y dyfalwch mwyaf yn treiddio i gwr eithaf y dorf, a phawb braidd ar flaenau eu traed, er gweled a chlywed eu hoff bregethwr. Cymer ryw ugain mynyd i esbonio y gwahanol eiriau, gan egluro ystyr pob un ar wahan, a'r ystyr arbenig sydd yn perthyn iddo yn nghysylltiad y testun. Braidd nad yw fel celfyddydwr yn egluro natur peiriant, gan ddangos pob paladr ac olwyn, pob pin a phegwn, pob cranc a nodwydd, ac esbonio y modd y mae y gwahanol ranau yn cydweithredu, a'r danedd yn cydio yn eu gilydd. Mor glir yw yr eglurhad fel y mae pawb yn deall; nid oes air wedi ei adael nad yw pawb yn amgyffred ei lawn ystyr, y mae wedi argraffu ei hun ar eu meddwl yn annileadwy; a gwena y dorf mewn mwynhad.

Tra y bu yn esbonio yr Ysgrythyrau, yr oedd wedi rhwymo pob clust wrth ei wefus; yn awr, â rhagddo i draethu ar fawredd cariad Duw at fyd colledig. "Yr wyf," meddai, "fel pe bawn yn canfod holl ogoniant cymeriad y Duw mawr yn cael ei osod allan mewn tri gair, '*Duw, cariad yw.*' Nid yw ei briodoliaethau, a llefaru yn feirniadol, yn ddim amgen na gwahanol amlygiadau o'i gariad. Beth yw ei ddoethineb? Ei gariad yn llunio trefn i achub pechadur euog. Beth yw ei allu? Ei gariad yn gweithio allan ffordd iachawdwriaeth. Beth yw ei wirionedd? Ei gariad yn cwblhau pob peth oedd yn ofynol er gwaredu yr euog. Beth yw ei sancteiddrwydd? Ei gariad yn gwahardd pob peth sydd yn niweidiol i gyflwr dyn. Beth yw ei ddigofaint? Ei gariad at drefn, yr hwn sydd fel mur tanllyd o'n hamgylch, i'n cadw rhag pob drwg." Yr oedd y gofyniadau hyn, a'r atebion iddynt, yn cyffroi y dorf; llefarai yntau nid yn unig â'i dafod, ond hefyd â'i lygaid, a'i freichiau, a'i fysedd, ac a'i ddwylaw; braidd na ellid dweyd fod ei ben a'i gorph oll yn llefaru ar unwaith, fel mai o'r braidd y medr y gynulleidfa gadw ei theimladau danodd. Yn wir, y mae yna fanllef wedi tori allan am drugaredd, am faddeuant, ac am fywyd.

Arafa yntau am ychydig, a cheisia gan y bobl lywodraethu eu hunain, am nad yw ef eto wedi dyfod at amcan ei genadwri. "Heblaw hyny," meddai, "y mae yn rhy fuan i waeddi eto, y mae y seithfed tro heb ddyfod. Nid oedd Israel i waeddi wrth gaerau Jerico gynt, hyd nes y byddai iddynt weled yr hen furiau yn dechreu cwympo; ac yna yr oedd Joshua yn gorchymyn iddynt waeddi. Nid yw caerau annuwioldeb eto yn dechreu chwalu yma, er ein bod yn dysgwyl pethau mawrion cyn diwedd y cyfarfod hwn; ac yn wir, yr ydym bron dychymygu ein bod yn clywed yr hen dyrau yn dechreu cracio yn barod, a phan gyntaf y gwelwch yr hen gestyll yn dechreu dyfod i lawr, yna gwaeddwch yn enw'r Arglwydd!" Prin yr oedd y sylwadau hyn yn tueddu i atal teimladau; y dorf fawr sydd ar ymddryllio; gwelir rhai yn sychu eu gruddiau gwlybion, ac eraill ar eu goreu yn ceisio ymatal er clywed y genadwri yn anterth ei nerth.

Modd bynag, llwydda i gael gan y dorf dawelu, ac â yntau rhagddo i draethu am drefn yr iachawdwriaeth, a mawredd cariad Duw yn ei eangder difesur. Yn y man dyna ei demladau ef ei hun yn ymgynhyrfu; ac y mae tân Duw yn enyn yn ei enaid. Cydia yn ngeiriau y testun: "Amgyffred gyda'r holl saint, beth yw y lled, a'r hyd, &c." Gofyna mewn cyffro: "Beth yw lled trefn yr iachawdwriaeth? O! y mae yn rhy anhawdd dweyd; ond beth bynag ydyw, y mae yn rhy lydan i'r lleidr ar y groes syrthio drosti i uffern! Beth yw ei hyd hi, ynte? Nid oes modd dweyd; ond y mae yn rhy hir i Saul o Tarsus syrthio drosti i golledigaeth!" Ar hyn, dyma ddyn cryf yn nghanol y dorf yn gwaeddi allan: "O diolch byth! y mae yn ddigon o hyd i hen bechadur colledig fel fi, felly!" Aeth geiriau y dyn fel trydan trwy yr holl dorf mewn moment. Yn mlaen y mae Mr. Elias yn myned, er fod ei deimladau yn mron ei drechu; "Beth yw dyfnder trefn gras yr efengyl? Y mae yn rhy anhawdd treiddio i wybod; ond pa faint bynag ydyw, y mae ei sylfeini yn rhy ddyfnion i ddim dafn o ddamnedigaeth gyffwrdd byth â Manasseh waedlyd, wedi unwaith gredu yn Nghrist, er ei fod wedi llenwi heolydd Jerusalem â gwaed y saint! Beth yw uchder trefn gras? Nis gellir dweyd; ond y mae ei thŵr yn rhy uchel i un o'r cythreuliaid a wasgwyd allan o Mair Magdalen ddringo dros ei nen i fyned yno i'w llithio hi i drueni byth!"

Erbyn hyn, nid oedd modd clywed gair gan floeddiadau y dorf. Bernir nad oedd y fath beth a gruddiau sychion ar y maes; yr oedd y pregethwyr a'r gweinidogion ar yr esgynlawr wedi myned i wylo fel plant. Dyma yntau yn ymddyrchafu i wres ei hyawdledd uchaf, ac yn chwareu ar rai o ffugrau aruchel y testun. Gwaeddai: "Beth yw maint yr iachawdwriaeth? Cyfuwch a'r nefoedd ydyw, beth a wnei di? Dyfnach nag uffern yw, beth a elli di ei wybod? Y mae ei mesur yn hwy na'r ddaear, ac yn lletach na'r mor, beth all creadur meidrol ei gynwys? Y mae ei hyd yn cyrhaedd, fel cadwen euraidd, o dragywyddol fwriad Duw hyd at dragywyddol ogoneddiad y saint yn y nef; y mae ei dyfnder yn cyrhaedd hyd at isder eithaf codwm Eden, y mae ei huchder yn cyrhaedd hyd at orsedd y Mawredd yn y goruwchleoedd!'

Ofer ceisio myned yn mlaen a'r darluniad; y mae hyawdledd y pregethwr tuhwnt i allu neb i'w ddesgrifio, a'r effeithiau yn annirnadwy. Cyn terfynu, trodd ei apeliadau at y bobl yn weddïau drostynt; yr oedd rhyw haner crac yn ei lais, a rhyw dynerwch yn ei wedd, fel y toddai teimladau y caletaf a'r mwyaf anystyriol. Terfynodd yn nghanol gorfoledd mawr, ac ymwybyddiaeth fod llawer wedi eu troi at Dduw. Wrth ddychwelyd o'r maes, yr oedd llawer fel pe buasent heb wybod pa le i fyned, nac ar ba law i droi. Ni cheid dim ymddiddan ar hyd y dydd ond am y bregeth, "y cariad, a'r achub!" Mewn ystyr, difethodd yr odfa hon y gweddill o'r Gymdeithasfa. Cafwyd pregeth daranllyd yn y prydnhawn, ond nid oedd yno ddim mellt, a phregeth dyner yn yr hwyr, ond rywsut nid oedd yn ireiddio. Nid oedd modd cael meddwl y bobl oddiwrth bregeth y boreu. Bernir fod y tro hwn wedi bod yn achubiaeth i liaws o eneidiau, ac yn adnewyddiad i lawer o eglwysi.

Rhaid i ni ddifynu darn o bregeth arall o'i eiddo mewn Cymdeithasfa, am ei bod yn engrhaifft dda o nodwedd ei areithyddiaeth, ac o rym ei ddychymyg. Ei destun oedd, Esaiah xlix. 24: "A ddygir y caffaeliad oddiar y cadarn, neu a waredir y rhai a garcherir yn gyfiawn?" Ar derfyn ei bregeth efe a ofynai, mewn llais nodedig o bryderus:—

"Satan, beth a ddywedi di, a ddygir y caffaeliad oddiar y cadarn? 'Na wneir, *byth, byth;* mi a ychwanegaf dywyllwch eu meddyliau, caledwch eu calonau, grym eu llygredigaethau, a nerth eu cadwynau. Mi a wnaf fy amddiffynfeydd yn fwy dyogel, a'm cestyll yn gadarnach. Ni waredir y carcharorion *byth*, ac ni chaiff y caffaeliaid eu dwyn oddiarnaf yn *dragywydd.* Y mae ymdrechion gweiniaid y pregethwyr hyn yn hollol ddirmygus yn fy ngolwg.'"

"Gabriel, Gabriel, cenad y Duw goruchaf," llefai Elias mewn tôn wahanol, gan edrych i fyny tua'r nef, "a ddygir y caffaeliaid oddiar y cadarn? Beth wyt ti yn ei ddweyd? 'Ah! y mae arnaf ofn na wneir; yr wyf bellach wedi bod yn hofran uwchben y gynulleidfa fawr hon, sydd yn gwrando geiriau y bywyd tragywyddol, gan ddysgwyl gweled cadwynau yn cael eu dryllio, a charcharorion yn myned yn rhydd. Ond yn awr, y mae yr odfaeon bron drosodd, a'r dyrfa ar wasgar, eithr nid oes arwydd fod cymaint ag un wedi ei waredu, ac yr wyf yn ofni na chaf yr hyfrydwch o gario y newydd da i'r drydedd

nef, fod un pechadur yn edifarhau am ei bechodau.' "

Yna efe a droai at y pregethwyr, a gofynai: "Beth debygwch chwi, weinidogion y Duw byw? A ddygir y caffaeliad oddiar y cadarn? 'Och, pwy a gredodd i'n hymadrodd, ac i bwy y datguddiwyd braich yr Arglwydd?' 'Yn ofer y llafuriasom, yn ofer ac am ddim y treuliasom ein nerth.' 'Ymddengys fel pe y byddai yr Arglwydd yn cuddio ei wyneb oddiwrthym; nid yw ei fraich yn estynedig allan. Ah! yr ydym yn ofni nad oes nemawr obaith am i'r carcharorion gael eu gwaredu, ac i'r caffaeliaid gael eu dwyn oddiar y cadarn.'"

"Seion, a ddygir y caffaeliad oddiar y cadarn? Beth a ddywedi di? 'O! yr Arglwydd a'm gwrthododd, a'r Arglwydd a'm hangofiodd! Yr wyf wedi fy nghadael yn unig, yn ddiepil, ac yn ammhlantadwy, a'm gelynion a ddywedant am danaf, dyma Seion, yr hon nid oes neb yn ei cheisio! O, yr wyf yn ofni na waredir neb.' "

"Weddïwyr, beth feddyliwch chwi am hyn? A ddygir y caffaeliad oddiar y cadarn? 'Arglwydd Dduw, *ti* a'i gwyddost. Uchel yw dy law, a chadarn yw dy ddeheulaw. O! na roddit allan dy nerth, na chymerit dy allu mawr, a gorchfygu. Deued ochenaid y carcharorion ger dy fron; yn ol mawredd dy nerth, cadw blant marwolaeth. Er fy mod bron a blino yn llefain, eto yr wyf yn gobeithio yn wan fod dydd y Jiwbili gerllaw.' "

Yna, edrychai Mr. Elias i fyny yn dra difrifol, fel pe buasai yn myned i ymddiddan â'r Hollalluog, a gofynai yn wylaidd: "A pha beth yw meddwl yr Arglwydd am y carcharorion hyn? 'Fel hyn y dywed yr Arglwydd; ïe, carcharorion y cadarn a ddygir, ac anrhaith y creulawn a ddianc; canys mi a ymrysonaf â'th ymrysonydd, a myfi a achubaf dy feibion.' O bendigedig! Nid oes yn awr un amheuaeth na phetrusder am waredigaeth a rhyddhad y carcharorion; y mae yn cael ei gyhoeddi yn bendant; hwy a ryddheir, hwy a achubir. 'Gwaredigion yr Arglwydd a ddychwelant, ac a ddeuant i Seion â chaniadau, ac â llawenydd tragywyddol ar eu penau.' "

ELIAS AR YR ESGYNLAWR.

Yr oedd y Parch. John Elias yn llawn cymaint o feistr y gynulleidfa ar yr esgynlawr ag yn y pwlpud. Trwy eangder ei wybodaeth, manylwch ac eglurder ei ddesgrifiad, ei hyawdledd areithyddol, a'i allu dramayddol rhyfedd, byddai yn cario y dyrfa gydag ef fel llif yr afon. Traddododd areithiau i'w cofio byth yn nglyn â Chymdeithas Genhadol Llundain, Cymdeithas y Beiblau, a'r Gymdeithas Ddirwestol, ac hefyd oddiar y *platform* yn y Gymdeithasfa. Hawdd i ni fyddai lliosogi engrheifftiau, ond rhaid ymfoddloni yn bresenol ar ddwy.

Y gyntaf ydyw araeth a draddodwyd ganddo mewn cyfarfod perthynol i Gymdeithas y Beiblau yn Mangor, pan yr oedd Ardalydd Môn, un o wroniaid Waterloo, ac a gollasai ei glun yn y frwydr, yn y gadair. Tueddai llawer o'r Eglwyswyr i edrych ar y gymdeithas gyda rhagfarn, gan ei hystyried fel sefydliad Ymneillduol, wedi ei bwriadu i wrthweithio dylanwad y Gymdeithas er taenu Gwybodaeth Gristionogol. Ond gan fod yr Ardalydd i lywyddu, yr hwn oedd mor uchel ei barch, ac i'r hwn yr oedd cof-golofn ardderchog newydd ei chyfodi ar lan y Menai, teimlent nas gallent absenoli eu hunain o'r cyfarfod, er hyd yn nod fod John Elias i siarad ynddo. Modd bynag, aeth rhai o'r clerigwyr at y pendefig, gan ddesgrifio Mr. Elias fel *Ranter* di-ddysg, ac awgrymu mai buddiol i'w arglwyddiaeth fyddai dweyd wrtho am fod yn fyr. Dydd y cyfarfod a ddaeth. Ymgasglodd bonedd Môn ac Arfon yn llu i'r neuadd. Yr oedd y boneddigesau yno yn ddirifedi, wedi ymwisgo mewn sidan. Dyma y llywydd ar ei draed, gan egluro amcan y cyfarfod, a dweyd ei fod yn ei ystyried yn fraint cael gwneyd rhywbeth tuag at ddwyn y fath gynllun bendigedig i ben. Wedi darllen yr adroddiad, a myned trwy y rhanau arweiniol, galwyd ar yr areithwyr i gymeryd eu rhan yn y cyfarfod, gyda y cynygiadau a'r cefnogiadau. Ai y cyfan yn mlaen yn ddymunol a chymeradwy.

Bellach, dyma y cadeirydd yn galw ar y Parch. John Elias. Wrth ei weled yn dyfod yn mlaen, y mae rhai yn troi gwegil, ac nid wyneb, ato. Eraill a wnant ryw osgo led-ochrog, gyda gwefl laes, trwyn sur, a llygad cilwgus. Y mae yntau yn talu moesgyfarchiad tra boneddigaidd i'r llywydd, ac yn dechreu ar ei waith. Cychwyna trwy ddesgrifio ansawdd Cymru cyn cael Beibl, a theimla pawb ar unwaith fod hanesiaeth ei wlad ar ben ei fys. Yn nesaf, rhydd hanes yr amrywiol gyfieithiadau o'r Beibl i'r iaith Gymraeg, a hanes y cyfieithwyr. Cyfeiria at ymdrechion William Salsbri, yr Esgob Morgan, yr

Esgob Parry, Dr. Richard Davies, Thomas Herot, Cangellwr Tyddewi, Dr. Gabriel Goodman, &c. Nid oedd y boneddwyr yn dysgwyl ei glywed yn son am yr enwau hyn, disgynent ar eu clustiau fel miwsig, ac heb yn wybod iddynt y mae llawer o'u rhagfarn at y pregethwr Methodistaidd yn toddi. Yn mlaen y mae ef yn myned, gan gyfeirio at y gwahanol argraffiadau o'r Beibl Cymraeg. Sonia am Thomas Middleton, Rowland Heylin, Thomas Gouge, Walter Cradoc, Stephen Hughes, &c. Diolcha yn barchus i'r Gymdeithas er taenu Gwybodaeth Gristionogol am ei chymwynasgarwch i'r Cymry, trwy ddwyn allan argraffiadau o'r Beibl ar gais y Parch. Griffith Jones, ac wedi hyny ar gais Mr. Charles. Yna, dengys fod sefyllfa y wlad yn galw am rywbeth ychwanegol, rhyw ddarpariaeth mwy effeithiol na dim oedd yn bod yn flaenorol, er diwallu angen y genedl â chyflenwad o Air Duw, ac mai unig amcan y Feibl Gymdeithas oedd cyfarfod â'r angen hwn. Nid oes modd peidio gwrando arno; y mae ei iaith mor bur a dillyn, ei ddawn mor ddengar, ei hyawdledd mor effeithiol, a phob osgo mor briodol, fel y mae pawb am eu bywyd yn tremio ac yn gwrando arno.

Yn awr, symuda i orsaf newydd yn ei anerchiad. Darlunia sefyllfa y wlad ar hyny o bryd, megys mewn rhyfel rhwng goleuni a thywyllwch, rhwng sancteiddrwydd a phechod, rhwng Crist a Belial; fod y ddwy fyddin fawr yn nesu i gyfarfod eu gilydd yn gyflym, a bod y tir canol rhyngddynt i'w weled yn culhau bob dydd, a bod yn rhaid i'r gwirionedd lwyddo, a gorchfygu yn y pendraw. Dengys fod dedwyddwch y byd yn troi ar yr ymdrech fawr hon. Dywed fod cynllun o'r frwydr a'r fuddugoliaeth wedi ei gael yn ddiweddar ar faes Waterloo. Erbyn hyn, y mae lle rhyfedd yn y neuadd. Y rhianod er ys meityn sydd a chyhyrau eu hwyneb wedi ymollwng, ac wedi colli pob llywodraeth arnynt eu hunain. Gwelir ambell foneddiges wedi colli ei napcyn yn ddifeddwl o'i llaw, un arall yn gollwng ei maneg i lawr, y drydedd wedi colli trefn cudynau ei gwallt, a phawb yn yr un teimlad. Rhagddo y mae yr areithiwr yn myned. Desgrifia yr ymdrech ddiweddar yn Waterloo, a dengys fel yr oedd heddwch y byd, tynged cenhedloedd, anturiaeth masnach, gobaith celfyddyd, cynydd gwybodaeth, ïe, a rhwydd rediad yr efengyl yn troi ar yr awr bwysig hono. Ond yr oedd llaw Rhagluniaeth i'w gweled yno mor amlwg. Cawsai eu cadfridogion eu donio a'r doethineb a'r gallu gofynol ar gyfer yr orchest fawr. "Yr Arglwydd sydd ryfelwr; yr Arglwydd yw ei enw."

Yna, darlunia y llywydd yn myned i'r maes y foment yr oedd y glorian i droi. Defnyddia y desgrifiad a geir yn llyfr Job am y rhyfelfarch, a'i farchog. "Dychymygaf," ebai yr areithiwr, "ei weled yn dyfod i'r maes ar ei farch gwyn; hwnw yn diystyru arswyd, yn herio pob dychryn, ei draed yn cloddio y dyffryn, ac yn llawenychu yn ei gryfder wrth gyfarfod arfau.' Darlunia ef yn rhedeg i ganol yr udgyrn, yn gwaeddi "Ha! Ha!" mewn gwawd am eu penau, ac yn arogli rhyfel o bell—twrf tywysogion a bloeddio! "Ond y marchogwr enwog, mewn perffaith hunanfeddiant yn nghanol y mwg a'r tân, yn cyfarwyddo y fyddin, ac yn arwain y gadrawd." Ar hyn, atelir rhyw gymaint ar hyawdledd yr areithydd gan deimladau y dorf; rhed rhyw sî ryfedd trwy yr holl ystafell, a chryn gamp yw peidio bloeddio. Ond yn ei flaen y mae Mr. Elias yn myned; cyffroa ei yspryd, tania ei lygaid, estyna allan ei fraich, ysgydwa y bys, a thywallta allan ffrydlif o hyawdledd byw. "Dychymygaf," ebai, "glywed bloeddio concwest cyn ei henill! Ië, ond concwest ar draul colli bywyd un o bigion ein cenedl a fydd? Nage, dim ond colli un aelod! Gwelaf angau yn dod yn mlaen, ac yn taflu pelen tuag at ein llywydd; ond dyma Ragluniaeth i'r maes ar yr un foment, ac yn gwaeddi ar angau fel y gwaeddodd yr angel ar Abraham gynt: 'Atal dy law! Gochel gyffwrdd a'i einioes! Paid myned gymaint a cham yn nes at ei fywyd na'r aelod. Y mae arnaf fi eisiau ei wasanaeth eto, fel cadfridog, mewn brwydr o natur uwch o lawer na hon; y mae arnaf fi eisiau ei wasanaeth i lywyddu yn nghadair y Feibl Gymdeithas; y mae arnaf eisiau iddo arwain byddin i daenu Gair y bywyd, i bob gwlad, ac iaith, a phobl, a chenedl, dros wyneb yr holl ddaear.'" Gyda hyn, bloeddia mewn llais grymus, ond lled doddedig: "Y mae y gelyn wedi ei rwymo; ond Gair Duw nis rhwymir!" Ar hyn, dyma yr holl gynulleidfa fel pe byddai wedi ymddyrysu yn lân! Weithiau dystawrwydd, weithiau sibrwd, weithiau dystaw holi; a'r Saeson, oedd heb ddeall Cymraeg, yn brysurach na neb, wrth ganfod y *thrill* trwy yr holl

ystafell, yn gofyn: "*What? What was that? What did he say—what was that excitement?*" Yr oedd yr holl sidanau erbyn hyn yn ddagrau, yr holl fwcram yn wlanen, a'r holl *starch* yn llyn! Wedi ychydig o ddystawrwydd, ac adfeddiant o deimladau, amneidiai y cadeirydd ar un oedd gerllaw, gan ofyn iddo beth oedd yr achos o'r cyffro. Dyma hwnw yn neshau ato, ac yn dweyd: "*It was an allusion to yourself, my lord, and the accident at Waterloo, where the interposition of Providence spared you to preside over this meeting.*" Ar hyn, gwelid y llywydd yn prysuro i chwilio am ei ffunen boced, a'r dagrau mawr, fel pys, yn dylifo o'i lygaid. Nid oedd digon o nerth yn holl drwst magnelau Waterloo i fenu ar ei deimlad mwy na'r graig, ond dyma araeth Cymro yn troi y graig gallestr yn llyn dwfr!

Tro hynod yn hanes Mr. Elias oedd hwn. Newidiodd llawer eu barn am dano o'r dydd yma allan. Yn flaenorol, nid oedd pen draw ar eu rhagfarn ato, a'u diystyrwch o hono; ond bellach, braidd nad aethant i'w haner addoli. Modd bynag, rhoddodd hyn gychwyn newydd yn olwynion Cymdeithas y Beiblau. Yn fuan, anfonodd yr Ardalydd wahoddiad caredig iddo i ddyfod i'w balas; eithr nid oedd cyfeillgarwch y mawrion o fawr pwys yn ei olwg, ei bwnc ef oedd cyflawni gwaith yr hwn a'i hanfonodd tra yr oedd yn ddydd; ac felly, yn dra boneddigaidd, gwrthododd y cynygiad.

Yr engrhaifft arall y darfu i ni gyfeirio ati yw ei anerchiad yn Nghymdeithasfa Caergybi, Hydref, 1824, rhwng pregethau y Parch. Owen Jones, o'r Gelli, a'r Parch. William Morris, Cilgeran. Yr oedd y Parch. Owen Thomas, D.D., yn y Gymdeithasfa yn llanc, ac yn eistedd ar ben uchaf yr ysgol, ar hyd yr hon y dringai y pregethwyr a'r gweinidogion i'r esgynlawr. Dechreuodd Mr. Elias rybuddio y bobl yn erbyn meddwdod, fel pechod sydd bob amser, ac yn mhob man, yn diraddio dyn yn fwy nag odid un pechod arall; ond safai yn arbenig ar ei ysgelerder mewn cyfarfod crefyddol; a gobeithiai nad oedd neb yno am gymeryd mantais ar gynulliad felly i dynu gwarth ar eu gwlad, arnynt eu hunain, ac ar grefydd. Yna, aeth yn mlaen yn y modd yma:—

"A oes yma feddwon? Yr wyf yn ofni fod. A gaf fi erfyn arnoch, a wnewch chwi am heddyw, beth bynag, geisio llywodraethu eich hunain? Os nad oes genych ddim parch i'r Brenhin Mawr, dim parch i gyfreithiau eich gwlad, dim parch i chwi eich hunain—yr wyf yn addef fy mod yn cymeryd tir isel—a wnewch chwi heddyw, er ein mwyn ni, fod yn sobr a gweddaidd? Yr ydych, trwy ddyfod i gyfarfod fel hyn, i yfed a meddwi, ac ymddwyn yn afreolaidd, yn tori ein *character* ni. Nid yw ein gelynion yn y wlad wedi marw i gyd eto. Y maent yn barod i ddefnyddio pob peth, a dybiont hwy yn wasanaethgar i hyny, yn achlysur yn ein herbyn. Ac nid oes genym ni ddim ond ein *character* i syrthio arno. Nid ydym ni yn gyfoethog; nid ydym yn ddysgedig; nid ydym yn ddoniol; nid oes genym deitlau uchel; ni feddwn ni neb yn ein mysg mewn awdurdod fawr. Ond y mae genym ein *character;* yr ydym yn meddwl cryn dipyn o'n *character;* yr ydym am gadw ein *character;* nid ydym, os gallwn, am adael i neb dori ein *character.* Ac y mae meddwon y Sassiynau yma yn tori ein *character* ni. A'n dilyn ni, y Methodistiaid tlodion, y mae nhw. Beth wnawn ni o honyn' nhw, frodyr?" "Eu llunio," medd rhyw lais o'r tu ol iddo, gan gyfeirio at y bregeth oedd newydd gael ei thraddodi. "Yr ydwyf fi," meddai yntau, ac yn dechreu cyffroi, "yn teimlo awydd y mynyd yma, i'w rhoi nhwy ar *auction* i bwy bynag a'u cymero nhw, fel na chaffom ni ein blino ganddynt mwy."

Yna, ar uchaf ei lais, gan estyn ei fraich allan, ac fel pe buasai yn eu dal yn ei law, gwaeddai: "Pwy a'u cymer nhw? Pwy a'u cymer hwy? Eglwyswyr, a gymerwch chwi nhw? Nyni! Yr ydym ni yn ein bedydd yn proffesu ymwrthod â'r diafol a'i holl weithredoedd. Na, ni chymerwn ni mo honyn' nhw." Yna enyd o ddystawrwydd. "Independiaid, a gymerwch chwi nhw? Beth? Nyni! Yr ydym ni er ys llawer oes wedi gadael Eglwys Loegr oblegyd ei llygredigaeth; ni chymerwn mo honyn' nhw." Ychydig ddystawrwydd eto. Ond gyda ei fraich allan, gwaeddai drachefn: "Fedyddwyr, a gymerwch chwi nhw? Nyni! Yr ydym ni yn trochi ein pobl i gyd mewn dwfr, i ddangos mai rhai glân a gymerwn ni; ni chymerwn ni mo honyn' nhw." Dystawrwydd eto. "Wesleyaid, a gymerwch chwi nhw? Beth? Nyni! Y mae gweithredoedd da yn bwnc bywyd genym ni; ni fynwn mo honyn' nhw." Yna, dyna ef yn estyn ei law allan, ac fel pe buasai yn eu dal ynddi, yn troi ei olwg o gylch y dorf,

ac yn gwaeddi â nerth uchaf ei lais: "Pwy a'u cymer nhw? Pwy a'u cymer nhw? Pwy a'u cymer nhw?"

Ond ar darawiad, dyna ei natur yn cyffroi, ei lygaid yn melltenu; dyna ryw ysgogiad rhyfedd arno ei hunan; dyna ef yn troi ei wyneb at ei ochr aswy, ac mewn llais lled isel, ond eto i'w glywed gan yr holl dorf, yn dywedyd: "Braidd na chlywn i y cythraul wrth fy mhenelin i, yn dywedyd: '*Tarewch nhw i'mi, mi cym'ra i nhw!*'" Yna, dyna ef yn codi ei lygaid i fyny, ac â golwg sobr, ddifrifol ofnadwy arno, yn edrych o'i amgylch ar y gynulleidfa, ac am tua chwarter mynyd heb ddywedyd gair. Ond y mae yn troi eto at ei ochr aswy, a chan ysgwyd bys blaenaf ei law ddehau at ei benelin, unwaith, dwywaith, teirgwaith, yn gwaeddi gyda nerth mawr, nes y mae ei lais yn diaspedain trwy y dorf: "Yr oeddwn i yn myned i ddweyd, ddiawl, y cait ti nhw; ond," gan godi ei olygon, a thaflu ei law i fyny i'r nefoedd, a chyda llais buddugoliaethus, tyner, yn llefain, "mi glywaf Iesu yn gwaeddi: 'Mi cym'ra i nhw; mi cym'ra i nhw; mi cym'ra i nhw; yn aflan i'w golchi, yn feddwon i'w sobri; yn eu holl fudreddi i'w glanhau â'm gwaed fy hun.'" Erbyn hyn, yr oedd yno olygfa hynod. Yr oedd y pregethwyr ar yr esgynlawr fel wedi dyrysu. Yr oedd y dorf fawr yn un berw drwyddi, a'r effeithiau y fath fel yr oedd llawer wedi tori allan i hwyliau gorfoleddus. Dywed Dr. Thomas fod yr effeithiau y fath fel y dyfethwyd gweddill cyfarfod y boreu hwnw; ac yn wir, y gweddill o'r Gymanfa, yn hollol, hyd nes yr aeth efe ei hunan i bregethu yn ddiweddaf yn y capel yn yr hwyr. Ei destun oedd, Ioan iii. 15, a chafodd un o odfaeon rhyfeddaf ei oes. Rhaid fod ei ddychymyg yn gryf, ac yn nodedig o gyflym, a dylanwad ei areithyddiaeth yn ddigyffelyb.

ELIAS FEL ARWEINYDD EI GYFUNDEB.

Yr ydym wedi crybwyll yn flaenorol mai efe a fu arweinydd y Cyfundeb Methodistaidd, o leiaf yn Ngwynedd, o farwolaeth Mr. Charles hyd ddydd ei farwolaeth ef ei hun. Nid ymwthio i'r deyrngadair a wnaeth; daeth i'w ran yn naturiol, fel ffrwyth ei lafur, ei ddawn, a'i ddylanwad. A rhaid i bawb addef y meddai, mewn helaethrwydd, y prif gymhwysderau anhebgor mewn arweinydd. Meddai syniadau clir yn wastad; nid oedd un amser yn ddau-ddyblyg ei feddwl, fel ag i beri iddo fod yn anwastad yn ei ffyrdd. Gwyddai at beth yr amcanai, a thrwy ba foddion y bwriadai ei gyrhaedd. Nid ydym am honi ei fod yn ddieithriad yn gywir yn ei farn; priodoli iddo berffeithrwydd goruwchddynol fyddai taeru hyny; nid ydym ychwaith am honi ei fod yn gweled yn ddyfnach ac yn mhellach na rhai eraill o'i gydweinidogion. Ond, cam neu gymhwys, byddai ei farn ef yn benderfynol a dibetrus; a thrwy yni ei ewyllys ef y dygwyd oddiamgylch rai o brif symudiadau y Cyfundeb. Efe, yn benaf, oedd wrth wraidd y symudiad i gael *Cyffes Ffydd* i'r Cyfundeb, yn gystal a chael Gweithred Gyfansoddiadol.

Yr oedd ganddo lygad craff i adwaen ac i werthfawrogi dynion ieuainc addawol. Dyma un o brif anhebgorion arweinydd, a dywedir fod y diweddar Iarll Beaconsfield yn ei feddu mewn cyflawnder mawr. O leiaf, yr oedd yn feddiant i Mr. Elias. Cawsai ei gyhoeddi i bregethu yn Meddgelert unwaith; yn fuan wedi iddo gyrhaedd y lle, clywodd fod Mr. John Jones, Talsarn, yno, newydd gael ei dderbyn yn aelod o'r Cyfarfod Misol; a pharodd i'r blaenoriaid ei osod i bregethu gydag ef. Cafodd Mr. Jones odfa annghyffredin. Ac meddai Mr. Elias yn nhŷ y capel, ar ol i John Jones gychwyn tua'i gartref, yn Nolyddelen: "Mi a deimlais, wrth ei glywed yn gweddïo, fod rhywbeth anghyffredin ynddo; ond can gynted ag y dechreuodd bregethu, mi a welais ar unwaith ein bod wedi cael pregethwr gan Dduw. Y mae, mewn gwirionedd, yn ŵr ieuanc, anghyffredin iawn, a gobeithio y ceidw y nefoedd ef." Pan aeth Mr. John Jones ar daith gyntaf i Sir Fôn, dechreu y flwyddyn 1825, clywai y Parch. John Elias y cyhoeddwr yn Nghaergybi yn dywedyd y byddai John Jones, o Sir Gaernarfon, yn pregethu yno y Sul canlynol am ddau ac am chwech. Gyda ei fod wedi darfod, dyma Mr. Elias ar ei draed. "Fyddaf fi byth," meddai, "yn arfer dweyd dim yn gyhoeddus, cyn eu dyfodiad, am y brodyr dyeithr a fyddant yn ymweled â'n gwlad. Yn wir, yr wyf yn fwriadol wedi arfer peidio, rhag creu rhyw ddysgwyliadau eill wedi hyny gael eu siomi, ac felly peri i'r gŵr dyeithr a'r gwrandawyr fwy o niwed nag o les. Ond yr wyf yn meddwl fod y gŵr a gyhoeddwyd i fod yma y Sabbath nesaf y fath ag i'm cyfiawnhau am adael fy arfer braidd bob amser hyd yma o'r neilldu. Y mae llawer John Jones yn Sir Gaernarfon; y mae yno

fwy nag un John Jones yn bregethwr; ond mi fyddai yn dda genyf i chwi ddeall mai nid rhyw John Jones cyffredin ydyw y brawd a gyhoeddwyd. Mi gefais i gyfleustra, er ys tua dwy flynedd bellach, i wrando arno yn pregethu ryw noswaith yn Meddgelert, yn Sir Gaernarfon. Fe fynai y gŵr ieuanc, yn wylaidd iawn, beidio pregethu, a thrwy gryn drafferth y cafwyd ganddo ddywedyd dim. Ond yr oeddwn i wedi clywed rhyw son am dano, ac yn dra awyddus i'w wrando, ac fe lwyddwyd o'r diwedd i gael ganddo gydsynio. Mi a deimlais ar unwaith fod yno rywbeth newydd, a nerthol, a gwerthfawr iawn yn ei ddawn. Bu agos iddo bregethu hyny o bregeth oedd genyf fi allan o'm meddwl. Ni theimlais braidd erioed yn fwy anhawdd cyfodi i fyny ar ol neb." Ac yna fe derfynodd y cyfarchiad yn ei ddull effeithiol ei hunan: "*Mae yn dda genyf fi fod y ddaear i nghuddio i, o olwg y pregethwyr y mae yr Arglwydd ar godi.*"

Y tro cyntaf iddo wrando ar y Parch. Henry Rees oedd yn Nghymdeithasfa Dolgellau, Hydref, 1822. Testun Mr. Rees oedd, Nehemiah iii. 5: "A cherllaw iddynt hwy y cyweiriodd y Tecoiaid, ond eu gwŷr mawr ni osodasant eu gwddf yn ngwasanaeth eu Harglwydd." Cafodd odfa nerthol iawn, ac argyhoeddwyd Mr. Elias ar unwaith fod pregethwr hynod wedi codi. Adroddai ei fab, Mr. John Jones, Tre'rgof, ei fod ef, a dau neu dri o ddynion ieuainc, yn Llanfechell, yn holi ei dad wedi iddo ddychwelyd adref o Ddolgellau pa fath Sassiwn oeddent wedi gael yno. "O," meddai yntau, "ni a gawsom Sassiwn hynod iawn. Yr oedd yno un gŵr ieuanc yn enwedig, nid llawer hŷn nag un o honoch chwithau, yn pregethu yn anarferol; ac yr wyf braidd yn meddwl na wyr yr un o honoch chwi fod y fath adnod yn y Beibl ag oedd ganddo yn destun; na wyddoch chwi ddim, beth bynag, pa le y mae hi." Yna, fe adroddodd y testun. "Ac nid oedd," meddai y mab, "yr un o honom yn gwybod." Ar ol ychydig siarad am y bregeth, ychwanegodd Mr. Elias: "Dyna y pregethwr i Gymru!" Ac yr oedd, cyn gadael Dolgellau, wedi perswadio Mr. Rees i roddi cyhoeddiad trwy Sir Fôn. Efallai ei fod yn cofio am Ebenezer Morris yn taro arno ef, ac yn ei berswadio, pan yn ŵr ieuanc iawn, i roddi taith trwy y Deheudir. Modd bynag, yr oedd y gallu hwn i werthfawrogi pregethwyr ieuainc galluog, yn gymhwysder mawr yn Mr. Elias i arwain.

Gosodai bwys mawr ar addysg y weinidogaeth. Er iddo ef gael ei rwystro gan hen frodyr Sir Gaernarfon i fyned i'r ysgol yn Manchester, llafuriodd bron tuhwnt i'w allu i wneyd y diffyg i fyny, a bu yn gefnogwr zêlog i addysg pregethwyr hyd ei fedd. Efe, mewn undeb â Mr. Charles, oedd y cyntaf i feddwl am gael athrofa i addysgu dynion ieuainc a'u hwyneb ar y pwlpud. Cafodd afael ar ddyn ieuanc, o'r enw Owen Williams, o Lanrwst, yn meddu talentau dysglaer, ac â dawn arbenig i ddysgu ieithoedd. Yr oedd hefyd yn nodedig am ei grefydd a'i dduwiolfrydedd. Trwy ymdrechion Mr. Elias, anfonwyd y gŵr ieuanc hwn i'r athrofa yn Cheshunt, ger Llundain, fel y byddai iddo, pan ddychwelai, addysgu ei gydbregethwyr. Mewn araeth, o blaid athrofa y Bala, yn Nghyfarfod Misol Môn, gwnai y Parch. Henry Rees y sylwadau canlynol: "Peidiwch meddwl mai rwan y dechreuodd yr awydd am amaethu meddyliau y pregethwyr ieuainc. Bum yn ymddiddan âg un a fu yn cydfyw a'r diweddar Mr. Charles, o'r Bala, a dywedai fod y peth yn pwyso yn dra dwys ar ei feddwl ef, yn enwedig ar ol i ordeinio ddyfod i'r capel; galarai yn fawr na ellid cael rhyw gynllun i ddwyn y pregethwyr yn feddianol ar fwy o wybodaeth. A phwy oedd yn fwy zêlog am hyn na'r diweddar ac anwyl Feistr Elias? Yr ydwyf yn gwybod yn dda am dano fo fy hun. Yr ydwyf yn cofio mor ffyddlawn ydoedd am yru Mr. Owen Williams, o Lanrwst, i Lundain, i'w gymhwyso i fod yn athraw athrofa yn ein plith. Yr ydwyf yn cofio clywed am dano rywbryd yn myned trwy Amwythig i Lundain, pan oedd Mr. O. Williams yno; ac wrth son mewn rhyw deulu am ei athrylith a'i ddysg, dywedai yr ewyllysiai ef iddo aros yn Llundain, nes llyncu pob dyferyn o wybodaeth oedd ynddi. Fe ddywedwyd hyn mewn rhyw deulu ag yr oedd un rhan o hono yn bleidiol i Fethodistiaeth, a'r rhan arall yn ei herbyn, ac yn dra diystyrllyd o honynt; ac meddai un o honynt: '*There is a Welshman's ambition, wanting him to stay in London till he swallows every drop of knowledge that is there!*'" Yn anffodus, bu Owen Williams farw cyn gadael Llundain, a dywedai rhai wrth Mr. Elias mai arwydd o anfoddlonrwydd Duw i amcan y Corph oedd ei farwolaeth. "Na," ebai yntau, "ond ein profi y mae Duw i edrych beth a ddaliwn ni; ein

dyledswydd ni yw chwilio am un arall can gynted ag y gallom."

Yn gyffelyb y bu gyda Mr. Evan Rowlands, Liverpool, gŵr ieuanc a gawsai bob manteision addysg o'i ieuenctyd, ac a fuasai am ddwy flynedd yn Ngholeg Belfast. Mawr awyddai Mr. Elias ei weled yn ymgyflwyno i'r weinidogaeth, ac yn sefydlu athrofa i bregethwyr dan nawdd y Cyfundeb. Yn y flwyddyn 1827, dygodd y peth gerbron Cymdeithasfa y Bala, gan ddadleu yn egniol o'i blaid. Cafodd bob cefnogaeth gan amryw o'r rhai mwyaf blaenllaw; ond am eraill, arswydent rhag y cyfryw sefydliad, am eu bod yn ofni y collai y pregethwyr ynddo rywbeth mwy eu gwerth na'r hyn a enillent. Ebai un hen frawd: "Y mae rhai o'n pregethwyr eisioes yn lled sychfoneddig. Y maent yn bur debyg i'r modd y mae yn ein gwlad ni y dyddiau hyn; pan eir i chwilio am seiri coed i wneyd llidiardau, er mwyn cadw yr anifeiliaid o'r ŷd, nid oes yr un saer i'w gael, canys y maent oll wedi troi i fod yn *cabinet makers;* nid oes neb yn foddlon ymostwng i wneyd gwaith bras y ffermwyr. Yr wyf yn ofni mai yn gyffelyb yr effeithiai yr athrofa ar ein pregethwyr ieuainc ninau." Eithr er y gwrthwynebiad, penodwyd pwyllgor i ddwyn yr amcan yn mlaen, a chyhoeddwyd cylchlythyrau; ond rywsut, erthylu a wnaeth y peth y pryd hwnw. Ac yn fuan bu Mr. Evan Rowlands farw, yn ŵr ieuanc 23 oed, gan adael ar ei ol dystiolaeth dda. Eithr er cael ei siomi fel hyn dro ar ol tro, ni chollodd Mr. Elias ei olwg ar y syniad o gael athrofa i'r Cyfundeb; a phan y darfu i'r Parch. Lewis Edwards, wedi hyny Dr. Edwards, a'r Parch. David Charles, B.A., wedi hyny Dr. Charles, agor ysgol i bregethwyr yn y Bala, nid oedd neb yn fwy pleidiol iddynt nag efe, a bu yn gefnogydd zêlog i'r athrofa tra y bu byw.

Yr oedd ei wyliadwriaeth dros yr achos yn fanwl ac aiddgar. Mawr ofnai rhag i athrawiaethau gau, neu ddylanwadau annheilwng, ddyfod i mewn. Yr oedd diwygiadau nerthol mewn rhanau o Sir Gaernarfon, yn y flwyddyn 1819, ac mewn ymddiddan am hyny yn Llangristiolus, y boreu Sabbath cyn Cymdeithasfa Llangefni, dywedai Mrs. Elias: "Gwyn fyd na chaem ninau beth o'r tân sydd yn Sir Gaernarfon i'n Cymanfa.' Atebai yntau ar unwaith: "Ni waeth i ni heb ei gael oddiyno; rhaid i ni ei gael o'r nefoedd, ac yna fe welir ei ôl ar wrandawyr celyd Sir Fôn." Mewn Cymdeithasfa unwaith, wrth anog y pregethwyr i ddibynu am gymhorth dwyfol, dywedai: "Darfu i frenhin ryw dro anfon cenhadwr at ryfelwr enwog i edrych ar ei gleddyf, am ei fod wedi cyflawni llawer o weithredoedd nerthol. Y caniatad a gafodd, ond meddai yr hen ryfelwr wrtho: 'Dyna y cledd, ond dywedwch wrth eich brenhin na byddai y cleddyf ei hun o ddim lles iddo, oddieithr hefyd iddo gael y fraich oedd yn ei drin.'" Ofnai yn fawr, tua diwedd ei oes, rhag fod crefydd yn gwaelu yn y tir. Yn Nghymdeithasfa y Bala, yn y flwyddyn 1836, pregethai yn hynod effeithiol oddiar Salm lxxvii. 5: "Ystyriais y dyddiau gynt, blynyddoedd yr hen oesoedd." Yn mysg pethau eraill dywedai, y gallai llawer, nad oeddynt yn gydnabyddus âg amserau gwell, dybio fod pob peth yn dda iawn, ac nad oedd eisiau dim rhagorach. "Ar sylfaeniad yr hen deml," meddai, "yr ydym yn darllen fod yno rai mor llawen, fel yr oeddent yn dyrchafu eu llef mewn bloedd gorfoledd, tra yr oedd eraill yn wylo ag wylofain mawr. Yr oedd y bobl ieuainc, y rhai nad oeddent wedi gweled y deml gyntaf, yn teimlo yn ddedwydd, yn curo eu dwylaw, yn llawenhau, ac yn gorfoleddu gyda bloeddiadau uchel: 'Ho!' meddent, 'ni a gawn deml heb ei bath; welwch chwi y meini hardd sydd oddiamgylch; fe fydd yma furiau gorwych, ac addurniadau prydferth, a phob peth yn y modd goreu!' Ond dacw hen offeiriad yn dyfod heibio, a'i wallt llaes, a'i farf wen, a'i lygaid fel dwy ffynhon yn arllwys dagrau heilltion yn ddidor. 'Paham,' meddai rhai o'r gwŷr ieuainc wrtho, 'yr wylwch chwi ar y fath amser a hwn? Adeg gorfoledd ydyw heddyw. Dyma bob peth yn dda; ni a gawn deml ardderchog.' 'Ah, fechgyn!' ebai yr hen offeiriad, 'yr ydwyf fi yn cofio y deml gyntaf, ac ni ddaw hon byth yn debyg i hono.' 'Wel, dyma'r meini, a dyma'r seiri; ac fe geir pob peth arall sydd yn eisiau; ac y mae aur ac arian filoedd wedi eu hoffrymu at y gwaith.' 'Ië, fechgyn bach, ond pa le y mae arch y cyfamod? pa le y mae y llechau sanctaidd? pa le y mae y crochan aur a'r manna ynddo? pa le y mae y cerubiaid? a mwy na'r cwbl, pa le y mae y Shecinah? Yr oedd y *gogoniant* yn yr hen deml, pa le y mae hwnw yn awr? Nid oes fodd i mi beidio wylo, ac fe fuasech chwithau yn wylo pe gwelech y pethau a welais i.' O Arglwydd, ai dyna fel y mae

gyda ninau yn Nhgymru y dyddiau hyn? Ai digon genym gynulliadau mawrion, a'r pregethu trefnus, y canu celfydd, a'r addurniadau allanol lliosog a gwerthfawr? A ydyw y gogoniant yn amlwg? Gwelsom cyn hyn bethau rhyfedd ac ofnadwy ar *Green* y Bala; ond ai nid oes lle genym i arswydo rhag ein bod, erbyn hyn, wedi ein gadael i ni ein hunain, a'n Duw yn ymguddio?" A ydoedd Mr. Elias yn amlygu, yn y sylwadau uchod, ryw gymaint o'r duedd sydd mewn pobl oedranus, i dybio fod pob peth yn cyflym waethygu, nis gwyddom; ond dangosant mor glir a'r haul ei fod yn sefyll ar dŵr gwyliadwriaeth yn ffyddlon, ac yn rhybuddio ei gydwladwyr gyda phob gonestrwydd.

Adroddai gweinidog perthynol i'r Bedyddwyr, mai un o'r pethau mwyaf grymus a wrandawodd erioed oedd cyfarchiad Mr. Elias mewn "seiat pregethwyr," y cafodd efe fod yn bresenol ynddi, mewn rhyw Sassiwn. Cymerai Mr. Elias olwg bruddaidd iawn ar gyflwr y weinidogaeth ar y pryd, ac ofnai rhag i'r pregethu fyned yn ddieffaith. Dywedai iddo ef fyned unwaith i letya i dŷ mawr; yr oedd yr hîn ar y pryd yn hynod o boeth; agorwyd drws ystafell iddo; a'r peth cyntaf a welodd yn mhen pellaf yr ystafell ar ei gyfer oedd tân mawr a dysglaer. Gwnaeth yr olwg ar y tân ar dywydd mor wresog iddo deimlo mor annghysurus, fel y bu agos iddo droi yn ol oddiar y trothwy. Ond i mewn i'r ystafell yr aeth, ac erbyn iddo fyned yn mlaen, teimlodd ar unwaith nad oedd y tân mawr yn gwresogi y lle o gwbl. Ni fedrai ddeall y dirgelwch, ac aeth yn mlaen yn mhellach. Yna, darganfyddodd nad oedd yno ond llun tân wedi ei wneuthur o ryw ddarpariaeth o *phosphorus*. Yr oedd llun yr eirias yno, ond dim gwres; yr oedd yno ffurf fflamau, ond nid oedd y fflamau yn llosgi; ac erbyn edrych yn fanylach gwelai fod y prif gopyn wedi dewis y lle fel man cyfleus iddo ef i wylio a dal ei ysglyfaeth, a'i fod eisioes wedi dechreu gwau ei rwydau rhwng y tewynion, ac ar draws y fflamau. Oddiwrth y gymhariaeth hon tynodd Mr. Elias un o'r darluniau mwyaf ofnadwy o bregethu diddylanwad, ac o gynulliadau crefyddol heb yr Yspryd Glân ynddynt, y rhai y byddai y diafol yn eu defnyddio i rwydo a dal dynion, cynulliadau a fyddent yn achles i lygredigaeth, ac nid yn foddion i'w ladd. Arswydai rhag i'w bregethu ef a'i frodyr oeddynt yn bresenol fod yn ddim ond ffurfiau oerion, heb ganddynt ond llun y peth oedd yn ngweinidogaeth y tadau. O'r holl wylwyr ffyddlon a fu gan Dduw ar y mur, ni fu erioed ffyddlonach y Parch. John Elias.

Meddianai wroldeb llew i gario allan argyhoeddiadau ei gydwybod. O hyn, nodwn un engrhaifft yn unig. Aethai llong yn rhwym i Liverpool, ac yn llwythog o gotwm a dybaco, yn ddrylliau ar y creigiau ger Caergybi. Golchwyd cryn swm o'r nwyddau hyn i'r lan gan y môr, a chan yr ystyriai y trigolion mai eu heiddo hwy oedd yspail y tònau, ni fuont yn ol o wneyd y goreu o'r cyfleustra. Yn y peth hwn ni ragorai proffeswyr crefydd ar eraill; a daeth cwyn i Gyfarfod Misol Môn fod y rhan fwyaf o'r aelodau yn Nghaergybi, os nad yr oll o honynt, yn wir, wedi cyfranogi o'r yspail annghyfreithlon. Anfonwyd Mr. Elias, a nifer o frodyr eraill, yno, i wneyd ymchwiliad i'r cyhuddiad, gyda llawn awdurdod i weithredu yn y modd y gwelent yn oreu. Yno yr aeth, ac wedi ymchwil cafodd fod pob aelod, i fesur mwy neu lai, yn euog o'r trosedd. Mewn canlyniad, wedi dangos iddynt erchylldra eu hymddygiad yn oleu ac yn nerthol, efe a ddiarddelodd yr holl eglwys, yn swyddogion ac yn aelodau, gan orchymyn iddynt fyned allan ar unwaith. Nid oedd nerth ynddynt hwythau i anufuddhau, ac allan yr aeth pawb. Gwnaeth yntau drefniadau gyda y brodyr eraill i ofalu am y weinidogaeth yno am fis. Yn mysg y rhai a gawsent eu diarddel yr oedd Mr. a Mrs. Jones, gyda pha rai yr arferai letya. Ond y noson hono nid oedd Methodist yn Nghaergybi a gymerai Mr. Elias i'w dŷ. Eithr wedi cyrhaedd gartref, calon Mr. Jones a'i tarawodd, ac anfonodd ei fab-yn-nghyfraith yn ol i edrych am dano. Cafodd hwnw ef yn eistedd yn y capel wrtho ei hun. Gofynodd iddo yn mha le y bwriadai letya y noswaith hono. Atebodd yntau nas gwyddai. Dywedodd y gŵr ieuanc wrtho fod ei dad-yn-nghyfraith wedi ei anfon i'w gyrchu i'w lety arferol. Ar hyn siriolodd Mr. Elias trwyddo; a chwedi cyrhaedd y tŷ braidd nad oedd ei letywyr yn fwy caredig nag arfer, gan eu bod yn teimlo ei fod wedi gweithredu yn hollol gydwybodol, ac wrth wneyd hyny wedi gosod trais ar ei deimladau. Yn mhen tua mis derbyniwyd yr oll yn ol, ar eu cydnabyddiaeth o'u bai, a'u proffes o edifeirwch; a rhoddodd hyn derfyn ar yspeilio yr hyn a gaffai ei daflu i fynu gan y môr.

Yr oedd o ymddygiad hynod o foneddigaidd. Yn y tai yn mha rai y lletyai cydnabyddai y gwasanaethyddion yn y modd mwyaf caredig. Gwobrwyai yr *ostler*, a phawb fyddai yn gweini arno. Medrai droi yn mysg boneddigion, pan ddeuai hyny i'w ran, heb golli ei hunan-barch, na rhoddi tramgwydd. Adroddai y Parch. William Evans, Tonyrefail, am dano, ei fod unwaith ar daith yn Sir Forganwg, ac yn lletya yn nhŷ boneddwr na pherthynai i'r Methodistiaid, ond oedd yn ŵr gwir grefyddol. Yr oedd y boneddwr wedi ei ganlyn o'r naill fan i'r llall am rai dyddiau. Wrth ymadael, dywedai y gŵr bonheddig: "Mr. Elias, yr wyf wedi bod yn eich cymdeithas am amryw ddiwrnodau, ac wedi cael lles i'm henaid trwy eich pregethau, eich gweddïau, a'ch ymddiddanion, a byddai yn dda genyf gael dangos i chwi arwydd bychan o'm parch." Yna agorai ei law, gan ddangos ei llonaid o *sovereigns*, ac ychwanegai: "A wnewch chwi beidio digio am fy mod yn cynyg y rhai hyn i chwi, a'u derbyn yn garedig yn yr un yspryd ag y maent yn cael eu rhoddi?" Ebai Mr. Elias yn ol: "Gyda phob dyledus barch i chwi, syr, nis gallaf mewn un modd dderbyn y fath swm; ni byddai yn deilwng ynof fel gweinidog Iesu Grist; ond er mwyn cydnabod eich haelioni, a dangos fy mod yn gwerthfawrogi eich teimlad da, mi a gymeraf un bunt, yn y modd mwyaf diolchgar." Felly y bu; a darfu i'r gwrthodiad ychwanegu parch y boneddwr iddo.

Ar yr un pryd nid ydym am ei osod allan, yn y cysylltiad o arweinydd mwy na chysylltiadau eraill, fel gŵr perffaith; na, "Elias yntau oedd ddyn," ac fel y cyfryw yn ddarostyngedig i wendidau. Un o'r cyfryw ydoedd ei fod yn rhy barod i gymeryd ei dwyllo, a'i gamarwain, gan rywrai ffug-grefyddol, y rhai a ddygent gyhuddiadau yn erbyn eu brodyr. Bu rhai yn Sir Fflint yn euog droiau o enyn ei lid yn erbyn y diniwed. Deuent ato, gan ddangos mawr ofal dros burdeb yr athrawiaeth, a chymerent arnynt ofidio oblegyd fod pregethwyr enwog, a enwent, yn cyfeiliorni oddiwrth y ffydd. Byddai yntau, mewn canlyniad, yn nghyfarfodydd preifat y Gymdeithasfa, yn ymosod ar y pregethwyr hyny yn enbyd, ac yn aml yn gwbl ddiachos. Yn wir, y diwrnod cyn yr anffawd iddo ar ei ffordd i bregethu yn Nghymdeithasfa y Bala, cludasai rhywrai iddo ddrygair am ei frodyr, ac yr oedd yntau wedi penderfynu galw y brodyr hyny i gyfrif yn y cyfarfod preifat, fel yr ystyriai Mr. John Davies y ddamwain, fel cyfryngiad rhagluniaethol i'w atal. Meddai Mr. Davies: "Yr oedd dau ŵr o Swydd —— wedi bod gydag ef y diwrnod cyn i'r anffawd hwn ddygwydd, yn hysbysu iddo fod amryw o bregethwyr y sir hono yn gwyro oddiwrth athrawiaeth y Corph, yr hyn a barodd anesmwythdra a gofid mawr i'w feddwl. Ond fy marn i ydyw, ddarfod i'n diweddar gyfaill gael ei dwyllo yn gywilyddus y tro hwn hefyd, megys y cawsai lawer gwaith o'r blaen, gan ddynion yn ceisio dyrchafu eu hunain trwy ddarostwng eraill."

Wedi cael ei arwain i ddrwgdybio ei frodyr, nid bob amser y gwnelai chwareu teg â'u syniadau. Cyfeiria Dr. O. Thomas ato yn nglyn â Chymdeithasfa y Bala, yn y flwyddyn 1835. Yr oedd y Parch. John Jones, Talsarn, wedi cael odfa nerthol y prydnhawn cyntaf wrth bregethu ar Ioan vi. 44. Dyna y pryd y defnyddiodd y gymhariaeth am y llyngesydd yn cael gorchymyn gan y llywodraeth i ddwyn y llynges adref i Loegr, o rywle yn Môr y Canoldir. "'Does neb o honoch yn dychymygu," meddai, "fod y llywodraeth yn dysgwyl i'r *admiral* a'i wŷr gario y llongau ar eu cefnau. Na, yr hyn a ddysgwylir iddynt yw defnyddio y moddion priodol i gael y llongau adref; codi yr angorau, lledu yr hwyliau i'r gwynt, cyfeirio y llongau i'r dwfr, a llywio yn briodol, gan adael i'r gwynt a'r hen fôr eu cludo i Loegr. Felly, 'mhobl i, y mae yr Arglwydd yn yr efengyl yn galw arnoch chwithau i edifarhau, ac i gredu, ac i fyw yn dduwiol. Nid yw yn dysgwyl i chwi wneuthur hyny yn eich nerth eich hunain. Na, yr hyn y mae ef yn ddysgwyl yw, ar i chwi osod eich hunain yn y ffurf fwyaf fanteisiol i'w nerthoedd anfeidrol ef weithredu arnoch. Gwthia dy lestr ar fôr haeddiant y Gwaredwr; cyfod hwyl gweddi; llywia yn deg wrth gwmpas gair y gwirionedd, a dysgwyl yn ffyddiog am yr awelon nefol, a thi a gei dy hunan ryw ddiwrnod yn yr hafan ddymunol. 'Ond,' ebai rhywun, 'beth fedra i wneyd? Fedra i ddim credu.' Fedri di ddim darllen? Agor y Beibl, tyn dy feddwl i gyfarfyddiad â'r dystiolaeth am yr Iesu, a gofyn am oleuni yr Yspryd Glân. 'Ond fedra i ddim gweddïo.' Enaid anwyl, fedri di dreio? Fedri di roddi dy liniau i lawr? A oes cymal yn y glin yna? A wneiff o

blygu? Da mhobl i, treiwch yn deg am iachawdwriaeth. Peidiwch myned i uffern ar eich hunion, boed a fyddo. Yn wirionedd i; yr wyf fi wedi penderfynu er ys blynyddoedd nad af fi ddim yno rhag blaen. Mi ymdrof gryn lawer tua gardd *Gethsemane;* mi *roundiaf* yn aml o gwmpas bryn Calfaria; mi dreiaf orseddfainc y gras bob dydd o'm bywyd. Mi fyddaf yn ddifai i uffern wedi gwneyd fy ngoreu y ffordd yma i gyrhaedd y nefoedd. Ond bendigedig fyddo Duw, nid y ffordd i uffern mo honi; y mae genym bob sicrwydd mai dyma y ffordd i'r nefoedd." Yr oedd y gynulleidfa fawr yn ei law, ac amenau filoedd yn esgyn i fynu pan y gofynai ar i'r Arglwydd enill y bobl i dreio yn deg am eu bywyd. Yr oedd golwg ryfedd ar Mr. Ebenezer Richard yn gwrando. Wylai fel plentyn; rhedai y dagrau mawr gloywon yn ffrydiau dros ei ruddiau, ac yr oedd ei amen gynhes yn esgyn i fynu cyfuwch ag eiddo neb.

Ond prin yr oedd Mr. Elias yn ymddangos fel yn cael ei foddio; edrychai yn hytrach fel pe yn methu gwybod beth i'w feddwl o'r fath athrawiaeth. Yn nghyfarfod y pregethwyr a'r blaenoriaid, am wyth o'r gloch dranoeth, y pwnc â pha un yr ymdrinid oedd, gwaith achubol yr Yspryd Glân. Yn y man cafodd y Parch. John Jones ei alw i siarad. Sylwai yntau fod Yspryd Duw yn gweithredu yn gyson â deddfau naturiol meddwl dyn. Pan y bydd arnom ni eisiau newid teimlad rhywun, tuag at unrhyw beth, yr unig ffordd i wneyd hyny yw trwy newid ei feddwl am dano; cyflwyno y gwrthddrych mewn gwedd fyddo yn peri iddo synio yn wahanol am dano. "Yr un modd," meddai, "y mae Yspryd Duw yn gweithredu er cyfnewid pechadur, a'i ddwyn i feddwl yn fawr am Iesu Grist, y mae yn gollwng goleuni newydd i mewn i'w feddwl. Y mae yr Yspryd yn deall fod cymaint o ddrwg mewn pechod, nad oes eisiau ond i'r dyn ei adnabod yn iawn, er dyfod i'w gashau; cymaint o berygl mewn cyflwr drwg, fel nad oes eisiau ond ei weled, er cynyrchu pryder am gael gwaredigaeth oddiwrtho; cymaint o addasrwydd a gwerth a gogoniant yn Mab Duw fel Gwaredwr, fel nad oes eisiau ond cael golwg arno, er sugno y galon ar ei ol, ac enill y meddwl i ymddiried ynddo."

Can gynted ag y darfu i Mr. John Jones eistedd dyma Mr. Elias ar ei draed, ac meddai mewn cyffro: "Er mwyn pob peth, frodyr anwyl, gochelwn y tir hwn. Y mae tai ein cymydogion yn myned ar dân, ac y mae rhai o'r gwreichion yn disgyn ar ben ein tai ninau. Peidiwn byth a dychymygu y gwna dim goleu, pa mor gryf bynag yn y deall, gyfnewid ansawdd y galon. Am a wn i, nad oes goleu angel yn neall y diafol, ond calon cythraul sydd ganddo wedi y cwbl." Llefarai yn gryf ac yn nerthol; nid oedd nemawr gwahaniaeth rhyngddo ef ychwaith a'r llefarwr blaenorol, ond fod y ddau yn edrych ar y mater o wahanol safleoedd; eithr yr oedd wedi colli ei dymher, ac yn siarad yn llawer rhy gyffrous a gerwin. Darfu i'w eiriau gynyrchu teimlad hynod o anhapus yn y cyfarfod. Eithr cyn i neb gael cyfle i gynyg ateb, wele y Parch. Ebenezer Richard yn codi, ac meddai mewn dull tra awdurdodol: "Os ydym am gael Yspryd Duw i weithio i'n plith, rhaid i ni ofalu am ein hysprydoedd ein hunain. Y mae pob terfysg a chynhwrf yn groes iawn i'w natur ef, ac yn ei anfoddloni yn fawr. Un hawdd iawn ei dychryn yw y golomen. Nid oes dim yn blino y golomen nefol yn fwy na chynenau, gwynfydau, ymrysonau, a'r pethau sydd yn tueddu at hyny. Y mae zêl yn werthfawr iawn, ond fe aiff yn gwbl ddiwerth yn ngolwg y nefoedd os collwn ni yr iawn yspryd. 'Ni wyddoch o ba yspryd yr ydych,' ebai'n Harglwydd wrth ryw ddysgyblion zêlog, a fynent ddwyn tân o'r nef i ddifa rhyw rai a ymddygent yn anngharedig ato. 'Fe wnaeth Elias felly.' Do, do, ond nid yn eich yspryd chwi. Twymno dros eu Meistr yr oeddent hwy; ac yr oedd yn iawn iddynt dwymno; nid oedd eu teimlad cynhes ato mewn un modd yn annghymeradwy ganddo; ond yr oedd yn gwgu ar yr yspryd oedd yn rhoddi y cyfeiriad i'w heiddigedd. Rhaid i ninau ofalu, hyd yn nod wrth amddiffyn gwirionedd yr efengyl, na byddom dan lywodraeth unrhyw yspryd a wna ein holl zêl yn annerbyniol gan y Meistr mawr." Teimlodd pawb, a theimlodd Mr. Elias yn ddiau, fin y sylwadau, ac yr oedd yn ddigon duwiol a gostyngedig i oddef y cerydd. Terfynodd y cyfarfod mewn tangnefedd hollol. Ond gwasanaetha yr hanes i ddangos nad oedd Mr. Elias heb ei ddiffygion fel arweinydd y Cyfundeb.

Efallai hefyd y tueddai weithiau at draawdurdod. Braidd nad oedd yn myned y tuhwnt i'w hawl, pan yn anfon llythyr at

eglwys Jewin Crescent, Llundain, yn gorchymyn diarddel y rhai oeddent wedi anfon deiseb o blaid Rhyddfreiniad y Pabyddion. Rhaid addef, ar yr un pryd, fod y llythyr hwn wedi cael ei gamesbonio yn enbyd. Er fod Mr. Elias yn gryf yn erbyn i'r Pabyddion gael cyflawn freintiau dinasyddion, a'i fod yn edrych ar Fesur y Rhyddfreiniad fel cam tuag at osod Pabyddiaeth yn oruchaf yn Mhrydain drachefn, eto, nid deisebu o blaid y Mesur hwn oedd trosedd y rhai gafodd eu diarddel, ond gwneyd hyny yn enw yr eglwys, pan na wyddai yr eglwys am y peth o gwbl. Yr oedd yn eglwys Jewin Crescent ar y pryd amryw ddynion ieuainc yn meddu talent, yn hoff o lenyddiaeth, ond yn wylltion eu syniadau, a'u zêl dros yr hyn a ystyrient hwy yn rhyddid yn fynych yn rhedeg i ffwrdd â hwy. Cyfarfyddodd y rhai hyn, ac yn enw eglwys y Methodistiaid yn Llundain, anfonasant ddeiseb o blaid Rhyddfreiniad y Pabyddion. Dyma y cwestiwn oedd ar y pryd yn cynhyrfu y wlad; teimlai y Protestaniaid, fel rheol, yn gryf yn ei erbyn, nid oblegyd yr amheuent ei degwch ynddo ei hun, ond am yr ofnent y canlyniadau; a phan wnaed yn hysbys ddarfod i'r Methodistiaid Cymreig yn Llundain ddeisebu o'i blaid, aeth yn gyffro cyffredinol. Daeth hyn i sylw Mr. Elias wrth ddarllen hanes gweithrediadau Tŷ y Cyffredin. Mynodd wneyd ymchwiliad i'r mater ar unwaith; ac wedi cael allan fod rhywrai wedi bod yn euog o dwyll, ac wedi ffugio enw eglwys berthynol i'r Methodistiaid Calfinaidd wrth bapyrlen nas gwyddai yr eglwys hono am ei fodolaeth, gorchymynodd fod y cyfryw i gael eu diarddel. Geill wahanol farnau fodoli am y priodoldeb o ddiarddel y dynion ieuainc a nodwyd, ond eu bod i'w beio yn fawr sydd amlwg. Os darfu i fawr zêl Mr. Elias ei arwain ar gyfeiliorn yn y mater, gwelir hyny, nid yn gymaint yn y diarddeliad, ond yn y ffaith ei fod ef yn gorchymyn hyny, ac felly yn cymeryd arno ei hunan awdurdod sydd yn eiddo y Gymdeithasfa, neu y Cyfarfod Misol, ac nad yw yn perthyn yn ol y cyfansoddiad Methodistaidd i unrhyw weinidog unigol.

Efallai y gellid dod o hyd i ffaeleddau eraill yn Mr. Elias fel arweinydd y Cyfundeb, ond pa ddyben yw ychwanegu? Yr ydym wedi cofnodi y rhai blaenorol er mwyn tegwch hanesyddol, a rhag i neb dybio ein bod yn ceisio portreadu bod perffaith. Ar yr un pryd, rhaid addef ei fod yn arweinydd tra rhagorol; yn graff ei lygad, yn gyflym ei ganfyddiad, yn wrol ei yspryd, yn fawr ei zêl a'i ymroddiad, ac yn barod i aberthu pob peth er mwyn Crist. Nid oedd ei feiau ond brychau ar wyneb yr haul. Edrychent yn fwy oblegyd dysgleirdeb ei ragoriaethau.

ELIAS FEL YMNEILLDUWR.

Yn nechreu ei oes weinidogaethol ychydig o barch a feddai Mr. Elias i'r Eglwys Sefydledig. Gwelai ei chlerigwyr, lawer o honynt, yn anfoesol eu bucheddau, yn ddifater am gyflawni dyledswyddau eu swydd, ac yn llawn o yspryd erlid y rhai a geisient foesoli y wlad; ac o'r herwydd condemniai hwy yn fynych yn gyhoeddus mewn ymadroddion llymion. Dywedir iddo weithiau, oblegyd hyn, beri teimlad i Mr. Charles. Gwedi iddo, mewn Cymdeithasfa yn y Bala, alw gweinidogion yr Eglwys yn gwn mudion, &c., ysgrifenodd Mr. Charles lythyr cryf ato, yn ymliw âg ef oblegyd gerwinder ei iaith. Nis gwyddom â pha eiriau yr atebwyd ef gan Mr. Elias, ond credwn iddo dderbyn y cerydd mewn yspryd Cristionogol, oblegyd yr oedd ei barch i Mr. Charles yn ddiderfyn. Ar yr un pryd, am faith flynyddoedd, nid oedd nemawr cyfathrach rhyngddo â'r clerigwyr; casaent hwy ef, a chondemniai yntau hwythau.

Ond teg cyfaddef ddarfod i gyfnewidiad hollol gymeryd lle yn ei syniadau, a'i deimlad, yn mlynyddoedd olaf ei oes. Daeth i deimlo yn garedig at yr Eglwys, a thalai ei gweinidogion iddo yntau barch yn ymylu ar addoliad. Am hyn yr oedd amryw resymau. Un oedd, iddo ddyfod i gysylltiad â nifer o glerigwyr efengylaidd eu syniadau, yn arwain buchedd deilwng, ac yn pregethu yn effeithiol. Cyfarfyddai â'r rhai hyn ar esgynlawr cyfarfodydd y Feibl Gymdeithas, ac ar achlysuron eraill. Mewn canlyniad, magwyd gobaith ynddo y byddai i'r Eglwys gael ei lefeinio â gweinidogaeth y dynion hyn, ac y deuai eto yn allu ysprydol cryf. Gwylient hwythau ar bob cyfleustra i'w anrhydeddu ef, gan y mawrygent ei dalent, ei allu areithyddol dihafal, a thanbeidrwydd ei zêl. Ond efallai mai y prif foddion mewn dwyn y cyfnewidiad hwn o gwmpas oedd pasio Deddf Rhyddfreiniad y Pabyddion, yn y flwyddyn 1829. Nid oedd dim a ofnai Mr. Elias fel Pabyddiaeth. Darllenasai

am ei chreulonderau a'i herledigaethau; am ei gwaith yn cadw y Beibl oddiwrth y bobl gyffredin, yn gwerthu maddeuant pechodau am arian, ac yn aberthu saint y Goruchaf. Credai mai yr un oedd y grefydd Babaidd o hyd, nad oedd wedi newid dim ar ei natur, ac yr ail-gyneuai dânau Smithfield drachefn, pe y rhoddid iddi yr awdurdod a'r cyfleustra. Felly, yr oedd caniatau breintiau dinesig i'r Pabyddion, yn ei olwg ef, yn drosedd yn erbyn Crist, ac yn gam tuag at osod y Pab mewn awdurdod yn Mhrydain eto. Nid rhyfedd felly ei fod wedi cyffroi trwyddo wrth weled llawer o'r Ymneillduwyr yn bleidgar i'r Ddeddf. A rywsut, arweiniwyd ef i gredu mai yr unig wrthglawdd effeithiol yn erbyn Pabyddiaeth oedd yr Eglwys Sefydledig, a thybiai mai y ffordd i gadw gwirionedd yr efengyl yn y wlad oedd trwy gryfhau yr Eglwys. Derbyniai y *Record*, newyddiadur Eglwysyddol, yn gyson, ac ar y cyfan cymeradwyai ei syniadau. Ffurfiodd freuddwyd dysglaer am yr Eglwys Sefydledig wedi ail feddianu ei safle gyntefig, yn ffyddlon i'r efengyl, gyda ei hesgobion a'i chlerigwyr oll yn llafurio yn egniol o blaid y ffydd a rodded unwaith i'r saint.

Ond pan ar ei wely angau, torwyd ar ei freuddwyd gan gyfodiad Puseyaeth yn Rhydychain. Parodd hyn iddo drallod anaele, oblegyd gwelai y gwrthglawdd tybiedig yn erbyn Pabyddiaeth, mewn perygl o fyned yn Babyddol ei hun. Meddai: "Y mae y Puseyaid yn sicr o wneyd drwg! Duw yn unig a wyr beth fydd diwedd y pethau hyn." A phe buasai wedi cael byw i weled defodaeth eithafol ein dyddiau ni; y gyffesgell eto wedi cael lle oddifewn i furiau yr Eglwys, pregethu Crist wedi myned yn ddisylw ac arogldarthu wedi cymeryd ei le, yr offeiriad gweinyddol yn honi ei fod yn y cymun bendigaid yn offrymu gwir gorph ein Harglwydd, a llawer o Eglwyswyr yn awyddu am gyfathrach agosach â Rhufain, ac am gael eu hurddau wedi eu cyhoeddi yn gyfreithlon gan y Pab; pe buasai Mr. Elias, meddwn, wedi cael byw i weled y pethau hyn, buasai ei holl gydymdeimlad â'r Eglwys Sefydledig o angenrheidrwydd wedi darfod, ac y mae yn sicr genym y buasai ei zêl dros Ymneillduaeth yn cyneu yn fflam. Nid gwleidyddwr oedd efe, ond gweinidog i Grist, ac o'r safbwynt hwnw yr edrychai ar bob peth.

DYDDIAU DIWEDDAF ELIAS.

Y tro diweddaf y bu Mr. Elias yn y Deheudir oedd yn Nghymdeithasfa Aberystwyth, yn y flwyddyn 1837, ychydig ar ol marwolaeth ei hoff gyfaill, Ebenezer Richard. Yr oedd Sir Aberteifi mewn dwfn alar, a'i deimladau yntau yn dra drylliog. Treuliwyd un cyfarfod ar ei hyd mewn ymddiddan am symudiad Mr. Richard. Meddai Mr. Elias: "Fe dorwyd aelod yn agos i'r galon yma; dylai fod galar mawr, a theimlad dwys, yn Sir Aberteifi, canys yr ydym ni yn Sir Fôn draw, megys yn mlaen y bysedd, yn teimlo yr archoll yn fawr. Na ddigalonwch, fy mrodyr, er hyny; er i'r dewraf yn y sir syrthio, nid oes achos i'r gwaith sefyll. Ond na fydded i neb o honoch ymgais at lanw ei le mawr ef, na cheisio treiglo y maen a allasai efe ei dreiglo ei hun; ond ewch i gyd gyda'ch gilydd at y gwaith; yna chwi a ewch yn mlaen eto, a chewch bresenoldeb y Pen-bugail gyda chwi."

Bu Mr. Elias yn bur glaf yn nechreu y flwyddyn 1839, ac yn garcharor i'w dŷ am tua phedwar mis. Ei afiechyd oedd enyniad ar un o'r arenau, ac ystyrid ei gyflwr yn ddifrifol; ond gwellhaodd fel ag i allu myned i Gymdeithasfa y Bala. Gwael hefyd y teimlai tua dechreu y flwyddyn ganlynol, 1840; ond gyda dyfodiad y Gwanwyn cryfhaodd yn ddirfawr, pregethai gyda ei holl yni cyntefig, a bu yn bresenol yn Nghymdeithasfaoedd Llanerchymedd, y Bala, a Dolgellau. Bernir mai yn Llanerchymedd y cydiodd yr oerfel yn ei droed, yr hyn yn y diwedd a fu yn foddion ei angau. Cymdeithasfa Dolgellau, a gynhelid Hydref 21, 22, oedd y diweddaf iddo. Aethai yno yn bur gythryblus ei feddwl, gan fod rhywrai wedi peri iddo gredu fod ymadawiad oddiwrth y ffydd yn cymeryd lle yn mysg y pregethwyr ieuainc, a dywedodd bethau llym a chaled iawn yn nghyfarfod y pregethwyr. Ond cafodd ymwared mawr i'w feddwl yn y Gymdeithasfa. Clywodd ddau o'r rhai a gyhuddid yn pregethu, sef Mr. Jones, Talsarn, a Mr. Hughes, Liverpool, ac yr oedd yr athrawiaeth a draethent wrth fodd ei galon. Meddai yn y seiat breifat dranoeth: "Ond i'r ddau wirionedd oedd yn y pregethau neithiwr ac echnos, sef, Crist Iesu wedi dyfod i'r byd i gadw pechaduriaid, ac Yspryd Crist yn gweithio ynom bob tueddiad at yr hyn sydd dda a sanctaidd; ond i'r ddau wir-

ionedd hyn gael eu cadw yn fyw yn ein profiadau, a'u codi i fynu yn uchel yn y weinidogaeth, nid rhaid i ni anobeithio, er fod uffern yn ein herbyn, am fuddugoliaeth lwyr yn y man. Yr wyf yn teimlo y gallaf fyned i'r glyn, ar ol Sasiwn Dolgellau, yn fwy tawel fy meddwl am yr achos mawr." Ac fel y darfu i ni nodi, dyma y Gymdeithasfa olaf y bu ynddi byth.

Tua diwedd y flwyddyn 1840 dechreuodd deimlo ychydig boen yn mawd ei droed. Dywedai wrth gyfaill: "Yr wyf yn teimlo can iached, can gryfed, a chan fywioced ag y teimlais erioed; ond y mae rhywbeth yn mawd fy nhroed; a phwy ŵyr nad angau sydd yn dechreu gweithio yn y fan yna." A gwir ddywedodd; angau ydoedd. Yn fuan, cafodd ei gaethiwo i'w dŷ, ac am beth amser dyoddefai boenau arteithiol. Mewn llythyr a ysgrifenodd ddechreu Mawrth, 1841, dywed: "Nid ydwyf eto yn deall beth a ddaw o hono (yr afiechyd). Ond yr wyf yn dawel; gwnaed yr Arglwydd yr hyn sydd dda yn ei olwg ef. Os gwna fy ngadael yn hir mewn poen, bydded iddo fy nerthu i ddyoddef yn dawel. Nid wyf yn teimlo rhyw fraw mawr wrth feddwl am angau; 'Mi a wn i bwy y credais.' Pe bawn, wrth gael aros ychydig yn y cnawd, yn cael bod o ryw ddefnydd gydag achos Duw, carwn gael adferiad dros ychydig eto." Nid hir y bu cyn deall nad oedd adferiad iddo. Ceisiai un brawd ei berswadio y byddai i'w droed wella yn fuan. "Na," ebai, "angau sydd yma yn gweithio." Wrth glywed hyn, dywedai ei briod ei fod yn ei digaloni hi yn fawr. Meddai yntau yn ol: "Welwch chwi mor dirion yw yr Arglwydd, yn anfon angau i ddechreu gweithio yn y droed, y man pellaf o eisteddle y bywyd, pan y gallasai ei anfon i'r pen, neu i'r galon rhag blaen, i beri marwolaeth megys ar un ergyd; fel hyn datodir y cwlwm rhyngom yn raddol, a datodir finau yn raddol oddiwrth y ddaear."

Nis gallai fod yn segur hyd yn nod yn ei selni, ac yn yr adeg yma yr ysgrifenodd yr Hunan-gofiant, at ba un yr ydym droiau wedi cyfeirio, ac o'r hwn yr ydym wedi difynu yn helaeth. Teimlwn ein hun dan rwymau i osod i mewn y paragraff diweddaf ynddo: "Ysgrifenais yr hyn sydd yn y tudalenau blaenorol, yn cynwys ychydig o hanes fy mywyd o'm mebyd hyd yn hyn (yn awr yn 67 oed), a daioni rhyfeddol yr Arglwydd tuag ataf, yn nghyd a'm golygiad ar ei waith yn mysg y Methodistiaid Calfinaidd—ysgrifenais y pethau hyn yn ystafell cystudd, heb wybod nad yn rhosydd Moab, ar lan yr Iorddonen, yr ydwyf. Mewn gofid a thrwy anhawsder mawr yr ysgrifenais, ychydig linellau yn awr a phryd arall, fel y gallwn, gan fy ystyried fy hun yn ysgrifenu pob llinell yn ngwydd Duw; ac, efallai, yn ysgrifenu yr hyn a ddarllenir pan y byddaf fi yn ddystaw yn y bedd! Nid oedd genyf ddim i'w ddywedyd am danaf fy hun, heblaw am fy mhechadurusrwydd, fy ngwaeledd, a'm trueni mawr; ond byddai yn dda genyf fedru dywedyd yn uchel ac yn eglur iawn am ddaioni, trugaredd, a gras Duw, tuag ataf fi, yr annheilyngaf! Dyma y tlawd a godwyd o'r llwch! dyma yr anghenus a ddyrchafwyd o'r domen, ac a osodwyd i eistedd gyda phendefigion pobl Dduw! Os gwnaed rhyw leshad trwy fy llafur ammherffaith iawn, Duw yn ei ras yn unig a wnaeth hyny; efe biau y gogoniant i gyd! Nid ydwyf fi, ac nid oeddwn i, ddim. Yn y dydd y datguddia Duw y dirgelion, gwelir hyny yn eglur. Os cymerodd Duw fi yn offeryn yn ei law i ddwyn rhyw bechadur, neu bechaduriaid, at y Gwaredwr, yr oedd, ac y mae hyny, yn fraint annhraethol fawr! A bydd yn orfoledd i mi yn nydd Crist, na redais yn ofer, ac na chymerais boen yn ofer. Ond pe buaswn yn llwyddo i gael miloedd at y Methodistiaid Calfinaidd, heb iddynt ddyfod at Grist, *ni byddai hyny ond gwag a diwerth gerbron gorsedd Crist!* LLOSGI Y GWAITH, A'R PREGETHWR YN CAEL COLLED!"

Yn raddol disgynai Mr. Elias i lawr i'r glyn, gan ddyoddef poen corphorol dirfawr, ond a'i enaid yn llawn o orfoledd yr iachawdwriaeth. Dywedai wrth y Parch. H. Griffith, rheithor Llanddrygan, yr hwn a ddaethai i ymweled âg ef, ac â'r hwn yr oedd yn dra chyfeillgar: "Yr wyf mor ddedwydd fy meddwl ag y dichon i ddyn fod o dan y fath boen; nid oes un cwmwl rhwng fy enaid a'm Duw; y mae y cysuron yr arferwn eu mwynhau yn moddion gras, ac yn y weinidogaeth, yn dylifo eto i fy enaid; ïe, y maent weithiau yn gryfach ac yn fwy bywiog eu heffeithiau yn awr nag y buont erioed o'r blaen." Erbyn dechreu mis Mehefin, yr oedd yn amlwg ei fod yn suddo yn gyflym, a thuag un-ar-ddeg o'r gloch nos Fawrth, Mehefin 8, 1841, yn hollol dawel, heb ruddfaniad nac ochenaid, efe a hunodd yn yr Iesu, yn un mis dros saith-a-thriugain mlwydd oed.

Mewn amser annghredadwy o fyr, a

chymeryd i ystyriaeth nad oedd y gwefrhysbysydd mewn arferiad y pryd hwnw, treiddiodd y newydd trwy Gymru fod Mr. Elias wedi marw, a chynyrchodd dristwch diffuant a chyffredinol. Cafodd ei gladdu yn Llanfaes, ger Beaumaris, yn unol a'i ddymuniad ei hun, am mai yno y gosodasid gweddillion ei hen gyfaill, Mr. Lloyd, i orwedd. A dyma yr angladd rhyfeddaf a fu yn Môn erioed, oddiar y dydd y cododd yr ynys ei phen allan o'r dwfr. Rhoed cyrph pendefigion i orwedd yn naear Môn, y rhai a fuasent yn fawr eu dylanwad yn eu dydd; ond ni fu arwyl yr un o honynt i'w gymharu âg eiddo Mr. Elias, parthed dwysder galar, teimlad o golled, a lliosogrwydd cynulliad. Cymerodd y gladdedigaeth le dydd Mawrth, Mehefin 15fed, ac yn anffodus, cynhelid Cymdeithasfa y Bala yr un pryd, yr hyn a rwystrodd amrai o brif weinidogion y Cyfundeb i fod yn bresenol. Y nos o'r blaen pregethodd y Parch. W. Roberts, Amlwch, yn nghapel Llangefni, oddiar 2 Bren. ii. 11-14, i dyrfa liosog o alarwyr. Ar y terfyn, rhoddwyd penill allan, ond methwyd canu, a thorodd pawb i wylo dros y lle. Boreu dranoeth, cychwynwyd am Lanfaes, pellder o tua phedair-milldir-ar-ddeg. Yr oedd y dorf yn fawr pan yn cychwyn o Langefni, gan gynwys offeiriaid, meddygon, gweinidogion yr efengyl perthynol i bob enwad, ugeiniau o gerbydau, lliaws ar feirch, a gwŷr traed lawer. Wrth fyned yn y blaen, chwyddai yr orymdaith, ac erbyn agoshau at Beaumaris, yr oedd yn cynwys tua deng mil o bobl o leiaf. Ychydig o waith a fu yn Môn y diwrnod hwnw. Y rhai nad oeddent wedi ymuno yn y cynhebrwng a dyrent i ochr y ffordd i'w weled yn pasio; safai y bobl yno fel rhai wedi synu arnynt, a thywalltent ddagrau lawer. Yn eglwys Llanfaes, darllenwyd y gwasanaeth claddu gan y Parch. H. Griffith, Llanddrygan, a chynorthwyid ef gan y Parch. H. Jones, rheithor Llanfaes. Yna, yn nghanol arwyddion o alar dwys, rhoddwyd corph marwol y Parch. John Elias i orwedd yn y beddrod. Y nos hono pregethodd y Parch John Foulkes, Abergele, yn nghapel Beaumaris, i gynulleidfa fawr, oddiar Heb. xiii. 7.

Ar fedd Mr. Elias, yn Llanfaes, cyfodwyd cofgolofn hardd, ac yn argraffedig arni y geiriau canlynol, o gyfansoddiad y Parch. Thomas Phillips, D.D., Henffordd:—

YMA Y RHODDWYD I ORWEDD,
AR EI DDYMUNIAD EI HUN,
GWEDDILLION MARWOL
Y DIWEDDAR BARCHEDIG JOHN ELIAS,
GYNT O LANGEFNI, YN Y SIR HON,

Yr hwn, dros y tymhor maith o saith-mlynedd-a-deugain,
A lafuriodd gyda diwydrwydd a llwyddiant anarferol
Fel gweinidog yr efengyl,
Yn Nghyfundeb y Trefnyddion Calfinaidd Cymreig.
Yr oedd yn Gristion o'r radd uchelaf—
Mewn ffydd, myfyrdod, a gweddi, yn rhodio gyda Duw—
Yn Israeliad yn wir, yn yr hwn nid oedd dwyll.
Yn mhob sefyllfa yn ostyngedig,
A thuag at ei holl berthynasau a'i gyfeillion
Yn serchiadol, hynaws, a ffyddlon.
Wedi ei gynysgaethu â grasusau a doniau annghyffredinol,
Yr oedd yn mhlith ei gydwladwyr
Y PREGETHWR mwyaf poblogaidd yn ei ddydd.
Canlynwyd ef trwy ei oes gan dyrfaoedd lliosog,
Ac yn ei weinidogaeth gyson, yn gystal ag yn
Y Gymdeithasfa fawr,
Ei brif destun ydoedd,
"Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio."
Sefydliadau cyhoeddus
Er lledaenu Beiblau ac anfon Cenhadau
I Wledydd Tramor,
Ac er helaethu gwybodaeth, sobrwydd, a chrefydd,
Yn Mhrydain Fawr a'r Iwerddon,
A gawsant ynddo ef
Ddadleuwr hyawdl a nerthol.
Ond ei brif ragoriaeth oedd
Dylanwad sanctaidd ei yspryd a'i gymeriad,
Pa le bynag y deuai.
Yn zêlog dros wirionedd mewn athrawiaeth,
A phurdeb mewn dysgyblaeth,
Efe a ymdrechodd hardd-deg ymdrech y ffydd,
Heb geisio ei anrhydedd ei hun, ond
Gogoniant Duw ac iachawdwriaeth dynion.
Dyoddefodd gystudd trwm yn amyneddgar,
A chan orphwys ei holl obaith ar groes Crist,
Efe a orchfygodd angau,
Ac a hunodd yn yr Iesu,
Ar yr 8fed o Fehefin, 1841,
Yn 68 mlwydd oed.

Nid rhyw lawer a ysgrifenodd Mr. Elias i'r wasg. Pregethwr ydoedd ef, ac i'r gwaith mawr o bregethu yr efengyl y cysegrodd ei fywyd; ond y mae yn sicr pe y troisai ei feddwl i gyfeiriad llenyddiaeth, y gallai hefyd ragori fel llenor, er nad i'r un graddau ag yr enwogodd ei hun yn y pwlpud. Cyfansoddodd draethawd galluog ar Gyfiawnhad; ysgrifenodd hefyd draethawd ar Ieuo yn Annghymarus, a Rhagymadrodd i Bregethau Mr. Hurrion. Meddai hefyd ddawn prydyddol o radd uchel, a chyfansoddodd amryw emynau melus; ceir rhai o'r cyfryw yn y casgliadau diweddaraf, megys:—

"Mae haeddiant mawr rhinweddol waed fy Nuw,"
"Ai am fy meiau i," &c.

Bellach, er mor anhawdd, rhaid i ni adael y Parch. John Elias; ac wrth wneyd, yr ydym yn teimlo nad yw ein darlun o hono ond salw wrth yr hyn ydoedd ef ei hun. Yn ddiau, efe oedd un o'r dynion rhyfeddaf a gynyrchodd Cymru; ac fel areithydd, ni welodd y Dywysogaeth ei gyffelyb. Pan feddyliom am y dinodedd o ba un yr ymddyrchafodd, yr anfanteision o dan ba rai y llafuriai, ei amddifadrwydd o fanteision addysg, yr uchder i ba un yr esgynodd, a'r dylanwad a enillwyd ganddo ar ei gydwladwyr, y mae ei hanes yn ymddangos yn debyg i wyrth. Cyfunai natur a gras ynddo i'w wneyd yn dywysog yn y byd crefyddol. A bydd ei enw yn perarogli yn Nghymru tra yr erys parch i bregethu yr efengyl, ac y bydd gan grefydd ddylanwad ar y wlad. Terfynwn trwy ddifynu ychydig benillion o'r Farwnad ardderchog a gyfansoddwyd iddo gan Eben Fardd:—

"O! na allwn ei ddarlunio,
I feddyliau'r oes a ddel;
A desgrifio'i areithyddiaeth
A ddyferai fel y mêl!
Ni effeithiai presenoldeb
Torf o ddysgedigion byw,
Un gwanhad ar ei ewynau—
Ei nerth wyddai yn llaw Duw.

Pan esgynai i'r areithfa,
Tawai myrddiwn ger ei fron;
A'i ddystaw wen yn creu teimladau
Pob amrywiau, prudd neu lon;
Edrychai, dro—yn fud, o amgylch
Ar y dyrfa f'ai gerllaw—
Saethai'i drem y fath ddylanwad
A roddai liaws yn ei law!

Dywedai'r gair—tynerai anian!
Lawr a'i law—ac wylai myrdd;
Gwrol wgai—beilchion grynent,
Gwelwai'r coegddyn ffol ei ffyrdd;
Ei law godai—bloedd gorfoledd
A ddadseiniai trwy y llu,
'R oedd hyd yn nod ei atal dwedyd
Yn gyfwng o hyawdledd cu.

Pan f'ai rhes o feddylddrychau
'N llenwi'i enaid eang, mawr;
A throellau iaith yn rhy ddiffygiol,
I gyfleu y rhai'n ar lawr,
Estynai'i fraich—dyrchafai'i olwg;
Crynhoai ei wefusau pêr—
A'i DDULL ro'i fawredd ar bob meddwl
Uwchlaw un iaith o dan y sêr.

* * * * *

Pan gyffyrddai o'r areithle
A llinynau calon dyn,
Teimlid rywfodd, *fyw* neu *farw*,
Fel wrth air ei enau 'nglyn!
Tra chwareuai gwawl angylaidd
Yn gylch a choron am ei ben,
'R oedd ol y marwor ar ei wefus,
O'r allor bur, tu draw i'r llen!

Ffarwel! Elias! hyd y boreu,
Pan yr adgyfodi'n fyw;
Os gadewaist ti y gwersyll,
Ni gawn y golofn dân a Duw;
A'r cyfarfod gawn yn fuan
Yn y nefol Ganaan gu,
Adnewydda'n fil anwylach
Y gyfeillach yma fu!"

OL-NODIAD.

Yn *Y Geninen* am Orphenaf, 1897, ymddangosodd ysgrif ar ol y pregethwr poblogaidd, y diweddar Dr. Herber Evans. A chorph yr ysgrif nid oes a fynom, ond rhaid i ni gyfeirio at y gwawdlun o'r Parch. John Elias a gynwysa. Darlunir ef fel un yn hacian ei eiriau, a rhoddir desgrifiad o'r rhai a geisient ei efelychu yn gwneyd aml gynyg ar air cyn ei ddywedyd yn llawn. Efallai fod yr awdwr, sef y Parch. D. S. Davies, Caerfyrddin, wedi cymeryd ei gamarwain gan ddwy linell Eben Fardd:—

"'R oedd hyd yn nod ei atal dwedyd
Yn gyfwng o hyawdledd cu."

Ond tuhwnt i bob amheuaeth, y mae yr ysgrifenydd wedi camgymeryd ystyr y llinellau. Nid hacian (*stuttering*) oedd yr hyn y cyfeiria Eben ato, ond dwfn ddystawrwydd yn nghanol rhaiadr o hyawdledd, a'r mudandod hwnw yn fwy effeithiol na'r areithyddiaeth berffeithiaf. Ceir ystyr yr "atal dwedyd" mewn dwy linell sydd yn blaenori y rhai a ddifynwyd:—

"Edrychai dro yn fud o amgylch,
Ar y dyrfa ar bob llaw."

Dengys y rhai hyn mai at fudandod hollol (*pause*), y cyfeiriai y bardd; atebai hwn yr un dyben yn areithyddiaeth Mr. Elias ag y gwna "Selah" yn Salmau Dafydd, neu y frawddeg arferol yn y Testament Newydd: "Y neb sydd ganddo glustiau i wrando, gwrandawed." Y gwir yw, na fu neb mwy rhydd oddiwrth hacian na Mr. Elias; meddai enau fel wedi eu ffurfio at siarad, ac ni fu genau a thafod mwy dirwystr mewn pwlpud. Tebygai y diweddar Dr. Owen Thomas yn fawr i Mr. Elias yn ei arddull, ac yn mysg pethau eraill, yn y dystawrwydd y cyfeiriwyd ato; ond ni freuddwydiodd neb a'i clywodd ei fod yn darnio ei eiriau. Teimlwn ei bod yn ddyledswydd arnom i gywiro y camddesgrifiad hwn o brif areithiwr Cymru.

# PENOD XLIII.

—:o:—

## EBENEZER RICHARD, TREGARON.

*Henry Richard, Trefin—Genedigaeth a dygiad i fynu Ebenezer Richard—Ei ymuniad a'r eglwys—Y mae yn symud i Frynhenllan i gadw ysgol—Bron cael ei lethu gan argyhoeddiad—Yn ddyn newydd mewn canlyniad—Yn dechreu pregethu—Jones, Llangan, yn ei holi ef a'i frawd yn Nghyfarfod Misol Sir Benfro—Y mae yn symud i Aberteifi i fod yn athraw i feibion Cadben Bowen—Ei lafur mawr, yn enwedig gyda'r Ysgol Sabbothol—Ei daith gyntaf i'r Gogledd—Odfa effeithiol yn Nghymdeithasfa y Bala—Ei briodas—Yn symud i Dregaron—Ei ymosodiad ar lygredigaeth y wlad—Ei neillduad i gyflawn waith y weinidogaeth—Diwygiad 1811—Ei benodi yn Ysgrifenydd y Gymdeithasfa—Mr. Richard yn bregethwr o'r dosparth blaenaf—Yn meddu holl gymhwysderau arweinydd—Ei ddawn gyda'r Ysgol Sabbothol—Ei yspryd cenhadol—Yn nodedig am ei fedr i ysgrifenu llythyrau—Ei afiechyd olaf a'i farwolaeth.*

NI fendithiwyd Cyfundeb y Methodistiaid yn y Deheudir â gweinidog mwy ffyddlon, a mwy defnyddiol gyda holl ranau gwaith yr Arglwydd, na'r Parch. Ebenezer Richard. Yr oedd yn bregethwr nodedig, yn ddihafal o ran medr gyda'r Ysgol Sabbothol ac fel holwr pwnc, ac yn drefnydd gwych, y goreu a gafwyd yn y Dê oddiar dyddiau Howell Harris. Yn y peth olaf hwn nis gwyddom am neb yn y Cyfundeb yn cystadlu âg ef, oddigerth Howell Harris ei hun, a Mr. Charles. Meddai lygad craff, ewyllys benderfynol, medr arbenig, ac yni diderfyn. Trwy ei ragofal, a'i ymdrech ef tuhwnt i neb arall, meddianwyd rhan uchaf Sir Aberteifi gan Fethodistiaeth, ac yn ei meddiant y mae hyd y dydd heddyw. Drwg genym nas meddwn lawer o hanes y gweinidog enwog hwn. Cyhoeddwyd Bywgraffiad iddo gan ei feibion, yn bur fuan gwedi iddo farw; ond gwneir y llyfr i fynu yn benaf o lythyrau a ysgrifenwyd ganddo, ac a anfonwyd ato, fel y mae hanes ei oes lafurus, i raddau mawr, wedi myned ar goll. Rhaid i ni bellach wneyd y goreu o'r defnyddiau a feddwn.

Mab ydoedd i Henry Richard, yr hynaf iddo o Hannah, ei ail wraig. Cawsai Mr. Richard ddau fab o'i wraig gyntaf, sef John a William, y rhai a dreuliasant eu hoes yn Sir Benfro. Bu hefyd iddo, o'i wraig Hannah, ar ol geni Ebenezer, ddau o blant, sef Thomas, a ddaeth yn adnabyddus trwy Gymru fel y Parch. Thomas Richard, Abergwaun, a merch o'r enw Mary. Tipyn o gynghorwr, ac ysgolfeistr gyda hyny, oedd Henry Richard. Bu yn cadw ysgol Madam Bevan mewn amryw fanau yn y Gogledd ac yn y Dê. Nid oedd iddo ddinas barhaus yn un man, a hyny yn un peth am mai symudol oedd yr ysgol, ac na oddefid iddi aros yn hir mewn unrhyw ardal; a pheth arall, yr oedd yntau yn ormod o Fethodist i foddhau y y clerigwyr. A Methodist y cyfenwid pawb y pryd hwnw os byddai yn efengylaidd ei syniadau, yn arwain buchedd sanctaidd, ac yn ymgais at achub eneidiau ei gyd-ddynion. Ymddengys mai byr oedd ei ddawn pregethu, ond ei fod yn hynod fel gweddïwr. Yr ydym yn ei gael, tua'r flwyddyn 1767, yn cadw ysgol yn mhlwyf Llanaber, nid yn nepell o'r Abermaw. Dywed *Methodistiaeth Cymru* nad oedd yn pregethu y pryd hwn, ond y byddai yn gweddïo yn hynod yn mysg y plant, yn rhybuddio yn hallt yn erbyn pob anfoes ac afreolaeth, ac yn ceisio arwain meddwl y bobl at eu mater tragywyddol. Nis gellid goddef i ŵr fel hyn aros yn hir yn yr ardal, a buan y cafodd ei yru ymaith, rhag iddo lygru y gymydogaeth, a dwyn pawb i feddwl am grefydd fel yntau. Ond yr ydoedd yn rhy ddiweddar; cawsai y surdoes ei osod yn y blawd eisioes. Cynghorion yr ysgolfeistr, fel hâd yn cael ei daflu i'r ddaear, oeddent yn barod wedi gafaelu yn nheulu un Robert Griffith, o'r



PARCH. EBENEZER RICHARD, TREGARON,
SIR ABERTEIFI.

Abermaw. Ymwelodd yr Arglwydd yn gyntaf â Mrs. Griffith, wedi hyny â'i mab Hugh, ac yn ddiweddaf â Robert Griffith ei hun, a dyma gychwyniad Methodistiaeth yn Abermaw. Ar ol bod yn symud o fan i fan mewn cysylltiad â'r ysgol, yr ydym yn cael Henry Richard o'r diwedd yn ymsefydlu yn Nhrefin, Sir Benfro. Treuliodd weddill ei oes yn dra defnyddiol, gan gynorthwyo Howell Davies, John Harries, Evan Harries ei fab, Jones, Llangan, ac eraill, gyda gwaith yr Arglwydd yn Mhenfro, a gadael argraff ar feddwl pawb, os nad oedd yn bregethwr mawr, ei fod yn hynod o dduwiol, ac yn enwog am ei ddawn gweddi. Cafodd fyw i weled oedran teg; ond yn agos i ddiwedd y flwyddyn 1812, syrthiodd y ceffyl dano wrth ei fod yn dychwelyd adref o'i gyhoeddiad, a thorodd yntau ei glun; yr hyn a derfynodd yn ei angau, Rhagfyr 7, 1812.

Ganwyd Ebenezer Richard yn Nhrefin, Rhagfyr 5, 1781. Felly, yr oedd ddeuddeg mlynedd yn ieuangach nag Ebenezer Morris, a David Evans, Aberaeron. Nid annhebyg iddo gael cyfleustra i wrando Daniel Rowland, a Williams, Pantycelyn, oblegyd yr oedd agos yn naw mlwydd oed pan fu y cyntaf farw, ac yn myned ar ei ddeg adeg marwolaeth yr ail; ond yr oedd Howell Davies, Apostol Sir Benfro, wedi cael ei osod i orwedd yn y priddellau un-mlynedd-ar-ddeg cyn iddo ef gael ei eni. Dywed ei frawd mai plentyn ofnus a gwylaidd oedd Ebenezer; ni welid mo hono yn ymdaflu i chwareuaeth gyda phlant y gymydogaeth, ond yn hytrach hoffai gymdeithas ei fam, a'i lyfr. Ymddengys ei fod er yn blentyn o duedd grefyddol; cymerai ei fam, yr hon oedd yn enwog am ei duwioldeb, drafferth i'w hyfforddi yn ngwirioneddau yr efengyl, a dygai ef gyda hi i'r gymdeithas eglwysig yn Nhrefin. Adroddir am dano ddarfod iddo pan yn chwech mlwydd oed, Sul y cymundeb, estyn ei law a chymeryd y bara; canfu ei fam ef, a rhwystrodd ef i dderbyn y cwpan. Gwedi myned allan, hi a'i ceryddodd ef, gan ddweyd: "Fy anwyl blentyn, paham y gwnaethost ti hyn?" Yntau yn doddedig a ofynodd yn ol: "Paham y gwnaethoch chwi hyn?" "Cofio yr oeddwn i," ebai hi, "am angau Mâb Duw." "Hyny oeddwn inau yn wneuthur," meddai yntau; a'i fam a aeth yn fud.

Ychydig a wyddom am ddyddiau ei ieuenctyd, nac am yr addysg a dderbyniodd. Gan fod ei dad yn hen ysgolfeistr, nid annhebyg iddo gyfranu rhyw gymaint o elfenau dysgeidiaeth i'w feibion, ac i Ebenezer fanteisio yn helaeth ar hyny. Cafodd hefyd yn ddiau ei anfon i'r ysgolion goreu oedd yn y rhan hono o'r wlad. Efallai iddo fod dros ryw gymaint o amser yn Ysgol Ramadegol Hwlffordd. Yr hyn sydd yn peri i ni dybio hyny yw, mai hynod o wael oedd yr addysg a gyfrenid y pryd hwnw yn yr ysgolion gwledig, a bod Ebenezer Richard yn ysgolhaig rhagorol, yn medru ysgrifenu Cymraeg a Saesneg yn gywir a gramadegol; a thebyg hefyd ei fod i raddau yn gydnabyddus â'r ieithoedd clasurol, onide nis gallai fyned yn athraw i feibion boneddwr o safle. Yr oedd yn ddysgwr cyflym, ac yn dra hoff o lyfrau. Gwedi dyfod yn llanc, teimlodd bleser dirfawr mewn gwrando yr efengyl; yr adeg hono yr oedd pregethu teithiol yn ei ogoniant, a phan yr ymwelai pregethwyr enwog a phoblogaidd â Sir Benfro, canlynai hwynt am ddyddiau o ardal i ardal. Pan oedd tua phymtheg mlwydd oed cafodd ei orddiwes gan afiechyd peryglus; bu yn agos i angau yr adeg hon, ond Duw a drugarhaodd wrtho, ac wrth eglwysi Cymru. Effeithiodd yr afiechyd arno er ei wneyd yn fwy difrifol, ac yn fuan cymerodd ei le fel cyflawn aelod yn eglwys Dduw. Y flwyddyn ganlynol y glaniodd y Ffrancod yn Mhencaer, ger Abergwaun. Y mae yr hanes mor gyffredinol hysbys fel nad rhaid i ni ei adrodd; ond gallwn nodi fod Trefin o fewn ychydig filldiroedd i'r man y tiriasant, a darfod i'r amgylchiad effeithio yn ddwys ar feddwl Ebenezer ieuanc. Cyfansoddodd gân ar yr amgylchiad, yr hon a gafodd ei hargraffu y flwyddyn hono. Difynwn un penill o honi, nid am y cynwysa lawer o wir farddoniaeth, ond er dangos difrifwch yspryd y cyfansoddydd:—

"Cawsom waredigaeth hynod,
Gwaredigaeth loyw, lân;
Gwaredigaeth nad oedd ynddi
Swn bwledau, na thwrf tân!
Ein cadernid oll fu'n sefyll
'N unig ar ei ysgwydd gref,
Yn y man lle mae yn pwyso
Daear gron ac uchder nef."

Yn mhen yspaid o amser ar ol hyn symudodd o dŷ ei rieni i gadw ysgol yn Mrynhenllan, lle rhwng Trefdraeth ac Abergwaun. Yma y daeth yn argyfwng yn ei hanes ysprydol. Yr ydoedd o'i febyd, fel y darfu i ni sylwi, o duedd grefyddol, ac er ys peth amser bellach wedi cymeryd

